# Y TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1894.

XLIX

LLYFR L.

CAERNARFON:
CWMNI'R WASG GENEDLAETHOL GYMREIG (CYF.).

MDCCCXCIV.

# CYNHWYSIAD.

IONAWR.



MAWRTH.



MAI.




CYFROL LI. RHIFYN CCVI.

# Y TRAETHODYDD.

## IONAWR, 1894.

CYNHWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF MAWRTH 1af, 1894.*

PRIS SWLLT.

CAERNARFON:
Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan Gwmni'r Wasg Genedlaethol Gymreig (Cyf.).

# Y TRAETHODYDD.

## Y DIDACHE, A SWYDDAU EGLWYSIG.

Erbyn hyn y mae y *Didachē* yn enw hysbys iawn mewn llenyddiaeth Feiblaidd ac eglwysig ymhob iaith lle y ceir y cyfryw lenyddiaeth; a phrin, feallai, y rhaid ei egluro i'r Cymro. Am bob eglurhâd angenrheidiol ni raid ond cyfeirio y darllennydd at y Traethodydd am Hydref, 1884, lle y ceir hanes byr am dano, a chyfieithiad rhagorol o hono gan y Golygydd. Gelwir ef yno yn Athrawiaeth y Deuddeg Apostol, a gwelir (t. 390) mai cyfieithiad o'r gair Groeg *Didache*, yw y gair Cymraeg *Athrawiaeth*. Adnabyddir ef yn awr gan y mwyafrif o lenorion fel enw y llawysgrif ddyddorol a ddarganfyddwyd gan Bryennios, Archesgob Nicomedia, ac a gyhoeddwyd gyntaf yn 1883.

Ynglyn â'r Didache cyfyd lliaws o gwestiynau llawn dyddordeb a mawr eu pwys, er yn anhawdd eu hateb i foddlonrwydd: megis, ei gyfansoddiad, ei darddiad, amser a lle, ac at bwy, y cafodd ei ysgrifennu; ei berthynas ag ysgrifeniadau ereill,—y Beibl, y Ddwy Ffordd (?), Epistol Barnabas, Bugail Hermas, Canonau a Threfniadau Eglwysig yr Apostolion; pa oleuni a deifl ar y sacramentau, swyddau eglwysig, ac ystâd yr Eglwys yn gyffredinol, ynghyd a lliaws o gwestiynau ereill cyffelyb. Ni chaniatâi gofod i mi ymdrin â'r holl faterion hyn, pe buaswn wedi gallu casglu ynghyd y defnyddiau angenrheidiol; ac y mae y maes mor eang fel nas gallesid ei wneyd oll gydag unrhyw fesur o drylwyrdeb mewn hanner dwsin o ysgrifau gweddol mewn hyd. Rhaid boddloni, gan hynny, ar wneyd ychydig nodiadau ar fater ag sydd, neu a fydd yn union deg, o bwys neillduol i'w ystyried; a hwyrach y ceir rhyw oleuni arno yn y Didache. Cyn gwneyd hynny, fodd bynnag, goddefer i mi yma roddi elfeniad byr o'i gynnwys.

Cawn ei fod yn ymrannu yn dair rhan:—

A. Y Ddwy Ffordd. (Penodau i.—vi.)
B. Yr Eglwys. ( ,, vii.—xv.)
C. Y Diweddglo ( ,, xvi )

A gellir rhannu y rhaniadau hyn yn ddosrannau:—

A. Y Ddwy Ffordd.
  *a*. Ffordd y bywyd. (Penodau i.—iv.)
  *b*. ,, farwolaeth. ( ,, v.—vi.)
B. Yr Eglwys.
  *a*. Ordinhadau. i. Bedydd. (Penodau vii. 1—3).
    ii. Ympryd. (,, vii 4—viii. 1).
    iii. Gweddi:—
      (1) ddyddiol. (Penodau viii. 2, 3).
      (2) ar y Swper ( ,, ix.—x.)
  *b*. Swyddogion. i. Apostolion, proffwydi ac athrawon. (Penodau xi.—xiii).
    ii. Esgobion a diaconiaid ( ,, xv. 1, 2).
  *c*. Dydd yr Arglwydd. (Pennod xiv.)
  *d*. Disgyblaeth. ( ,, xv. 3—4).
C. Diweddglo,—Anogaeth i wylied:—"Canys ni wyddoch yr awr yn yr hon y daw eich Arglwydd."

B

Bu y cwestiwn ynghylch Natur Eglwys yn bwysig bob amser o ddyddiau Clement o Rufain hyd y dyddiau hyn, a mawr yr ymdrech a wnaed ac a wneir i geisio dangos dwyfol osodiad, os nad dwyfol darddiad rhyw ffurflywodraeth eglwysig. Gwedir gan rai, ac yn eu mysg ceir Dr. Davidson, y dylem osod pwys ar farn yr hynafiaid yn hyn o beth. Dylid gochel gormodedd ar bob ochr. Mae barn yr hynafiaid yn ffaith yn hanes yr eglwys; Jehofah fu, yw, ac a fydd Dduw; a dyledswydd Cristionogion yw ceisio olrain cerddediad y Duwdod yn hanes yr Eglwys yn gystal a'r byd, yn hanes trefn gras yn gystal a threfn natur. Nid yw egwyddorion hanes i'r Cristion, ond ffeithiau yn hanes bywyd personol Duw. Wrth y maen prawf hwn y profir pob gwybodaeth; oddiwrth hwn y derbyn pob ffurflywodraeth eglwysig ei hawdurdod; ac fel un o'r rhannau sydd yn ffurfio hwn y rhaid ystyried hanes yr Eglwys foreuol, cyn belled ag y gallwn; a dalen o'i hanes hi yw y Didache. Fel y cyfryw yceisiaf edrych arno yn y nodiadau hyn.

Y gwaith cyntaf, gan hynny, yw ceisio cyfleu syniad mor glir ag y gellir am gynnwys ei ddysgeidiaeth; ac i'r amcan hwnnw, nid oes ffordd well na rhoddi elfeniad gweddol fanwl o hono, ac yna ychydig sylwadau ar ryw beth neu bethau y gwelir angen am hynny.

Cyn manylu, dylem alw sylw at ddwy frawddeg sydd yn rhoddi i ni ryw syniad cyffredinol am swyddogion. Yn iv. 1, dywed: "Fy mab, cofia nos a dydd yr hwn sydd yn llefaru wrthyt air Duw"; ac yn xv. 2, dywed am yr esgobion a'r diaconiaid: "Canys y maent hwy ynghyda'r proffwydi a'r athrawon ymhlith eich aelodau anrhydeddus." Yn y gyntaf o'r adnodau ceir disgrifiad cyffredinol o waith ysbrydol y swyddogaeth; ac yn yr ail ei safle yn yr Eglwys. Os trown at y manylion, gwelir fod adran helaeth o'r Didache yn ymdrin â'r pwnc, sef x. 7—xiii., xv. 1, 2. Yn y rhannau hyn ymdrinir am ddau ddosbarth o swyddogion. Yn un dosbarth, ceir apostolion, proffwydi, ac athrawon; yn y llall esgobion a diaconiaid.

Rhoddir y lle pennaf i'r dosbarth cyntaf a enwyd (x. 7, xiii.). Yn xi. 1, 2 cawn fath o ragarweiniad i'r ymdriniaeth, lle y gosodir i lawr: (1) pa fodd yr oedd eglwys i dderbyn aelodau o eglwysi ereill allent ymweled â hi gyda'r amcan o'i dysgu (xi. 1); (2) egwyddor wrth yr hon y gellid barnu dysgeidiaeth pob ymwelwr. Yna ychwanegir un adnod fel math o ragarweiniad i'r hyn a ddywedir ynglyn â'r apostolion a'r proffwydi, yn yr hon y gosodir y safon wrth yr hon y maent i reoli eu hymddygiad tuag atynt, "yn ol cyfarwyddyd yr Efengyl."

Am yr apostolion, rhaid eu derbyn "fel yr Arglwydd"; ac y mae y gwir a'r gau i'w hadnabod wrth y nodau hyn: hyd ei arhosiad yn yr un fan, a'r hyn a ddisgwyl yn gydnabyddiaeth. Gyda golwg ar y cyntaf, ni chaiff aros ond un diwrnod, oddigerth bod rhaid, yna erys un arall; eithr os erys dri, gau ydyw. Ac am yr ail, nid yw i ofyn na derbyn dim wrth ymadael â lle, ond digon o fara nes y cyrhaeddo lety y noswaith; os amgen gau ydyw.

Yn y gweddill o'r bennod hon ymdrinir am y proffwydi. Cawn eu bod yn cyflawni dau fath o waith,—"llefaru yn yr ysbryd," a "dysgu'r gwirionedd." Pan y mae proffwyd yn cyflawni y gwaith cyntaf, gwaherddir ei "demtio a'i feirniadu;" ac yna rhoddir i lawr amryw ffyrdd i wahaniaethu y gwir oddiwrth y gau. Pa fodd y gellir gwahaniaethu heb feirniadu, nis gwyddom. Beth bynnag yw'r esboniad—a chynhygir amryw—mae yr anghysondeb yn aros. Yn gyntaf cawn

egwyddor gyffredinol yn safon barn. Pa waith bynnag wna proffwyd, hyd yn oed "llefaru yn yr ysbryd," rhaid iddo feddu "cymeriad yr Arglwydd." Wedi hynny, rhydd yr awdwr ddwy esiampl: nid oes yr un proffwyd sydd yn gorchymyn gwledd yn yr ysbryd, i fwyta o honi; ac nid yw i ofyn am arian oddigerth i ereill; os amgen gau ydyw.

Nid yw y proffwydi pan yn "dysgu'r gwirionedd" i fod yn rhydd oddiwrth feirniadaeth. Yr egwyddor wrth yr hon y rhaid eu barnu yw cysondeb dysgeidiaeth â buchedd. Wrth gwrs, pan yn cymhwyso yr egwyddor hon at ymddygiad proffwydi sydd wedi rhoddi digon o brawf o'u cywirdeb, rhaid bod yn ofalus. Er engraifft, gallant hwy, o herwydd rhyw reswm digonnol iddynt, wneuthur rhywbeth nad ydynt yn ei ddysgu i ereill,—rhywbeth sydd yn perthyn i'r "dirgelwch am yr eglwys yn y byd." Nid oes a wnelo yr eglwys â barnu proffwyd yn hynny; "canys gyda Duw y mae ei farn."

Gyda pha un o'r ddau waith hyn y rhestrwn "weddio ar y Swper," nid wyf yn gwybod; feallai mai perthyn i'r adran nesaf y mae.

Hyd yn hyn edrychir ar y proffwydi fel aelodau symudol; a gwelir nas gallasai apostol feddwl am aros yn yr un lle a bod ar yr un pryd yn apostol. Nid felly am y proffwydi; gallent hwy "ymsefydlu" mewn eglwys. Ac os ydynt yn wir broffwydi, y maent yn deilwng o'u cynhaliaeth. I gyfarfod â hynny, rhoddir cynllun i lawr, sef "deddf y blaenffrwyth" fel y dysgid yng nghyfraith Moses; enwir blaenffrwyth o'r gwinwryf a'r llawrdyrnu, y defaid a'r ychen, pobiad o fara, arian, gwisgoedd, ac o bob meddiannau (xiii. 3—7). Ni sonir am y degwm. Rhoddir fel rheswm dros y cynllun hwn, "Canys hwy [h. y. y proffwydi] yw eich archoffeiriaid chwi."

Nid bob amser, pa fodd bynnag, yr oedd proffwyd yn ymsefydlu mewn eglwys. Pan na byddai un, yr oedd deddf y blaenffrwyth yn parhau mewn grym, a rhennid y cyfan rhwng y tlodion.

Ni enwir yr athrawon ond teirgwaith yn yr holl lyfr; sef xiii. 1, 2; xv. 2. Nid yr "athraw" yn ei ystyr neillduol a feddylir yn xi. 2, ond "yr hwn sy'n dysgu," boed apostol, proffwyd, neu athraw. Mae y tri chrybwylliad yn ddigon i brofi bod dosbarth o athrawon yn bod. Yn ol xv. 2, perthynent i'r aelodau anrhydeddus yn yr eglwys. Yr oedd dau fath o honynt hwythau, y "cywir" a'r "gau." Os oedd y cywir yn dewis ymsefydlu mewn un eglwys, yr oedd yr un mor deilwng o'i gynhaliaeth â gweithiwr o'i gyflog. Ni ddywedir dim am waith yr athraw, ac ni roddir i lawr egwyddor nac engreifftiau i gyfarwyddo yr eglwys pa fodd i wahaniaethu rhwng y gwir a'r gau. Hyn yw yr oll a ddysgir am y dosbarth symudol o swyddogion yr eglwys.

Gwaith bychan iawn yw crynhoi yr hyn a ddywedir yma ynghylch esgobion a diaconiaid. Dwy adnod yw'r cyfan (xv. 1, 2). Gorchymynnir i'r eglwys ddewis rhai "teilwng o'r Arglwydd;" ac awgrymir yn y gair "dewis" mai trwy godiad dwylaw yr oeddynt i wneyd hynny. Enwir pedair nodwedd sydd yn y cymeriad "teilwng o'r Arglwydd": sef "addfwyn, di-ariangar, cywir, a phrofedig;" ac y mae y pedair i fod yng nghymeriad y diaconiaid yn gystal â'r esgobion. Y rheswm dros hyn yw mai hwynthwy, yn absenoldeb y proffwyd a'r athraw, oedd i gyflawni eu gwaith. Er megis yn lle ereill, nid oeddynt i'w dirmygu (xv. 2); oblegid yr oeddynt yn aelodau anrhydeddus o'r eglwys, ac yn yr un dosbarth, felly, â'r proffwydi a'r athrawon.

Cydnabyddir gan y mwyafrif o esbonwyr fod yr ymadrodd "yr hwn sydd yn llefaru wrthyt air Duw," yn cynnwys y pum dosbarth o swyddogion a enwyd, gan eu bod oll yn "aelodau anrhydeddus" yn yr eglwys. Cawn fod "llefaru" (*laleō*) yn air cyffredin iawn yn y Testament Newydd am bregethu. Tröer i unrhyw Eiriadur o Roeg y Testament Newydd a gwelir hynny. A cheir fod "gair Duw" yn golygu naill ai "datguddiad Duw" yn yr Hen Destament, neu y "datguddiad trwy Grist" (gwel Westcott ar Heb. xiii. 7). Dwg y frawddeg i'n cof y geiriau, "Meddyliwch am eich blaenoriaid y rhai a draethasant i chwi air Duw," gyda hyn o wahaniaeth: wedi bod ymhlith yr Hebreaid yr oedd eu blaenoriaid, ac feallai, wedi cyfarfod â'u diwedd mewn ffordd dra disyfyd; ac yr oedd cryn bellter amser rhyngddynt â hwy; cymaint felly fel yr oedd yn gofyn ychydig o ymdrech meddwl i'w galw i gof (*mnēmoneuō*): eithr yn y Didache yr oedd y rhai a lefarent air Duw wrthynt yn fyw yn eu plith, ac nid oedd yn gofyn unrhyw ymdrech meddwl i'w galw i gof (*mimnēscō*). Haws cofio y gweinidog sydd yn gwasanaethu bob Saboth yn yr un lle, na'r hwn fu yno ddeng mlynedd ar hugain yn ol. Gall y Groegwr wneyd gwahaniaeth rhwng y ddau "gofio," am fod ganddo ddau air gwahanol am danynt. Yn yr *Hebreaid* gorchymynnir cofio'r blaenoriaid fel esiampl o ffydd i'w hefelychu; eithr yma fel rhai i'w hanrhydeddu: "Anrhydeddwch ef fel yr Arglwydd."

Wrth esbonio yr "anrhydeddu" yma, rhaid i ni gofio yr ail ymadrodd a nodwyd,—"y maent i'w anrhydeddu" (xv. 2). Hwyrach, mai nid dyma y cyfieithiad cywiraf. Cytunir gan y mwyafrif o esbonwyr, nad yw ffurf y ferf "anrhydeddu" yn y fan hon mwy nag mewn mannau ereill yn galw am ei chyfieithu yn "i'w anrhydeddu." Yn ol y cyfieithiad hwn, rhoddir pwys ar y *dylid* eu anrhydeddu, tra mai yr hyn a olygir yw eu *bod* yn anrhydeddus. Fel engraifft o'r gwahaniaeth rhwng y ddau gyfieithiad, cymerer Gal. ii. 11, "am ei fod i'w feio," ac edrycher ar esboniadau Bengel, Meyer, a Lightfoot ar yr ymadrodd. Gwelir yr un peth yn esboniad Proff. H. Williams, Bala. Yn lle y darlleniad "am ei fod i'w feio," rhydd Mr. Williams "am ei fod yn feius," a dywed: "Yr oedd Pedr *yn* feius; nid yn unig i'w feio, fel y mae Beza wedi arwain ein cyfieithiad ni i eirio." Mae'r esboniad hwn yn glir ac eglur. Nid cyfeirio mae Paul at "y dylid beio," ond at y ffaith ei fod ar fai, pa un bynnag a oedd neb yn gweled hynny ai peidio. Yr un ffurf sydd i'r ferf yn y Didache, a chredwn fel y dysgir ni gan Winer (Gram. ix. arg. Saes., t. 430) ac ereill, mai camgymeriad yw cyfieithu y ffurf hon arni gyda'r ymadroddion "y maent i'w," "dylid," neu gyffelyb. Gwell gan hynny ddarllen "yn anrhydeddus," yn lle "i'w anrhydeddu."

Mae'n aros eto i benderfynu pa un a roddwn arbenigrwydd ar y ffurf ferfol, ai onid gwell yw ei gymeryd fel enw. Mae'r fannod o flaen y gair "anrhydeddus" (*tetimēmenoi*). Cytuna Schaff (t. 212) a Harnach (t. 58) mai enw yw,—"yr aelodau anrhydeddus." Gwyddom fod yn yr eglwys tua'r flwyddyn 100 O.C. duedd i ffurfio dau ddosbarth,—y "blaenoriaid" a'r "dilynwyr." Gwelir hyn yn amlwg yng ngweithiau Ignatius, ac yn fwy amlwg fyth yng ngweithiau arweinwyr yr Eglwys yn y drydedd ganrif. Gan mai tua'r flwyddyn 100 O.C. yr ysgrifenwyd y Didache, hawdd gweled y gallai y rhai a ystyrrid yn deilwng o anrhydedd, ac o herwydd hynny a anrhydeddid, ffurfio dosbarth o "aelodau anrhydeddus" yn yr Eglwys. Hanes cyffelyb sydd i'r gair *reverend.* O'r gair Lladin *reverendus* y daeth, a golyga hwnnw "un y dylid ei

barchu," wedi hynny "un a berchir;" a phan ffurfiwyd dosbarth o'r cyfryw, hawdd iawn oedd eu galw yn "barchedigion." Beth a olygir wrth anrhydeddu yr hwn sydd yn llefaru gair Duw? Mae llawer ffordd o anrhydeddu. Yn yr Heb. xiii. 17, gorchymynnir ufuddhau ac ymostwng i'r blaenoriaid, gan mai eu gwaith hwy oedd llywodraethu. Mae hynny yn ffordd i anrhydeddu y blaenoriaid. Ni sonir yn y Didache am ufuddhau i'r "aelodau anrhydeddus," eithr gorchymynnir peidio eu diystyru (xv. 2), a'u derbyn fel yr Arglwydd (iv. 1). Y rheswm dros y cyntaf yw y ffaith mai "rhai anrhydeddus" ydynt; a thros yr ail, "oblegid yn y ffynhonnell o'r hon y lleferir am yr Arglwyddiaeth, yno y mae yr Arglwydd." Nid eithriad yn hanes y Cristion yw bod yn rhaid iddo ymddwyn atynt fel at yr Arglwydd. Rhaid i'r gweision ymddwyn felly at eu meistriaid (iv. 11); oblegid iddynt hwy mae y meistr yn "gysgod" neu "ddelw Duw" (cym. Eph. v. 6—8; Col. iii. 22). Rhaid i'r eglwys dderbyn pwy bynnag ddaw i'w dysgu fel yr Arglwydd (xi. 2); ac wrth gwrs felly gyda phob apostol (xi. 4). Eto, nid ydym ronyn nes i allu penderfynu ffurf yr anrhydedd. Dywed Harnach mai "y rhai a anrhydeddwyd gan Dduw" a olygir (t. 58, die von Gott Geehrten); eithr ar t. 120, dywed mai anrhydedd mewn canlyniad i'w ffyddlondeb ydyw,—"y gwasanaeth yr hwn a gyflawnasant, ac o herwydd yr hwn y maent yn aelodau anrhydeddus." Nis gallaf ddeall ei feddwl. Gellid apelio ar y pen hwn at eiriau Paul, "Cyfrifer yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda yn deilwng o barch [neu anrhydedd] dau-ddyblyg" (1 Titus v. 17), pe gwybuasid a oedd awdwr y Didache yn gydnabyddus ag epistolau Paul. Eithr yno ni olygir parch gan Dduw, ond gan ddyn; ac feallai mai'r parch a olygir yw y "cyflog" a haeddai yr henuriaid. Dyma'r casgliad naturiol oddiwrth gysylltiad adn. 18 a'r 17 (gwel Ellicott). Ysgrifennwyd Epistol Clement at y Corinthiaid oddeutu'r flwyddyn 100 O.C. Yn hwnnw gwneir gwahaniaeth rhwng "ymostwng" ac "anrhydeddu neu barchu" (i. 3): "canys gwnaethoch bopeth yn ddi-dderbyn-wyneb, a cherddasoch yn ol gorchmynion Duw, gan ymostwng i'ch blaenoriaid, a thalu y parch a haeddent i'r hynafgwyr." Yn Epistol Barnabas (xix. 9, 10), sydd yn perthyn i'r un cyfnod, darllennir: "Càr fel canwyll dy lygad bawb a lefaro wrthyt am yr Arglwydd. Cofia ddiwrnod barnedigaeth nos a dydd." (Anwyl, Traethodydd, 1893, tudal. 283). Ysgrifenna Ignatius hefyd: "Da yw cydnabod Duw ac esgob. Y sawl a anrhydeddo esgob, fe'i hanrhydeddwyd gan Dduw. Pwy bynnag a wna rhywbeth heb wybod i'r esgob, sydd yn gwasanaethu'r diafol" (Epistol at Eglwys Smyrna ix. 1); gan olygu fod datgan cyfrinach wrth yr esgob yn golygu ei anrhydeddu.

Nis gwyddom beth a feddyliai awdwr y Didache wrth "anrhydeddus," —h. y., pa ffurf ar anrhydedd a olygai. Gwyddom mai anrhydedd oddiwrth ddyn a olygai; oblegid gorchmynna hynny yn iv. 1, a gwahardda ddiystyru yr esgobion a'r diaconiaid yn xv. 2; gan ddwyn fel rheswm y ffaith eu bod yn aelodau anrhydeddus. Mwy na hyn nis gwyddom, a phar ein hanwybodaeth nas gallwn gael gwybod nemawr ddim am gysylltiad y blaenoriaid a'r dilynwyr. Un peth sydd sicr: nid oes yma rith o sail i dybio fod unrhyw gynnwrf, afreoleidd-dra, rhwyg, na heresi yn aflonyddu ar heddwch yr eglwys. A gallai fod tuedd mewn rhai i ddiystyru yr esgob a'r diacon oedd yn prysur gymeryd lle yr hen weinidogion teithiol fu yn sefydlu yr eglwysi

ac yn gwneuthur rhyfeddodau ynddynt, "a Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu."

Hawdd gweled fod y pum swyddogaeth a enwir yn y Didache yn ymranu yn ddau ddosbarth,—y lleol ac arosol, a'r cyffredinol a symudol. I'r dosbarth olaf y perthyn apostolion, proffwydi, ac athrawon; i'r cyntaf, yr esgobion a'r diaconiaid. Nid oedd yr olaf yn perthyn i un eglwys neillduol; nid etholwyd hwy gan eglwys; perthynent i unrhyw a phob eglwys yr ymwelent â hi; a gorchymynnir eu derbyn fel yr Arglwydd, oddieithr eu bod yn dysgu athrawiaeth arall. Nid oedd yr eglwysi hyd yn oed i wrando ar "athrawiaeth arall" (cym. 2 Ioan, 10). Beth oedd y safon i wahaniaethu yr "athrawiaeth arall" oddiwrth y wir athrawiaeth? A oedd yno ryw ffurf arhosol ac ysgrifenedig, megis credo neu gyffes ffydd, wedi ei roddi i'r wir athrawiaeth? Ni ddywedir yma. Ystyrrir yr "holl bethau a ddywedwyd o'r blaen," gan gyfeirio at y deg pennod cyntaf o'r Didache fel crynhodeb o'r wir athrawiaeth. Ac eto ni chynnwys y rheiny amgen na rhyw "adlais gwan o'r tair Efengyl gyntaf, a dim ond rhan o'r rheiny; gydag eithrio ryw ychydig o gyfeiriadau amwys, anwybyddir dysgeidiaeth gyfoethog Ioan a Phaul" (Schaff. tudal. 22). Cesglir oddiwrth hyn na wyddai yr awdwr, ac felly yr eglwys lle yr oedd yn byw, a'r cylch lle yr oedd yn troi, ddim am ysgrifeniadau Paul, Ioan, Pedr, nac Iago; ac nid yw yn rhoddi rhyw brawf eglur iawn ei fod yn gwybod am yr oll o'r tair Efengyl gyntaf.

Feallai fod yr awdwr yn fwy tebyg ei ysbryd i'r apostolion. Nid apelio byddent hwy at "reol gair Duw" yn gyntaf; eithr at y buddioldeb er adeiladu. Yr oedd Paul yn foddlon i "ysbrydoliaeth" pob ysgrythyr gael ei phrofi wrth y maen prawf hwn (2 Tim. iii. 16, 17). Y rheol a roddir i lawr yma yw, "i ychwanegu at gyfiawnder a gwybodaeth yr Arglwydd;" ac wrth gwrs, nid yw hyn yn "dymchwelyd" yr hyn a ddysgwyd yn y deg pennod cyntaf o'r Didache. Mae y gair a gyfieithir yma "dymchwelyd," i'w gael yn y Testament Newydd amryw weithiau, a thair gwaith mewn ystyr gyfagos i'r un a roddir iddo yma (Act. v. 38, "ddiddymir"; Rhuf. xiv. 20, "dinystrio"; Mat. v. 17, "torri"). Ni chawn y gair am "ychwanegu" yn y cysylltiad hwn yn y Testament Newydd. Ceir ef unwaith mewn ystyr gyfagos (Luc xvii. 5, "anghwanega"). Ceir "cyfiawnder" a "gwybodaeth" ar wahân yn aml yn yr un ystyr, ond hyd y gwelais, nid unwaith gyda'u gilydd. Yn Eph. v. 9, cawn "a chyfiawnder a gwirionedd." Er hynny mae swn digon Beiblaidd yn y frawddeg; a rhydd Ioan gyfarwyddid i ymddwyn yn gyffelyb tuag at athrawon gau (2 Ioan 8—10). Ac yn unol â'r cyfarwyddyd hwn, yr ymddygodd yr Ephesiaid—ymhlith y rhai y bu Ioan yn byw am gymaint amser yn ol tystiolaeth Ignatius yn ei epistol at yr Ephesiaid (ix. 1)—pan y daeth gau athrawon i'w plith.

Yr oedd pob swyddog oedd yn ymgymeryd a dysgu, i'w brofi wrth y rheol hon. Ar ol ei gosod i lawr symudir ymlaen at y gwahannol swyddogaethau, gan gymeryd y dosbarth symudol i ddechreu.

Cyplysir yr apostolion a'r proffwydi ynghyd fel rhai ag y ceir cyfarwyddyd (xi. 3) yn yr Efengyl pa fodd i ymddwyn tuag atynt. Gallai fod yr awdwr yn cyfeirio at hanes Iesu Grist yn anfon y Deuddeg a'r Deg a Thrigain, fel ei ceir ym Mat. x., 5—12, 40—42; Luc ix. 1—6; x. 4—21. Dyma'r unig fan yn y Didache lle y digwydd y cyplysiad hwn. Cawn y proffwydi a'r athrawon wedi eu cyplysu ddwy waith (xv., 1 2), ac y mae yr unig sylw a wneir am yr athraw, yn cael ei wneyd rhwng

cromfachau ynghanol yr ymdriniaeth am y proffwyd. O'r tri dosbarth, hawdd gweled mai y proffwyd sydd yn llenwi y lle pwysicaf. Enwir y proffwyd bymtheg o weithiau, tra nad enwir yr apostol a'r athraw ond tair gwaith bob un. Rhoddir i'r proffwyd dan yr oruchwyliaeth newydd le yr Archoffeiriad dan yr hen (xiii. 3) a threfnir ar gyfer eu cynnal pan ddewisant ymsefydlu mewn un lle (xiii. 1), trwy "ddeddf y blaenffrwyth" (xiii. 3 —7). Hwynthwy hefyd oedd i arwain gwasanaeth y Cymun, a chanddynt ryddid i weddio heb ffurf-wasanaeth (x. 7).

Mae yn anhawdd gwneyd allan beth oedd gwaith yr apostolion. Os sefydlu eglwysi, nis gallent wneyd hynny mewn un na dau ddiwrnod; ac nis gallasent aros dri diwrnod yn yr un fan (xi. 5). Gallai mai fel cenhadon yn ymweled â'r eglwysi yn barhaus, yr edrychid arnynt; yr oedd hynny yn dra angenrheidiol er cadw yn fyw yr ysbryd cenhadol yn yr eglwysi. Yr oedd ganddynt hawl i'w cynhaliaeth yn unig (xi. 6), ond ni chrybwyllir unrhyw drefniad penodol ar gyfer hyn. Hawdd gweled oddiwrth hyn, nad y Deuddeg Apostol a feddylir, ac felly fod y gair apostolion yn meddu ystyr wahanol i'r un arferir roddi iddo.

Y proffwydi yw archoffeiriaid yr oruchwyliaeth newydd (xiii. 3). Cyffelyb y dywed Polycrates o Smyrna yn ei lythyr (O.C. 190) at Victor o Rufain am yr apostol Ioan: "Eto am Ioan, yr hwn a bwysai ar fynwes yr Arglwydd, ac fel offeiriad a wisgai ddalen aur (Exod. xxviii. 36, 37; xxix. 30, 31) ar ei dalcen." (Routh. Rel. Sac. ii. 14). Ac yr oedd iddynt ryddid i weddio heb fod yn gaeth i unrhyw ffurf-weddi yng ngwasanaeth y Cymun (x. 7). Yr oedd ganddynt hawl foesol i'w cynhaliaeth fel gweithwyr yng ngwinllan Duw (gwel. Mat. x. 10; Luc x. 7; a chm. 1 Co. ix. 13); ac fel "archoffeiriaid" yr oedd eisoes orchymyn (xiii. 5, 7) mewn bod am i'r blaenffrwyth gael ei roddi i'w cynnal yn yr Hen Destament. Yr oedd degwm hefyd; ond yma ni sonir am hynny. Eto nid fel gorfodaeth y gorchymynnir hyn, eithr o wirfodd (xiii. 7; "fel y gweli yn dda," Schaff).

Mae'n amlwg oddiwrth y trefniad hwn, na ddisgwylid i'r proffwyd fyw fel meudwy, megis Ioan Fedyddiwr (Mat. xi. 18, 19; Luc xvi. 33, 34). Caent fwrdd da a helaethwych (xiii. 3, 5—7); eithr cofier mai trefniad ar eu cyfer pan yn ymsefydlu mewn un eglwys oedd hwn. Pan y byddent yn teithio o'r naill le i'r llall, yr oeddynt yn naturiol yn byw dan yr un amodau â'r apostolion. O'r hyn lleiaf, felly y buasem yn casglu. Trefniadau ar gyfer taith oedd y gorchmynion a roddodd Iesu Grist i'r Deuddeg a'r Deg a Thrigain, ac nid rheolau byw parhaus. Nid oedd Efe yn rhestru ei Hun ymhlith y meudwyon (Mat. xi. 18, 19); mwy na'r apostol Paul (Rhuf. xiv. 20; Tit. i. 15; 1 Co. viii. 8); ac mae'n ddiameu, pe rhoisai i lawr unrhyw reol gyffredinol, y cytunasai â hen air cryf synwyr cyffredin, "arfer heb gam-arfer," a rheol Paul yn 1 Co. x. 31. Yr oedd y blaenffrwyth i gyd i fynd at gynnal y proffwyd, os byddai un; os amgen, i'r tlodion. Ni ymddengys bod yr awdwr wedi meddwl am y cwestiwn, beth pe bai y blaenffrwyth yn fwy na digon i'w gynnal? Feallai nad oedd berygl o hynny, mwy na gyda chasgliad misol at y weinidogaeth. O'r ochr arall, y pechod parod i amgylchu y proffwydi oedd gloddest (xi. 9) ac ariangarwch (xi. 12).

Ymddengys fod eu gwaith yn ddwy ran: "llefaru yn yr ysbryd" (xi. 7, 8, 9, 12); a "dysgu'r gwirionedd" (xi. 10).

Pan yn "llefaru yn yr ysbryd," gwaherddir "temtio a beirniadu" y proffwyd; ac â'r gwaharddiad, cysylltir fel math o fygythiad eiriau a

lefarwyd; gan Iesu Grist am bechod yn erbyn yr Ysbryd Glân (Mat. xii. 31; Marc iii. 28; Luc xvi. 10). Cyn belled ag y mae beirniadu yn myrd, mae y Didache yn groes i ddysgeidiaeth Paul ac Ioan, ac hefyd iddo ei hun. Yn ol Paul, mae barnu ar bethau ysbrydol (1 Cor. ii. 13—15); ac y mae yn waith mor bwysig fel yr oedd y ddawn i "wahaniaethu ysbrydoedd," yn un o'r bendithion neillduol i'r eglwys gyntefig (1 Cor. xii. 4, 10). Yn 1 Cor. xiv. 29, gorchmynna Paul farnu y proffwydi; ac ystyr gyffelyb sydd i'w eiriau yn 1 Thes. v. 20—21, gan fod cysylltiad agos rhwng y ddwy adnod. I'r un perwyl, dywed Ioan yn ei epistol cyntaf: "Na chredwch bob ysbryd, eithr profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent." Gwelai Ioan fod "ysbryd y cyfeiliorni" (iv. 6) yn fyw yn yr eglwys yn ystod y dengmlwydd olaf o'r ganrif gyntaf, megis ag y canfyddasai Paul fod "dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes" hyd yn oed yn y pumed dengmlwydd o'r un ganrif (2 Thesol. ii. 7). A dysgai Iesu Grist fod yn rhaid i'w ddisgyblion fod yn "gall fel y seirff" i adnabod y cywir a'r gwirionedd, er mai nodwedd bennaf eu bywyd, fel ei ddilynwyr Ef, oedd bod yn "ddiniwed fel y colomennod."

Yn xi. 7, gwaherddir beirniadu proffwydi pan yn "llefaru yn yr ysbryd;" eithr yn yr adnodau dilynol enwir egwyddor a dwy esiampl trwy gymorth pa rai y gellir adnabod y gwir a'r gau. Onid yw hyn yn tybio eu beirniadu?

Ceisia Dr. Harnack (i. t. 43) esbonio'r anghysondeb trwy ddweyd fod "proffwyd" heb yr un ansoddair o'i flaen, yn golygu gwir broffwyd, un wedi "ei brofi yn gywir" (xi. 11). Gall fod sail i hyn yn xi. 11, lle y ceir engraifft o hyn, "y gau broffwyd a'r proffwyd;" eto tybir yn angenrheidiol dweyd "gwir broffwyd" yn xiii. 1, "pob gwir broffwyd." Os yw tybiaeth Dr. Harnack yn gywir, gellid ychwanegu un ystyriaeth arall: mae y cyplysiad "temtio a beirniadu" yn edrych yn debyg iawn i'r hyn a elwir yn *hendiadys*. Gall felly olygu temtio trwy feirniadu. Cymharer â hyn y lliaws mannau lle y dywedir fod yr Iuddewon yn temtio Iesu Grist trwy ofyn cwestiynau iddo (Mat. xxii. 17—18, &c.). Ystyr y gwaharddiad gan hynny fuasai, Peidiwch a'i groesholi a'i feirniadu er ei roddi mewn magl, gan mai "llefaru yn yr ysbryd" y mae, a gallai nad all roddi rheswm am bob peth a lefara pan yn yr ystad honno.

Ceisia ereill ddwyn hyn fel prawf fod ol llaw mwy nag un awdwr yn ffurfio y Didache. Felly tybiai Dr. Salmon yn ei Ragarweiniad i'r Testament Newydd. Gallai fod hyn yn wir; eto hyd y gwelaf, mae y tebygolrwydd cryfaf yn ei erbyn.

Rhoddir i lawr egwyddor a dwy esiampl trwy gymorth y rhai y gellir adnabod gau broffwyd. Tybir fod y ddwy esiampl yn rhai o'r ffyrdd y byddai y gau broffwydi yn twyllo yr eglwys. Gallai proffwyd tra yn "llefaru yn yr ysbryd" erchi gwledd i'r tlodion, neu arian i'r anghenus, ond nid iddo ei hun; os amgen gau broffwyd yw. Os gorchymyn wledd neu arian iddo ei hun, rhaid ei fod yn hunanymwybodol; ac os yn hunanymwybodol, yna nid yw "yn yr ysbryd;" ac yna nid yw ei orchymynion yn hawlio ufudd-dod; gau ydyw y proffwyd. Tybiaf mai dyna yw rhesymeg y pwnc; ac os felly, arweinir ni i'r casgliad fod yr awdwr yn golygu fod y sawl sydd "yn yr ysbryd" dan ddylanwad cyfangwbl yr ysbryd, heb un reolaeth arno ei hun,—h.y. mewn ystad o lewyg. Nid yw hyn yn beth dieithr yn y Testament Newydd. Bu Pedr

felly yn nhy Cornelius (Act. x. 10; xi. 5), a Phaul yn y deml (Act. xxii. 17); a bernir gan esbonwyr galluog mai felly yr oedd Ioan pan oedd "yn yr ysbryd" (Dat. i. 10; iv. 2; xxi. 10) yn ynys Patmos. Meddai Ebrard: "Yr oedd y cysylltiad rhwng y byd oddiallan a'r enaid trwy gyfrwng y synhwyrau corfforol wedi ei dorri, tra yr oedd y cysylltiad rhyngddo a'r byd anweledig yn parhau."

Eto amlwg yw fod yr ysbryd yn defnyddio meddwl ac ymadrodd y proffwydi; yr oedd y geiriau a ddywedai yn ddealladwy i bwy bynnag fyddai yn gwrando. Nid oedd angen un cyfieithydd (1 Cor. xii. 10) fel gyda thafodau. "Eithr yr hwn sydd yn proffwydo, sydd yn llefaru wrth ddynion er adeiladaeth, a chyngor, a chysur" (1 Cor. xiv. 3—5). Ac mae'n amlwg yr ystyrrid gofalu am y tlawd a'r anghenus fel gwaith y gwr oedd dan lywodraeth Ysbryd y gras.

Esiamplau yw y rhai hyn er ddangos beth feddyliai yr awdwr wrth osod i lawr yr egwyddor fod pob gwir broffwyd yn "meddu cymeriad yr Arglwydd." Ni cheir yr ymadrodd hwn yn y Testament Newydd. Ceir y gair a gyfieithir yma "cymeriad" yn Heb. xiii. 5, gyda hyn o wahaniaeth, ei fod yno yn y rhif unigol, yma llïosog. Mae'r syniad yn eithaf ysgrythyrol, ac yn adsain o ddysgeidiaeth Iesu Grist (Mat. vii. 15, 16, 22, 23). Dyma fel y dysgir gan Hermas (M. xi. 7: "Pa fodd ynte" meddwn innau, "y gallaf wybod pwy yw y proffwyd, a phwy yw y gau?" "Clyw," meddai yntau, "fel y dywedaf wrthyt, felly y profi hwynt. Wrth ei fywyd y profi y gwr ag y mae Ysbryd Duw ganddo.', Eithriad yw i Dduw roddi proffwydoliaeth i ryw Balaam. Y rheol yw "dynion sanctaidd" yn llefaru "dan ddylanwad yr Ysbryd Glan'; (2 Ped. i. 21).

Gwaith arall o eiddo'r proffwyd oedd "dysgu'r gwirionedd" (xi. 10). Nid bob amser y byddai mewn llewyg dan ddylanwad yr ysbryd; a chan fod ei holl amser i'w roddi i'w waith, nid buddiol fuasai gwastraffu yr amser pan y byddai hebddo. Dyna'r pryd, mi dybiaf, y byddai y proffwyd yn "dysgu." Mae'r dybiaeth yn llawer mwy cryf yn yr achosion hynny y byddai proffwyd yn gweled yn dda ymsefydlu mewn eglwys. A bod yn fanwl, nid gwaith y proffwydi fel y cyfryw oedd hwn, ond gwaith priodol yr athrawon; ond gyda hyn o eithriad, feallai: fod gan y proffwyd, ar ol rhoddi prawf o i gywirdeb, ryddid i ddysgu y gwirionedd mewn ffordd neillduol,—"a wna gynulliadau er dirgelwch bydol." Gyda gwylder y dylid ymdrin â'r frawddeg hon, gan fod nifer o ddoctoriaid yn methu cytuno beth yw ei hystyr. Anhawdd peidio credu fod rhyw fath o gysylltiad rhwng gweithred y proffwyd y cyfeirir ati yma, a'i waith yn "dysgu'r gwirionedd." Dywed Harnack fod adn. 10 yn cynnwys prawf o'r gwir broffwyd, a'r adn. 11 yn ei amddiffyn. Pe buasai yn dweyd amddiffyn ei ffordd neillduol o ddysgu'r gwir, buasai mwy o reswm tros y golygiad. Myn ef mai amddiffyn meudwyaeth y proffwyd y mae; ond, meddai Dr. Schaff, a hynny yn hollol gywir: "Nid bywyd dibrïod meudwy a olyga Paul wrth y dirgelwch mawr (h.y. yn Eph. v. 32), eithr prïodas, neu yn hytrach undeb Crist â'i eglwys." Rhaid gofyn, pa fodd bynnag, beth a feddylir wrth "wneyd cynulliadau er dirgelwch bydol"?—gan nad yw yr ymadrodd yn cyfleu syniad cyflawn na chlir.

Yr unig help oddiwrth y cyd-destyn, a geir yn y frawddeg: "Canys yr hen broffwydi hefyd a wnaethant yr un modd."

Cyfarfyddwn yn y frawddeg hon ag un anhawster; pwy a olygir wrth yr "hen broffwydi?" Proffwydi y Testament Newydd, ynte yr Hen Destament? Perthynai i'r Testament Newydd y proffwydi Agabus (Act. xi. 38; xxi. 10, 11), Barnabas, Simon Niger, Lucius o Cyrene, Manäen, a Saul (Act. xiii. 1—4); a phedair merch Phylip yr Efengylwr (Act. xxi. 9; cym. 1 Cor. xi. 4; xiv. 34; 1 Tim. ii. 11, 12). Mae proffwydi yr Hen Destament yn wybyddus i bawb. Barna Dr. Harnack mai y cyntaf a feddylir; tra y myn Dr. Schaff mai yr olaf. Pa un bynnag, mae'n dra thebyg fod proffwydi y Testament Newydd wedi cadw i fyny draddodiadau proffwydi yr Hen, cyn belled ag yr oedd hynny yn gyson â'r Efengyl. Beth oedd hwn yw y cwestiwn. Rwy'n methu gweled mai bywyd dibiïod oedd, er gwaethaf ymdrech Dr. Harnack i brofi hynny oddiwrth olygiadau y tadau (i. 44—46). Nid oedd meudwyaeth yn rheol gan, nac yn cael ei orchymyn i broffwydi yr hen amser gynt, pa un bynnag ai o dan yr hen oruchwyliaeth ai o dan y newydd yr oeddynt yn byw. Eto yr wyf yn methu gweled nad oedd a fynno y weithred y cyfeirir ati yma â ffordd y proffwyd o ddysgu'r gwir. Os felly, golyga y gweithredoedd arwyddluniol a gyflawnid gan y proffwydi, pan fyddai ganddynt ryw wirionedd tra phwysig neu anhawdd i'w egluro; mewn gair yr actio, trwy gymorth yr hwn yr eglurai y proffwyd ei genadwri. Am engreifftiau gwel Es. xx. 2; Jer. xix.; Esec. iv., v., xii., xxv.; Amos xii. 10. Hwyrach nad ynglyn â'r hyn y cyfeirir ato yma y mae y gwahaniaeth barn mwyaf. Yn y diwedd cytuna'r mwyafrif mai at y proffwydi yn actio y cyfeirir. Yr unig eithriadau pwysig yw Dr. Harnack a Dr. Hilgenfield. Ceir yr anhawster mwyaf ynglyn â chyfieithu y frawddeg. Amhosibl fyddai traethu ar hyn gydag unrhyw fuddioldeb, heb dybio fod holl ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn medru Groeg. Gallaf ddweyd fod yn well gen i ddeall fel hyn: Pob proffwyd wedi y profer ef yn gywir, os gwna rywbeth er dangos dirgelwch a berthyn i'r eglwys yn y byd, ac heb ddysgu i ereill wneuthur hynny, na farner ef gennych chwi. Cydrhwng y proffwyd a Duw am weddeidd-dra a phriodoldeb ei actio. Felly y gwnaeth proffwydi yr hen amser gynt; ac yr oeddynt yn gymeradwy. Mae'r un rhyddid i'r proffwydi yn awr. —Nid oes yma sail i'r dybiaeth y gallasai y proffwyd ddymuno cyfarwyddo ereill i wneyd yr un peth ag ef ei hun.

I ba raddau yr oedd y proffwyd yn llywodraethwr yn yr Eglwys ni wyddis. Os efe oedd archoffeiriad y Testament Newydd, ac felly os gallai weddio heb fod yn gaeth i ffurf ar wasanaeth y Cymun, gallem gasglu mai efe oedd y llywydd yn y gwasanaeth hwnnw. Yn rhinwedd ei safle, gallai yn hawdd fod yn llywyddu ymhob gwasanaeth. Amlwg yw fod gofal am y tlawd a'r anghenus yn syrthio i'w ran, a gallai "pan yn llefaru yn yr ysbryd" orchymyn gwledd i'r tlawd ac arian i'r anghenus; ac mi dybiwn y disgwylid i'r eglwys ufuddhau i'r gorchymyn pan ei rhoddid.

Cyplysir y proffwydi a'r athrawon ddwy waith yn y Didache—sef xv. 1, 2; a hynny yn y fath fodd fel ag i awgrymu fod y ddau ddosbarth gyda'u gilydd. Gwelsom gyplysu yr apostolion a'r proffwydi yn xi. 3. Tybir mai y rheswm dros y cwpl olaf yw, fod y ddau ddosbarth yn cael eu crybwyll yn yr Efengyl, a bod cyfarwyddyd tuag at eu cynnal i'w cael yno, tra na chrybwyllir am yr athrawon. Y rheswm tros y cwpl cyntaf yw fod amcan cyffelyb i'w gwaith. Sefydlu eglwysi a syrthiai i

ran yr apostolion, neu ymweled yn achlysurol â hwy. Adeiladu a meithrin yr eglwysi oedd dyledswydd y proffwydi a'r athrawon. Sylwyd eisoes y gallai y proffwydi fod yn gwneyd gwaith yr athrawon,—"dysgu'r gwirionedd" yn syml, yn gystal â defnyddio gweithredoedd arwyddluniol i egluro eu cenadwri. Cyplysir y proffwydi a'r athrawon yn xiii. 1.

Am yr athrawon, un adnod yn unig a roddir iddynt hwy yn yr holl lyfr (xiii 2.), ac yn honno dywedir fod pob gwir athraw yn deilwng o'i gynhaliaeth fel y gweithiwr (Mat. x. 10),—h. y., mi dybiwn, os yw yn ymsefydlu mewn eglwys i'w gwasanaethu. Ni roddir i lawr unrhyw reol i wahanu y gwir oddiwrth y gauathrawon. Mae'n debyg mai'r unig reol gymhwysiadwy yw yr hon a roddir i brofi cywirdeb y proffwyd pan yn "dysgu'r gwirionedd" (xi. 10). Pan eu ceid yn gywir, yr oeddynt ymhlith y dosbarth anrhydeddus (xv. 2) yn yr eglwys, ac yr oedd eu gwasanaeth yn "weinidogaeth" *(leitourgia)*.

Perthynai yr apostolion, y proffwydi, a'r athrawon i'r dosbarth symudol o'r swyddogion. Gallai yr apostolion aros dau, ond nid mwy na dau ddiwrnod yn yr un eglwys; eithr yr oedd natur gwaith y proffwydi a'r athrawon yn galw am arhosiad gweddol o ran hyd. Nid mewn undydd unnos y gellir adeiladu eglwys. Ni ddwedir y gallent aros yn yr un eglwys am eu hoes, na'u bod wedi eu hethol gan unrhyw eglwys neu eglwysi i'w swydd; ac ni chrybwyllir mewn un modd am eu hordeiniad i'w swydd. Nid ymddengys fod gan yr eglwysi unrhyw awdurdod arnynt oddi eithr i ymwrthod â hwy oni byddent yn dysgu y wir athrawiaeth ac yn bucheddu yn unol â honno.

Eithr nid felly am y swyddogion lleol,—yr esgobion a'r diaconiaid. Etholid hwy trwy "godiad dwylaw" (xv. 1); o'r hyn lleiaf, dyna ystyr wreiddiol ac ystyr fwyaf arferol y gair geir yma *(cheirotoneō*, "ordeiniwch.") Dwy waith yn unig y ceir ef yn y Testament Newydd (Act. xiv. 23; 2 Cor. viii. 29), oddigerth ein bod yn barod i gynnwys dwywaith ereill yn yr olysgrifau i 2 Tim. a Thitus (2 Tim. iv. 23; Tit. iii. 15) Credir gan bawb nad dilys y ddwy ddiweddaf; os felly, dwy engraifft yn unig geir. Nid yw y ddwy hyn yn cytuno yn dda; yn 2 Cor. viii. 29, hawdd gweled y gall olygu dewis gan yr eglwysi, er fod pa fodd y dewisid yn aneglur; eithr yn yr Act. xiv. 23, nid Paul a Barnabas oedd yn "dewis." Eir dros yr anhawster hwn yn y Cyfieithiad Cymraeg trwy ddarllen "ordeinio;" felly hefyd yn y Saesneg. Ond "ordain," ac ' appoint" yn y Diwygiedig. Ond rhaid cydnabod fod gwahaniaeth rhwng dewis ac ordeinio; onide, awn i ddryswch ar unwaith, ac nid hawdd gweled beth sydd yn cyfiawnhau darllen "appoint."

Ceir engreifftiau mewn llenyddiaeth eglwysig ddiweddarach o'r gair yn cael ei ddefnyddio yn yr un ystyr a'r un cysylltiad,—gwel epistolau Ignatius at eglwys Philadelphia (x. 1), a Smyrna (xi. 2), ac at Polycarp (vii. 2). Yn ddiweddarach, daeth y gair i olygu "ordeinio": megis yng Nghanonau yr Apostolion i., lle y dywedir, "ordeinier esgob gan ddau neu dri o esgobion"; ac yn yr ii. o'r un llyfr: "ordeinier presbyter neu ddiacon, a'r gweddill o'r clerigwyr, gan un esgob." Gwel hefyd Drefniadau yr Apostolion viii. 4, 5, a mannau ereill. Dyma y rheswm paham y ceir y gair "rhag-ordeinio" (Act. xxii. 14), yn lle y gair "dewis trwy godi dwylaw" yn y seithfed llyfr o'r un gwaith, a'r unfed bennod ar ddeg ar hugain. Wrth

ystyried hyn oll, ynghyda'r ffaith y gorchymynnir ethol yr esgobion gan yr eglwys ei hun, nid oes dim yn erbyn darllen yma "dewiswch."

Cwestiwn pellach yw, ai trwy godiad dwylaw y gwneid hyn; ac nis gellir ei ateb. Nis gwyddom ai trwy godiad dwylaw y dewiswyd y "brawd" gan yr eglwysi i fod yn gydymaith i Titus, i ofalu am y casgliad yn eglwysi Macedonia. Os yr eglwysi oedd yn ei "ddewis," pa nifer o honynt? Pa fodd y gwnaethant, pob eglwys yn dewis, ynte'r henuriaid yn dewis trosti? A llu o gwestiynau ereill ellid ofyn, ond y rhaid i ni foddloni ar fod mewn anwybodaeth yn eu cylch. Mae gennym hanes gweddol fanwl am ddau etholiad yn y Testament Newydd, — etholiad Matthias i fod yn apostol (Act i. 15—26), a'r "saith" i "wasanaethu byrddau" (Act. vi. 1—8). O bosibl fod yr eglwys i gyd yn dewis "dau" ac yn eu "gosod ger bron" (23). Pa sut y dewisasant, a phaham ddau, ni ddywedir. Hyn sydd sicr: nid trwy ddewisiad yr etholwyd un o'r ddau; rhyw fath o dynnu *lots* ydoedd. Nid oes gennym hanes yr eglwys byth ar ol hynny yn mabwysiadu'r un ffordd o ethol, nac unrhyw le i gredu fod yr Ysbryd Glan yn y dyddiau hynny, mwy nag yn y dyddiau hyn, yn edrych ar ol "bwrw coelbren." Mae y cwestiwn eto yn agored, ai nid camgymeriad oedd etholiad Matthias. Nid cynllun i'w efelychu oedd nac yw hwn. Wrth droi i hanes yr etholiad arall, cawn ddigon o brofion mai yr eglwys oedd yn dewis y "saith," heb gyfarwyddyd yr apostolion (Act. vi. 3). Yr oedd yr eglwys yn llawen yn ymgymeryd â'r gwaith,—nid yr ychydig ond y lliaws (vi. 5); "a hwy a etholasant" y saith, ac a'u "gosodasant hwy ger bron yr apostolion" i'w hordeinio (vi. 6). Eithr nid oes un awgrymiad yn y gair a gyfieithir yma "etholasant," am y dull y cerrid yr etholiad ymlaen. Gallai mai trwy godiad dwylaw; a gallai mai trwy ryw ffordd arall. Mae'n debyg eu bod yn gwneyd yn y ffordd fwyaf hwylus ac effeithiol; ond nid oes gennym unrhyw grybwylliad am unrhyw ffordd fwy ysbrydoledig na'i gilydd i wneyd hyn o waith.

Yr ydym, gan hynny, yn rhydd i farnu ynghylch yr ethol y sonnir am dano yma. Os codi dwylaw neu ryw ffordd arall oedd y fwyaf arferol neu hwylus i ddewis esgobion a diaconiaid, yr oedd yr eglwysi at eu rhyddid yn hynny; a chanddynt hwy, a hwy yn unig, yr oedd hawl i ddewis esgobion a diaconiaid, a hynny trwy etholiad cyhoeddus yn yr hwn yr oedd gan bob aelod hawl i bleidleisio. Ni sonnir yma am fwyafrif mawr na bach; ni thybir y gallai fod unrhyw anghydwelediad am y peth.

Hwyrach mai nid y peth y pwysir mwyaf arno yw, ar iddynt ethol; nac ychwaith ar iddynt ethol esgobion a diaconiaid; eithr ar iddynt ethol rhai "teilwng o'r Arglwydd." Mae'n debyg fod ethol yn beth mor arferol yn yr eglwysi fel nad oedd eisieu ei orchymyn; tra y mae'n bwysig bob amser fod y rhai a etholir yn "deilwng o'r Arglwydd."

Rhaid mynd heibio un ffaith gyda'i nodi yn unig yn y fan hon: ni enwir henuriaid yma, eithr "esgobion a diaconiaid," fel yn yr Epistol at y Philippiaid (i. 1). Ceir gweled y rheswm am hyn yn eglur pan y ceisir olrain cysylltiad dysgeidiaeth y Didache â'r Testament Newydd. Mae'n debyg mai am eu bod yn cyflawni yr un gwaith mawr y rhoddir yr esgobion a'r diaconiaid yn yr un dosbarth. Yr oedd y ddau ddosbarth ymhlith yr "aelodau anrhydeddus" yn yr eglwys, a chyda'u gilydd yn cyflawni "gwasanaeth" y "proffwydi a'r athrawon" i'r eglwysi. Yr oeddynt i feddu yr un cymhwysterau. Adeiladu yr

eglwys oedd eu gwaith; ac adeiladu yr un eglwys yn yr hon yr oeddynt yn aelodau, a chan yr hon y dewiswyd hwy. Credwn nad yw yn bosibl mynd can belled a Dr. Harnack a Dr. Hatch ynglyn â'r mater hwn, sef nad oedd y gwaith mawr wedi ei ddosrannu yn rhannau eto, ac fod swydd esgob a diacon mewn gwirionedd yr un; credaf, fodd bynnag, nad oes sail ddigonol i'r casgliad yn y Didache. Yr oedd yn rhaid i'r ddau ddosbarth fod yn "deilwng o'r Arglwydd;" ac enwir pedair nodwedd fawr—a dim ond pedair allan o liaws mawr allesid enwi—oedd yn rhaid i'r ddau ddosbarth eu meddu, y naill yn gystal a'r llall.

Y pedair nodwedd a enwir ydynt: addfwyn, diariangar, geirwir, a phrofedig. Cawn yr apostol Paul mewn dau fan yn arbennig yn enwi cymhwysterau esgob a diacon,—1 Tim. iii. 2—7; Tit. i. 5—9. Nid yw "addfwyn" yn un o'r mannau hyn. Yr agosaf ato yw "yn dirion" (1 Tim. iii. 3), yr un gair ag a gyfieithir "cyweithas" yn 1 Petr ii. 18; "boneddigaidd" yn Iago iii. 17; a "thirion" yn Tit. iii. 2. Dyma yr unig fannau y ceir y gair hwn yn y ffurf hon yn y Testament Newydd. Ceir enw wedi ei ffurfio o hono yn Phil. iv. 5, a chyfieithir ef yn "arafwch." Ceir enw arall wedi ei ffurfio o hono mewn dau le yn y Testament Newydd, a chyfieithir ef "hynawsedd" bob tro (Act. xxiv. 4; 2 Cor. x. 1). Barna Dr. Lightfoot mai "goddefgarwch" tuag at gyd-ddyn yw ei ystyr (gwel ar Phil. iv. 5). Yr oedd hynny yn nodwedd fawr yng nghymeriad Iesu Grist (Heb. xii. 3). Er hynny mae rhyw radd o wahaniaeth rhwng ystyr y ddau air, fel y gallem gasglu oddiwrth Tit. iii. 2, a 2 Cor. x. 1. Pa mor fychan bynnag yw, mae o bwys sylwi arno, gan fod Dr. Harnack yn gwneuthur defnydd pwysig o'r gair "addfwyn" (tudal. 57). Y cwestiwn i'w benderfynu yw: a ydyw yn golygu addfwynder tuag at Dduw, ynte tuag at ddyn, ynte tuag at Dduw a dyn? Yn y Testament Newydd ceir y gair "addfwyn" bedair gwaith;* a'r gair "addfwynder" ddeuddeg gwaith.† Mewn rhai engreifftiau mae'n eglur ddigon mai addfwyn tuag at ddyn a olygir (1 Cor. iv. 21; Gal. vi. 1; 2 Tim. ii. 25; Tit. iii. 2; 1 Petr iii. 15). Mewn mannau ereill mae'r cyfeiriad at Dduw yn fwy neu lai eglur (Gal. v. 22; Eph. iv. 2; Col. iii. 12—Ellicott; 1 Tim. vi. 11; Iag. i. 21). Mewn ereill drachefn, mae yn anhawdd dweyd pa un ai at Dduw ai at ddyn y cyfeirir; feallai at Dduw a dyn (Mat. v. 5; xi. 29; xxi. 5; 1 Pet. iii. 4; 2 Cor. x. 1; Iag. iii. 13). Y casgliad naturiol oddiwrth hyn yw, y gall y gair "addfwyn," o'i ran ei hun, gyfeirio at Dduw neu at ddyn; a dywed Estius am "addfwynder," o'i gymharu ag "hynawsedd" (2 Cor. x. 1), fod y cyntaf yn disgrifio ystad yr ysbryd sydd yn cael ei arddangos trwy yr olaf. Cyffelyb yw esboniad Bengel ar yr un ymadroddion. Disgrifia "addfwynder" y rhinwedd ar ei ben ei hun, fel ystad y meddwl, neu o ran ei hanfod (*magis absoluta*); tra y disgrifia "hynawsedd" yr un ystad meddwl yn ei pherthynas ag ereill (*ad alios*).

Waeth heb ychwanegu tystiolaethau ar y pen hwn. Digon hyn i ddangos y gall y gair ddisgrifio "addfwynder" (1) o ran ei hanfod, neu (2) ei ymddanghosiad, pa un bynnag ai tuag at Dduw, ynte tuag at ddyn. Yn ol Dr. Harnack yr ystyr olaf yw yr un y rhoddir pwys arni

* Hynny yw, gair Groeg a gyfieithir "addfwyn," ac "addfwynder." Gwel Mat. v. 5; xi. 29; xxi. 5; 1 Pd. iii. 4.

† Gwel 1 Cor. iv. 21; 2 Cor. v. 1; Gal. v. 22; vi. 1; Eph. iv. 2: Col. iii. 12; 1 Tim. vi. 11—addfwyndra; 2 Tim. ii. 25; Tit. iii. 2; Iag. ii. 21; iii. 13—"mwyneidd-dra; 1 Pd. iii. 15.

yma. Gwasanaethu byrddau, medd ef, oedd gwaith yr esgobion a'r diaconiaid ar y dechreu; ac o bawb, rhaid i'r gwr sydd yn gofalu am y tlodion feddu addfwynder. Mor anfynych y cyfarfyddir â *relieving officer* addfwyn! Ond dyna'r cwestiwn: ai gwasanaethu byrddau oedd gwaith cyntaf yr esgobion a'r diaconiaid? Nid yw y Didache yn ffafr y dybiaeth yna mwy na rhyw dybiaeth arall. Hwyrach y caf ddychwelyd at y cwestiwn ryw dro eto.

Yr ail nodwedd a nodir yw "di-ariangar." Ceir hon yn y rhestr o rinweddau esgob a roddir yn 1 Tim. iii. 3. Yr unig fan arall yn y Testament Newydd y ceir y gair yw Heb. xiii. 5, lle yr anogir pawb, esgob neu beidio, i feddu ymarweddiad "di-ariangar." "Nid yn budr-elwa" yw yr agosaf ei ystyr i hwn a geir yn rhestr y rhinweddau yn Titus (i. 7.) Nid yw hwn i fod yn 1 Tim. iii. 3, er y ceir ef yn y Cyfieithiad Cymraeg. Mae yr un gwahaniaeth rhwng ariangar a budr-elwa, ag sydd rhwng cybydd a gambler. Gall enillion cybydd fod yn berffaith onest, er ei fod yn eu cadw yn dra gofalus; *nid* yw y gambler yn hidio ffordd y ca yr arian, pa un bynnag a yw yn ofalus am eu cadw wedi eu cael ai peidio.

Y drydedd nodwedd yw "geirwiredd." Ni enwir hon yn un o'r rhestrau geir yn llythyrau Paul. Mae yn ddyledswydd ar bawb o'r saint (Eph. iv. 25; 1 Ioan i. 8; cm. Diar. xii. 17; Zech. viii. 16). Pa reswm oedd dros ei henwi yma, mwy na ryw nodwedd arall, nis gwyddom. Ychwanega at y tair, nodwedd arall, sydd yn eu cynnwys hwy ac ychwaneg,—"profedig," h.y., rhai sydd wedi dal "tân y prawf" (xvi. 5; gwel 1 Petr. iv. 12). Cynghora Paul brofi y diaconiaid "yn gyntaf; yna gwasanaethant swydd diaconiaid, os byddant ddiargyhoedd" (1 Tim. iii. 10). Cyfynga Clement o Rufain y profi at "brofi eu hysbrydoedd," neu "brofi trwy yr ysbryd," yn ol cyfieithiad Dr. Lightfoot (1 Clem. ad. Cor. xlii. 4). Gwell gennyf esboniad ehangach, tebyg i'r eiddo Paul yn 2 Cor. viii. 22,—"Yr hwn a brofasom mewn llawer o bethau, lawer gwaith." Mewn ystyr eang y defnyddir gair yn y Didache xii. 1, lle y gorchmynnir "profi" pawb a ddaw i'w plith (h.y., yn yr Eglwys), ac yna cant wybodaeth gyflawn am danynt ac adnabyddiaeth drwyadl o honynt; rhag i neb gael cyfleustra i wneyd masnach o Gristnogaeth (xii. 5). Golyga, mewn gair, brofi a ydynt yn gywir; megis y caniateir i'r proffwyd ddefnyddio dull dramäyddol i egluro ei genadwri, wedi y ceir "prawf ei fod yn gywir" (xi. 11). Rhaid i'r proffwyd a'r athraw fod yn gywir (xiii. 1, 2) cyn y bydd ganddynt hawl i ymsefydlu mewn eglwys a chael eu cynnal ganddi.

Wrth edrych dros y rhinweddau hyn, gwelwn fod y tri cyntaf—addfwyn, di-ariangar, a geirwir—yn ffurfio un dosbarth, sef y rhinweddau neillduol; tra y mae profedig yn cynnwys pob rhinwedd Cristionogol y gellir meddwl am dano. Ystyrrir addfwynder yn rhinwedd angenrheidiol ymhob Cristion (iii. 7; cym. v. 2); felly hefyd di-ariangar (ii. 6; iii. 1; cym. v. 1), ac yn enwedig yn yr apostolion (xi. 6), y proffwydi (xi. 12), ac felly, mi dybiwn, yr athrawon (cym. xiii. 2). Yr un modd am eirwiredd. Mae yr ail orchymyn yn yr Athrawiaeth yn golygu, "na thwng anudon, ac na ddwg gam-dystiolaeth" (ii. 3), "na fydded dy ymadrodd yn ffals, na gwag" (ii. 5; gwel hefyd iii. 5; v. 1). A rhaid profi pawb, pwy bynnag ddaw ar ymweliad â'r eglwys (xii. 1). Gellir casglu fod ariangarwch yn demtasiwn i'r apostolion

(xi. 6), i'r proffwydi (xi. 12), yn gystal a'r esgobion a'r diaconiaid (xv. 1); a theflir rhyw led-oleuni ar y ffordd y gallasai yr apostolion a'r proffwydi ddangos eu hariangarwch; ond nid oes gysgod goleuni ar hyn ynglyn â'r esgobion a'r diaconiaid.

Credaf fod rhyw reswm dros enwi y tri rhinwedd neillduol hyn fel rhai oedd yn nodweddu esgobion a diaconiaid "teilwng o'r Arglwydd;" er nas gallwn yng ngoleuni y Didache ddweyd beth ydoedd.

Yn unol â'r egwyddor na chaiff proffwyd anrhydedd yn ei wlad ei hun, yr oedd tuedd yn yr eglwys i ddiystyru (xv. 2) y dosbarth olaf o swyddogion. Nid felly y dylai fod; oblegid yr oeddynt ymhlith yr "aelodau anrhydeddus" (xv. 2), ac yn gwneyd gwaith proffwydi ac athrawon (xv. 1) yn yr eglwys. Os felly, yr oeddynt yn dysgu'r gwir (xi. 10), ac yn trefnu byrddau (xi. 9); er nad hwyrach "yn yr ysbryd" yn yr un ystyr a'r proffwydi; gan nad beth arall allai fod eu gwaith.

Yma cawn olwg ar y cyfnewidiad ddaeth tros swyddogaeth yn yr eglwys yn y ganrif gyntaf. Yr oedd gwaith swyddogion yr eglwys fawr gyffredinol yn syrthio i ddwylaw swyddogion yr eglwysi neillduol. Hyd yma y gallwn fyned trwy gymorth y Didache. Os delir ef wyneb yn wyneb â'r Testament Newydd, cawn oleuni ychwanegol ar y pwnc. Hyn a fwriedais ar y cyntaf, a drwg gennyf na buaswn wedi dod ato yn gynt. Cadwyd fi cyhyd, gan fy awydd i osod ger bron y darllennydd yr hyn oll a ddysgir ar y pwnc yma. O gymaint a hynny byddwn ar well tir i ddeall y Testament Newydd yn ei berthynas â'r Didache. Yn y rhifyn nesaf, os byw ac iach, ceisiaf olrhain hyn.

*Manchester.* WILLIAM GLYNNE.

---

## EMYN.

O FY Arglwydd! O fy Mhrynnwr!
  O fy Ngheidwad! O fy Nuw!
Ti, fy Iesu! wyt fy nghwbl;
  Ar dy haeddiant'r wyf yn byw.
Ffrwyth dy boen, a gwerth dy Aberth,
  Rhinwedd iawnol Dwyfol waed;
Dyma wraidd fy holl orfoledd,
  Dyma'r Graig sydd dan fy nhraed.

Ti fy Mugail! Ti fy Mrenin!
  Ti fy Mhriod! Ti fy Mrawd!
Ti fy Archoffeiriad grasol,
  Ti ymwisgaist yn fy nghnawd!
Ti sy'n byw i eiriol drosof,
  Ti fy Ninas Noddfa yw!
Dyma sail fy iachawdwriaeth—
  Duw yn ddyn, a dyn yn Dduw!

DAVID HOWELL,

# JOHN PENRY, Y MERTHYR CYMREIG.

## 1559—1593.

### III.

Mewn darn o lythyr arall at ei wraig a gafwyd ar ei ol, yn yr hwn y mae yn trefnu ei amgylchiadau, gan nodi ei ddyledion i ereill, a dyledion ereill iddo yntau, dywed :—"Hyderaf y bydd hyd yn oed i fy mam drefnu rhyw bethau yn gynhysgaeth i'n plant tlodion erbyn y deuant i oed, os na bydd iddynt roddi rhywbeth i chwi ac iddynt hwythau yn y cyfamser. Ysgrifennaf atynt, os bydd modd yn y byd i'r perwyl hwn. Cynhaliaeth oer a gwael yw hyn, fy anwyl chwaer a'm gwraig. Yr wyf yn eich gadael chwi a'm twr plant amddifaid; ond bydd i'm Duw i a chwithau, nac amheuwch, ddarparu yn helaeth i chwi a hwythau, os gwasanaethwch Ef, yr hyn nid wyf yn ameu a wnewch. Ond, fy ngwraig ffyddlon, dymunaf arnoch, er mwyn ei enw Ef, a hynny gyda dagrau, gochelwch na byddo i chwi nac iddynt hwythau ddychwelyd yn ol i'r Aifft, o'r lle trwy fawr drugaredd yr Arglwydd, y dihengais i a chwithau,—gwyddoch beth yr wyf yn ei feddwl. A fydd i chwi neu i fy mhlant ymuno â'r llygredigaethau sydd wedi eu llifo â gwaed eich prïod a'ch tad? Nid wyf yn amheus o honoch, fy anwyl wraig, ond fy mod yn eich rhybuddio chwi a'm plant. O mor dda ydyw disgwyl amser yr Arglwydd, a dïoddef gydag Ef. Yn y cyfamser y mae Efe yn sicr o ddadymchwel Babel ac adeiladu Seion drachefn."

Ymhen pedwar diwrnod ar ol i Penry ysgrifennu y llythyr maith at ei wraig, paratôdd anerchiad tyner a doeth at ei blant. Y mae mor ragorol a dyddorol fel yr wyf yn barnu yn briodol ei roddi yn gyflawn ger bron :—

*At fy Merched, pan ddelont i addfedrwydd oedran a synwyr.*

Fy anwyl a thyner gariadus ferched,—Gwaredigaeth, cysur, diogelwch, a gobaith sicr. Duw y nefoedd, yr hwn yw fy Nuw i a chwithau yng Nghrist Iesu, ein Gwaredwr cryf, a'ch bendithio, gyrff ac eneidiau, â gras achubol ei Ysbryd, byth ac yn dragywydd; ac a ganiatäo, er fy nghysur tragwyddol, fod i mi gael eich cyfarfod yn nheyrnas nefoedd. Clustymwrandewch yn awr â'm cyngor, yr hwn yn enw fy Nuw, yr wyf fi, eich tad, yn bresennol mewn rhwymau o herwydd tystiolaeth Iesu Grist. yn ei roddi i chwi; a gofalwch ei gadw, fel y delo bendith yr Arglwydd arnoch yn dragywydd (Exod. xx. 12; Eph. vi. 3). Yn gyntaf, adnabyddwch Dduw eich tad, a gwasanaethwch Ef yn yr holl ddyledswyddau y mae yn eu gofyn oddi wrthych yn ei Air bendigedig (1 Chron. xxviii. 8, 9). Rhaid i chwi chwilio am ei holl orchmynion a'u cadw hwynt i gyd. Cofiwch a chredwch yn ddiysgog fod iachawdwriaeth gyflawn i'w chael trwy Iesu Grist yn unig (Heb. vii. 25; Rhuf. v. 9; Actau iv. 12). Os mynnwch fod yn gyfrannog o'r iachawdwriaeth hon, rhaid i chwi sicr gredu fod eich holl bechodau yn cael eu maddeu er ei fwyn Ef. Os gwnewch hyn, O mor wynfydedig fydd eich gwobr yn nheyrnas nefoedd. Cewch fyw yno mewn pob llawenydd gyda Iesu Grist, ei angylion, a'i saint; gyda minnau hefyd, eich tad, yn y fuchedd hon. Ond os, o'r ochr arall, na wnewch, ni chewch byth fy ngweled i, er eich cysur, yn y bywyd gwynfydedig hwnnw; o'r hwn, trwy drugaredd yr Arglwydd, y mae eich mam a minnau yn hollol sicr. Na, bwrir chwi byth allan o olwg yr Arglwydd, yr hyn sydd ofnadwy. Mae yn debyg y cewch weled a phrofi gorthrymderau mawrion, ond bydd y canlyniadau yn wynfydedig i chwi os parhewch hyd y diwedd.

Bydd y profedigaethau, megis y maent yn awr, mewn perthynas i'r materion y mynnant hwy, trwy fawr gyfrwystra Satan, eu cyfrif yn fychain, ïe, yn ddibwys. Megis cymysgu purdeb gwirionedd Crist, a'i wyrdroi, gyda sefydliadau llygredig a seremonïau Anghrist; ac felly, modd y darfu i'r sarff dwyllo Efa gyda'i chyfrwystra, y mae meddyliau dynion yn yr oes hon yn cael eu hudo oddi wrth y symlrwydd

sydd yng Nghrist (2 Cor. xi. 3). Ond. fy merched, gochelwch chwi hyn. Na fydded i chwi ddim a wneloch ag ordinhadau a dychmygion teyrnas Anghrist, fel y maent yn cael eu parhau,—megis Arglwydd Archesgobion, Arch-ddiaconiaid, Canghellwyr, Canoniaid, Prebendariaid, Llysoedd Ysbrydol, a chymysgu y glân â'r aflan; canys y mae y rhai hyn, a u cyffelyb, wedi cael eu chwanegu, yn unig fel dyfeisiau o eiddo Satan at Sanctaidd Air Crist, er pan y mae dirgelwch yr anwiredd wedi dechreu gweithio (2 Thess. ii 7). O'r cyfryw ddychmygion, wedi eu cymysgu â'r gwirionedd, y mae y "dyn pechod" yn gynwysedig. Yn awr, fy merched, yr ydych chwi, a phawb ereill sydd yn aclodau o Grist, yn rhwym o beidio bod a chyfeillach rhyngoch âg ordinhadau o'r fath ffieidd-dra (Dat. xiv. 9, 10). Os nad oes i ni ymarfer cyfreithlawn â defodau seremonïol cyfraith Moses, y rhai oeddynt unwaith ordinhadau cysegredig yr Arglwydd ei Hun, wedi eu gosod trwy ei ffyddlawn was (Heb. iii. 2), pa fodd y gall fod i ni unrhyw gymundeb â'r sefydliadau mwyaf arswydus a berthynant i deyrnas Anghrist, gelyn mawr Iesu Grist? Na, na, fy merched, y mae Crist Iesu, trwy ei farwolaeth, wedi ein rhyddhau oddiwrth bob caethiwed deddfol ac ysbrydol anghristaidd, ac wedi ein prynnu i rodio yn ei ffyrdd a i ordinhadau sanctaidd ei Hun. Yr wyf gan hynny, fy anwylyd, yn eich tynghedu i fod yn ddarostyngedig i'r holl drefn sanctaidd honno a ordeiniodd Crist Iesu er llywodraethu ei eglwys a'i aelodau yma ar y ddaear; canys y mae yn rhaid i ni, megis y derbyniasom Grist Iesu yr Arglwydd, felly rodio ynddo (Col. ii. 6). Yn awr, os bydd i chwi ddïoddef fel y dylech ddïoddef, o herwydd ymostwng i, a cheisio mwynhau ffyrdd sanctaidd Crist, neu o herwydd gwrthod bod yn forwynion llygredigaethau, yna bydd i'r Arglwydd eich arddel fel ei eiddo ger bron y Tad yn ei ymddanghosiad sanctaidd; a dedwydd fydd i mi fod erioed yn dad i chwi ar y ddaear. O'r ochr arall, os bydd i chwi ystyried hyn yn rhy galed i orfod dïoddef gyda Christ, a thramgwyddc wrtho, yna gwae fi, gan fod tynged y drygionus wedi ei drefnu i chwi.

O herwydd paham ymhellach, fy merched, ïe, fy nhyner gariadus ferched, na cherwch y byd, na dim o'r pethau sydd ynddo. Edrychwch yn unig ar anniflan edig goron y gwobrwy, a bery yn dragywydd, yr hon y mae yr Arglwydd Iesu y ei chynnyg i chwi, ac i bawb, a gyd-ddioddefant âg Ef (Rhuf. viii. 17). Myfi, eich tad, wyf dyst o flaen eich llygaid mewn rhan o'r dioddefiadau hyn dros ystod y chwe blynedd diweddaf. Cyd-gyfranogodd eich mam â mi yn llawer o honynt. Er pan yr unwyd ni ynghyd yn yr Arglwydd, yr ydych chwi i gyd wedi eich geni yn ystod tymor ein tystiolaeth; o herwydd paham y mae gennyf obaith cryf y bydd i'r Arglwydd roddi gras i chwi i'n dilyn ni eich rhieni tlodion yn yr hyn sydd gymeradwy yn ei olwg Ef.

Mewn pethau ereill perthynol i'r bywyd presennol, cyfeiriaf chwi am gyfarwyddiadau at eich mam, yr hon a fu yn chwaer dra ffyddlon, a chymhares o'r fath hapusaf i mi yn fy holl brofedigaethau a dïoddefiadau, ac, er eich cysur chwi a minnau a gymerodd deithiau blinion ar dir a môr.

Ad-delwch iddi, gan hynny, trwy eich parch a'ch ufudd-dod, ryw ran o'r caredigrwydd sydd yn ddyledus arnoch, gellwch fod yn sicr, iddi. Byddwch yn ufudd iddi mewn gair a gweithred, ac nac esgeuluswch fod yn gymorth iddi mewn henaint. Hi yn unig, erbyn hyn, sydd yn aros i fod yn swcr a chynhaliaeth i chwi mewn mebyd ac ieuenctid. Yr wyf yn gadael yn awr bedair o honoch i'w gofal, heb fod gennyf ddim gwerth son am dano i'w adael iddi hi nac i chwithau, oddieithr y ffynnon dragwyddol ddihysbydd honno o ragluniaeth ac addewidion Duw, yr Hwn a gynnal yr amddifad a'r weddw (Salm. cxlvi. 9).

Nid yw yr hynaf o honoch eto yn llawn pedair blwydd oed, na'r ieuengaf yn bedwar mis; felly byddwch ymhob ystyr yn ddyledus i'ch mam, yr hon nid ystyria fod gofalu am danoch oll yn ormod o faich iddi.

Byddwch barod, gan hynny, yn ol ei chyfarwyddyd i wneyd a dïoddef unrhyw beth. Cymerwch eich rheoli ganddi gyda phob peth, yn enwedig wrth brïodi, os gwel yr Arglwydd yn dda i chwi gael myned i'r ystad anrhydeddus honno. Os gesyd chwi mewn rhyw wasanaeth, nac ystyriwch un swydd onest yn rhy isel, nac un ymborth iach yn rhy galed, nac un wisg a'ch cuddio ac a'ch cynheso yn rhy wael. i chwi; eithr bendithiwch Dduw am ddarparu i chwi ymborth a dillad. Nis gellais, o herwydd anwiredd teyrnas Anghrist, ddarparu ar eich cyfer, fel y dymunaswn; eto yr wyf yn sicr y bydd i fy Nuw, yng ngwasanaeth yr Hwn yr wyf yn awr yn llafurio yn erbyn Babel a i merched, ofalu yn helaeth am danoch chwi a'ch mam; a phan weloch fod yr Arglwydd yn gwneyd hyn yn ol ei addewidion bendigedig â mi eich tad tlawd, yr wyf yn eich tynghedu i broffesu a chydnabod y ffafr hon o'i eiddo ger bron yr holl fyd, os bydd angen am hynny, gan

ddywedyd: "Trugaredd yr Arglwydd sydd o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb ar y rhai a'i hofnant ef, a gwirionedd ei addewidion i blant eu plant, i'r sawl a gadwant ei gyfamod ef, ac a gofiant ei orchmynion i'w gwneuthur hwynt" (Salm. ciii. 17, 18; xxxvii. 25). Beth bynnag a ddaw o honoch mewn ystyr allanol, daliwch eich cysylltiad â'r eglwys dlawd, lle yr wyf yn eich gadael, neu â rhyw gymdeithas sanctaidd arall o'i bobl Ef. Nid wyf yn ameu na chynhyrfa fy Nuw lawer o'i blant i ddangos caredigrwydd i'm chwaer a'm gwraig ffyddlon, eich mam, a hefyd tuag atoch chwithau, er fy mwyn i. Ymha wasanaeth caled bynnag y dichon i chwi fod, fy mhlant anwyl, eto dysgwch ddarllen, fel y galloch ymgydnabyddu ddydd a nos â Gair yr Arglwydd. Os bydd eich mam yn gallu eich cadw gartref, bydd hi yn sicr o'ch dysgu i ddarllen ac ysgrifennu. *Yr wyf yn gadael i chwi bedwar Beibl, un i bob un o honoch; yr unig dreftadaeth neu gynysgaeth sydd gennyf ar eich cyfer.* Yr wyf yn deisyf arnoch, ac yn eich tynghedu, nid yn unig i'w cadw ond hefyd i'w darllen ddydd a nos; a chyn, wrth, ac wedi darllen ynddynt, byddwch daer mewn gweddi a myfyrdod, fel y galloch ddeall a gwneuthur ewyllys Duw. Mynychwch gyflawniadau crefyddol a chyfarfodydd y saint, beth bynnag a fyddo; canys yno y mae yr Arglwydd yn fwyaf nerthol yng ngweinidogaeth ei Air; a chofiwch ei fod yn anrhydeddu caru, a bendithio y gwasanaeth cyhoeddus yn fwy nag un math o gyflawniadau dirgel (Ps. lxxxvii. 2).

Ymddygwch yn isel, gostyngedig, amyneddgar, ac addfwyn tuag at bawb. Na thelwch ddrwg am ddrwg i neb, mewn na gair na gweithred; eithr gorchfygwch chwi ddrygioni trwy ddaioni (Rhuf. xii. 21), gydag amynedd, gwyleidd-dra, a sobrwydd. Uwchlaw pob peth, byddwch yn addfwyn a charedig i saint Duw, gan fod yn barod i roddi i lawr eich bywydau i wneyd daioni i eglwys dlawd yr Arglwydd a'i aelodau ar y ddaear. Beth bynnag fyddo gennych, cyfrennwch o hono er mwyn cynorthwyo yr eglwys. Bwytewch yn brin a gwisgwch yn gynnil, fel y byddo gennych rywbeth i'w roddi i'r eglwys ac aelodau Crist, er cynnal gwir addoliad a gwasanaeth Duw yn eu plith. Os byddwch byw mewn llawnder, edrychwch na byddo gwir aelodau Crist mewn angen. Byddwch yn wastad yn gyfrannog o gystuddiau yr efengyl gyda hwy (2 Tim. i. 8).

Llafuriwch am wir ostyngeiddrwydd; curwch i lawr y balchder sydd naturiol i bob dyn. Nac ymollyngwch i oferedd mewn na gwisgoedd, na geiriau, nac ystumiau. Ffrwynwch eich tueddiadau yn wastad mewn pryd, ac ymhyfrydwch yn unig yn y meddyliau hynny a'ch gwnelo yn ostyngedig Meithrinwch ddygasedd at y daearol, a dymuniad hiraethlawn am deyrnas nefoedd.

Dangoswch garedigrwydd tuag at eich perthynasau o ochr eich tad a'ch mam; ond yn neillduol, os byth y daw i'ch rhan, dangoswch awyddfryd i wneyd daioni i'm pobl a'm ceraint yn ol y cnawd.

Mae cenedl y Cymry, er's llawer canrif bellach, wedi bod o dan wïalen geryddol yr Arglwydd! ond yr wyf yn hyderu fod yr amser wedi dyfod iddo ddangos trugaredd tuag atynt, trwy beri i oleuni yr Efengyl dywynnu arnynt; a da chwi, fy merched anwyl, gweddïwch yn daer ar yr Arglwydd, mor fuan ag y deloch i wybod beth yw gweddi, am hyn; a byddwch bob amser yn barod i estyn cymorth i'r distadlaf o blant tlodion Cymru fyddo mewn angen am hynny. Er mwyn pob peth ad-delwch, os byth y deuwch yn abl i wneyd, y caredigrwydd dyledus oddi wrthyf i'm perthynasau agosaf yno,—fy mam, fy mrodyr, a'm chwiorydd, &c, y rhai, mae yn ddiameu gennyf, a ymddygant hyd eithaf eu gallu yn y modd mwyaf caredig tuag atoch chwi a'ch mam, er fy mwyn i; *a bydawch yn gysur neilltuol, yn fy lle i, i'm hanwyl fam mewn henaint a phenllwydni*, yr hon a ddefnyddiodd yr Arglwydd fel fy unig gymorth yn nechreuad fy efrydiau, trwy y rhai y daethum i adnabyddiaeth o'r werthfawr ffydd sydd yng Nghrist Iesu, mewn amddiffyniad i'r hon yr wyf yn sefyll heddyw, yn llawen fy enaid, er bod mewn anghysur mawr oddi allan.

Gweddïwch lawer ac yn daer am deyrnasiad llwyddiannus a diogel, gorff ac enaid, ei gwir ragorol Fawrhydi, fy ardderchocaf benadur y Frenhines Elisabeth, dan deyrnasiad yr hon y daethum i feddiant o'r wybodaeth a'r gobaith gwynfydedig yr wyf yn sefyll ynddo. Bydded i'r Arglwydd o herwydd hyn ddangos trugaredd iddi yn y bywyd hwn, ac yn y dydd mawr a ddaw.

Byddwch barod i gynorthwyo ac i ddangos caredigrwydd at bawb dieithriaid, a thuag at bobl Scotland, lle y bum i a'ch mam a dwy o honoch chwithau yn byw fel dieithriaid, ac eto cawsom groesaw a thiriondeb mawr er mwyn enw ein Duw.

Byddwch dyner wrth y weddw a'r amddifad, o herwydd mae deddf Duw yn gystal a deddf natur yn gofyn hyn oddiar ein llaw; ac hefyd, o ran dim ar a wn i, mae yn debyg y byddaf yn eich gadael chwi yn amddifad a'ch mam yn weddw.

Yn ddiweddaf, fy merched, cynhyddwch yn holl rasusau gwybodaeth a duwioldeb yng Nghrist Iesu. Credwch a gobeithiwch yn ddiysgog yn yr iachawdwriaeth sydd ynddo Ef. Dioddefwch gystudd gydag Ef yn yr eglwys dlawd hon. Parhewch mewn ofn sanctaidd hyd y diwedd, yna cewch chwi a minnau gyfarfod gwynfydedig yn nydd mawr ei ymddanghosiad Ef.

Yr wyf fel hyn wedi dadlwytho fy enaid pryderus o ran o'r gofal mawr sydd gennyf am danoch ymhob ystyr, ond yn arbennig am eich iachawdwriaeth. Yr wyf wedi ysgrifennu hwn yn y fath brinder o bapur, inc, ac amser, fel nas gallwn wneyd dim ond ei roddi i lawr fel y deuai gyntaf i fy meddwl; ac o ganlyniad nid yw mor llawn, nac mor fuddiol gyngor ag a fuasai fy Nuw mi hyderaf, yn fy ngalluogi i'w roddi i chwi pe cawswn fwy o hamdden; ond nid wyf yn ameu nas gellwch chwi, fy mhlant, gael addysg ynddo, a'i dilyn hi, fel y delo bendith Duw, nid yn unig ar ben hiliogaeth Jonadab mab Rechab, ond hefyd ar blant John Penry, am yr ufudd-dod a roddasant i orchymyn a chyngor duwiol eu tad. Fel hyn yn awr y mae eglwys Dduw yn gorwedd mewn lludw ar lawr, fel gwraig weddw, yn estyn allan ei dwylaw i edrych a oes neb a gysura ei henaid, ac yn cwyno fy mod i, a adewsid iddi, yn cael fy nwyn oddi arni a'm cymeryd i Babel. "Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd: Wele, mi a ddadleuaf dy ddadl di" (Jer. li. 36); tra yr wyf fi, eich tad tlawd, o waelod fy ysbryd a'm henaid fel hyn yn foddlon, nid yn unig i gymeryd fy ngharcharu, eithr i farw hefyd dros enw a gwirionedd yr Arglwydd Iesu, yr rhai a amddiffynnais; ac ar yr un pryd yr wyf yn cyhoeddi, gyda llais uchel a buddugoliaethus, "nad yw dïoddefiadau yr amser presennol hwn yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir i ni."

Yr wyf yn eich cyflwyno chwi, fy anwyl blant, a'ch cariadus fam, i ddwylaw fy Nuw tra thrugarog, a'ch Gwaredwr sicr a gofalus, yng Nghrist Iesu ein Harglwydd, yr Hwn a fyddo fendigedig yn oes oesoedd. Amen, Amen, Amen.

O garchar caeth, gyda llawer o ddagrau, eto mewn llawenydd mawr yn yr Ysbryd Glan, y 10fed dydd hwn o'r 4ydd mis, Ebrill, 1593, eich Tad tlawd yma ar y ddaear, gwir awyddus am ymuno â chwi byth yn nheyrnas Iesu Grist.

JOHN PENRY.

Tyst annheilwng yn y fuchedd hon i hawl Iesu Grist, ac yn erbyn ffieidd-dra y Babel Rufeinig.

Wedi "arllwys allan ei enaid trallodus" o'r hyn y pryderai fwyaf yn ei gylch mewn perthynas i'w gysylltiadau teuluaidd, ymwregysodd Penry i ymladd brwydr wrtho ei hun gydag awdurdodau y gyfraith, y rhai, o dan ddylanwad dirgel yr esgobion, oeddynt wedi penderfynu ei faglu, ac wedi hynny ei lethu.

Ar yr un dydd ag yr ysgrifennodd ei lythyr tyner at ei enethod bach, pan nad oedd y dagrau prin wedi sychu ar ei ruddiau, na'r inc ar y papur, dygwyd ef i sefyll ei brawf. Fis cyn hynny yr oedd Barrow a Greenwood wedi "tystio proffes dda" yn Whitehall. Tuag at ddeall a gwerthfawrogi ei atebion y mae yn ofynnol i ni ystyried anfanteision ei sefyllfa. Nid oedd yn debyg gydag ef i fel yr oedd gyda Wyclif ar ei brawf yn St. Paul neu Westminster, na Luther yn Worms. Ni feddai un amddiffynnydd daearol na chyfaill mynwesol i'w galonogi trwy eu cyfarwyddyd a'u cydymdeimlad. Gwyddai, a defnyddio ei eiriau ei hun, fod "cynllwyn yn cael ei wneyd am ei waed." Ei bryder pennaf oedd amddiffyn y gwirionedd yr oedd yn myned i ddïoddef drosto. Yr egwyddor o blaid yr hon y dadleuai oedd: "Fod eglwys Crist i gael ei llywodraethu yn unig trwy ddeddfau o osodiad ei Sefydlydd Dwyfol." Yr oedd wedi dyfod i'r penderfyniad sicr a disigl fod yr holl swyddogaethau a ddeillient oddiwrth Eglwys Rhufain yn anysgrythyrol, ac fel y cyfryw yn anghristnogol; hynny yw, yn groes i ewyllys ddatguddiedig Crist. Yr oedd hyn yn gynnyrch amryw flynyddoedd o fyfyrdod dwys iddo. Er mwyn yr argyhoeddiad hwn yr oedd wedi gadael ei gartref ac wedi bod yn grwydryn; ac yn awr o dan warth, wedi ei wahanu oddiwrth wraig ei fynwes, ac heb weled ei blant, yr oedd yn

disgwyl merthyrdod yn ei ffurf fwyaf atgas—marw ar y crogbren fel drwg-weithredwr. Pan yr oedd teyrngarwch yn deimlad cryf yn ei fynwes, ymddygid tuag ato fel bradwr. Eto er pob peth, aeth ymlaen yn ddiysgog, gan fod y gwirionedd y dïoddefai drosto wedi dyfod yn rhan o hono.

Sylwch arno! Mae ei wedd yn welw; y llafur y mae wedi myned trwyddo, a'r carchariad, wedi effeithio ar ei gyfansoddiad egwan; eto y mae ei lygaid yn ddisglaer; a phan y daeth y barnwr Young i gyffyrddiad â'i olwg, teimlodd mor anesmwyth â phan y gwelodd arch Roger Rippon, yr hwn a fwriasai yngharchar, wedi ei ddwyn at ddrws ei dŷ.

Dechreua Mr. Fanshaw ar y gweithrediadau:—

Fanshaw.—Mae yn syn gennyf dy fod yn dal y fath olygiadau, Penry, ag nad oes neb o ddysgedigion yr oes bresennol, nac o ferthyron yr oesoedd a aethant heibio yn eu maentumio. A elli di ddangos unrhyw ysgrifennydd, naill ai hen ai diweddar, o'r un daliadau a thi?

Penry.—Nid wyf yn dal dim ond yr hyn yr wyf yn rhwym o'i brofi allan o Air Duw; a danghosaf parth y materion neillduol sydd mewn dadl eu bod yn cael eu dal gan ferthyron sanctaidd ein gwlad, y rhai a ymosodasant gyntaf ar deyrnas y Babilon Rufeinig, megis Wyclif, Brute, Purvey, White, &c., mewn amseroedd a aethant heibio; a chan Tindal, Lambert, Barnes, Latimer, &c., tystion bendigedig yr Arglwydd yn yr oes ddiweddaf hon. Nid wyf yma yn son am athrawiaeth a threfn yr eglwysi diwygedig mewn gwledydd ereill, y rhai sydd yn gwbl o'm tu mewn materion o'r pwys mwyaf.

Fanshaw.—Ond a yw y merthyron yn eich dysgu nad oes yr un Eglwys i Grist yn Lloegr?

Penry.—Os wrth eglwys i Grist y deallwch (fel y mae y rhan fwyaf), y broffes gyhoeddus o hono, trwy ba un y mae dynion yn addef fod iachawdwriaeth yn tarddu o farwolaeth a chyfiawnder Iesu Grist, yr wyf ymhell o wadu nad oes yr un eglwys i Grist yn y wlad hon; canys yr wyf yn gwybod fod athrawiaeth y Drindod, dwy natur a swyddau yr Arglwydd Iesu, cyfiawnhad rhad trwyddo Ef, y ddau Sacrament, &c., a gyhoeddwyd trwy awdurdod ei Mawrhydi, ac a orchymynnir gan ei chyfreithiau, yn wirioneddau bendigedig a diamheuol; heb wybodaeth a phroffes o ba rai nid oes iachawdwriaeth i'w chael.

Fanshaw.—Beth, gan hynny, ydych chwi yn ei anghymeradwyo yn ein Heglwys, a phaham na dderbyniwch y gwirioneddau hyn a'r sacramentau gyda ni?

Penry.—Yr wyf yn anghymeradwyo: 1. Y gau swyddau eglwysig. 2. Y modd y gelwir rhai i'w swyddau. 3. Rhan fawr o'r gweithrediadau y mae y gau swyddogion hyn yn gweinyddu ynddynt. 4. Y gynhaliaeth neu y bywoliaethau trwy y rhai y cynhelir hwy yn eu swyddau; a chan nas gallaf fwynhau pethau sanctaidd Duw heb fod yn ddarostyngedig i Anghrist ynglyn â'r swyddogion hyn, nid ymunaf â chynulleidfaoedd Eglwys Loegr.

Fanshaw.—Pa swyddau a feddyli di?

Penry.—Y swyddau o Arglwydd Archesgobion ac Esgobion, Arch-ddiaconiaid, Dirprwywyr, Canghellwyr, Deoniaid, Canoniaid, Prebendariaid, Offeiriaid, &c., y rhai oll ni pherthynant i un corff arall eglwysig na gwladol, ond yn unig i Eglwys Rhufain.

Fanshaw.—A pha swydd oedd i ti yn eich eglwys, sydd yn cydgyfarfod mewn coedwigoedd a phob math o leoedd?

Penry.—Nid oedd i mi yr un swydd yn y gynulleidfa dlawd honno; a chyda golwg ar ein gwaith yn cyfarfod mewn coedwigoedd neu unrhyw le arall, mae gennym esiampl ein Gwaredwr Crist, a'i eglwys a'i weision ymhob oes, i'n cyfiawnhau. Yn erbyn ein hewyllys yr ydym yn myned i'r coedwigoedd neu leoedd dirgel. Gan nad oes arnom gywilydd o efengyl Crist, ein dymuniad ydyw ei arddel yn gyhoeddus ger bron dynion ac angylion, a chael heddwch a llonyddwch i wasanaethu ein Duw ger bron pawb dynion, fel y gwelont ein hymarweddiad uniawn tuag at ein Duw a'r holl fyd; ac yn enwedig tuag at ein penadur a'n gwlad.

Fanshaw.—Ond a all unrhyw un bregethu heb fod ganddo swydd yn yr eglwys i hynny?

Penry.—Gall; ac y mae Gair Duw yn ei rwymo i wneyd hynny, pwy bynnag fyddo, os bydd yn bwriadu dyfod yn fugail neu athraw yn eglwys Crist, cyn iddo

ymgymeryd â'r swydd; ac y mae Gair Duw hefyd yn rhwymo yr eglwys i roddi prawf arno o ran ei ddoniau, cyn rhoddi y swydd arno, rhag na byddo, heb hynny, yn deilwng iddi, neu o leiaf, na rodder dwylaw yn ebrwydd arno (1 Tim. iii. 10; v. 22).

Fanshaw.—Yr ydych yn tynnu deiliaid ei Mawrhydi oddi wrth eu hufudd-dod i'w chyfreithiau, ac oddi wrth Eglwys Loegr, i wrando arnat ti a'th debyg yn dysgu yn y coedwigoedd.

Penry.—Na, yr wyf yn cymell pawb i ufuddhau i'm penadur a'i chyfreithiau; yn unig, fy mod yn annog yr holl fyd i beidio ufuddhau i ordinhadau teyrnas Anghrist; ac anogwn bawb i fod yn ddarostyngedig i Grist Iesu a'i ddeddfau bendigedig Ef; ac yr wyf yn gwybod fod yr anturiaeth hon mor bell o fod yn wrthwynebol i gyfreithiau ei Mawrhydi fel ag i fod yn sicr fy hun ei fod yn cael ei warantu ganddynt. Mae ei Mawrhydi wedi cydnabod, wrth sefydlu a chadarnhau Breinlen Fawr Lloegr (with yr hon, fel yr wyf yn deall, y mae brenhinoedd a breninesau y deyrnas hon yn cael eu tyngu, pan yn dyfod i'r orsedd), "fod Eglwys Dduw, o dan ei llywodraeth, i fwynhau ei holl iawnderau a'i rhyddid yn ddilwgr am byth." Gadawer i minnau a'm brodyr eu cael, a cheir gweled nad ydym wedi gwneyd dim ond sydd yn cael ei gyfiawnhau gan ei chyfreithiau.

Fanshaw.—Paham gan hynny y ceisiwch dynnu i lawr yr Esgobion?

Penry.—Pell fyddo oddi wrthym fod yn bwriadu y fath weithredoedd. Nid ydym ond rhoddi ar ddeall i'w Mawrhydi a'r llywodraeth y perygl o ddwyn digofaint Duw ar y tir trwy ddal i fyny gynifer o ddychmygion Rhufain.

Fanshaw.—Felly nid ydych yn ceisio at wrthryfel na chodi terfysg yn erbyn ei Mawrhydi, na thynnu i lawr yr Esgobion?

Penry.—Nac ydym; yr wyf yn diolch i Dduw, ni ddarfum erioed; ac yr wyf yn proffesu ger bron nefoedd a daear pe bawn yn hysbys o'r bwriad hwn yn neb, y mynegwn ac y gwrthsafwn hynny hyd eithaf fy ngallu, o ba grefydd bynnag y byddai.

(Yr oedd Mr. Young erbyn hyn yn dra awyddus i gymeryd rhan yn yr ymddiddan).

Young.—Ond beth a feddyliet ti, Penry, pan y dywedaist wrthyf yn fy nhŷ, y byddwn i byw i weled y dydd pan na byddai yr un Arglwydd Esgob wedi ei adael yn Lloegr?

Penry.—Yr ydych yn gwneyd cam a mi, Syr; at deyrnas Anghrist, y Babaeth yr oeddwn yn cyfeirio, pan yn dweyd y byddai i'r Arglwydd ei llwyr ddymchwelyd yn y tir.

Fanshaw.—Ond paham y gwrthodwch Gynhadledd, fel y gallech gael eich diwygio yn y pethau yr ydych yn cyfeiliorni ynddynt?

Penry.—Nid wyf yn gwrthod hynny, fel y mae y papur a roddais yn llaw Mr. Young yn tystio; ond i mi a'm brodyr gael tegwch.

Yna, terfynodd y croesholi, ac anfonwyd Penry yn ol i'w gell yn y carchar budr a thruenus.

Nid yw yr uchod, dealler, ond talfyriad byr ac amherffaith, o angenrheidrwydd, o'r ymddiddan maith a gymerodd le adeg ei brawf. Ar y diwedd cyflwynodd Penry bapur i'r barnwyr yn cynnwys datganad o'i deyrngarwch a chyffes ei ffydd.

Rhoddwn yma yn lled grynno ei *Ddeiseb at y Llywodraeth.*

Yr wyf fi, John Penry, fel y bydd raid i mi ateb o flaen yr Arglwydd fy Nuw, yn nydd mawr y farn, yn gosod i lawr yma yn grynno yr holl wir, a dim ond y gwir, yr hwn yr wyf yn ei ddal ac yn ei broffesu ynglyn â'r ffydd sydd gennyf tuag at Dduw, yn gystal a thuag at fy nghoruchaf benadur, y Frenhines Elisabeth, i'r hon yn unig, o holl benaduriaid y byd, y mae pob parch, teyrnged, ac ymostyngiad yn ddyledus oddi wrthyf fi yn yr Arglwydd. Yn gyntaf. Yn gymaint a bod fy nghеyrngarwch i'w Mawrhydi yn bennaf yn cael ei ameu, nid wyf fi heddyw, ni fum erioed yn holl ddyddiau fy mywyd, yn euog o, neu yn gwybod am un bwriad, ymgynghoriad, nac amcan gwrthryfelgar yn erbyn ei Mawrhydi, neu i aflonyddu ar ei gwlad deyrngarol a'i llywodraeth heddychol. A phe buaswn yn gwybod am y fath weithredoedd annuwiol, drygionus, ac annheyrngarol, neu fwriadau a allasent mewn unrhyw fodd amharu neu aflonyddu ar sefyllfa heddychol fy nheyrn a'm gwlad, buaswn yn hysbysu, yn datguddio, ac yn

gwrthwynebu y cyfryw hyd eithaf fy ngallu ymhob dyn, estronol yn gystal a chartrefol, o ba grefydd bynnag.

Yr wyf yn cydnabod fod ei llywodraeth oruchel y fath y tu fewn i derfynau ei thiriogaethau, dros bob dyn, fel nad oes neb, nac un achos, gwladol nac eglwysig, y tu allan i gyrraedd ei hawdurdod a'i cherydd, ei chyfreithiau a'i chleddyf. Yr wyf hefyd yn cydnabod fod ei Mawrhydi wedi derbyn gan yr Arglwydd lawn awdurdod, yn rhinwedd ei brenhinol allu, i lunio a sefydlu pob deddf, yn eglwysig a gwladol, ymysg ei deiliaid; yng ngwneuthuriad y rhai, hawlia yr Arglwydd fod i'r deddfau eglwysig gael eu gwneyd yn ol ei Air ysgrifenedig, yr hwn sydd yn eglur yn cynnwys pob peth a berthyn i'w addoliad: ac i'r deddfau gwladol gael eu sylfaenu ar reolau cyffredin cyfiawnder ac uniondeb, terfynau y rhai ni chyfyngir gan awdurdod brenhinoedd a thywysogion, gan mai dyma yr unig ffyrdd dïogel iddynt.

Yr wyf yn foddlon o galon i amddiffyn a dal i fyny yr awdurdod uchel benaduriaethol hon o eiddo ei Mawrhydi, yn erbyn pob teyrnas, person, a chreaduriaid o dan y nef, pe rhaid i mi golli fy mywyd ddeng mil o weithiau trwy hynny.

Ac yr wyf yn galw Duw yn dyst, nad oes ddydd, hyd eithaf fy ngwybodaeth, wedi myned tros fy mhen, yr wyf yn sicr, er pan ddygodd yr Arglwydd fi gyntaf i adnabyddiaeth o'r gwirionedd o dan lywodraeth rasol ei Mawrhydi, heb fy mod wedi, neu yn gweddio drosti, am i fendithion fy Nuw gael eu tywallt yn allanol ac yn fewnol hyd byth, mewn cyflawnder ar orsedd, llywodraeth, a thiriogaethau ei gwir ardderchog Fawrhydi, a bod iddo Ef chwalu, neu ar frys ddymchwelyd ei holl elynion a'u bwriadau yn ei lid, pa un bynnag a'i cartrefol a'i tramor fyddont; i wirionedd yr hyn yr wyf yn galw Chwiliwr y calonnau yn dyst yn erbyn fy enaid, os wyf yn gwenieithio neu yn ffugio yn y gosodiadau hyn.

Yn ail. O berthynas i'm ffydd; yr wyf yn credu â'm calon, ac yn cyffesu â'm tafod, nad oes Duw ond y gwir Dduw yn unig, yr hwn y mae y Gair ysgrifenedig yn dysgu sydd un hanfod ac yn dri pherson, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan, tri pherson o'r un a'r unrhyw hanfod. Yr wyf yn credu mai y Duw goruchel hwn, yr Hwn yw fy Nuw i yng Nghrist Iesu, yw creawdwr, cynhaliwr, amddiffynnwr, pen-arglwydd, ac arch-lywydd pob creadur yn y nef ac ar y ddaear; dynion ac angylion, da a drwg. Nid wyf yn credu fod, nac y gall dim gymeryd lle yn y nef nac ar y ddaear, heb ei fod wedi ei ragarfaethu a'i raglunio gan ei ewyllys, ei fwriad, ei gyngor, ei gyfarwyddid; ïe, heb ei orchymyn mwyaf sanctaidd, doeth, ac uniawn, yn ol cyngor ei ewyllys ei Hun.

Yr wyf yn credu fod pawb wrth natur yn blant digofaint, yn cael eu hachub yn unig drwy ras: ffydd gywir yn gafaelu yn haeddiant a chyfiawnder Crist Iesu.

Yr wyf yn credu fod Crist Iesu o ran ei ddwy natur yn Dduw ac yn ddyn, ïe, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd; ac o ran ei swyddau yn unig frenin, offeiriad, a phroffwyd ei eglwys; y swyddi a gyflawnodd mor drwyadl yn nyddiau ei gnawd, trwy egluro holl ewyllys ei Dad; trwy bregethu a dysgu prynedigaeth lawn ei ei eglwys drwy ei angeu a'i adgyfodiad; ac iddo dderbyn gan y Tad y fath awdurdod hollol yn y nef ac ar y ddaear, fel nad oes olynydd iddo i fod yn un o'r swyddau hyn, ond ei fod ef wedi cael ei gysegru iddynt hyd byth.

Yr wyf yn credu mai gwir ffydd yw darbwylliad y galon, trwy yr hyn y mae yr enaid yn teimlo sicrwydd am faddeuant pechodau, a chyfrifiad o gyfiawnder Crist.

Nid yw y wir ffydd hon yn perthyn i neb ond i etholedigion Duw, a pharhâ hyd y diwedd. Yn anwahanol gysylltiedig â'r wir ffydd hon, ac fel ffrwyth yn tarddu allan o honi, mae marw i bechod a byw i gyfiawnder, yn y fath fodd fel y mae aelodau Crist yn cael brwydr barhaus ynddynt eu hunain yn erbyn pechod; yr hwn, trwy ddylanwad angeu Crist sydd wedi ei glwyfo ynddynt, ac yn graddol adfeilio, ac yn y diwedd diflanna yn hollol pan fyddo y cyrff a'r eneidiau yn cael eu gwahanu, ac nid cyn hynny.

Yr wyf yn credu fod eiddo Crist yma ar y ddaear yn cael eu tynnu gan ei allu bywiocaol yn debycach debycach i'w ewyllys Ef, ac i wneyd yr unrhyw; ïe, *i golli eu bywydau yn hytrach na dianrhydeddu eu Duw*, trwy yn wirfoddol ac ewyllysgar wadu ei wirionedd, a thorri ei ddeddfau a'i ewyllys mewn un peth a ddatguddiwyd iddynt.

Yr wyf yn credu fod ei ewyllys dadguddiedig Ef yn cael ei chynnwys i gyd yn ysgrifeniadau yr Hen Destament a'r Newydd; wedi eu rhoddi gan yr Ysbryd Glan, er addysg a chysur ei eglwys dlawd cyhyd ag y byddo fel pererin yma ar y ddaear.

Yr wyf yn credu mai cymdeithas o'r rhai y mae y Gair yn eu galw yn saint yw yr eglwys, y rhai ydynt nid yn unig yn proffesu mewn gair eu bod yn adnabod

Duw, eithr ydynt mewn gwirionedd yn ufudd i'w ddeddfau a'i ordinhadau; â'r cyfryw eglwys yr wyf yn credu fod yr Arglwydd wedi myned i gyfamod, o'i ewyllys da, y bydd Efe yn Dduw iddynt; ac y cant hwythau fod yn bobl iddo Ef. Ar y cyfamod y mae dwy sêl, bedydd a swper yr Arglwydd.

Yr wyf yn credu nad yw yr Eglwys yma ar y ddaear yn berffaith, er, o ran y drefn yr hon a ordeiniodd yr Arglwydd ar ei chyfer, ei bod yn bopeth; ond hyd yma, mae yn aros ynddi lawer o ddiffygion a ffaeleddau; eto yr wyf yn credu yn sicr y caiff ei bobl Ef, ei holl aelodau gwirioneddol, ddydd y farn eu perffeithio a'u coroni â gogoniant tragwyddol gan Iesu Grist, o'i ras Ef yn unig, ac nid o un baeddiant o'r eiddynt eu hunain.

Trwy drugareddau fy Nuw, ac felly, yr wyf yn foddlon i ddïoddef unrhyw gystudd yn y bywyd hwn er mwyn ei enw Ef, i'r hwn y byddo y gogoniant oddi wrth fy enaid a'm corff, ac oddi wrth ei holl saint yn oes oesoedd. Amen.

Yr wyf yn ffieiddio pob heresi, sectau, ymraniadau, a chyfeiliornadau, pa un bynnag ai hen ai newydd, gan bwy bynnag y byddont wedi eu cynllunio, dan ba enw bynnag y byddo dynion yn eu galw, megis Puritaniaeth, Donatiaeth, Ail-fedyddiaeth, Penrhyddiaeth, Browniaeth, a holl freuddwydion a ffolinebau Teulu-Cariad; ond yn neillduol pob peth Pabyddol, crefydd arswydus Anghrist, gelyn mawr ein Harglwydd Iesu, a gwrthwynebwr mwyaf peryglus holl orseddau brenhinoedd a thywysogion; felly yr wyf fi â'm holl enaid yn ffieiddio yr oll a phob rhan o grefydd y Pâb, yr hwn a elwir "Mab y golledigaeth" gan Ysbryd Duw, canys y mae wedi penderfynu ei lwyr ddileu drwy ei ymddanghosiad yn nisgleirdeb yr efengyl, cyn y delo Efe yr ail waith.

Mae yn gas gennyf uchafiaeth falch y "dyn pechod" hwn; trwy yr hyn y mae, fel y dywed yr Apostol, wedi ymddyrchafu yn ei aelodau a'i allu, i reoli dros wirionedd ac aelodau Crist, ïe, dros bob peth a elwir yn sanctaidd; fel y gelyn mwyaf marwol, gwrthwyneba bob gwirionedd a phob gwas i'r Arglwydd na phlyga iddo; ond trwy y gallu uffernol yna teyrnasa drostynt yn lle Crist yn ei ordinhadau bendigedig.

Mae yn gas gennyf eu *swyddi* (nid wyf yn dweyd am eu *personau* sydd wedi cael eu hethol gan yr Arglwydd); pen y corff yna, y Pab; ei goron driffiyg felldigedig; a'i draws awdurdod o'r naill gleddyf neu y llall (Dat. xiv. 9–11).

Yr wyf yn cyfaddef yn ewyllysgar fod yr athrawon a'r aelodau yng nghynulleidfaoedd y wlad, sydd wedi cofleidio y ffydd, fel ag i'r Arglwydd yn ei anfeidrol ddaioni ganiatau iddynt gael dangos mewn bywyd eu bod wedi eu hethol, yr wyf yn sicrhau ger bron dynion ac angylion fy mod yn eu barnu hwy yn aelodau o'r corff i'r hwn y mae Mab Duw, Iesu Grist, yn ben; yn unig yn hyn, trugarhaed Duw wrthynt hwy am eu pechodau, fel wrthyf finnau, nad ydynt yn y pethau allanol yn ol y drefn a adawodd Iesu Grist yn ei eglwys; ond yn lle hynny, y maent yn *gyntaf* yn ddarostyngedig i'r swyddogaethau rhag-grybwylledig; yn *ail*, y maent mewn cymundeb gyda'r dull gau y gelwir i'r swyddau; yn *drydydd* y maent yn gyfrannog mewn rhan fawr â'r hyn y maent yn ei wneyd yn y swyddi hyn; yn *bedwerydd*, gyda'r drefn dwyllodrus o gynnal y bywoliaethau hyn; yn *bumed*, y maent yn ymgymysgu â phobl halogedig, anwybodus, ac afreolus, y rhai sydd yn cydgyfranogi â hwynt yn eu cynulleidfaoedd.

Dyma grynhodeb o'm ffydd yn Nuw, a'm teyrngarwch i'm penadur; dyma swm yr holl wahaniaeth rhyngof fi ac offeiriaid y wlad hon; a chrynhöad o'r holl achos, am yr hwn yr wyf fi, a llawer ereill o'm brodyr tlodion, yn cael ein cyhuddo o fod yn sismaticiaid, yn ddrwgweithredwyr, ac yn hereticiaid. Os daw hwn i ddwylaw brenhinol fy mhenadur, ac i olwg ei H.H., argyhoeddir hwynt yn fuan nad wyf fi, na neb arall sydd yn dal yr un golygiadau â mi, yn haeddu cael byrhau ein dyddiau trwy gleddyf ei Mawrhydi.

A dyna'r cwbl ddarfu i mi erioed gredu. O berthynas i'r cyfeiliornad yng nghylch Gweddi yr Arglwydd, yr hwn a osodir yn ein herbyn; gwareder ni, ïe, gwareder ni rhag dweyd nad yw y cyfryw, neu unrhyw ran o'r Ysgrythyr o'r fath, yn ffurf o weddi sanctaidd, yr hon nid yn unig a allai y Cristion yn gyfreithlon ei defnyddio, eithr ei defnyddio hefyd er ei gysur mawr. Yn wir byddai yn well gennym edrych arni fel athrawiaeth, nag fel gweddi; y camddefnydd a wneir o honi wrth ei mynych adrodd, ydym ni yn gondemnio; ac ar y pwnc hwn yr wyf yn sicr mai yr un peth oedd barn y gweision sanctaidd hynny i Dduw sydd yn awr yn gorffwys oddi wrth eu llafur. Y daioni y mae y wlad hon yn dderbyn mewn ystyr allanol oddi wrth y ffug-swyddi rhag-grybwylledig, a'r bywoliaethau sydd yn perthyn iddynt, yw denu bradwyr, fel Jesuitiaid ac offeiriaid tramor, gan obaith meddiannu yr aur Babilonaidd, i fradychu yn warthus eu penadur cyfreithlon a'u

gwlad i ddwylaw estroniaid; tra, pe byddai y swyddi a'r bywoliaethau hyn yn cael eu diddymu trwy ddeddf, a'u troi at wasanaeth ei Mawrhydi, na byddai gan y Pab esgus i anfon ei locustiaid i'r wlad hon; ni byddent yn abwyd i'w denu drosodd, ac ni byddai gan y Pabyddion gartref obaith am weled y dydd y maent yn ddisgwyl. Felly pe syrthiai cynhaliaeth y swyddi hyn i'r llawr, eu gwaith a'u dylanwad a syrthiai i'w canlyn; y maent yn awr yn rhwym wrthynt, fel mai nid bychan yw y perygl i'w Mawrhydi yn bersonol, ac i'r holl deyrnas. Yr wyf wedi nodi allan yr anghyfleusterau, y rhai y mae fy nghydwybod at ei Mawrhydi a'm gwlad yn fy rhwymo i'w dadlennu. Meddylied y rhai sydd yn ddoethach na mi yn ddifrifol am hyn, ac yr wyf yn hyderus na farnant fi yn haeddu cael fy nhorri i lawr am ddangos y perygl fel hyn.

Beth bynnag sydd yn ddadleugar yn y pethau hyn, yr wyf yn eu dal o gydwybod tuag at Dduw; yn gwbl oddi ar y casineb cydwybodol hwnnw sydd ynof at bob dyfeisiau o eiddo dynion neu angylion mewn crefydd; ac oddi ar y gofal ddylai fod gennyf am iachawdwriaeth a diogelwch ei Mawrhydi. Amddiffyn Duw fyddo hyd byth arni hi ac ar fy ngwlad. Yr wyf yn barod, trwy gymorth Duw, i golli fy mywyd dros wirionedd y dystiolaeth hon. Eto os gall un dyn gael allan trwy Air ysgrifenedig Duw, fy mod yn cyfeiliorni mewn dim, byddaf yn dra ewyllysgar i gywiro fy marn, a gofyn yn ostyngedig am bardwm am fy nghamgymeriad; ïe, byddaf yn hollol barod i ddïoddef cosb am fy myrbwylldra. Ond o'r tu arall, os nad wyf yn y pethau hyn yn tystiolaeth dim ond y gwirionedd, o'r hyn yr wyf yn hollol argyhoeddedig, yr wyf yn y modd mwyaf gostyngedig yn crefu na byddo i fin y cledd gael ei droi yn frysiog yn fy erhyn i a'm brodyr. Ni fuwyd yn frysiog iawn erioed i arfer y cledd yn erbyn y rhai oedd elynion cyhoeddus eu tywysog a'u gwlad.

Nid wyf yn yr achos hwn yn arbennig, diolch i Dduw, yn ofni angeu; canys gwn fod colyn angeu wedi ei dynnu ymaith, a bod y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o herwydd tystio yn erbyn llygredigaethau eu hoes, yn wynfydedig (Dat. xiv. 9—13). Nid wyf yn dymuno byw os wyf yn euog o wrthryfel, o sarhau ac aflonyddu ar sefyllfa llywodraeth heddychol ei Mawrhydi.

Yn olaf. Yr wyf yn y modd gostyngeiddiaf a difrifolaf yn crefu ar eich anrhydedd a'ch urddas, i ddwylaw y rhai o honoch y daw yr ysgrifen hon o'r eiddof, i ystyried nad yw o un diben i ddeiliaid ei Mawrhydi dreulio eu hamser i ddysgu, trwy efrydu a myfyrio y Gair, darllen gweithiau ac ysgrifeniadau y dysgedigion a'r merthyron sanctaidd fu yn yr oesoedd o'r blaen, yn neillduol y gweithiau a gyhoeddwyd trwy awdurdod ei Mawrhydi, os na allant yn ddiberygl broffesu a chredu y gwirioneddau a ddysgir ynddynt, ac yn ol eu gallu, argyhoeddi yr holl fyd a safo yn eu herbyn, yn unig trwy Air Duw. Dymunaf arnynt yn daer hefyd ystyried mor ofidus yw meddwl y cawn ddal cymdeithas yn ddiberygl ag Eglwys Rhufain yn ei dychmygion, ac na chaniateir i ni heb berygl mawr wahaniaethu oddi wrthi mewn barn ac arferion lle y mae hi yn gadael ffordd y gwirionedd, a'r pethau hynny sydd o bwys mawr mewn crefydd. Yr wyf yn crefu arnoch, yn ymysgaroedd Iesu Grist, fod yn gyfryngau at ei Mawrhydi a'i swyddogion i sicrhau fod fy achos yn cael ei bwyso mewn clorian uniawn. Nid yw carchariad, cyhuddiadau, ac ymosodiadau; ïe, nid yw angeu ei hun, yn arfau digonol i argyhoeddi y gydwybod fyddo yn sylfaenedig ar Air Duw, a chanddi gynifer o'i weision a'i eglwysi yn dystion o'i phlaid.

Bendithied Duw ei gwir ardderchog Fawrhydi, fy ngrasusaf benadur; bendithied ei holl swyddogion anrhydeddus, a'r holl wlad hon, a'i holl saint, ïe, er mwyn ei enw mawr. Amen.

Yr wyf yn ei arwyddo gyda llaw a chalon,

JOHN PENRY.

Yn awr mewn rhwymau caeth am dystiolaeth i wirionedd Crist.

Ceir fod yr ysgrif uchod wedi ei throsglwyddo i Arglwydd Burleigh gan Francis Johnson o'i garchar, gyda llythyr ato, Mis 6, 12, 1593.

JOHN DAVIES.

# LLE CRIST YN NUWINYDDIAETH Y DYDDIAU HYN.

## II.

Yn y rhifyn diweddaf o'r TRAETHODYDD ceisiasom fwrw golwg frysiog dros gynnwys y rhan gyntaf o gyfrol Dr. Fairbairn, ac yr ydym yn awr yn bwriadu cymeryd cwrs tebyg gyda'r rhan sydd yn weddill. Fel y sylwasom o'r blaen, gwaith y llyfr cyntaf ydyw olrhain hanes a beirniadu duwinyddiaeth y gorffennol; ond yr amcan mewn golwg wrth wneyd hynny ydoedd paratoi y ffordd ar gyfer gwaith yr ail lyfr. Yn y cyntaf y mae yr awdwr yn dadansoddi ac yn chwalu yr hen gyfundrefnau duwinyddol, nid er mwyn chwalu a dinystrio yn unig, ond yn hytrach er mwyn cael y maes yn agored tuag at osod i lawr sylfeini mwy cedyrn i adeiladu arnynt dduwinyddiaeth newydd. Y rhan ddiweddaf o'r gyfrol, gan hynny, a ystyrrir yn bwysicaf gan yr awdwr; hon ydyw y nod mewn golwg trwy y rhan gyntaf, a hon hefyd sydd wedi rhoddi ei henw i'r oll o'r gyfrol.

Y mae y llyfr hwn yn cael ei ddosrannu i dair o adrannau. Yn y gyntaf rhoddir crynhodeb o ddysgeidiaeth y Testament Newydd am Grist; yn yr ail edrychir ar Grist fel dehongliad o Dduw; ac yn y drydedd, wedi cael dehongliad Crist o Dduw, ceisir tynnu allan linellau cyntaf y gyfundrefn dduwinyddol sydd yn codi o'r athrawiaeth hon am Dduw.

Y mae yr ymresymiad yn yr adran gyntaf yn gyfryw fel mai gwaith ofer fyddai ceisio talfyrru na chrynhoi dim arno, oblegid fel y sylwyd, crynhodeb ydyw y rhan hon ei hunan,—ac o angenrheidrwydd crynhodeb byr,—o brif deithi dysgeidiaeth amrywiol ysgrifenwyr y Testament Newydd am berson Crist a'i waith. Nis gallwn, gan hynny, ond nodi allan y prif gasgliad sydd yn dyfod i'r golwg trwy yr adran hon; sef fod yr Efengylau, yr Epistolau, a'r Datguddiad yn cyd-dystiolaethu, mewn amrywiol foddau, i Fabolaeth Ddwyfol yr Arglwydd Iesu Grist. Y mae yr ysgrifenwyr Sanctaidd yn edrych ar Grist o wahanol gyfeiriadau; y maent yn ei amgyffred ac yn ei esbonio mewn gwahanol ddulliau; ond er hynny y mae unoliaeth a chysondeb yn rhedeg trwy yr holl amrywiaeth. Portrëadir Crist ganddynt oll fel yn y berthynas agosaf â Duw ac â dyn—yn Fab Duw ac yn Fab y dyn mewn gwirionedd,—a'r berthynas ddeublyg hon sydd yn ei gymhwyso i ddatguddio Duw ac i waredu y ddynoliaeth. Er mai un-dduwiaeth ydoedd crefydd yr ysgrifenwyr, eto y maent un ac oll yn syniad am Grist fel Duw, yn ei wisgo a phriodoleddau ac â galluoedd Dwyfol, ac ymhob ystyr yn ei osod yn ogyfuwch â Duw. Eu tystiolaeth unllais ydyw, yng ngeiriau y canwriad wrth droed y groes, "Yn wir Mab Duw oedd y dyn hwn." Yr unig eithriad ydyw yr Apostol Iago. Am dano ef, yn ol Dr. Fairbairn, nid oedd ganddo ond syniadau aneglur iawn am Grist ac am Gristionogaeth. Yr oedd wedi methu deall Crist, ac fel yr ymddengys, yn parhau yn Iuddew deddfol o ran ei deimlad a'i gredo.

Ac nid ysgrifenwyr y Testament Newydd yn unig sydd yn tystio i Fabolaeth Ddwyfol Crist. Y mae dysgeidiaeth Crist am dano ei Hunan mewn cydgordiad perffaith â'r hyn a ddywedir gan ei ddisgyblion. Gwneir hyn yn ddigon eglur trwy ddyfyniadau o'i eiriau yn yr Efengylau. Dyma'r agoriad, gan hynny, i holl ddysgeidiaeth y Testament Newydd

am Grist, sef mai Mab Duw ydyw. Ac, ni a gredwn, mai amcan mawr Dr. Fairbairn yn yr adran hon ydyw dwyn y gwirionedd hwn i amlygrwydd. Ond rhaid i ni addef fod y rhan fwyaf o honi yn ymddangos i ni yn gymysglyd ac yn amddifad o berthynas glir â rhannau ereill y gwaith. Y mae yr elfeniad a roddir o ddysgeidiaeth amrywiol lyfrau y Testament Newydd am Grist yn dangos gallu a chraffder meddwl, ac yn talu yn dda am ei ddarllen; ond ymddengys yr awdwr fel pe yn ymgolli mewn dyrysni ac yn methu llywodraethu amrywiol linellau ei ymchwiliad i gydredeg â chwrs ei ymresymiad.

Yn yr adran nesaf y mae Dr. Fairbairn ar ei oreu; hon yn ddiau ydyw ei orchest benaf. Fel y sylwasom o'r blaen, dichon fod rhannau ereill o'r gwaith o fwy o werth parhaol; ond yma y danghosir mwyaf o gyfoeth a threiddgarwch meddwl yr awdwr. Y mae ei ymdriniaeth ar y Drindod yn llawn o newydd-deb a beiddgarwch; yr ydym yn fynych wyneb yn wyneb â rhai o anhawsterau mwyaf duwioldeb ac yn cael ein harwain ganddo i fyfyrio mewn syndod uwch ben

Dyfnion bethau Tri yn Un.

Yr ydym yn wastad yn rhyfeddu wrth ei ddilyn; weithiau yr ydym yn methu peidio ameu ac ofni, ac ar adegau yr ydym yn gorfod credu fod y tir a gerddir gennym yn siglo o dan ein traed; ond er pob peth mae ein harweinydd yn parhau i ymlwybro rhagddo ac i dorri ei lwybr trwy bob rhwystrau.

Y mater, fel y dywedwyd, yn yr adran hon ydyw Crist fel datguddiad o Dduw. Yr oedd gan y byd ryw syniad am Dduw cyn i oleuni Crist dywynnu arno, ond syniad tlawd ac arwynebol ydoedd. Yr oedd ganddo syniad am Dduw, ond nid am y Duwdod. Y mae hwn yn wahaniaeth o'r pwys mwyaf yng ngolwg yr awdwr. Wrth y Duwdod golygir y natur Ddwyfol—Duw fel y mae ynddo ei Hun ac iddo ei Hun. Wrth Dduw, ar y llaw arall, golygir y Duwdod fel y datguddir Ef yn ei berthynas â'r greadigaeth, fel achos cyntaf a diben pob peth. Gall duwinyddiaeth naturiol gyrraedd rhyw syniad am Dduw, ond datguddiad goruwchnaturiol yn unig all ddweyd dim am y Duwdod. Yr hyn a gyrhaeddir gan reswm ar y goreu ydyw syniad athronyddol am Dduw fel Bod anfeidrol a thragwyddol, diberthynas a diamodol; ond y mae datguddiad yn gallu dwyn i'r amlwg y bywyd o fewn y Bod hwnnw. Gall goleuni rheswm ein harwain i gredu fod Duw yn bod, ond mewn trefn i wybod pa fath ydyw rhaid iddo Ef lefaru. Efe ei Hun yn unig all hysbysu dirgelion ei natur. Hwn ydyw y datguddiad a geir yng Nghrist. Y mae Ef yn Dduw ac yn ddyn, yn meddu ymwybyddiaeth Ddwyfol a dynol, a chan hynny gall ef ddatguddio y Dwyfol mewn iaith ddealladwy i ni. Gwybodaeth neillduol Cristionogaeth ydyw hon, ac yn y meddiant o honi yr ydym ni ar dir i lunio ein hathrawiaeth am y Bod o Dduw yng ngoleuni yr esboniad a roddwyd gan Grist ar y Duwdod.

Yn awr yr elfen sylfaenol yn ymwybyddiaeth Crist o Dduw ydoedd yr elfen *Fabaidd*. Hanfod ei adnabyddiaeth o hono ei Hunan ydoedd Mab, a hanfod ei adnabyddiaeth o Dduw ydoedd Tad. Yr oedd y naill yn cynnwys y llall, y Mab yn tybied Tad, a'r Tad yn tybied Mab. Ym meddwl yr Arglwydd Iesu yr oedd y ddau hyn, Tad a Mab, yn y berthynas agosaf â'u gilydd, yn gwneyd i fyny un Duw ar wahân a goruwch pawb a phob peth arall. Yr oedd yr undeb a'r gwahaniaeth rhyngddynt yn dragwyddol ac anghyfnewidiol, yn bod o angenrheid-

rwydd y natur Ddwyfol ei Hunan. Dyma, ynte, brif darddle y wybodaeth sydd gennym ni yn awr am y Duwdod. Y mae yn cynnwys Tad a Mab, yn gartref yr Undeb uchaf ac anwylaf, ac ar yr un pryd yn cynnwys gwahaniaeth ac amrywiaeth. Un Duw ydyw, ond o fewn yr Un hwnnw y mae meddwl a chariad yn gweithredu yn ddiddechreu a diddiwedd; y mae yn meddu ar fywyd cymdeithasol o'i fewn ei Hunan. Fel y dywedwyd, hwn ydyw datguddiad mawr Cristionogaeth, ac nid oedd gau-grefyddau y byd, mwy na'i athroniaeth baganaidd, yn gwybod dim am dano.

Y mae yr athrawiaeth hon am y Duwdod fel Tri yn Un, yn arwain i ganlyniadau o'r pwys mwyaf. I ddechreu, y mae yn *Moesoli* y syniad sydd gennym am Dduw ei Hunan. Prin y gellid ystyried Duw yr Iuddew yn Fod Moesol, yng ngwir ystyr y gair. Yr oedd, mae'n wir, yn ffynhonnell moesoldeb i'r genedl, ond yr oedd Efe ei Hun uwchlaw, ac yn annibynnol ar bob rhwymau moesol. Yr oedd dyledswyddau pobl Israel tuag ato Ef, a thuag at eu gilydd, yn cael eu hamgyffred fel yn tarddu, nid o natur Duw, ond o'i ewyllys a'i benarglwyddiaeth. Llawer llai yr oedd duwiau y cenhedloedd paganaidd yn meddu ar nodweddion moesol. Ond yn y syniad Cristionogol am Dduw fel Trindod o bersonau, y mae perthynasau moesol yn bod o angenrheidrwydd yn y Duwdod ei Hunan. Y mae yr Hanfod Ddwyfol, fel Tad, Mab, ac Ysbryd Glan, yn gartref anfeidrol i bob rhagoriaeth moesol, yn cynnwys cymeriad, dyledswyddau, a dibenion moesol.

Drachefn, y mae yr athrawiaeth am y Drindod yn taflu goleuni ar y syniad o *Greawdwr a chreadigaeth*. Un o anhawsterau mawrion athroniaeth a duwinyddiaeth naturiol ydyw rhoddi cyfrif am y berthynas rhwng Duw a'r cread. Wrth gychwyn gyda'r syniad athronyddol am Dduw fel Bod syml a diberthynas, ac heb wahaniaeth o'i fewn, yr anhawster ydyw amgyffred pa fodd yr oedd yn bosibl iddo ddechreu creu. Paham y newidiodd ei gyflwr o orffwystra dragwyddol am weithgarwch Creawdwr? O ba le y tarddodd y cymhelliad cyntaf? Nid o'r tu allan, oblegid ni fodolai dim o'r tu allan; ac eto pa fodd y cododd mewn Bod oedd yn berffaith hunanddigonol a hunanddibynnol? Yr anhawsterau hyn sydd yn arwain dynion i geisio dihangfa,—rhai mewn oll-dduwiaeth, rhai mewn materoliaeth, a rhai mewn agnosticiaeth. Ond yng ngoleuni Crist, y mae yr anhawsterau meddyliol hyn, os nad yn cael eu symud ymaith, o leiaf yn cael eu lleihau. Y mae ein Duw ni, fel Trindod, yn Fod llawn o berthynasau, cymhellion ac amcanion, o'i fewn ei Hunan. Nid Bod unig a diberthynas mo hono, ond Hanfod yn llawn o fywyd, amrywiaeth, a chymdeithas. Ac nid pan yn creu y dechreuodd Efe weithredu; yn hytrach, yr oedd yn gweithredu yn ddiseibiant er tragwyddoldeb. Mewn gair, y mae yn cynnwys cymhellion ac adnoddau, yn cynnwys cyflawnder anfeidrol o bob amrywiaeth ynddo ei Hunan, fel y gellir yn hawdd ei amgyffred Ef fel achos cyntaf a digonol yr holl fydysawd. Drachefn, "Duw cariad yw." Yr oedd yn caru yn ddiddechreu ac o angenrheidrwydd fel Tab a Mab. Ac y mae y cariad hwn yn rhoddi goleuni pellach ar ei gymhellion fel Creawdwr. Creodd am ei fod yn caru. Dyna yw cariad, medd Dr. Fairbairn, "Angen nas gellir ei diwallu ond yn unig mewn rhoddi." A thrwy greu yr oedd yr angen hwn yn cael ei ddiwallu; hynny yw, yn cael lle i roddi. Tueddwyd Ef i greu, nid gan alluoedd o'r tu allan, ond gan gymhellion moesol ynddo ei hun.

Yr un modd drachefn, y mae yr athrawiaeth Gristionogol am Dduw yn egluro ei berthynas â'r byd mewn *Rhagluniaeth*. Pan wedi ei adael iddo ei hunan, y mae rheswm dyn yn dueddol i redeg naill ai i Ddeistiaeth, neu ynte i Olldduwiaeth yn ei esboniad ar ragluniaeth. Yn y cyntaf edrychir ar Dduw uwchlaw ac ar wahan i natur, a phob ymyriad o'i eiddo o'i mewn yn weithred wyrthiol a goruwchnaturiol. Yr unig berthynas rhyngddo â'r byd ydyw y berthynas sydd rhwng yr oriawr a'r hwn a'i gwnaeth,—wedi unwaith greu y byd, gadawyd ef yn gwbl i ofal deddfau a galluoedd natur. Y mae Olldduwiaeth ar y llaw arall, yn gwneyd Duw a natur yn un. Amrywiol foddau o'r Duwdod ei Hunan ydyw holl amrywiaeth natur, tonnau megis yn ymgodi ac yn ymsuddo ar wyneb môr o Dduwdod. Y mae y ddwy ddysgeidiaeth mewn rhan yn wirionedd, ac y mae yr athrawiaeth Gristionogol am Dduw yn uno ac yn cysoni y ddwy. Dysgir yma fod Duw uwchlaw natur, ac hefyd o'i mewn; o'i blaen ac yn annibynnol arni, ac eto ar yr un pryd yn ei llenwi ac yn ei rheoli. Y mae yn y berthynas agosaf a phob rhan o honi, ond y mae y berthynas yn amrywio yn ol natur y gwrthrychau. Offeryn yn llaw Duw, wedi ei greu ganddo, ac yn cael ei ddefnyddio ganddo, ydyw y greadigaeth ddireswm; ond y mae perthynas wahanol ac uwch rhyngddo â dyn fel bod rhesymol, sef perthynas foesol a phersonol. Yng ngoleuni yr unig-anedig Fab, ni a wyddom mai cariad yw Duw; ac ni a wyddom hefyd fod dyn wedi ei wneyd i garu ac i'w garu.

Yn awr y gorchwyl i'w gyflawni gan dduwinyddiaeth Gristionogol ydyw dehongli Duw yng ngoleuni y Duwdod, ac yna esbonio ei weithredoedd oddiar y tir hwn. Dylem ni, yn ol Dr. Fairbairn, ddyfod at y Duwdod trwy Grist, ddyfod at Dduw trwy y Duwdod, ac yna ddyfod at ein cyfundrefnau duwinyddol trwy Dduw wedi ei esbonio yn y goleuni hwn. Nid dyma y ffordd sydd wedi ei dilyn gan dduwinyddion yr Eglwys yn gyffredin. Yn hytrach, ysywaeth, y mae gennym ni ddwy athrawiaeth yn cael eu dysgu, ochr yn ochr, ar hyd y canrifoedd; un am y Bod o Dduw, a'r llall am y Drindod. Tarddodd y gyntaf i ddechreu o'r syniadau Hebrëaidd am Dduw; a thrwy ddylanwad yr Eglwys Ladinaidd, trosglwyddwyd hi yn etifeddiaeth i oesau dilynol, ond mewn ffurf fwy llwm, anhoffus, a chyfreithiol. Ac o ganlyniad, fel Teyrn, Deddfroddwr a Barnwr y mae y Bod o Dduw yn cael ei amgyffred gan mwyaf yn ein duwinyddiaeth. Ar y llaw arall, cododd yr athrawiaeth am y Drindod o ddysgeidiaeth Crist, a dadblygwyd hi yn raddol gan yr Eglwys Roegaidd. Ond yn anffodus gwnaed hynny ar linellau athronyddol, ac mewn modd sydd yn cuddio o'r golwg lawer o wir gyfoeth ac ystyr yr athrawiaeth. Y mae y ddwy yn aros yn awr i raddau mawr yn annibynnol, ac oblegid eu bod ar wahan y mae y ddwy yn amherffaith, ac i fesur yn anghywir. Dylid toddi y ddwy yn un, ac felly lenwi ein syniad am Dduw gyda dysgeidiaeth Crist am y Drindod.

Ond yn awr y mae yr hen syniad Iuddewaidd yn parhau, ac y mae Calfiniaeth yn ogystal a Phabyddiaeth yn rhoddi eu dylanwad o'i blaid. Yn ol hwn, pen-arglwyddiaeth ydyw yr elfen fwyaf hanfodol yn y syniad am Dduw. Y berthynas sylfaenol rhyngddo â dyn ydyw fel Creawdwr a Llywodraethwr. Yr Arglwydd Iesu yn unig sydd wrth natur yn Fab, EFE ydyw yr *unig*-anedig Fab. Creadur ydyw dyn wrth natur, ac nid mab; ond trwy ras dygir dyn i undeb a Christ, ac mewn canlyniad i gyfranogiad o'i Fabolaeth Ef. Dadleuir yn gryf gan Dr. Fairbairn yn erbyn y syniad mai y berthynas sylfaenol rhwng Duw a

dyn ydyw y berthynas o ymerawdwr a deiliad. Yn ol ei ymresymiad ef, Tadolaeth Duw ydyw gwreiddyn ei awdurdod unbenaethol. Yr unig frenhiniaeth deilwng o Dduw, medd efe, yr unig frenhiniaeth sydd yn gorffwys ar berthynas *naturiol*, ydyw brenhiniaeth Tad. Yr oedd yr hen dduwinyddion yn ffurfio eu syniad am Dduw oddiwrth freniniaethau daearol; dychmygent am dano yn frenin ar gynllun llywodraethwyr gwlad,—llywodraethwyr sydd wedi eu creu naill ai trwy rym arfau neu ynte trwy gyfreithiau y wladwriaeth. Ond yr unig Unbennaeth wirioneddol ydyw y patriarch, neu y tad yn ei deulu; y mae awdurdod hwn yn gorwedd ar berthynas naturiol, ac oblegid hynny yn fwy sicr, hollol, a pharhaus. Hon ydyw penarglwyddiaeth Duw, sef penarglwyddiaeth yn tarddu o Dadolaeth. Y mae yn gyntaf yn Dad y ddynoliaeth, ac yna, ac oblegid hynny, yn ymerawdwr yn ei deulu. Ac y mae yr athrawiaeth hon yn arwain i amryw o gasgliadau o'r pwys mwyaf, na chawn yma ond eu nodi wrth fyned heibio. Gan mai brenhiniaeth Tad ydyw, amcanion tadol sydd i'r holl lywodraeth; nid cryfhau ac ehangu ei awdurdod ei Hunan, ond addysgu a llesoli y plentyn. Deddfau Tad ydyw y deddfau, a gweinyddir hwy gan law a chalon Tad. Amcan y cyfan ydyw gwella a dyrchafu y teulu. Hyd yn oed pan yn poenydio y troseddwr, pennyd ydyw sydd i geryddu, ac yn y diwedd i ddiwygio y plentyn; ac nid i'w gosbi a dial arno am ei bechod. Nid oes le o fewn llywodraeth Tad i ddial a chosbi yng ngwir ystyr y geiriau. Yr amcanion mewn golwg ydynt, nid cadw trefn, nid lles y cyhoedd, nid anrhydedd y ddeddf, ac nid hawliau cyfiawnder; ond yn hytrach daioni ac adferiad y pechadur. Drachefn, yn y goleuni hwn, nid ydyw cyfiawnder Duw ond gwedd arall ar ei gariad; cariad mewn gweithrediad ydyw, cariad yn defnyddio y moddion mwyaf addas ac effeithiol tuag at gyrraedd ei ddibenion. Dyma ynte ydyw yr athrawiaeth Gristionogol am Dduw fel ei dysgir gan Grist. Bod ydyw sydd yn gyntaf ac yn bennaf oll yn Dad, ac yn cael ei gymhell i greu, cynnal a llywodraethu gan ei gariad at ei blant.

Bellach ar ol cael allan ddysgeidiaeth Crist am Dduw fel Tad, ac am ddyn fel mab, yr ydym ar dir diogel i ddechreu adeiladu ein cyfundrefn dduwinyddol. Hyn ydyw y gwaith a wneir yn y drydedd adran o'r llyfr hwn. Y ffynhonnell fawr, o'r hon y mae yr holl athrawiaethau ereill i darddu, ydyw Tadolaeth Duw fel y datguddiwyd ef yn ymwybyddiaeth Crist. Nid yr eglwys, nid cyfiawnhad trwy ffydd, nid yr ymgnawdoliad, ac nid penarglwyddiaeth Duw ychwaith; ond yn hytrach Tadolaeth Duw ydyw sylfaen duwinyddiaeth i fod. Ac yn awr, wrth gychwyn oddiar y tir hwn beth ellir wybod, i ddechreu am *Bechod?* Gan fod Duw wrth natur yn Dad, a dyn wrth natur yn fab, y berthynas wreiddiol rhyngddynt ydyw y berthynas o gariad a chymundeb. Nid hon, fodd bynnag, ydyw y berthynas weithredol sydd yn bod rhyngddynt yn awr. Yn y gwrthwyneb, y mae pechod wedi dwyn i mewn ddyryswch ac anghydfod. Ystyr pechod ydyw fod dyn wedi methu cyrraedd nôd ei fywyd, ac hefyd mai efe ei hunan sydd yn gyfrifol am hynny. Y mae wedi gosod hunan yn lle Duw, fel canolbwynt ei fywyd. Mab ydyw pechadur, ond mab o dan lywodraeth teimladau anfabaidd; ei galon wedi pellhau oddiwrth ei Dad, ac yntau o ganlyniad mewn trueni. Y mae yr awdwr yn gwynebu hen gwestiwn yr oesau: Paham, tybed, y goddefwyd i bechod wneyd ei ymddanghosiad o gwbl? Yr atebiad sydd ganddo ydyw fod rhyddid ewyllys yn hanfodol i fabolaeth dyn. Yr oedd

yn amhosibl i Dduw greu dyn yn alluog i ufuddhau, heb iddo hefyd fod yn alluog i bechu. Mewn trefn i ddyn fod yn fab i Dduw, yr oedd yn rhaid iddo fod ar ddelw Duw o ran natur a chynheddfau, ac nid yn unig yn offeryn yn ei law. Heblaw hynny, nid ydym ni yn awr yn alluog i farnu beth ydyw pechod, na beth fydd ei ganlyniadau diweddaf. Hyn a wyddom, hyd yn oed yn awr, sef fod pechod wedi profi yn achlysur i ddwyn i'r amlwg ddisgleirdeb gogoneddus y Tad. Yma gwelwn y Tad yn caru mor fawr fel ag i lynu wrth ei fab, serch iddo syrthio i bechod. Drachefn, hen gwestiwn tywyll arall ydyw,—Paham, tybed, y crewyd y ddynoliaeth yn y fath fodd fel ag i wneyd pechod un yn bechod pawb? Nid oes amheuaeth am y ffaith ei hunan. Y mae athroniaeth a gau grefyddau y byd, yn ogystal a Christionogaeth, yn cydnabod fod y plentyn newydd-anedig yn llawn o hadau llygredig. Pa fodd i roddi cyfrif am y ffaith sydd fater ag y mae llawer o wahanol farnau arno, mewn athroniaeth ac mewn duwinyddiaeth. Y ffordd i gyfarfod â'r anhawster, yn ol Dr. Fairbairn, ydyw trwy, yn gyntaf, gydnabod nad ydyw y tueddiadau drwg sydd yn cael eu trosglwyddo o oes i oes, ac o dad i fab, ynddynt eu hunain yn bechodau. Gwir fod y pechod gwreiddiol, fel y'i gelwir, yn gorwedd o'r tu cefn, ac yn ffynhonnell y pechodau gweithredol yn hanes pob dyn; eto nid ydym i ddeall fod y pechod gwreiddiol, fel y cyfryw, yn tybied cyfrifoldeb nac euogrwydd personol. Y mae pawb o'r hil ddynol yn dioddef oddiwrtho, ond nid oes neb yn cael ei gondemnio o'i blegid. Yr ydym oll mewn angen am ein gwaredu rhagddo, ond nid oes berygl i neb gael ei golli o'i herwydd. Yn yr ail le, dylem gofio fod pechod y dyn cyntaf Adda, yn cael ei drosglwyddo a'i wasgaru i'r hiliogaeth yn ol yr un ddeddf ag y mae cyfiawnder yr Ail Adda yn cael ei drosglwyddo i'w hiliogaeth Yntau. Deddf ydyw hon sydd yn hanfodol i bob teulu, sef fod pechod neu ragoriaeth un yn etifeddiaeth i bawb o'r aelodau. Y ffaith fod y ddynoliaeth yn un teulu sydd yn cyfrif am y pechod gwreiddiol, ac hefyd am y bendithion sydd yn deilliaw i ni o ymgnawdoliad Crist. Drachefn, wrth edrych ar bechod yn ei berthynas â Duw, y ffaith gyntaf i'w chofio ydyw fod pechod, er ei holl ddrygedd, yn analluog i newid dim arno Ef. Erys yn Dad i blant dynion mor wirioneddol ag erioed, a theimladau Tad sydd ganddo tuag atynt. Nid yw yn bosibl i'r Hwn o'i gariad a greodd ddyn ar y cyntaf beidio ei garu o herwydd iddo bechu. Yn hytrach, y mae ei gariad Ef yn dragwyddol ac anghyfnewidiol, ac oblegid hynny, byddai colledigaeth y ddynoliaeth yn golled anadferadwy iddo Ef. Ond tra yn parhau i garu y pechadur fel ei blentyn, y mae yn cashau ei bechod, ac yn rhwym o roddi ei holl adnoddau ar waith tuag at ei ddiddymu. Ond pa fodd y gellid gwneyd hynny? Nid trwy ddifodi y pechadur ei hunan; oblegid buasai hynny yn oruchafiaeth i bechod, a buasai yn fwy o gosbedigaeth ar y Tad nag ar y plentyn afradlon. Nid ychwaith trwy gosbi pechod yn y troseddwr. Fel y sylwyd o'r blaen, y mae cosbi, er mwyn cosbi, yn anghyson â llywodraeth Tad. Yr unig ffordd, gan hynny, i orchfygu pechod, ydyw trwy waredu y pechadur allan o'i gaethiwed; ac ni fydd y frwydr rhwng Duw a phechod wedi ei hymladd i derfyniad hyd nes y gwelir y pechadur diweddaf wedi ei achub o afaelion pechod. Bydd pob pechadur i dragwyddoldeb, os nad yn gadwedig, o leiaf o fewn posibilrwydd i gael ei gadw.

Y casgliad sydd yn codi oddiwrth yr holl ymresymiad ydyw, fod Duw yn cael ei gymell i ymgymeryd â'r gwaith o waredu pechadur gan

angenrheidrwydd ei natur foesol fel Tad. Nis gallai lai na gwneyd ei oreu i'w achub o afaelion pechod. Ond mewn trefn i'r waredigaeth fod yn effeithiol, yr oedd yn rhaid cael dyn yn ewyllysgar, oblegid buasai ei waredu trwy drais yn ddinystriol i'w fatolaeth. Pa fodd i ddadrys yr anhawsterau hyn sydd wedi ei ddatguddio trwy drefn yr Iachawdwriaeth,—trwy yr ymgnawdoliad, yr iawn, a gwaith yr Ysbryd Glan. Ychydig o drafodaeth, mewn cymhariaeth, a roddir i'r pynciau hyn gan Dr. Fairbairn, ac ni ddygir i'r amlwg ganddo lawer o newydd-deb o berthynas iddynt. Dywedir wrthym fod athroniaeth yr oesau diweddaf hyn yn dyfod i ymdeimlo, yn fwyfwy eglur, â'r berthynas agos sydd yn bod rhwng y natur Ddwyfol a'r natur ddynol. Y mae yr awdwr yn gweled arwyddion o hyn yng nghyfundrefnau athronyddol Des Cartes, Spinoza, Malebranche, Berkeley, Kant, Schelling, a Hegel: ac y mae y ffaith hon yn dweyd rhywbeth, o leiaf, am bosibilrwydd yr ymgnawdoliad. Y mae y berthynas hon, yn ol Cristionogaeth, yr agosaf mewn bod, sef y berthynas o Dad a Mab. Hon ydoedd y berthynas wreiddiol rhwng Duw a dyn; ac er eu bod wedi eu dieithrio oddiwrth eu gilydd gan bechod, nid ydyw y berthynas rhyngddynt wedi ei difodi. Trwy ymgnawdoliad yr Arglwydd Iesu, adferwyd y ddwy natur i'w cymundeb cysefin; ac ynddo Ef cawn olwg ar y *mab* yn ei berffeithrwydd, a datguddiad o'r Tad yn ei ogoniant.

Y mae Dr. Fairbairn yn credu, gyda Martensen, fod yr ymgnawdoliad yn rhan hanfodol o fwriadau Duw tuag at ddyn. Nid pechod barodd i Grist ymddangos yn y cnawd; nage, yr oedd yr ymuniad â'r natur ddynol i gymeryd lle yn annibynnol ar anufudd-dod y ddynoliaeth. Yr oedd hyn yn angenrheidiol tuag at roddi y datguddiad mwyaf gogoneddus o Dduw; ac o herwydd hynny, yr oedd yn anhepgorol hefyd tuag at leshad a dedwyddwch uchaf y ddynoliaeth. Yr oedd y natur Ddwyfol er tragwyddoldeb yn cynnwys y posibilrwydd o ymgnawdoli; ac yr oedd y natur ddynol, o'i chreadigaeth, wedi ei chymhwyso i dderbyn ymgnawdoliad. Gwelodd Lucifer, meddai Luther, pan ymysg yr angylion glân, wrth edrych ar wynepryd y Goruchaf, ei fod wedi penderfynu dyfod yn ddyn er tragwyddoldeb,—penderfynu cymeryd had Abraham ac nid naturiaeth angylion,—a'r weledigaeth honno gynhyrfodd genfigen mab y wawrddydd, ac yn y diwedd a achosodd ei gwymp. Yn ei ymdriniaeth ar yr ymgnawdoliad, y mae yr awdwr yn cyffwrdd ag athrawiaeth yr ymwaghâd, y *kenosis*. Yn ol ei esboniad ef, rhoddodd y Mab rai o'i briodoleddau Dwyfol o'r neilldu wrth ymostwng i "ddull fel dyn;" rhoddodd heibio ei briodoleddau *naturiol*, megis hollbresenoldeb, hollalluowgrwydd, a hollwybodaeth; a hynny gyda'r amcan o ddatguddio yn llawnach ei briodoleddau *moesol*,—ei gariad a'i gyfiawnder.

Ond os ydoedd yr ymgnawdoliad i gymeryd lle yn annibynnol ar bechod; yr oedd yr angenrheidrwydd am yr Iawn yn codi yn unig o gyflwr pechadurus y ddynoliaeth. Amcan mawr marwolaeth y groes ydoedd condemnio pechod, a gwneyd hynny mewn modd a enillai bechadur i ymuno â Duw yn y condemniad. Anghenraid ydoedd mewn trefn i ennill pechadur i adael ei bechod, ei ennill yn gyntaf i'w gondemnio. Nid oedd yn ddigon iddo gael maddeuant rhad o'i bechod; nid oedd yn ddigon iddo ei anghofio; yr oedd yn rhaid iddo hefyd gael golwg ar ei ddrygioni a'i atgasrwydd. Hynny yn unig a'i harweiniai ef i'w gashau ac i arswydo rhagddo. Wrth son am gondemnio pechod,

dylem sylwi fod yr awdwr yn cymeryd poen i brofi nad oedd dim o natur gyfreithiol na chosbawl yn yr Iawn. Iawn ydoedd yn cael ei roddi gan Dad, nid i gosbi pechod, nac i amddiffyn y gyfraith, ond i geryddu a lleshau y plant. Nis gallwn lai na theimlo fod Dr. Fairbairn yn ei wrthwynebiad i'r syniadau cyfreithiol am yr Iawn, yn cael ei gario i eithaf arall, ac yn fynych yn gwneyd cam ag ystyr amlwg rhai o adnodau y Beibl mewn trefn i amddiffyn ei olygiad. Beth bynnag am hynny, cydolygwn â'r awdwr pan y dywed mai yr Iawn ydyw y datguddiad llawnaf, ar un llaw o gariad Duw at bechadur a'i gasineb at bechod, ac ar y llaw arall o hacrwch a drygioni pechod ei hunan.

Y mater yn y bennod nesaf ydyw Ysbrydoliaeth y Beibl. Yr oeddym yn teimlo cyn dechreu ei darllen i raddau yn bryderus, oblegid yr oedd amryw frawddegau yng nghorff y gyfrol yn codi amheuon o berthynas i syniadau y Prifathraw am awdurdod Ddwyfol yr Ysgrythyrau. Gellid casglu fod holl ddysgeidiaeth yr Hen Destament am y Bod o Dduw yn ei olwg ef, os nad yn hollol gyfeiliornus o leiaf yn unochrog a chamarweiniol. Yr ydym i dderbyn dysgeidiaeth llyfrau y Testament Newydd hefyd "yn ol y graddau o wirionedd sydd ynddynt." Y maent yn cynnwys cymysgiad o lawer o syniadau ffaeledig ac o ragfarnau yr awdwyr. Nid oedd Iago wedi deall dim ar Grist, nac yn gwybod ond ychydig am Gristionogaeth. Nid ydoedd Paul bob amser yn arweinydd diogel; cawn un engraifft neillduol o'i ffaeledd yn Rhuf. ix., 19—24. Yn yr ymresymiad hwn, medd Dr. Fairbairn, y mae y gymhariaeth oddiwrth y crochenydd a'r clai, nid yn unig yn amherthynasol, ond hefyd yn dwyllodrus. Prin y gellir derbyn dyfarniadau o'r fath yma, ac hefyd gredu yn y Beibl fel rheol anffaeledig i ffydd ac ymarweddiad. Yr oeddym gan hynny wrth droi i'r bennod ar "Datguddiad ac Ysbrydoliaeth," yn awyddus i wybod ychwaneg am syniadau yr awdwr; ond er ei darllen lawer gwaith drosodd, yr ydym mewn cymaint tywyllwch ag erioed.

Hyn sydd sicr, y mae Dr. Fairbairn yn credu fod datguddiad oddiwrth Dduw yn elfen hanfodol ymhob crefydd. Dyna yw crefydd yn ol ei ddisgrifiad ef, — ymdeimlad dyn o'i berthynas â'r goruwchnaturiol; a chyn y gellir ymdeimlo na gwybod dim am y berthynas hon, rhaid cael datguddiad o honi. Tybir gan bawb o'r addolwyr paganaidd fod eu crefyddau hwy yn gorffwys ar ddatguddiadau oddiwrth eu duwiau; felly am grefyddau yr Aifft, India, a China. Nid ydynt oll yn feddiannol ar lyfrau cysegredig, fel y Beibl gennym ni; ond y maent oll yn credu fod datguddiad, mewn rhyw ffurf arno, yn hanfodol i grefydd. Ond y mae pob datguddiad gwirioneddol yn tybied yn gyntaf Ysbrydoliaeth. Gwaith dyn ydyw datguddio, ond gwaith dyn pan o dan ddylanwad ysbrydoliaeth. Defnyddir y gair ysbrydoliaeth fynychaf, mewn cysylltiad ag ysgrifeniad llyfrau y Beibl, a golygir wrtho fel rheol rhyw gynhyrfiad ac arweiniad *neillduol* oddiwrth Ysbryd Duw. Mewn ystyr fwy *cyffredinol*, priodol y gellir dweyd fod yr eglwys ymhob oes yn ysbrydoledig. Nid ydyw pawb o'r aelodau felly i'r un graddau; y mae rhai o honynt yn meddu ar natur foesol fwy tyner a theimladol, ac oblegid hynny yn gallu derbyn yn helaethach o ddylanwadau yr Ysbryd. Nid ydyw Dr. Fairbairn yn cydnabod gwahaniaeth natur rhwng yr hyn a elwir yn ysbrydoliaeth neillduol ac ysbrydoliaeth gyffredinol. Yr un ydynt o ran natur, a'r unig wahaniaeth ydyw gwahaniaeth graddau. Yr ysbrydoliaeth oedd yn angenrheidiol ar y

dechreu i roddi y datguddiad, sydd yn angenrheidiol hefyd i ninnau yn awr tuag at ei ddeall a'i dderbyn. Ymhellach, yr oedd yr ysgrifenwyr sanctaidd eu hunain yn amrywio ym mesur eu hysbrydoliaeth, ac o ganlyniad y mae y llyfrau a ysgrifennwyd ganddynt yn amrywio o ran eu gwerth a'u hawdurdod. Ni ddywedir dim yn uniongyrchol gan yr awdwr am anffaeledigrwydd y Beibl; ac ychydig o le a roddir i'w awdurdod. Yn wir dywedir yn bendant ganddo mai yr unig ddatguddiad, a'r unig awdurdod derfynol mewn crefydd ydyw, nid y Beibl ei hunan, ond y Beibl mewn undeb â'r eglwys, â rheswm dyn, ac âg Ysbryd Duw. Os ydym am athrawiaeth gywir am ysbrydoliaeth, rhaid cymeryd y pedwar hyn i ystyriaeth, ac nid y Beibl ar wahân. Ond si nid ydyw hyn yn gyfystyr â rhoddi heibio bob ysbrydoliaeth? Os ydyw y Beibl, yr eglwys, a rheswm, i'w gosod yn gydradd ac yn ffurfio un awdurdod rhyngddynt, yn ymarferol y mae hynny yn gyfystyr â diddymu pob awdurdod mewn crefydd.

Yn y bennod hon hefyd cymerir golwg frysiog ar berthynas yr Uchfeirniadaeth â'r Beibl. O bosibl ein bod ni yng Nghymru yn rhy dueddol i gondemnio yr ymchwiliadau hyn, ac i gymeryd golwg ordywyll ar eu canlyniadau. Yn ol Dr. Fairbairn, nid oes dim achos eu hofni; yn y gwrthwyneb, dylem roddi pob cefnogaeth iddynt. O drugaredd y mae y ddysgeidiaeth a'r ysgolheigdod uchaf ar hyd y canrifoedd yn cael eu cysegru i wasanaeth crefydd; ac nid ydyw Uchfeirniadaeth y dyddiau hyn, yr hon a gondemnir mor erwin gan rai o honom, ond ymchwiliad adnewyddol i gwestiynau Beiblaidd yng ngoleuni gwybodaeth ehangach o'r iaith Hebraeg ac o hynafiaethau y cenhedloedd boreuol. Buddiol iawn i ni yng Nghymru fyddai cofio mai yr unig ffordd effeithiol i gyfarfod â'r ddysgeidiaeth hon ydyw trwy ddysgeidiaeth uwch. Yn sicr, nid coegni a gwawdiaeth ydyw yr arfau i ymladd yn erbyn ysgrifenwyr mwyaf dysgedig y ganrif. Dichon hefyd mai da ydyw ein hadgoffa mai nid y Beibl *fel un llyfr* sydd yn gynnyrch ysbrydoliaeth, ond yn hytrach ei wahanol rannau. Gwaith dynion ydoedd casglu a threfnu y canon, ac fel y cyfryw nid oes berygl chwilio i mewn a barnu y trefniant.

Yn y ddwy bennod olaf o'r llyfr amcenir at ddefnyddio yr ymwybyddiaeth oedd gan Grist tuag at gael allan syniad mwy cywir am yr Eglwys ac am ei ffurf-lywodraeth. Trwy yr Arglwydd Iesu y dysgwyd Un-dduwiaeth, yng ngwir ystyr y gair, gyntaf i'r byd. Gwir mai un Duw a addolid gan y genedl Iuddewig; ond yr oedd eu crefydd hwy yn fwy o genedl-dduwiaeth nac o Un-dduwiaeth, h.y. yr oeddynt yn amgyffred eu Duw fel yn gyfyngedig i'w cenedl hwy. Nid Duw i'r ddynoliaeth yn gyffredinol ydoedd, ond Duw i un pobl. Ond yn yr Arglwydd Iesu, rhwygwyd y wahanlen, a datguddiwyd un Duw, ac mewn canlyniad, un grefydd ac un eglwys i bawb o blant dynion yn ddiwahaniaeth. Enw mawr yr Arglwydd Iesu ar ei eglwys ydyw teyrnas—teyrnas Dduw a theyrnas nefoedd,—ac fel y cyfryw sonir ganddo am ei brenhin, ei deiliaid, ei gorsedd, ei deddfau, ei gwobrau, a'i chosbau, &c. Ar y llaw arall, prif syniad yr Apostolion am dani ydyw fel eglwys neu gynulleidfa o bobl. Yr ochr Ddwyfol, gan hynny, i'r eglwys ydyw teyrnas, a'r ochr ddaearol o'r deyrnas ydyw yr eglwys; ond y mae y ddwy wedd yn hollol gyson â'u gilydd. Unig amod aelodaeth yn yr eglwys wirioneddol ydyw bod yn feddiannol ar ysbryd y plant,—cynulleidfa ydyw o frodyr ieuangaf, mewn undeb â, ac ar ddelw, y Brawd Hynaf, ac yn

cyd-barablu yr enw Abba Dad. Y nodwedd sydd yn tynnu mwyaf o sylw yn y penodau hyn ydyw fod yr awdwr yn chwerw ryfeddol yn erbyn pob ffurf o ddefodaeth a swyddogaethau eglwysig. Braidd na thybiem fod ei sel dros symledd cyfansoddiad yr eglwys, a thros gydraddoldeb ei haelodau, yn ei gario ar adegau i ormodiaeth. Wedi'r cyfan, rhaid addef fod y Beibl yn rhoddi lle mawr i gyfryngau a swyddau yn yr eglwys, ac yn enwedig i'r sacramentau. Ac yn sicr rhaid tynnu ymaith yr Epistol at yr Hebreaid, ynghyd a rhannau mawrion ereill o ysgrythyrau y Beibl, ac yn wir liaws o ciriau yr Arglwydd Iesu ei Hunan, cyn y gellir gwneyd i ffwrdd âg offeiriadaeth Crist. Addefwn yn rhwydd fod dynion wedi rhoddi llawer gormod o le i sacramentau, cyfryngau a swyddau eglwysyddol, i'r olyniaeth Apostolaidd, ac i ffurf-lywodraeth; ond nid ydyw hynny yn ddigon o reswm dros ymwrthod â hwynt yn gyfangwbl. Cawn, yn ddiamheuol, ddigon o seiliau ac esiamplau ysgrythyrol dros gredu eu bod o wasanaeth, ac yn angenrheidiol, o fewn terfynau priodol, er llwyddiant yr eglwys.

Yr ydym yn awr ar derfyn ein gyrfa, ond cyn rhoddi y gyfrol o'r neilldu goddefer i ni sylwi am funud ar y prif feddylddrych sydd yn rhedeg drwyddi. Dywedwn eto fod y gyfrol, a'i chymeryd fel cyfanwaith, yn un o orchestion y blynyddoedd diweddaf hyn mewn llenyddiaeth dduwinyddol. Y mae o'r dechreu i'r diwedd yn drysorfa gyfoethog o feddyliau clir, coeth, a threiddgar, a'r rhai hynny wedi eu traethu mewn iaith ac arddull sydd yn wastad yn byrlymio gan fywiogrwydd ac amrywiaeth. Anhawdd iawn cael cyfrol all ddifyrru cymaint ar y darllennydd, ac ar yr un pryd ei symbylu gymaint i feddylgarwch. Ceir ynddi rai darnau gwirioneddol wych, a bydd yn bleser troi atynt a'u darllen drosodd a throsodd drachefn. Ymysg ereill, gallwn nodi y rhai hynny ar Luther a Chalvin, Strauss a Baur; hefyd y ddalen neu ddwy yn y rhagarweiniad ar Grist fel Person Amlycaf Hanesyddiaeth; ac yn fwy neillduol fyth, y darnau sydd yn ymdrin ar Demtiad Crist, ac ar Frenhiniaeth Duw.

Ar ol dwyn y dystiolaeth uchod, yr ydym yn ostyngedig am feiddio datgan y farn fod drychfeddwl mawr a sylfaenol y gyfrol yn gamarweiniol. Ni ddywedwn ei fod yn gyfeiliornus, oblegid gwyddom ei fod mewn rhan yn gorwedd yn deg ar seiliau ysgrythyrol, ac ar ddysgeidiaeth unfrydol yr eglwys. Yr hyn a ddywedwn ydyw fod Dr. Fairbairn wedi gorweithio un ochr i'r gwirionedd, ac oblegid hynny fod llawer o'i gasgliadau yn anniogel. Fel yr ydym wedi sylwi lawer gwaith trosodd, *idea* fawr y llyfr ydyw *Tadolaeth Duw*. Y ffordd i ni gael syniad cywir am Dduw, meddir, ydyw trwy astudio dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu; yn yr adnabyddiaeth oedd ganddo Ef o Dduw y rhoddir i'r byd yr unig ddatguddiad diogel i bwyso arno. Ond gwel yr efrydydd ar unwaith mai fel Tad yr oedd Crist yn arfer syniad am Dduw. Tadolaeth ydoedd hanfod y syniad oedd ganddo Ef am dano, ac oblegid hynny dyna ddylai fod hanfod ein syniadau ninnau. Beth bynnag arall sydd yn wybyddus am Dduw, dylai gael ei esbonio yng ngoleuni y ffaith hanfodol hon, sef fod Duw yn gyntaf ac yn bennaf oll, yn Dad. Gwir ei fod hefyd yn Greawdwr, yn Frenin, yn Farnwr, ac yn Gosbwr; ond y mae y rhai hyn oll i'w hesbonio fel yn tarddu o'i Dadolaeth. Tadolaeth ydyw yr elfen sylfaenol, a hon sydd yn llywodraethu pob elfen arall yn y Duwdod.

Addefa pawb fod llawer iawn o wirionedd yn y ddysgeidiaeth hon: ond a oes rhesymau digonol dros roddi y lle a roddir gan Dr. Fairbairn i Dadolaeth Duw? A ydym i esbonio priodoleddau Duw, ei waith a'i lywodraeth, fel yn codi i ddechreu o'i Dadolaeth? Yr ydym yn credu yn wahanol, a gallwn nodi dau neu dri o resymau dros hynny.

1. *Y mae yn groes i ran fawr o ddysgedigaeth y Beibl.* Daw hyn i'r golwg yn fynych iawn yng ngwaith Dr. Fairbairn, a gosodir ef o dan angenraid i edrych ar ddysgeidiaeth yr Hen Destament am Dduw, o i ddechreu i'w ddiwedd, yn anghywir, oblegid fel brenin a llywodraethwr y gosodir Ef allan yno. Heblaw hynny, hawdd fyddai dangos fod rhannau helaeth o ddysgeidiaeth yr Epistolau, ac yn wir o eiriau yr Arglwydd Iesu ei Hunan yr un mor gyfeiliornus, yn ol y ddamcaniaeth uchod. Credwn yn sicr fod y Beibl drwyddo yn rhoddi llawn cymaint o bwys ar benarglwyddiaeth Duw, ar ei briodoleddau brenhinol, ei gyfiawnder, ei ofal am ei lywodraeth ac am y ddeddf, ei ddigofaint yn erbyn pechod, a'i fygythion ar yr annuwiol,—lawn cymaint, meddwn, ag a roddir ar ei Dadolaeth. Mae'n wir mai trwy Grist yn bennaf y datguddiwyd Tadolaeth Duw, tra yr oedd ei briodoleddau ereill wedi eu datguddio yn flaenorol. Ond nid oes gennym un sail dros dybied fod yr ychwanegiad a roddwyd trwy Grist wedi ei fwriadu i ddadwneyd na chyfnewid dim ar ddatguddiadau yr oruchwyliaeth flaenorol. Dygwyd i'r amlwg trwy y Mab wedd newydd, a'r wedd fwyaf gogoneddus yng nghymeriad ein Duw; ond y mae yr oll o'r agweddau ereill yn aros lawn mor wirioneddol ag erioed.

2. *Yr hyn a geir yng ngeiriau yr Arglwydd Iesu ydyw y berthynas sydd yn bod rhwng Dau Berson Dwyfol, ac nid y berthynas rhwng dyn a Duw.* Yr ydym yn credu fod y gwahaniaeth hwn o'r pwys mwyaf, ac yn ddinystriol i ddamcaniaeth Dr. Fairbairn. Cofier mai yr amcan sydd gan yr awdwr mewn golwg wrth ymchwilio i ymwybyddiaeth Crist o'i Dad, ydyw cael allan yr athrawiaeth Gristionogol am y Bod o Dduw; nid am un o'r personau Dwyfol, ond am Dduw fel Tri yn Un. Yn awr, yr hyn a geir yng ngeiriau Crist pan yn son am ei Dad ydyw, nid ei adnabyddiaeth o Dduw fel Trindod, ond ei adnabyddiaeth o'r Person Cyntaf yn y Drindod. Yr oedd ganddo hefyd adnabyddiaeth o'r Trydydd Person, ond nid fel Tad; ac yr oedd ganddo adnabyddiaeth o hono ei Hunan, ond nid fel Tad. Yr hyn a olygir gan hynny wrth Dadolaeth Duw yng ngeiriau Crist, ydyw un o'r perthynasau sydd yn bod o fewn yr hanfod Ddwyfol. Nodwedd wahaniaethol y Person Cyntaf ydyw, ac nid nodwedd hanfodol i bob un o'r Personau Dwyfol. Ond yr hyn y disgwylir ei gael mewn athrawiaeth am y Bod o Dduw ydyw y nodweddion sydd yn perthyn yn gyffredin i bob un o'r Personau Dwyfol. Un o ganlyniadau naturiol yr arbenigrwydd anghymesur hwn a roddir gan yr awdwr i Dadolaeth Duw, ydyw yr anhawster a deimlir ganddo, yn ei eglurhadaeth ar y Drindod, i roddi lle o gwbl i'r Trydydd Person. Nis gall neb ddarllen y bennod ar y Duwdod, heb deimlo fod y frawddeg neu ddwy a geir ynddi o gyfeiriad at yr Ysbryd Glan yn hollol ddigysylltiad, ac y buasai yr ymdriniaeth yn arwain yn fwy naturiol i Ddeudod, ac nid Trindod o Bersonau. Y berthynas o Dad a Mab yn unig sydd yn cael sylw; ac edrychir ar y berthynas honno fel yn cynnwys holl ffeithiau dyfnaf yr hanfod Ddwyfol.

3. *Y mae y Casgliadau sydd yn codi o ddysgeidiaeth Dr. Fairbairn yn ymddangos yn anysgrythyrol, os nad yn beryglus.* Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at amryw o honynt, ac nis gallwn yma ond yn unig symio i fyny

y rhai mwyaf nodedig. (1). Rhaid dileu, neu ynte roddi ystyr hollol newydd i'r gair *mabwysiad* yn y Testament Newydd, oblegid dywedir wrthym fod dyn wrth natur yn fab Duw, a'i fod yn parhau yn fab serch iddo bechu (tudal. 390).* (2). Y mae cyfiawnder Duw a'i gasineb at bechod yn cael eu hesbonio fel ffurfiau ar gariad Tad (tudal. 441—444). (3). Nid oedd un berthynas yn bod rhwng y ddeddf a'r iawn, ac nid oedd cosbedigaeth am bechod yn rhan o ddioddefaint y groes (tudal. 479—487). (4). Nid oes angen heddychu Duw a phechadur; oblegid y mae Duw, o angenrheidrwydd natur, yn rhwym o garu dyn, hyd yn oed pe yn golledig yn uffern (tudal. 424 a 487). (5). Gwneir i ffwrdd a chosbedigaeth am bechod, a dysgir y bydd i'r annuwiol yn y byd a ddaw, os myn, gael ei waredu o afaelion pechod. Bydd iachawdwriaeth yn bosibl o leiaf, am dragwyddoldeb, i'r rhai colledig yn uffern (tudal. 468).

Dyma rai o'r canlyniadau sydd yn dilyn yr athrawiaeth Gristionogol am Dduw fel y'i dysgir gan Dr. Fairbairn. Gwelir ar unwaith fod y ddysgeidiaeth hon yn cytuno yn dda a thueddiadau amlwg yr oes hon,—tueddiadau i esbonio ymaith ddrwg pechod, yr angenrheidrwydd am aberth iawnol y groes, a'r hen gredo am dragwyddol gosb. Diau fod y ddysgeidiaeth yn fwy esmwyth a derbyniol i bechadur euog, ac yn dygymod yn well â syniadau coeth a dyrchafedig y dyddiau hyn am Dduw ac am ei lywodraeth! Ond a ydyw yn wirionedd? Yr ydym yn ofni, wedi'r cwbl, fod yr hen athrawiaethau, pa mor annerbyniol bynnag, yn ateb yn fwy cywir i ffeithiau bywyd; fod pechod yn *reality* ofnadwy, ac yn wrthryfel yn erbyn gorseddfainc a llywodraeth yr Anfeidrol; fod ein "Duw ni yn dân ysol." yn ogystal ac yn gariad; fod ei gyfiawnder, ei ddigofaint a'i ddialedd, yn eiriau a dyfnderoedd arswydlawn o ystyr iddynt; fod rhyw gynnwys anirnadwy o frawychus yn hen adnodau y Beibl,—rhai o honynt wedi eu llefaru gan "yr addfwyn a'r gostyngedig o galon,"—sydd yn darlunio dioddefaint a chosbedigaeth dragwyddol yr annuwiol; ac fod yn rhaid i Fab Duw ymostwng i ddeddfle yr euog, yfed gwaddod y cwpan erchyll, a thalu y ffyrling eithaf o gosbedigaeth pechod cyn y gellid cyfiawnhau yr annuwiol a'i heddychu â'r Duw Sanctaidd. Dylem gofio yn wastad, ac addoli wrth gofio am drugaredd a chariad y Tad yn y nefoedd; ond gwyliwn rhag cymeryd hynny yn esgus dros ymhyfhau mewn pechod ac esbonio ymaith ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd. "Peth ofnadwy ydyw syrthio yn nwylaw y Duw byw."

W. O. JONES.

---

# YN YR ANWYLYD.

(EPHES. I. 6).

YN YR ANWYLYD! yn yr Anwylyd! yn yr Anwylyd bendigaid!
Mi welaf fod modd i bechadur a ffôdd dan gysgod ei aden gael byw:
Y trŷ ei euogrwydd, a'i atgas halogrwydd, a holl ddrwg ei bechod melldigaid,
Sy a'i floedd mor gref am soriant y Nef, ynddo EF yn gyfiawnder Duw!

* Y mae y rhifynnau wedi eu cymeryd o'r argraffiad cyntaf.

Mewn caddug o ofnau, ac erch ddychryniadau, yn dod o ddidderfyn
bellderoedd,
A'm gofid am gwae o hyd yn trymhau, nes gwasgu pob gobaith o'm
bron,—
Daeth hyfryd wawr gannaid i godi ar f'enaid, sy a'i llewyrch yn llanw'r
holl nefoedd,
Wnaeth nos fy nhrueni gan faint ei goleuni, yn ddydd o ddisgleirdeb
llon.

Ynddo EF, yr Anwylyd, lle gorffwys mor hyfryd anfeidrol Foddlonrwydd
y DUWDOD,
Ac y ceir yn ei wedd ddyfnderoedd o Hedd, wna wynfyd JEHOFAH ei
Hun,—
Yr euog ddyrchefir a'r halog a burir, mewn glendid a bythol ollyngdod:
Y gelyn mawr frâd, yng ngolwg y TAD, ag Anwylyd ei Gariad ddaw'n
un!

O GEIDWAD graslonaf, byth mwy ymfoddlonaf, mewn ofn ac mewn
tawel ymddiried,
A'm pwys ar dy gymod, ac mewn llawn ufudd-dod, i ymostwng wrth
dy draed:
Am iti o'm cynni a'm dirfawr drueni, â Braich o Dosturi fy ngwared,
Dy Enw fendithiaf, dy Gariad glodforaf, a chanaf am werth dy Waed.

Yn yr ANWYLYD! yn yr Anwylyd! yn yr Anwylyd bendigaid!
Mi welaf fod modd i bechadur a ffôdd dan gysgod ei aden gael byw:
Y trŷ ei euogrwydd, a'i atgas halogrwydd, a holl ddrwg ei bechod
melldigaid,
Sy a'i floedd mor gref am soriant y Nef, ynddo EF yn gyfiawnder
Duw!

DANIEL ROWLANDS.

---

## Y FASNACH MEWN DIODYDD MEDDWOL.

DYLEDSWYDD y Wladwriaeth, fel y cyfryw, yw gwneyd ei rhan er sicrhau cysur pob un o'r deiliaid. Nid yn unig cadw drwg oddiwrthynt, ond ychwanegu da atynt. Po fwyaf y da, mwyaf y cysur; a pho fwyaf y cysur, mwyaf y llwyddiant. Y gymdeithas oreu fedd y dylanwad mwyaf. Hi sydd yn llwyddo oreu. Nid oes gan ddim y fath ddylanwad â pherffeithrwydd. Nis gall perffeithrwydd fod mewn dim ond daioni. Byd yn llawn daioni y bwriadwyd hwn i fod. Mae y bydysawd oll, yn ei holl ddosbarthiadau, yn talu gwarogaeth i ddaioni. Casgliad o holl ronynnau daioni yr holl greadigaeth yw mangre dedwyddwch,—y Nefoedd. Mae cysur a llwyddiant y wladwriaeth yn codi o'r unigol. Mae y drygioni lleiaf ynddi yn atal cysur y gymdeithas oreu. Mae toriad yn un o ddannedd yr olwyn leiaf yn y peiriant, yn ysgwyd yr holl beiriant, nes peri nad yw ei symudiad mor esmwyth nac mor ddymunol. Toriad ar ddant yn un o olwynion cymdeithas yw anghysur mewn un person ynddi. Gwneyd yr aelodau oll yn gysurus yw amcan cyntaf a phennaf gwladwriaeth. Gofal am lwyddiant a llonyddwch y deiliaid

yw ei gwaith penodol. A wneir hyn? Os na wneir, nid yw cymdeithas yn cyrraedd amcan ei bodolaeth. Cristionogaeth yw y gyfundrefn gymdeithasol a gwladwriaethol berffeithiaf. Mae ei gogoniant mwyaf yn codi o'r ffaith mai dyrchafu y ddynoliaeth yw ei nôd mawr a phennaf. Gan mai yr un yn eu perthynas â dyn yw amcan cymdeithas, gwladwriaeth, a Christionogaeth, ni ddylent er dim roddi eu nodded i na sefydliad na pherson sydd â'r dylanwad lleiaf ynddynt i ddwyn anghysur i'r deiliaid.

Os yw ein gosodiad yn iawn—ac ni hawliwn ei fod,—Ple saif y Fasnach mewn Diodydd Meddwol? A yw hi yn hawlio bod yn offeryn i ddwyn cysur i deulu dyn? A yw ei dylanwad hi yn ffordd heddwch, llwyddiant, a llawenydd? Ni chredwn fod neb wedi myned mor wallgof â honni hyn. Os nad yw yn dwyn cysur, a yw hi yn dwyn anghysur? Nis gall fod dwy farn am hyn. A ddygodd hi gysur i'r fam druan y drylliwyd corff ei mab gan yr agerbeiriant, pan yn analluog i gymeryd gofal o honno ei hun o dan effeithiau diod y Fasnach? Ai cysur ddygodd i'r wraig a wnaed yn weddw gyda chwech o blant bach ar hanner eu magu, trwy i'w gwr syrthio yn ei feddwdod dros y dibyn i'r môr? Ai nid yw gwaed y miloedd, o ba rai nad yw y ddau a enwyd ond engreifftiau, yn llefain am ddïaledd? A pha raid cyfeirio at ddigwyddiadau neillduol o gwbl? Beth yw hanes y Fasnach? A waghaodd hi garcharau erioed? A wnaeth hi ladron yn onest? A leihaodd hi nifer y rhai a gymerid i wallgofdai? A gauodd hi ddorau ein tlotai? Do, am nad oedd lle i ychwaneg, ar ol cymeryd i mewn weddwon ac amddifaid y rhai a laddodd hi. A ychwanegodd hi at wir gyfoeth, ac at wir lwyddiant y wlad? Ewch ar ei hôl i deuluoedd! Yma y ceir hi yn ei holl hacrwch, yn orchuddiedig gan waed rhieni a phlant, — dysgawdwyr a disgyblion,—yn anghenfil â'i wanc byth heb ei ddiwallu; yn yfed i fyny brydferthwch, diniweidrwydd, lledneisrwydd, purdeb, cysur, a bywyd pawb y ca afael arnynt. O, y golygfeydd torcalonnus geir yma! Bodeu nefol wedi colli y ddelw! Corff wedi ei feddiannu gan ryw ysbryd arall, i'r hwn na pherthyn y gallu i garu dim sydd rinweddol a da! Nis gall dim ond offeryn y dïafol ddwyn hyn oddiamgylch. Pa nifer o ddynion a merched galluog a glân sydd ag ewinedd durol a barnol yr anghenfil meddwol wedi myned i mewn i'w gwaed, a gwanc am y ddïod yn drech na dim arall yn yr holl gyfansoddiad? Pa nifer sydd heddyw, o herwydd gadael i'r ddïod fyned yn drech na hwy, mewn estronol wlad, ynghanol dieithriaid, yn grwydriaid digyfaill a digartref? Ai nid yw yr ystyriaethau hyn yn ddigon i argyhoeddi pawb ei fod yn rhesymol, ac yn ddyledswydd ar y wladwriaeth i roi help llaw i osod pen ar y Fasnach sydd yn cynhyrchu cymaint anghysur, trueni, a throseddau?

Pan y mae deiliaid y wladwriaeth yn dïoddef oddiwrth unrhyw anfantais, y mae yn rhan o'i gwaith i'w gwaredu, pan wedi eu goddiweddyd felly. Y cyfrifoldeb yma yw y rheswm am fodolaeth y llïaws gwallgofdai, yr ysgolion diwygiadol, a'r cartrefi i'r amddifaid a'r tlodion gonest a geir ar hyd a lled y wlad. Ni fynnwn er dim ddweyd gair yn eu herbyn. Y maent yn dda, wedi eu bwriadu i amcan da, ac yn gwneyd gwaith canmoladwy. Maent wedi bod yn iachawdwriaeth i lawer. Ond hoffwn ofyn y cwestiwn, Ai nid gwell symud y drwg sydd yn gwneyd cynifer o'r fath sefydliadau yn angenrheidiol? Beth sydd yn anfon y llïaws i'r gwallgofdai, i'r ysgolion diwygiadol, i gartrefi'r amddifaid, i'r

tlotai, ac i'r carchardai? Yr un ddylai fod ymwneyd y wladwriaeth â phawb o'i deiliaid. Ni ddylai weled gwahaniaeth. Yr un yw hawliau pob un o'r deiliaid am ei amddiffyn; a'r un ddylai fod ei hymwneyd hi â hwy. Pan adawa perchen ty i'r gwterydd sydd gysylltiol â'i eiddo fyned allan o drefn, ac yntau yn gwybod, ac i hynny gael ei ddilyn gan afiechyd, mae y gyfraith yn dal y perchen hwnnw yn gyfrifol am yr holl draul, ac yn gyfrifol am iawn i'r teulu yn ychwanegol. Gwter afiach yw y Fasnach Feddwol. Mae wedi ei chondemnio fel y cyfryw. Mae y wladwriaeth, ynghyd a'r sawl sydd yn byw wrthi, yn gwybod hyn; a dylid eu dal yn gyfrifol am y galanastra a wneir ganddi. Hi sydd yn gyfrifol am faich mawr cost ein carcharau, ein tlotai, a'n gwallgofdai. Crì y rhai a ddinystriwyd ganddi a glywir yn codi o honynt. Y rhai a ânt i'w phyrth a guddir yn ei bedd. Myn rhyw bobl mai afiechyd yn y corff ydyw meddwdod. Cawn hwy yn ymofyn am y feddyginiaeth rhagddo. Os afiechyd ydyw, y mae achos iddo, fel i bob afiechyd arall. Mae y meddyg goreu bob amser yn chwilio allan yr achos yn gyntaf, ac yn gwneyd ei ran i gael allan y moddion i symud hwnnw. Tybed y ceid y meddwdod a welir mor fynych, pe difodid y tai sydd yn gwerthu y dïodydd meddwol fel dïod gyffredin? Os na cheid, Ai nid yw y ffordd i symud y drwg sydd yn achosi yr afiechyd yn eglur iawn? Os afiechyd yn y corff ydyw meddwdod, pa ddiben trefnu un math o feddyginiaeth, a gadael y gwter afiach yn agored i fwrw i fyny ei thawch gwenwynig i ymosod drachefn ar y claf, pan wedi ei wanhau gan yr ymosodiad blaenorol? Mae meddyg yn yr America o'r enw Keeley, wedi dod o hyd, meddai ef, i gyfferi sydd yn lladd y wanc am y ddïod yn y rhai sydd wedi ei fagu. Mae ganddo sefydliadau yn y wlad honno ac mewn gwledydd ereill i roddi y feddyginiaeth. Nid yw y Dr. Keeley yn honni na ellir ail ennyn y chwant; ond hawlia fod ei feddyginiaeth yn angheuol i'r hen chwant. Ddiwedd haf 1892, cyhoeddwyd llyfr tra dyddorol yn rhoddi hanes y sefydliadau,—y feddyginiaeth, a'r amrywiol engreifftiau o dan eu henwau, i brofi tu hwnt i amheuaeth ei heffeithiolrwydd; ac ymhlith yr engreifftiau, gosododd awdwr y llyfr ei hunan fel engraifft fyw i brofi y cyfan. Y meddw diwygedig a ysgrifenodd y llyfr oedd un Milwriad Milnes, yr hwn oedd lenor o gryn fri yn y wlad honno. Mae y llyfr yn cynnwys tystiolaeth llïaws o wŷr o safle i effeithiolrwydd y feddyginiaeth yn eu personau hwy eu hunain. Ddechreu y mis Tachwedd dilynol (1892), bu farw y Milwriad Milnes ei hun wedi deng niwrnod o ail ymwneyd â'r dïodydd meddwol. Yr oedd y wanc am dano wedi ei hail ennyn, a hynny gyda mwy o angerddoldeb. Trwy ryw ffordd neu gilydd, o herwydd bod y tai i'w werthu yn cael eu cadw yn agored gan y Fasnach, ail enynnwyd y tân difäol ym mynwes Milnes, druan, ac aeth yn drech nag ef, a phrofodd yn angeu iddo. Ai nid yw yr engraifft hon eto yn llefaru yr un athrawiaeth, ac yn dangos fod yn rhaid cau y gwterydd afiach os mynnir symud y tawch gwenwynig sydd yn peri y fath ddifrod ar fywydau? Ni saif talent, tynherwch, na thegwch, o flaen y dwymyn sydd yn cael ei daflu i'r corff gan yr ymarfer â dïodydd meddwol. Yngwyneb hyn, dyledswydd cymdeithas, y wladwriaeth, a'r eglwys Gristionogol ydyw gosod eu gwyneb yn erbyn y fath Fasnach, a symud o lwybr y ddynoliaeth yr anghenfil sydd yn sugno gwaed eu cysur, eu llwyddiant, a'u bywyd.

*Llys Coetmor.* W. J. PARRY.

# YR ARIAID.

WEDI son mewn ysgrifau blaenorol am helyntion bywyd Athanasius, a'i ddylanwad ar gredo a hanes yr Eglwys yn y bedwaredd ganrif, mi geisiaf yn awr roi disgrifiad ychydig yn helaethach o godiad a dadblygiad dysgeidiaeth yr Ariaid, elfennau eu llwyddiant ymddangosiadol wedi eu condemniad yng Nghyngor Nicea, eu condemniad terfynol fel gallu yn yr Eglwys yng Nghyngor Caercystenyn, a'u dylanwad hanesyddol ynglyn â throedigaeth y cenhedloedd Teutonaidd.

Un o byncian mwyaf dyddorol hanesiaeth eglwysig yw y rhesymau dros y ffaith fod y ddysgeidiaeth hon, er y condemniad a fu arni yn Nicea, wedi adnewyddu ei nerth, ac wedi parhau am dros hanner canrif i gystadlu â'r wir ffydd am ufudd-dod y byd Cristionogol. Beth oedd elfennau ei nerth? Mae yn debyg fod golygiadau Dr. Newman ar y mater yn cynrychioli syniad sydd yn bur gyffredin. Yn ei farn ef mae y daliadau Ariaidd yn tarddu o eglwys Antioch, ac yn arbennig oddiwrth ddysgeidiaeth yr ysgolhaig a'r merthyr enwog, Lucian. Dywed fod amddiffynwyr cyntaf y blaid yn perthyn i ysgol Lucian, a bod tôn isel moesoldeb a dylanwad Iuddewiaeth yn Antioch yn fagwraeth i'r syniadau cableddus newyddion. Tybia fod awyrgylch athronyddol Alexandria, o'r ochr arall, yn anffafriol i'r syniadau hyn; ac nad oedd y ffaith fod yr heresi wedi ymddangos gyntaf yn ei ffurf arbennig yn Alexandria ond damwain. Ynglyn â'r pwnc hwn y mae gosodiadau Dr. Newman yn amheus mewn hanes, ac y mae ei safle yn hollol gamarweiniol. Pan dorrodd y dadleuon allan gyntaf, yr oedd y gwrthwynebiad i Arius mor gryf yn Syria ag yn Alexandria. Y mae y sail ar ba un y gorffwysai yr heresi Ariaidd yn ei chydymdrech â'r ffydd Niceaidd, yn gorwedd yn ddyfnach nag unrhyw ddylanwad lleol.

Ar wyneb yr hanes, gallasem feddwl fod llwyddiant yr heresi yn ddyledus i ddylanwad y Llys Ymerhodrol. Ac y mae yn rhaid i ni addef nas gallasai y gwrthwynebiad i'r Credo Niceaidd ennill llawer o nerth, ac y buasai yn fuan yn diflannu, oni bai am y defnydd a wnaed o hono gan awdurdodau y Llys. Ond yr oedd yr anfoddlonrwydd i benderfyniadau Nicea yn bod yn annibynnol ar elyniaeth Constantius a'i gyfeillion. Yr oedd yr Ariaid trwyadl yn gryf yn erbyn pob ymyriad o eiddo yr Ymerawdwr. Mae yn wir nad oeddynt hwy ond ychydig mewn nifer; ond ymhlith yr Hanner-Ariaid, yr oedd llawer o ddynion o gymeriad uchel ac o argyhoeddiadau cywir, y rhai a wrthwynebent Gredo Nicea am eu bod yn tybied ei fod yn anghyson â barn a thraddodiad yr Eglwys. Y cwestiwn sydd gennym i'w wynebu felly ydyw, Pa gyfrif sydd i'w roddi dros yr anfoddlonrwydd hwn i'r Credo a ffynnai mor gyffredinol yn yr Eglwys Ddwyreiniol?

Ni fuasai yn naturiol i ni ddisgwyl i ddadblygiad yr athrawiaeth am Berson Crist fyned ymlaen, ond trwy orchfygu llawer o syniadau oeddynt yn groes i hanfod yr Efengyl, neu a godent o ddirnadaeth amherffaith o'i hysbryd. Cynhwysai yr athrawiaeth hon elfennau a ymddanghosent yn anghyson â'u gilydd; ac er fod ffydd a chariad yr Eglwys foreuol yn coleddu y gwahanol elfennau hyn fel rhannau hanfodol o'i syniad am y Gwaredwr, eto yr oedd disgyblaeth amryw ganrifoedd yn angenrheidiol cyn iddi allu codi i ddirnad yr anhawsterau oedd ynglyn â'r pwnc, ac i sylweddoli yr elfennau hyn yn eu gwir

berthynas â'u gilydd ac â threfn y prynedigaeth. Mewn Cristionogaeth, fel yn y grefydd Iuddewig, y mae unoliaeth Duw ynghyd â'i ymwahaniad oddiwrth y byd, yn egwyddor sylfaenol. Ond ochr yn ochr â'r egwyddor hon, fe ddwg Cristionogaeth ger ein bron y ffeithiau hanesyddol o Ymgnawdoliad ac Adgyfodiad Crist, y rhai, yn ol tystiolaeth yr Apostolion, a olygant ddwyfoldeb a dynoliaeth y Gwaredwr; ac yr oedd yr athrawiaeth hon mor sylfaenol â'r gwirionedd am unoliaeth y Duwdod. Pa fodd i gysoni y golygiadau hyn? Prin yr oedd y Tadau boreuol yn ymwybodol o'r anhawster. Yn eu teimlad crefyddol hwy, fe orweddai y gwirionedd am unoliaeth Duw ochr yn ochr â'r athrawiaeth am ddwyfoldeb Crist a dderbyniasent fel rhan o ddysgeidiaeth yr Apostolion; ac fe brofid pob golygiad ymosodol drwy apêl at yr ysgrifeniadau Cristionogol. Ond fe deimlwyd, mewn amser, fod dehongliad yr ysgrifeniadau awdurdodol hyn yn agored i wahaniaeth barn. Yn arbennig, fe wnaed ymosodiad ar ffydd syml yr Eglwys o ddau gyfeiriad gwahanol; ac yr oedd yr ymosodiadau hyn yn ganlyniad i ddau dueddiad sydd yn wastad yn barod i beryglu yr athrawiaeth Gristionogol: sef y golygiad Ebionaidd, a'r golygiad Docetaidd am Berson Crist. Fel y sylwa Martensen, y rhai hyn yw ffurfiau sylfaenol pob heresi. Y mae y cyntaf yn gynnyrch y meddwl Iuddewaidd, yr hwn, gan nas gall oddef y syniad fod Duw ei Hun yng Nghrist, a ddarostwng Grist i safle dyn sydd wedi ei gynysgaeddu yn helaeth â'r presenoldeb Dwyfol, ond nad ydyw, er y cyfan, yn ddim ychwaneg na'r mwyaf o'r proffwydi. O'r ochr arall, y golygiad Docetaidd oedd, nad yw yr undeb rhwng Duw a dyn yng Nghrist ond undeb mewn drychfeddwl, ac nad oedd corff Crist ond ymddangosiadol. O'r ddau olygiad yma, yr oedd y cyntaf yn peryglu Dwyfoldeb Crist, a'r llall ei ymwahaniaeth oddiwrth y Tad. Yn erbyn y ddau berygl yma, nid oedd gan yr Eglwys, hyd ddechre y bedwaredd ganrif, unrhyw amddiffyniad ond yn unig argyhoeddiad ei chariad ei bod yn gweled gogoniant ei Harglwydd, "Gogoniant megis yr Unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Ond yn y bedwaredd ganrif, fe welwyd fod yr anhawsterau yn gofyn am addrefniad yn y dull o osod ger bron yr athrawiaeth am y Duwdod; "fod yn ofynol gwneyd ymwahaniaeth yn yr unoliaeth Ddwyfol; fod Duw Cristionogaeth yn dri-phersonol; fod y syniad o Dduw yn golygu, nid tri o fodau, ond tair agwedd dragwyddol ar y Duwdod, yn gwynebu yn dufewnol arnynt eu hunain, yn ogystal ag yn allanol ar y byd." *

Ond i syniad o'r fath hwn am y Duwdod, nid oedd unrhyw ragbaratoad yn addysg flaenorol y dychweledigion Cristionogol. Ymhob cyfundrefn o athroniaeth, yr oedd tuedd i edrych ar Dduw fel Bod ag yr oedd ei hanfod yn gynwysedig mewn symlrwydd perffaith, nad oedd nwyd a chymeriad yn perthyn iddo o gwbl. Yr oedd y golygiad hwn yn gyson â dysgeidiaeth yr Ariaid, ac â Sabeliaeth; ond nid oedd yn gyson â'r athrawiaeth Gristionogol am Drindod, gydag ymwahaniad tragwyddol y tu fewn i'r natur Ddwyfol.

Mae yn amlwg, gan hynny, nad oedd ymddanghosiad y ddysgeidiaeth Ariaidd yn nechre y bedwaredd ganrif ond canlyniad naturiol i symudiadau meddyliol ag y disgwyliasem eu canfod wedi i Gristionogaeth ddod i gyffyrddiad â meddwl y byd paganaidd. Pa mor gywir bynnag oedd

* H. M. Gwatkin, *Studies of Arianism*, o ba un y cymerwyd rhai o'r brawddegau uchod.

cymelliadau dynion wrth gofleidio Cristionogaeth, er dyfned oedd eu hargyhoeddiadau o burdeb moesoldeb y grefydd newydd, â'i chymhwyster i ddiwallu anghenion y ddynoliaeth, eto dygent gyda hwy syniadau a fyddent yn sicr, os rhoddid lle iddynt, o filwrio yn erbyn ysbryd yr Efengyl. Ar y dechre, nid oedd yr Eglwys yn sylweddoli y perygl oddiwrth y syniadau hyn; yr oedd yn foddlawn ar gyhoeddi unoliaeth y Duwdod a dwyfoldeb Crist fel pynciau sylfaenol ei chrefydd, heb wneyd ymgais i egluro yr anhawsterau. Ond wedi iddi gael llonyddwch oddiwrth erledigaeth, ac i'w threfniadau allanol gyrraedd mesur o sefydlogrwydd, ac i'r ysgrifenniadau apostolaidd ddod yn destyn efrydiaeth fanol a chyffredinol, fe deimlid fod yn angenrheidiol gwneyd ad-drefniad ar yr athrawiaeth am y natur Ddwyfol, er mwyn ei dwyn i gydgordiad â'r datguddiad. Fe welai y dynion goreu fod rhai syniadau wedi bod yn gorwedd yn dawel yng nghrediniaeth gyffredinol yr Eglwys, nad oeddynt ond olion elfennau paganaidd, a bod yn ofynol bwrrw allan y syniadau hyn os oedd yr Eglwys i symud ymlaen at ddirnadaeth gywirach o Berson Crist a threfn y prynedigaeth. Y mae yn bwysig i ni gofio hefyd, er mwyn deall symudiadau y frwydr, fod y rhai hynny a roddent fwyaf o le yn eu credo i'r hen elfennau paganaidd, nid yn unig yn meddu dirnadaeth lai eglur o athrawiaeth, ond eu bod hefyd yn sefyll ar dir is mewn profiad a theimlad crefyddol nag amddiffynwyr y ffydd uniongred. Ni a allwn, gan hynny, roi y disgrifiad canlynol o'r dylanwadau oedd ar waith yn y frwydr a ddibennodd yn sefydliad Credo Nicea fel mynegiad o grediniaeth yr Eglwys :—Fe welai y dysgawdwyr goreu fod angen rhoi datganiad eglur i'r syniad Cristionogol am Dduw yn yr ymwybyddiad o'r anhawsterau oedd ynglyn â'r pwnc, ac y dylai y syniad hwn gynnwys y gwirionedd sylfaenol o unoliaeth y Duwdod, ynghyd ag ymgnawdoliad ac adgyfodiad Crist fel ffeithiau hanesyddol. Ond fe godai anhawster yn y fan hon oddiwrth yr hen elfennau paganaidd yn y syniad am Dduw oeddynt eto yn llochesu ym meddyliau dynion. Yr oedd yr elfennau hyn, nid yn unig yn byw yn y datganiad a roddid iddynt yn y gwahanol heresiau a dorasant allan o bryd i bryd, ond yr oeddynt hefyd yn gorwedd, er feallai yn dawel, yng nghrediniaeth y rhan fwyaf o'r Eglwys. A'r hyn a rydd gyfrif am ddylanwad Arius yw ei fod ef yn cynrychioli gwrthweithiad yr elfennau paganaidd hyn yn yr ymdrech a wnaed i'w bwrrw allan er mwyn sefydlu syniad am Dduw a fyddai, nid yn unig yn wir i deimlad a chariad yr Eglwys, ond a fyddai hefyd yn sicrhau iddi amddiffyniad yn erbyn heresi, ac a roddai i'r ffeithiau hanesyddol ym mywyd Crist eu lle priodol yn nhrefn y prynedigaeth.

Ar un olwg, gallesid tybied fod y ffydd union-gred wedi ennill buddugoliaeth berffaith yng Nghyngor Nicea. Fe gondemniwyd yr heresi Ariaidd gan lys oedd yn cynrychioli yr Ymerhodraeth a'r Eglwys. Yr oedd hyn, ynddo ei hun, yn sicrhau cydymdeimlad a chydweithrediad y Gorllewin; ac yn y Dwyrain, yr oedd y Credo yn ganolbwynt i'r hyn oedd oreu yn nysgeidiaeth ac ym mywyd yr Eglwys. Ond o'r ochr arall, nid oedd y Credo yn cynrychioli teimlad cyfangorff y Cristionogion. Fe'i mabwysiadwyd, nid trwy argyhoeddiad y mwyafrif, ond trwy nerth cymeriad a dylanwad ychydig o feddylwyr, y rhai a safent uwchlaw eu cyd-ddynion mewn teimlad a phrofiad crefyddol, yn gystal ag mewn eglurdeb deall ac addfedrwydd barn. Fel y dywed Gwatkin, gwthiodd Athanasius bobl y Dwyrain ymhellach nag y dewisent fyned. Ac yn fuan iawn, fel y gallesid disgwyl, fe gymerodd gwrthweithiad le.

Gwrthwynebwyd Athanasius yn y Dwyrain, nid am fod y mwyafrif yno yn Ariaid, ond am nad oeddynt yn addfed i Gredo Nicea, a'u bod yn glynu wrth yr hen ffurf ar grediniaeth yr Eglwys, yn yr hon yr oedd amryw o syniadau paganaidd. Ar yr anfoddlonrwydd cyffredinol hwn a ffynnai trwy y Dwyrain, y gorffwysai gwrthwynebiad yr Ariaid. Yr enw a rydd Athanasius ar ei wrthwynebwyr yw "y rhai sydd o gwmpas Eusebius," hynny yw, Eusebius o Nicomedia; ond nis gallwn ddeall symudiadau y frwydr am yr hanner canrif nesaf heb ystyried yr amrywiol elfennau a wnelent i fyny y blaid. Yn gyntaf, y mae gennym yr Ariaid pur, y rhai oeddynt ymhell o blygu i'r Llys Ymerhodrol. Ychydig mewn cymhariaeth oeddynt hwy o ran nifer; ac ynddynt eu hunain, nis gallasent roddi ond gwrthwynebiad gwan i Gredo Nicea. Y tu cefn iddynt, yr oedd y blaid geidwadol, fel y gallem ei galw, y rhai oeddynt yn foddlon ar yr hen ddull o synied am y natur Ddwyfol. O'r blaid hon y cododd yr Hanner-Ariaid. Iddi hi y perthynai y rhan fwyaf o eglwys y Dwyrain. Y drydedd blaid a gynhwysai y rhai a ddalient yr un golygiadau ag Athanasius. Ychydig mewn cymhariaeth oeddynt hwythau mewn nifer; yr oeddynt yn ddyledus am eu dylanwad i'r ddirnadaeth eglur a feddent o wirioneddau yr Efengyl, ac i'w syniadau uchel am natur y bywyd crefyddol. Dyma'r pleidiau a ddeuent i'r golwg adeg y Cyngor; ond ynghwrs y blynyddoedd nesaf y mae y pleidiau hyn yn ymrannu, a rhai newyddion yn cael eu ffurfio wedi cael dirnadaeth eglurach o'r cwestiynau oeddynt mewn dadl.

Y mae gennym yn awr i olrain y gwrthweithiad a gymerodd le wedi'r Cyngor. Gwelwn yr arwydd cyntaf o rym y gwrthweithiad yn y ffaith fod yr Ariaid yn fuan wedi llwyddo i alw yn ol yr esgobion a alltudiwyd yn Nicea. Yn nesaf, y maent yn medru dwyn o amgylch ddiswyddiad rhai o'r esgobion, megis Marcellus ac Eustathius, a lynent wrth y Credo Niceaidd; ac yn y flwyddyn O.C. 336, y mae Athanasius ei hun yn cael ei alltudio gan Gystenyn i Trier. Wedi llwyddo yn hyn, y maent yn tybied y gallent gynnyg credöau o'r eiddynt eu hunain. Fe wnaed yr ymgais at hyn yng Nghyngor Antioch yn y flwyddyn O.C. 341. Yn y Cyngor hwn fe ddiswyddwyd Athanasius, a thrwy rym milwrol gosodwyd Gregorius, dyn hollol ddiwerth, yn esgob Alexandria. Ffodd Athanasius i Rufain, ac yn O.C. 342 fe'i cydnabyddwyd ef fel esgob gan Julius, esgob Rhufain, er i Gyngor Antioch anfon cais at Julius i gadarnhau eu penderfyniad hwy. O Antioch, yn ystod y pedair blynedd nesaf, fe gyhoeddwyd pedwar o gredöau. Cynhwysai y cyntaf olygiadau Eusebius; yr oedd yn hollol anfoddhaol. Nid oedd yn cyfarfod ag anhawsterau y ddadl, a gwell oedd gan yr aelodau lynu wrth eu hen safonau. Fe gynrychiolid syniadau mwyafrif y Cyngor yn yr ail gredo, yr hwn mewn gwirionedd oedd yn un â chredo Lucian. Yr oedd y credo hwn yn un hynod o ysgrythyrol; condemniai ddysgeidiaeth yr Ariaid, yn ol pa un y gosodid y Mab ymysg bodau creëdig, ac y priodolid dechreuad iddo; a datganai, yn y modd mwyaf diamwys, yr athrawiaeth o gyffelybiaeth hanfod. Dywedir ynddo fod y Mab yn wir lun hanfod, gallu, ewyllys, a gogoniant y Tad. I un adran o'r Cyngor, pa fodd bynnag, yr oedd y Credo yn anfoddhaol, am ei fod, yn eu tyb hwy, yn tueddu at Sabeliaeth. Dygodd y rhai hyn Gyffes arall ger bron; ar y cyntaf derbyniwyd hon gyda chymeradwyaeth, ond ni fabwysiadwyd hi yn lle Credo Lucian. Fe welwyd, wedi ystyriaeth, nad oedd un o'r Credoau hyn yn

debyg o ennill cymeradwyaeth eglwysi y Gorllewin. Yng ngwyneb hyn, fe dynnwyd allan bedwerydd Credo; ac anfonwyd hwn i Constans fel gwaith dilys y Cyngor. Ond erbyn hyn, yr oedd Credo Lucian wedi creu cynnwrf yn y Gorllewin; ac er mwyn ei dawelu, gwasgodd Constans ar ei frawd Constantius yr angenrheidrwydd o alw Cyngor Cyffredinol o'r holl eglwys. Cyfarfu y Cyngor hwn yn Sardica yn y flwyddyn o.c. 343. Yr oedd mwyafrif mawr y Cyngor o'r Gorllewin. Cyn iddo ddechre ar ei waith, cymerodd rhwygiad le. Gofynnai yr esgobion Dwyreiniol i'r Cyngor gondemnio Athanasius a Marcellus heb ystyriaeth bellach; a phan wrthodwyd eu cais, hwy a ymneillduasant i Philippopolis. O'r lle hwn cyhoeddasant Gredo—yn ymarferol yr un â'r pedwerydd a dynnwyd allan yn Antioch—gan broffesu fod iddo awdurdod yr esgobion yn Sardica yn gyffredinol. Ymddanghosai y cweryl yn awr yn chwerwach nag erioed; ond wedi ychydig amser, cyfododd teimladau gwell ymhlith esgobion y Dwyrain, a gwnaethant un ymgais pellach i sicrhau cydwelediad y Gorllewin trwy gyhoeddi pumed Credo Antioch. Ni fu yr ymgais yma heb rhyw gymaint o lwyddiant; a gellid meddwl am amser fod y ffordd yn glir i dangnefedd cyffredinol yn yr Eglwys. Yn y cyfamser, gwasgodd Constans ar Constantius y pwysigrwydd o gario allan benderfyniadau Sardica mewn perthynas i Athanasius. Y canlyniad fu i Athanasius ddychwelyd i Alexandria yn o.c. 346; derbyniwyd ef gyda arddangosiadau o edmygedd na welwyd ond anfynych eu tebyg, ac edrychid ar ei fynediad i Alexandria fel buddugoliaeth fwyaf ogoneddus ei hanes.

Mae yn wir nad oedd yn yr heddwch yma elfennau parhâd. Ar yr un pryd, yr oedd symudiadau yn y byd meddyliol yn y cyfnod hwn ag oeddynt yn rhwym ymhen ychydig o uno pleidiau mewn tangnefedd, seiliedig ar argyhoeddiadau cywir am wirioneddau sylfaenol Cristionogaeth. Yr oedd y blaid geidwadol a'r blaid union-gred yn un yn eu syniad am Ddwyfoldeb Crist fel peth gwirioneddol. Ac ymhlith y ceidwadwyr, y duedd yn awr oedd i gadw o'r naill du y gwirionedd am ymwahaniad Person y Mab, ac i roddi pwys ar y gwirionedd o'i gyffelybiaeth hanfodol i'r Tad. Ar yr ochr arall, yr oedd y Niceaid, wedi eu profiad ynglyn â Marcellus, yn gweled fod sail i'r pryder a feddiannai y ceidwadwyr fod perygl trwy y gair *homo-ousion* i syrthio i Sabeliaeth. Ac er ei fod allan o'r cwestiwn i wneyd i ffordd â'r gair, yr oedd y Niceaid yn foddlon i beidio rhoi lle mor amlwg iddo ag o'r blaen. Fel hyn, yr oedd symudiadau meddyliol yn raddol yn dwyn y Niceaid a'r adran fwyaf oleuedig o'r ceidwadwyr yn nes at eu gilydd. Prysurwyd yr undeb trwy godiad plaid eithafol ymhlith yr Ariaid, o dan arweiniad Aetius a'i ddisgybl Eunomius. Arwyddair y blaid newydd oedd y gair *anomoion*, gair a olygai nad oedd cyffelybrwydd hanfod o gwbl rhwng y Mab a'r Tad. Tybiai Eunomius nad oes dim dirgelwch yn yr hanfod Ddwyfol, a cheisiai ddisgrifio y dull ymha un y daeth y Mab i fod, ynghyd â'i berthynas â'r Tad, fel pethau o fewn dirnadaeth glir y meddwl dynol. Er mor haerllug ac arwynebol oedd Eunomius a'i ganlynwyr, yr oeddynt yn ddynion o argyhoeddiadau dwfn. Ni phlygent i ddylanwad y Llys; yr oedd ganddynt yr elyniaeth fwyaf at y Niceaid; ac edrychent gyda dirmig ar yr adranau o'r blaid geidwadol a ueddent yn awr at olygiadau Nicea.

Fel hyn, erbyn y flwyddyn o.c. 353, ymddanghosai y ffordd yn glir i undeb rhwng pleidiau mwyaf goleuedig yr Eglwys. Ond tra yr oedd

symudiadau meddyliol distaw yn gweithio i ddwyn y posibilrwydd hwn o amgylch, yr oedd Constantius wedi bod yn disgwyl am gyfle i ddial ar Athanasius. Ac yn O.C. 353, wedi ei fuddugoliaeth ar Magnentius, ac iddo yntau ddod yn ben ar yr holl Ymerhodraeth, fe geisiodd gario allan ei fwriad. Yr oedd athrawiaethau crefydd i'w cadw o'r golwg; ei amcan mawr oedd sicrhau condemniad Athanasius. Ond ni feiddiai yr Ymerawdwr ddangos hyn ar y dechreu. Yng Nghynghorau Arles (O.C. 353), a Milan (O.C. 355), ceisiodd, trwy bob math o gyfrwystra a thrais, ddylanwadu ar esgobion y Gorllewin er mwyn iddo gyrraedd ei amcan. Alltudiwyd yr enwocaf o honynt—megis Hilary, Hosius, a Liberius—oblegid eu ffyddlondeb i Athanasius ac i'r gwirionedd. Wedi cael y dynion hyn o'r ffordd, tybiai Constantius y gallai ymosod yn uniongyrchol ar Athanasius; ac yn O.C. 356, pan oedd Athanasius yn gweinyddu ei swydd yn un o eglwysi Alexandria, ar ganol nos, fe amgylchwyd yr eglwys gan filwyr, a gorfu i Athanasius ffoi i anialdiroeddd yr Aifft.

Rhaid i ni yn awr sylwi ar y gwahanol bleidiau ymhlith yr Ariaid. Yr oedd Eunomius a'i gyfeillion, fel y gwelsom, yn hollol rydd oddiwrth ddylanwad y Llys. Ond yr oedd ereill yn y blaid eithafol o'r Ariaid a wnaent eu holl egni i gael grym y Llywodraeth o du eu golygiadau hwy. Arweinid y rhai hyn gan Ursacius a Valens, a cheisient brofi nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt hwy a'r Hanner-Ariaid ond dibwys. Mewn cymanfa o'r eiddynt yn Sirmium yn O.C. 357, cyhoeddasant Gyffes ag y gallwn edrych arni fel trobwynt yr holl ddadl. Yn ol y cyhoeddiad hwn, achos yr holl gweryl oedd y gair "hanfod" *(ousia)*; gan hyny, nid oedd dim, o hyn allan, i'w ddysgu mewn perthynas i hanfod y Mab, am nad oes dim ar y pwnc yn yr Ysgrythyr, ac am ei fod uwchlaw dirnadaeth ddynol. Cyhoeddid fod y Tad yn fwy na'r Mab, fod y Mab yn ddarostyngedig iddo; fod y Tad yn bod o'r dechre; i'r Mab gael ei eni o'r Tad trwy genhedliad o'r fath nas gallwn ni ei amgyffred; ac i'r Ysbryd Glan ddod i fod trwy y Mab. Ni ddadlennwyd yr heresi Ariaidd erioed mor eglur ag yn y Gyffes hon. Gwelodd yr Hanner-Ariaid nad oedd ond dyfais i wneyd i ffordd â'u golygiadau hwy, ac i sicrhau buddugoliaeth daliadau Eunomius; ac mewn cymanfa a gynhaliwyd ganddynt yn Ancyra, dan arweiniad Basil, esgob y ddinas honno, dygasant allan Gyffes yn datgan fod y cyffelybrwydd rhwng y Tad a'r Mab yn cynnwys cyffelybrwydd hanfod, ac nas gellid synied am y Mab fel ar wahân oddiwrth fodau crëedig ond trwy ddal yr athrawiaeth hon. Er mwyn tawelu y dadleuon, penderfynodd Constantius alw Cyngor Cyffredinol o'r holl Eglwys. Ond nid oedd hyn yn cyfarfod â dymuniadau y blaid eithafol newydd, o dan arweiniad Acacius a Valens; a llwyddasant i beri i'r Ymerawdwr alw dau Gyngor,—un i'r Gorllewin yn Ariminum, a'r llall i'r Dwyrain yn Seleucia. Yn y cyfamser cyfarfyddodd Acacius a Valens, ac arweinwyr yr Hanner-Ariaid, yn Llys yr Ymerawdwr yn Sirmium, er mwyn penderfynu ar y Credo i'w gynnyg i'r Cynghorau. Bu hyn yn y flwyddyn O.C. 358. Cytunasant fod y Mab yn gyffelyb i'r Tad ymhob peth, fel y mae yr Ysgrythyrau yn dysgu; ond gan fod y gair *hanfod* wedi achosi y fath ddadleuon, penderfynasant nad oedd i'w ddefnyddio o hynny allan ynglyn âg athrawiaethau yr Efengyl. Hawdd gweled y gallai y Gyffes hon feddu gwahanol ystyron i'r Hanner-Ariaid ac i'r Eunomiaid. Tra y credai yr Hanner-Ariaid fod yr ymadrodd "cyffelybrwydd ymhob peth," yn cynnwys cyffelybrwydd hanfod, tybiai y blaid

eithafol fod y geiriau "fel y mae yr Ysgrythyrau yn dysgu," yn cau allan bob cyfeiriad at hanfod. Nid heb lawer iawn o gyfrwystra a dichell y llwyddwyd i gael esgobion y ddau Gyngor i dderbyn gosodiadau Sirmium; ond o'r diwedd, dygwyd hyn o amgylch, a chadarnhawyd y penderfyniadau gan Gymanfa a gyfarfu yng Nghaercystenyn yn O.C. 360, o dan arweiniad Eudoxius, Esgob y ddinas honno, ac Acacius, Esgob Cesarea.

Yn y Gymanfa hon y gwelwn y nod pellaf a gyrhaeddwyd gan y gwrthweithiad Ariaidd. Tybiai Constantius y gallai roi terfyn ar yr holl ddadleuon duwinyddol trwy orfodi pawb i broffesu syniadau y blaid Homoiaidd a arweinid gan Acacius a Valens. Am y rhai a ddysgent yn gyhoeddus ddaliadau Eunomius, nad oedd cyffelybrwydd gwirioneddol o gwbl rhwng y Tad a'r Mab—edrychai Constantius arnynt fel cablwyr; ac erlidiai bleidwyr yr *homo-ousion* a'r *homoi-ousion* fel terfysgwyr.

Bu farw Constantius yn O.C. 361. Dilynwyd ef gan Julian. Ei gynllun ef oedd rhoi lle i'r elfennau terfysglyd a dybiai ef oedd yn yr eglwys, trwy alw yn ol yr esgobion oeddynt wedi eu halltudio. Ond dyma oedd y peth goreu ellid ddymuno er lles tangnefedd yr eglwys. O dan ormes yr Homoiaid, dygwyd ceidwadwyr y Dwyrain i sylweddoli y cydymdeimlad oedd mewn gwirionedd yn bod rhyngddynt hwy a Chredo Nicea; ac yng Nghymanfa Alexandria yn 362, ni welwn pa mor agos yr oedd y cydymdeimlad hwn eisoes wedi dwyn pleidiau at eu gilydd. Yn Alexandria, cyfarfu llawer o'r esgobion ar eu ffordd adref o'u halltudiaeth; a phenderfynwyd ganddynt roi pob croesaw i'r Hanner-Ariaid a ewyllysient ddod yn ol i'r Eglwys union-gred. Fe oedwyd tangnefedd cyffredinol am flynyddoedd trwy farwolaeth Julian yn O.C. 363. Wedi teyrnasiad byr Jovian, daeth Valens yn Ymerawdwr y Dwyrain. Yr oedd Valens yn ddisgybl i Eudoxius ac yn Ariad selog; a daeth yn fuan yn offeryn yn llaw yr Homoiaid i erledigaeth lem yn erbyn y rhai na phlygent iddynt hwy. Ond nis gallai erledigaeth rwystro cwrs naturiol y dylanwadau oeddynt yn dwyn yr Hanner-Ariaid a'r Niceaid yn nes at eu gilydd. O du y rhai union-gred yr oedd dysgeidiaeth, cysondeb eu cyfundrefn, a dylanwad cymeriad uchel. Wedi marwolaeth Athanasius yn O.C. 373, y mae dysgawdwyr enwog Cappadocia—Basil, a'r ddau Gregori—yn dwyn eu holl ddylanwad o blaid tangnefedd wedi ei seilio ar gydymdeimlad gwirioneddol gyda golwg ar wirioneddau mawr y prynedigaeth. Byr oedd parhâd teyrnasiad y blaid Homoiaidd; gyda marwolaeth Valens yr oedd drosodd am byth. Fel hyn, trwy ddadblygiad naturiol meddwl y tu fewn i'r Eglwys, sicrhawyd buddugoliaeth y Credo a gariwyd yn O.C. 325 trwy rym amgyffrediad clir a phrofiad crefyddol uchel Athanasius a'i gyfeillion. Sefydlwyd y fuddugoliaeth hon yn allanol o dan yr Ymerawdwr Theodosius, yr hwn, yn ei gyfraith yn O.C. 380, a ordeiniodd nad oedd neb ond yr esgobion hynny a lynent wrth athrawiaeth yr unoliaeth hanfod, i aros mewn meddiant o'u heglwysi. Yn O.C. 381, cynhaliwyd Cyngor Cyffredinol Caercystenyn, ymha un, gydag ychydig gyfnewidiadau ac ychwanegiadau, y mabwysiadwyd Credo Nicea fel corfforiad o ffydd yr holl Eglwys.

Fel gallu crefyddol y tu fewn i'r Eglwys, ac fel gallu gwleidyddol y tu fewn i'r Ymerhodraeth, diflannodd yr Ariaid o dan deyrnasiad Theodosius. Ond nid oeddynt eto wedi gorffen chware eu rhan yn hanes Ewrop. Gyda marwolaeth Theodosius yr ydym yn gwynebu ar dair canrif na bu eu cyffelyb erioed yn hanes y byd. Gwelid fod yr hen drefn ar fywyd Ewrop yn dod i ben; ac yr oedd yn amhosibl dweyd pa ffurf

newydd a gymerai. Nid cyfr.ewidiadau graddol fel y rhai sydd yn myned ymlaen yn wastad, oedd chwyldroadau yr oesau hyn. Ysgydwid cymdeithas i'w sylfaeni, ac yr oedd yn amlwg, naill ai fod cymdeithas i suddo i ddinystr hollol, neu ynte i'w hadffurfio yn ol drychfeddyliau newyddion. Yn y blynyddoedd terfysglyd hyn, ynglyn â dylifiad y cenhedloedd Teutonaidd i'r Ymerhodraeth, y mae dau gwestiwn mawr yn cyfodi. Un oedd y cwestiwn Pa un ai y Gothiaid ai y Ffranciaid oedd i lywodraethu y Gorllewin; y llall—ac yr oedd hwn yn blethedig â'r cyntaf—oedd Pa un ai dysgeidiaeth yr Ariaid ai y ffydd Gatholig oedd i fod yn Gredo Ewrop. Ym mhenderfyniad y ddau gwestiwn hwn, fel y sylwa Deon Church, y gorwedda holl ystyr yr hanes.

Am beth amser, ymddanghosai fel pe mai yn nwylaw y Gothiaid y gosodid tynged Ewrop. Un o ddynion mwyaf yr oes hon oedd Theoderic, arweinydd un o lwythau y Gothiaid Dwyreiniol. Efe oedd y cyntaf o'r gorchfygwyr Teutonaidd i gario allan y syniad, nid yn unig o orchfygu, ond o sefydlu teyrnas annibynnol. Sefydlodd ei deyrnas yn yr Eidal o'r flwyddyn o.c. 493 hyd 526. Sefydlwyd teyrnasoedd ereill gan y Burgundiaid, gan y Vandaliaid, a chan y Gothiaid gorllewinol yn yr Hispaen a Gaul. Yr oedd y rhai hyn oll, naill ai yn perthyn i'r Gothiaid, neu wedi dod i'r Ymerhodraeth mewn cysylltiad â'r Gothiaid. Yn awr yr oedd y cenhedloedd hyn oll wedi mabwysiadu y ffurf Ariaidd ar Gristionogaeth. Ac yr oedd undeb ffurf eu crefydd yn eu dwyn hwy yn nes at eu gilydd, ac yn eu cadw draw oddiwrth yr hen boblogaeth Ladinaidd, yr hon a berthynai i'r Eglwys Gatholig. Ac felly ymddanghosai ar un adeg mai i ddwylaw Gothiaid ac Ariaid yr oedd dyfodol Ewrop i syrthio. Tua chanol y bumed ganrif, pa fodd bynnag, daeth cenedl Deutonaidd arall, y Ffranciaid, i'r maes. Yn y flwyddyn o.c. 481, daeth Clovis yn arweinydd iddynt. Yn mrwydr Soissons, o.c. 486, gorchfygodd y Rhufeinwr Syagrius; a deng mlynedd yn ddiweddarach, gorchfygodd yr Alamanni yn Tolbiac. Ei amcan yn awr oedd dinystrio gallu y Gothiaid; ac yn ychwanegol at ei uchelgais i ennill goruchafiaeth Ewrop, yr oedd ganddo reswm arall dros ei elyniaeth atynt yn y ffaith ei fod ef, o dan ddylanwad ei wraig Clotildis, wedi ei fedyddio i'r ffydd Gatholig. Yr oedd yr ymgyrch yn awr, nid yn unig rhwng Ffranc a Goth, ond rhwng Catholig ag Ariad. Gorchfygodd y Burgundiaid yn o.c. 500; ac yn o.c. 507, ym mrwydr fawr Poitiers, torrodd rym y Gothiaid gorllewinol yn Gaul, a gwthiodd hwynt i ddarn fechan o dir yn yr Hispaen. Fel hyn y penderfynwyd mai y Ffranciaid, ac nid y Gothiaid oedd i lywodraethu Ewrop, ac mai y ffydd Gatholig, ac nid yr un Ariaidd, oedd i fod yn grefydd i'w chenhedloedd. Yng nghwymp y Gothiaid ym mrwydr Poitiers, y mae yr Ariaid fel gallu gwleidyddol yn diflannu, a therfynwyd y ddadl faith rhyngddynt â'r Eglwys trwy droedigaeth y Lombardiaid a'r Gothiaid dwyreiniol yn niwedd y chweched ganrif.

Yr wyf wedi ceisio rhoi cipdrem ar ddadblygiad yr heresi honno trwy fuddugoliaeth ar ba un y cyrhaeddodd yr eglwys syniadau cywir am Berson ei Sylfaenydd. Nid wyf yn meddwl mai annaturiol yw y syniad fod arweiniad Rhagluniaeth i'w weled yn y ffaith fod yr heresi hon wedi ei dadlennu ac wedi ei gorchfygu tra yr oedd yr eglwys eto yn ffurfio un gymdeithas fawr weledig. Gallwn yn hawdd gredu nad oedd yr Eglwys yn barod i fyned allan i'w gwaith yn ei gwahanol adrannau ymhlith gwahanol genhedloedd y byd cyn iddi, fel un corff, o dan arweiniad yr Ysbryd Dwyfol, gyrraedd amgyffrediad clir am urddas a mawredd natur Crist.

RICHARD HUGHES.

# YR EGLWYS SEFYDLEDIG YNG NGHYMRU.

TEIMLWN, wrth ddechreu ysgrifennu ar y testyn uchod, ein bod yn ymaflyd mewn pwnc ag y mae yn dra anhawdd dweyd dim newydd ym mherthynas iddo. Mae y ddwy blaid fawr sydd wedi ysgrifennu a siarad cymaint yn ei gylch wedi agos a dyhysbyddu adnoddau meddwl a phrofiad wrth daeru ac amddiffyn eu gwahanol olygiadau. Ond dichon, er hynny, fod rhai lloffion wedi eu gadael heb eu cynnull yn rhai o gyrrau meusydd toreithiog y cwestiwn ; a'n hymgais ni yn awr fydd ceisio casglu y cyfryw at eu gilydd.

Gellir awgrymu mwy nag un rheswm er cyfrif am y dyddordeb dwfn a deimlir ynglyn â'r mater hwn. Yn y lle cyntaf, cawn fod Crefydd a Gwleidyddiaeth yn cyd gyfarfod ynddo. Gwyddis yn dda mai pan o dan ddylanwad syniadau a theimladau crefyddol y mae y fynwes ddynol wedi arfer cael ei symbylu i'r gweithrediad dygnaf ac i'r pybyrwch a'r sêl fwyaf eithafol. Cawn, yn hanes gwahanol genhedloedd ac oesau, mai golygiadau a sêl grefyddol, mewn rhyw ffurf neu gilydd, sydd wedi bod wrth wraidd rhai o'r creulonderau ffyrnicaf, yn gystal a rhai o'r engreifftiau goreu o hunanymwadiad a daioni. Os ychwanegir at hyn y ffaith fod cwestiynau gwleidyddol yn tynnu sylw mor arbennig yn y blynyddau hyn, a bod cwestiwn yr Eglwys yng Nghymru yn cael ei drin yn bennaf yn ei agweddau gwleidyddol, nid rhyfedd, meddwn, ei fod, mewn amseroedd diweddar, wedi ennill cymaint o sylw mewn gwahanol gyfeiriadau. Wrth i ni hefyd alw i gof y ffaith fod y Cymry, megis yr holl ganghennau Celtaidd, yn rhai brwd eu tymer, a hawdd eu synnu a'u cynhyrfu, a'u bod hefyd yn nodedig am y dyddordeb a gymerant mewn materion crefyddol, canfyddwn resymau ychwanegol i gyfrif am angerddoldeb y ddadl a ddygir ymlaen ym mherthynas i safle a hawliau yr Eglwys Gymreig. Gwelwn yn eglur, yng ngoleuni y ffeithiau uchod, mai naturiol ydoedd i'r ddadl hon gymeryd gafael gref ym meddyliau y cyhoedd yn y Dywysogaeth, gan nad pa ochr a gymerent yn yr ymrysonfa.

Fel y mae yn hysbys, mae rhai o oreuwyr y genedl Gymreig wedi cymeryd rhan dra blaenllaw yn y ddadl fawr hon; wedi trethu cyfran fawr o'u hamser a'u hadnoddau er ceisio ategu y naill ochr neu y llall i'r cwestiwn. Nid ydym yn rhyw sicr iawn fod pawb o honynt wedi bod yn rhy foneddigaidd eu hysbryd nac yn rhy gydwybodol yn eu detholiad o ystadegau, a'u casgliadau oddiwrth y cyfryw; ac nid ydym ychwaith yn sicr fod amcanion pawb o honynt mor bur a chlodwiw ag y proffesent. Yr ydym, ar seiliau boddhaol i ni ein hunain, yn cymhwyso yr awgrymiadau hyn at rai dadleuwyr perthynol i'r *ddwy* blaid. Ar yr un pryd, rhaid addef mai pur anfynych y cawn engraifft o gydwybodolrwydd pur a gwirionedd diwyrni a di-gêl yn teyrnasu ymysg dynion pan fyddont yn dwyn ymlaen ddadleuon ag y bydd ganddynt hwy eu hunain ryw fuddiannau i'w cael neu eu colli, fel effaith i'r cyfryw.

A barnu wrth rai o arwyddion yr amserau presennol, gellir yn naturiol tybied fod yr Eglwys Gymreig mewn perygl o gyfarfod yn fuan â'r dydd blin. Mae y Weinyddiaeth bresennol wedi rhoddi ei gair y bydd iddi ymwneyd â chwestiwn yr Eglwys yng Nghymru, yr hyn na wnaeth unrhyw Weinyddiaeth flaenorol. Mae eisoes wedi cyflwyno "ysgub y blaenffrwyth" i'w charedigion trwy basio y darlleniad cyntaf o'r *Suspensory Bill* yn Nhy y Cyffredin, gyda mwyafrif go lew. Mae arwyddion

hefyd y bydd iddi ymdrechu cyflawni ei haddewid yn fwy llawn ynghorff y flwyddyn 1894. Yn naturiol ddigon, teimla y rhai ydynt gefnogwyr i Ddadgysylltiad a Dadwaddoliad eu bod o'r diwedd, wedi esgyn i ben y mynydd, a chael golwg ar gyrrau y wlad ddymunol; tra ar y llaw arall, y teimla aml i Eglwyswr ystyrbwyll fod ei Eglwys mewn dirfawr berygl. Mcdd bynnag, ynghanol yr oll ddarogan blin a'r ffurfafen dywell, gallwn sugno dafn o gysur o ddiharheb y Sais: "There is many a slip between the cup and the lip." Nid oes ddewin a all broffwydo pa gyfnewidiadau a allant gymeryd lle yn fuan yn y byd gwleidyddol. Rhy anhawdd gwybod pwy fydd yn teyrnasu cyn diwedd 1894—pa un ai careligion yr Eglwys fel Sefydliad, ynte ei gwrthwynebwyr a'i gelynion. Felly mae *posibilrwydd* i'r Eglwys gael llonydd am lïaws o flynyddoedd eto; ac ar sylfaen dybiaethol y posibilrwydd hwn yr ydym yn bwriadu goruwchadeiladu yn yr erthygl hon.

Dywedwn yn bendant, cyn myned ymhellach, nad ydym yn digwydd bod ymhlith credinwyr athrawiaeth y Dadgysylltiad a'r Dadwaddoliad, er ein bod, hwyrach, yn digwydd credu mewn rhyw bethau a dybiai aml i Eglwyswr Cymreig yn "athrawiaethau amryw a dieithr." Ond nis gallwn wrth hynny. Yr ydym yn credu mewn dwyn i mewn ddiwygiadau trwyadl ac effeithiol i hen Eglwys y Cymry, ac mewn llwyr ysgubo ymaith lïaws o arferion ydynt wedi llwydo gan henaint, a myned yn hollol *out of date*.

Er nad ydym yn credu, fel hwnnw, mewn suddo y llong er mwyn boddi y llygod, eto credwn yn ddibetrus ei bod yn llawn bryd taflu "Jonah" yn aberth i gynddaredd y tonnau yn nydd yr ystorm. Mae yr amser wedi gwawrio pan ddylai Eglwyswyr edrych o'u cwmpas, a gweled faint o bethau sydd o'u lle, a pha gyfnewidiadau a diwygiadau ddylid ddwyn i mewn.

Addefir ar bob llaw fod yr Eglwys Gymreig wedi ymfywiocau cryn lawer yn ystod y blynyddoedd diweddaf, ac mewn canlyniad i hynny, wedi dyfod yn allu mwy effeithiol yn y tir. Yn wir, dywedodd yr hyglod Ddeon Vaughan o Landâf, ychydig flwyddi yn ol, pe cawsai yr Eglwys fel Sefydliad arbediad hoedl am ugain mlynedd eto, y byddai erbyn hynny yn allu rhy gryf yn y Dywysogaeth i'r Dadsefydlwyr ymosod arni o gwbl. Ond diameu fod tir lawer yn aros eto heb ei feddiannu ganddi.

Wel, ein gorchwyl o hyn hyd ddiwedd ein hysgrif fydd ceisio taflu allan rai awgrymiadau ymarferol gyda golwg ar y moddion mwyaf effeithiol i ddiwygio ac ysbrydoli yr Eglwys.

Crybwyllwn ymlaenaf, *Y pwys o'i gwneuthur fel Sefydliad yn gyfryw ag a fyddo yn gydnaws â'g anianawd y Cymro.*

Mae yn ffaith adnabyddus fod i wahanol genhedloedd eu gwahanol nodweddion. Ac yn y wedd hon, mae y Cymro yn gwahaniaethu yn ddirfawr oddiwrth ei gymydog y Sais. Mae y Sais, fel rheol, yn ŵr llawer mwy ffurfiol ac oer na'r Cymro. Gwahaniaethant yn fawr oddiwrth eu gilydd mewn chwaeth, barn, a theimlad. Ceisio gorfodi y Cymro i deithio yn yr un sianel grefyddol â'r Sais, fu camgymeriad andwyol Esgobion Seisnig "Cymru Fu,"—ceisio lladd teimladau a syniadau cenedlaethol y Cymro er mwyn boddio mwyafrif Seisnig. Ffurfioldeb a manylrwydd poenus deddfau Eglwysig y Sais a yrrodd Rowland Llangeitho allan o'r Eglwys Gymreig. Pe buasai yr hwn oedd ag awenau y llywodraeth yn Esgobaeth Ty Ddewi

ar y pryd yn ei law, yn deall anianawd y Cymry yn well, gallesid cadw ffrwd y Diwygiad o fewn i derfynau yr Eglwys. Rhaid i dueddiadau a nodweddion cenedlaethol gael dangos eu hunain yn addoliad y cysegr, yn gystal ag mewn cylchoedd ereill. Oferedd hollol ydyw ceisio eu diffodd a'u lladd. Camgymeriad mawr corff yr offeiriaid Cymreig yn y gorffennol, fu anwybyddu anianawd y genedl y llafurient yn ei gwasanaeth. Pe buasai mwy o'r offeiriaid Cymreig yn ddynion o'r un stamp â'r diweddar Parry o Lywel, buasai yr Eglwys erbyn heddyw yn meddu gafael well ar gorff y boblogaeth. Gwir y darfu i lïaws o weinidogion yr Eglwys brofi eu hunain yn gymwynaswyr a charedigion trwyadl i lenyddiaeth a gwladgarwch Cymreig. Pwy nas gŵyr am enwau Alun, Ioan Tegid, Glan Geirionydd, Ab Ithel, Carnhuanawc, ac ereill ellid enwi? Ond ofnwn fod llïaws mawr ereill o honynt wedi bod yn llawer rhy ddieithr i'w cenedl ac i'w llenyddiaeth, am y rhai y gellid dweyd fod eu cydymdeimlad yn fwy Seisnig nag ydoedd o Gymreig. Ymgydnabyddent yn fwy âg ysweiniaid Seisnig nag â'u plwyfolion Cymreig. Priodent wragedd Seisnig, a ffurfient eu holl gysylltiadau agosaf âg estroniaid. Y canlyniad i hyn fu ffurfio gagendor o bellder rhyngddynt â'u plwyfolion. I'r gwrthwyneb, ymgydnabyddai y gweinidogion Ymneillduol â'r werin bobl. Tröent yn eu plith, a siaradent eu hiaith yn barhaus.

Wrth siarad fel hyn, nid ydym am anwybyddu y ffaith fod rhai o weinidogion yr Eglwys Gymreig wedi hynodi eu hunain fel gwir garedigion y bobl, wedi bod yn gymwynaswyr parod iddynt ymhob cyfyngder, ac fel Esgob Butler, wedi marw yn dlodion eu hunain. Feallai, hefyd, na fedr Ymneillduaeth Gymreig ddangos unrhyw engreifftiau a gymharant yn ffafriol â rhai o'r cyfryw gymeriadau yn yr Eglwys, er cynifer o wŷr tra rhagorol a duwiol a brydferthant ei hanes.

Ond, er y ceir rhai eithriadau gogoneddus felly yn hanes gweinidogion yr Eglwys Gymreig yn y gorffennol, ceir hefyd, ysywaeth, fwy o engreifftiau i'r gwrthwyneb. Yn awr yr hyn ydym am ei wasgu at ystyriaethau difrifolaf Eglwyswyr Cymru yn yr oes hon ydyw y pwys iddynt astudio anianawd a thueddiadau eu cenedl eu hunain. Gallent fod yn bur a ffyddlawn i draddodiadau ac athrawiaethau eu Heglwys, a bod hefyd, ar yr un pryd, yn llawn gwladgarwch Cymreig. Fe gydsaif ffyddlondeb i Gymru a ffyddlondeb i'r Eglwys heb wrthdaraw fodd yn y byd yn erbyn eu gilydd. Hefyd, mae y syniad ar lêd ymhlith rhyw ddosbarth yng Nghymru fod math o *raid* i bob Eglwyswr fod hefyd yn Geidwadwr,—mai anghysondeb ofnadwy fyddai iddi ddigwydd yn wahanol. Teifl un o ysgrifenwyr trylen y *Lux Mundi* oleuni tra gwahanol ar y pwnc hwn. Ofnwn fod yr Eglwys wedi derbyn cam dirfawr oddiar law ei charedigion a'i gwrthwynebwyr yn y wedd hon. Pe cawsai hi berffaith chware teg, mae ei chenadwri yr un at bawb o "hil syrthiedig Adda," boed ef Dori neu Ryddfrydwr, bonedd neu wreng, Sais neu Gymro. Mae ei hysbryd yn ddigon ëang, pe cawsai chware teg, i holl frwdfrydedd a dyhëadau y Cymro mwyaf cenedlgarol droi ac ymddadblygu yn ei chynteddoedd. Y pwnc ydyw, argraffu y gwirionedd hwn ar feddyliau y werin yn gyffredinol. I'r diben o gyrraedd yr amcan hwn, da fuasai i'r awdurdodau Eglwysig yng Nghymru wneuthur mwy o ddefnydd o iaith y bobl. Rhy Seisnig o lawer ydyw tôn y cynadleddau Eglwysig blynyddol yng ngwahanol esgobaethau Cymru. Beth pe cawsem ambell esboniad Beiblaidd wedi

ei ysgrifennu yn Gymraeg gan Esgobion y Dywysogaeth? Mai rhai o'r Esgobion Seisnig i'w rhestru gyda phrif esbonwyr yr oes. Gyda llaw, darfu i'r diweddar Ddeon Edwards dorri tir newydd yn y cyfeiriad hwn. Mae eisieu i ereill ddilyn ei esiampl. Paham hefyd na chynhelid y Gwasanaeth Ordeiniol yn Gymraeg ambell dro? Tueddai pethau fel hyn i anwylo yr Eglwys i'r Cymro uniaith.

Hefyd, *Fe ddylid rhoddi llawer mwy o bwys ar Bregethu yn yr Eglwys.* Pregethu da fu yn asgwrn cefn i Ymneillduaeth Gymreig yn y gorffennol; a phregethu sâl a dilewyrch a wnaeth ei ran i yrru y bobl ymaith o'r Eglwys.

Fe geir y dyrfa lle ceir y dawn

meddai'r swynol Islwyn yn ei farwnad goeth i'r diweddar "Jones, Blaenannerch;" ac y mae'n dweyd calon y gwir.

Gwnaeth gŵr craffus y sylw unwaith yn ein clyw, fod yn well gan y Cymro eistedd i lawr i *wrando* pregeth neu ddarlith, nag efrydu trwy gyfrwng llyfr; mai gwrandawr mawr, ac nid darllennwr mawr ydyw yn naturiol. Gan nad beth am gywirdeb y sylw yna, mae yn ffaith anwadadwy fod y Cymry yn wrandawyr campus, yn enwedig ar bregethu'r Efengyl. Yr oedd pregethau a doniau Rowland Llangeitho yn ddigon grymus i atynnu hen wŷr a hen wragedd o bellderoedd Arfon a Dinbych i Langeitho i'w wrando, a chlywsom am un hen wraig wedi cerdded yr holl ffordd o Forgannwg i Fôn i'r diben o glywed John Elias yn pregethu. Mae'r pulpud Ymneillduol wedi parhau i dywallt hyawdledd ar glustiau y gwrandawyr o'i gychwyniad hyd yn awr. Ond y gwirionedd am yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru yw ei bod, i raddau helaeth, wedi dibrisio pregethu—*y peth* sydd yn meddu gafael sicrach yn, a dylanwad cryfach ar y Cymry nag unrhyw gyfrwng arall. Paham, atolwg, y bu, ac y mae, yr esgeulustod hwn o'r pulpud yn bodoli? Gwyddom am rai bechgyn o Gymru yn gwasanaethu i gynulleidfaoedd Ymneillduol Seisnig yn Lloegr, ac yn derbyn tâl o tua mil o bunnau y flwyddyn am eu llafur. Pe digwyddasai y cyfryw fod yn weinidogion yn yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru, odid fawr na buasent yn llafurio, fel Ieuan Glan Geirionydd, yn guradiaid pedwar neu chwech ugain punt y flwyddyn. Y gwirionedd plaen ydyw, mai y cyfrwys a'r dylanwadol —trwy gysylltiadau—sydd yn fynych yn cael ei ddyrchafu yn yr Eglwys Gymreig, a'r cymwys a'r talentog yn cael ei adael allan i rynnu yn yr oerfel. Dyna yw y gwirionedd noeth, ac y mae yn bryd ei bregethu, bellach, ar bennau tai, nes gwneuthur i'r byddariaid glywed a gwelwi. Mae eisieu gwneuthur yr Eglwys yn feithrinfa i dalent Gymreig, yn lle cyfleus i dynnu allan a dadblygu holl adnoddau cynhwynol y meddwl, ac nid yn lle i grebachu a lladd talent, a newynnu ei pherchennog. Mae gormod o hyn wedi ac yn cymeryd lle. Nis gall yr Eglwys lwyddo, i raddau boddhaol, nes y gwêl ei ffordd yn glir i roddi ei le priodol i bregethu; ac yn wir, yr ydym yn amheus braidd a ydyw unrhyw ffurf ar lwyddiant, ar wahân oddiwrth hyn, yn beth i'w fawr ddymuno.

Gosodiad arall a garwn wneuthur, sydd yn naturiol yn dilyn y sylwadau uchod, ydyw *Fod yn llawn bryd cael cyfnewidiad llwyr yn nhrefn bresennol nawddogaeth Eglwysig.* Arwydd dda ydyw fod Eglwyswyr eu hunain yn dechreu anesmwytho o dan y gyfundrefn afreolaidd ac afresymol a fodola yn awr. Yn bresennol, gall bron bob cyllwr a gradd o ddynion

—ac eithrio Pabyddion proffesedig—fod yn noddwyr Eglwysig. Nid oes dim yn lluddias i "Dyrciaid, Anffyddlonion, a Hereticiaid" fod yn meddu ar hawl i wneuthur penodiadau i fywoliaethau Eglwysig, os digwydd iddynt, yn rhinwedd swydd wladol neillduol a lenwir ganddynt, neu yn rhinwedd eu perchenogiad o etifeddiaeth arbennig, fod yn meddu y nawddogaeth. A gwyddis yn dda am y penodiadau anaddas a ffol a wneir yn dra mynych gan noddwyr Eglwysig, nad yw lles yr Eglwys yn cael moment o ystyriaeth ganddynt. Mae yn ddigon hysbys i bawb mai cysylltiadau teuluaidd, dylanwadau politicaidd, a'r cyffelyb, yw yr unig bethau a gyfrifant am y ffaith fod y naill ymgeisydd yn cael ei ddewis a'r llall yn cael ei wrthod, lawer adeg, pan fyddo bywoliaethau Eglwysig yn digwydd bod yn wâg. Nid eiddo y cyflym, eithr eiddo y cyfrwys, yw y rhedegfa yn dra mynych yn y cystadleuon hyn. Ac fel rheol, nid y dynion cyfrwysaf yw y rhai galluocaf a goreu. Mae math o bendefigrwydd urddasol yn perthyn i athrylith, lle bynnag y ceir hi, a bâr nad ymollynga ei pherchennog i ddefnyddio dyfais a rhagrith annheilwng er mwyn tipyn o ddyrchafiad daearol. Y canlyniad fydd, i'r cyfryw gael ei adael allan yn yr oerfel, tra y mae dynion llawer llai teilwng nag efe yn mwynhau y gwleddoedd goreu a'r seigiau brasaf. Felly y bu yn hanes Ieuan Glan Geirionydd, y Prydydd Hir (a theneu), ac ereill, feirdd a duwinyddion a berthynent i "ardderchog lu y merthyri" hyn.

Mae yn rhaid, meddwn eto, rhoddi y nawddogaethau Eglwysig ar seiliau newyddion a thra gwahanol, mewn trefn i ddyrchafu tôn a dyfnhau ysbrydolrwydd gweinidogaeth yr Eglwys yng Nghymru. Rhaid rhoddi y penodiadau yn nwylaw rhywrai heblaw bargyfreithwyr cyfrwys, ac ysweiniaid ac arglwyddi bydol. Mae yr oes wedi syrffedu ar yr hen gyfundrefn bwdr bresennol. Mae y werin wedi dyfod yn rhy gall erbyn hyn i oddef yn ddirwgnach i'r awdurdodau *wthio* unrhyw ddyn arnynt i'w bugeilio yn yr Arglwydd, gan nad pa mor brin ei dalent neu afrwydd ei barabl. Yr ydys yn gweled llawer gormod o beth fel hyn,—gwthio gweinidog i blwyf fel mam yn gwthio physig chwerw i lawr i wddf plentyn nadlyd a drwg, ond gyda'r gwahaniaeth y bydd y physig yn debycach o brofi yn fendithiol i'r plentyn nag y bydd y gweinidog anghymwys yn debyg o brofi ei hun ymysg plwyfolion sydd yn gorfod ei dderbyn yn groes i'w hewyllys.

Mae yn llawn bryd bellach rhoddi rhyw lais i'r plwyfolion yn newisiad eu ficeriaid a'u curadiaid. Ni chaiff yr Eglwys Gymreig weinidogaeth wir effeithiol nes y cymer hyn le. Mae yn ffaith adnabyddus i'r cyfarwydd a'r profiadol fod yn llawer hawddach i gurad cyffredin iawn ei alluoedd gael lle da, nag i un rhagorach. Fel rheol, fe amcana y ficeriaid a'r rheithorion Cymreig am gael curadiaid salach na hwy eu hunain fel pregethwyr. Y cymhwyster goreu er sicrhau curadiaeth dda, ydyw bod yn *anghymwys* i'w llenwi, yn ei hagweddau pwysicaf.

Yn awr, mewn trefn i wneyd cyfiawnder â'r rhai hynny ydynt yn dioddef o dan y gyfundrefn bresennol, mae'n rhaid penodi rhyw gyngor a fyddo yn meddu ar yr hawl i wneuthur y penodiadau, a gofalu fod plwyfolion y lleoedd gweigion yn cael llais hyglyw ac effeithiol yn y cyfryw gyngor. Yn wir, dywedodd y diweddar brelad teilwng, Dr. Magee, ar un adeg, ei fod ef yn ddigon boddlawn rhoddi i fyny y penodiadau Eglwysig oeddynt yn ei law ef, a bod ffurfio math o Fwrdd Cynrychioliadol er gwneuthur y gwahanol benodiadau hynny. Da gennym

weled rhai Eglwyswyr teilwng yn dechreu dyfod allan i ddadleu rhesymoldeb cynllun felly. Nis gwyddom am ddim a fyddai yn debycach na chyfundrefn o'r fath yma i boblogeiddio yr Eglwys yng Nghymru, ac argyhoeddi y werin yn gyffredinol ei bod, mewn gwirionedd, yn "Eglwys y dyn tlawd." Nid ydym, cofier, yn honni y byddai trefn felly yn un berffaith, ond diameu y byddai yn llawer agosach at berffeithrwydd na'r un bresennol.

Dymunem, hefyd, awgrymu *Y pwysigrwydd i'r Eglwys geisio bod yn ymarferol, ac ymsymud ymlaen gyda'r oes.*

Llawenhâi ein calon y dydd o'r blaen wrth ddarllen y newydd fod un o Esgobion Lloegr yn myned i ordeinio Tom Mann, arweinydd y dosbarth gweithiol, yn ddiacon yn yr Eglwys. Nid oes sicrwydd fod y chwedl yn wir; a thrueni hynny, gan y byddai gwasanaeth gŵr fel Mr. Mann yn sicr o dueddu er ffurfio undeb agosach rhwng yr Eglwys â'r dosbarthiadau gweithiol, ac hefyd o roddi tôn a phwynt mwy ymarferol i holl weinyddiadau yr Eglwys. Un o ddiffygion yr Eglwys ydyw rhoddi rhy ychydig o le a gwaith i'r lleygwyr. Nid ydynt, yn ymarferol, yn cael eu cydnabod megis meini bywiol yn yr adeiladwaith ysbrydol. Dylent gael lle mwy amlwg o lawer yng nghyflawniad dyledswyddau Eglwysig. Mae ein hoffeiriaid plwyfol wedi arfer a bod yn ormod o ymerawdwyr yn eu plwyfi a'u heglwysi, gan lwyr anwybyddu lleygwyr goleuedig a ffyddlawn. Gallwn grybwyll, wrth basio, mai yr Eglwysi mwyaf blodeuog a llwyddiannus y gwyddom ni am danynt yw y rhai lle y mae yr offeiriaid yn gwerthfawrogi fwyaf yr elfen leygol, ac yn rhoddi iddi ei lle priodol yng nghynteddoedd y cysegr.

Hefyd, gan ein bod yn byw mewn oes sydd yn myned yn fwy ymarferol yn barhaus, oni ellid yn rhwydd iawn arbed gwasanaeth a chyflog y Canoniaid Trigiannol yn Eglwysi Cadeiriol Cymru? Nis gall neb ddadleu fod gwir angen am wasanaeth y boneddigion hyn. Diau y gallent fod o lawer mwy o fendith a llês yn eu plwyfi eu hunain, nag ydynt o fewn muriau yr Eglwysi Cadeiriol, am dri mis o bob deuddeg. Gallasem ychwanegu, ond ymataliwn. Gwelir, yng ngoleuni yr hyn a ysgrifenwyd uchod, ein bod—er gyda gofid—yn cydnabod fod gan yr Eglwys Gymreig ei diffygion; a dyna, i ryw fesur mwy neu lai, fydd ei hanes ymhob ffurf arni tra y pery yn "Eglwys filwriaethus" ar y ddaear. Nid oes perffeithrwydd i'w gael ond yn yr un "orfoleddus" yn y nef. Modd bynnag, er ei holl amherffeithrwydd daearol, nis gallwn gredu ei bod yn "diffrwytho" y tir, na'i bod yn bryd i'w "thorri i lawr." Rhy brin y credwn fod neb o Ymneillduwyr goleuedig Cymru yn barod i ddywedyd am dani ei bod yn felldith, ac nid yn fendith. Gwyddom yn dda fod ymadroddion cryfion a geiriau colynnaidd wedi eu defnyddio gan rai, ar droion, pan yng ngwrês brwdfrydedd dadleuol ac ymosodol. Ar y llaw arall, darfu i rai o oreugwyr Ymneillduaeth, mewn amseroedd diweddar, dalu y deyrnged uchelaf o barch i'r Eglwys Sefydledig. Meddai y diweddar Barch. Thomas Jones, y bardd-bregethwr enwog o Lundain, ac wedi hynny o Melbourne,—mewn addoldy Annibynnol yn Abertawe, ychydig cyn ei farw,—"I thank God for the grand old Church, and its beautiful Liturgy." Ac aeth yn ei flaen i ddweyd peth arall na chymerwn amser i'w ddyfynnu yn awr, ond yr hyn, gyda llaw, a adlewyrchai yn dra ffafriol ar yr Eglwys Sefydledig.

Ni a gredwn, wedi'r cwbl, fod cryn lawer o barch distaw a thawel ym mynwes y Cymro tirion tuag at yr hen Sefydliad Eglwysig,—hen

Eglwys y Doctoriaid Parry a Morgan, Rhys Prichard, a Griffith Jones. Mae rhyw lais tawel yn siarad yn ei fynwes,

"With all thy faults, I love thee still."

Yn arbennig, nid yr *oes hon*, pan mae egwyddorion a syniadau amheuyddol, i'r fath raddau peryglus, yn lefeinio ysbryd cymdeithas, ac yn bygwth gwneuthur ymosodiadau grymus ac enbyd yn y dyfodol agos,—yw y cyfnod priodol i wanhau nerth a llesteirio egnïon unrhyw gorff crefyddol, trwy ei ddihatru a'i amddifadu o'i eiddo cyfreithlawn.

Yr ydym, trwy gorff ein hysgrif, wedi ceisio pwysleisio ar y ddyledswydd o ddiwygio yr Eglwys. Rhwydd gydnabyddwn fod eisieu torri ymaith rai brigau crinion a changhennau diffrwyth sydd arni. Wel, gwneler felly gyda phob brys dichonadwy. Ond er hynny, gadawer ei boncyff yn naear "Gwyllt Walia," a bwrier tail o'i gwmpas; ac ni a gredwn y gwelir hi eto yn taflu ei changhennau preiffion a heirdd dros y wlad, ac oesau y dyfodol yn llechu yn ei chysgod.

*Liverpool.* J. Myfenydd Morgan.

---

# ELIAS YN OGOF HOREB.

Y proffwyd tanllyd gynt,—gwr cadarn Duw—
Sydd heddyw'n wan, a thân ei natur fyw
Fel wedi diffodd!
O'r dyfnderau prudd
Mae'n rhaid ei arwain tua thoriad dydd
Datguddiad Duw,—i weld ar Horeb bell,
Tu hwnt i'r dymestl danllyd gerth, arwyddion dyddiau gwell.

O'i ol,—mae Israel ddall mewn tew gymylau
A tharth annuwiaeth; mwg oddiar allorau
Ei heilun-dduwiau sy'n tywyllu'i threm,
A dieithr ei hallorau hi i Dduw Jerusalem.
I drem Elias yntau, pell yw Duw;
A'r wlad—mor lom, ddiflodeu, ac mor wyw!
Bygythiad Jezebel, ac unigrwydd oer,
Sydd yn ei ddilyn, megis nos ddiloer.
Ei sêl ar farw; yntau gyda hi
Am droi ei olwg tua'r ddaear ddu!
Ond wele Angel mwyn i'w northu ef
A gwyrthiol luniaeth ac â gair y Nef;
Yntau yng ngrym y rhain yn mynd i'w daith—
Hyd lwybrau'r "cedyrn"—yn yr anial maith,—
Hen lwybrau Israel Duw.
O'i flaen—mae'r Llaw
Garedig, anwêl,—yn ei arwain draw
I'r Mynydd Sanctaidd sydd a'i Ddwyf-adgofion
O'i gylch yn gwau fel tyrfa o angylion!

Haul y deugeinfed dydd sy'n gwyro i lawr,
A'r hwyr ymdaen ar hyd yr anial mawr;

Tra gwêl Elias gribau Sinai gerth
Dan dwyniad ola'r haul,—"cedyrn o nerth,"—
Yn edrych tua'r Nef, tra yntau'n brudd
A llesg ei ysbryd. Mwy o nos na dydd
Sydd ar ei enaid: ail i lenni'r hwyr,
Ar gladdu Horeb mewn tywyllwch llwyr!

Taflodd y nos ei hedyn dros y creigiau.
Ust, dyna rû y bwystfil, cyffrawd dreigiau,
Is y cypreswydd pruddaidd! Di-gymdeithas
Yw'r fro—heb ddyn yn agos, ond Elias!

Y proffwyd deifl ei fantell glyd am dano,
Ac ymneilldua tua'r creigiau yno,—
Y creigiau a fu'n crynnu'n ofnus, syn,—
Yn wers i'r genedl falch, drofaus, dan bwysau Duw cyn hyn!

Yn ofnus dan y nos-gysgodion meirw
Ymlusga'n araf, trwy'r agennau geirw,
I fewn i ogof—lety oer, dihedd,—
I dreulio'r noson! Onid hwn yw bedd
Elias a'i obeithion? A oes gwawr
Yn agos, gan mor drwm yw'r twyllwch mawr?

O, noson ryfedd! Pa ryw ddwys deimladau
Lethant y proffwyd weithiau? Pa syniadau
Amryw a dieithr sydd yn gwau trwy'i fryd?
Ai nid oes seren yn eu plith i gyd?
A yw sancteiddrwydd Horeb arno'n pwyso,
A'r hen adgofion fel o'i gylch yn gwibio?
Ai nid yw adsain peraidd lais JEHOFAH
Y DUW TRUGAROG—eto'n aros yma
O fewn yr ogof? Adsain fwyn, garedig,
Fel wedi'i chadw yma i'r proffwyd unig?
Ac oni edrydd llwyni'r mynydd serth
Ryw adnod am Breswylydd Mawr y Berth
I'w feddwl prudd? A beth am chwedl y Graig:
Y sut bu hithau gynt yn wylo'i haig
I ddisychedu Israel? Wylo'i chalon,
O gydymdeimlad gyda'r pererinion!

O sanctaidd dystion! Oni fedrwch chwi
Lefaru gobaith wrth y proffwyd tru?
Llefaru eich efengyl ddistaw, fwyn,
I'w glyw: fod lliwiau'r wawrddydd ar y twyn
Yn chwareu eto, megis ŵyn y gwanwyn,
Ac adar Nef fel yn dihuno'r glaslwyn.

Ah, trist yw'r proffwyd. Nid yw'r dwfn hyawdledd
Yn cynneu seren uwch ei ddwfn unigedd.
Amddifad ydyw, er fod "cwmwl tystion"
Wrth ddrws yr ogof, gyda'u hymadroddion
Yn gweini arno. Mae ei siomiant blin
Wedi ei roi'n y dyfnder—wrtho'i hun!

O uchder Carmel, lawr i'r Ogof ddu
Mae wedi disgyn; o swn mawl y llu,
I swn ei gŵyn siomedig ef ei hunan,
Sydd megis afon ddu trwy fro anniddan!

Ah, pwy a'i cyfyd o'r dyfnder prudd?
A phwy a'i tywys at doriad dydd?
Mae'r nos yn llonydd ar y creigiau gwyllt,
A'r dwfn ddistawrwydd nid oes sain a hyllt;
Tra'r proffwyd ym mruddglwyfni'r ogof dywell,
Yn dlawd, heb gwmni ond ei ffyddlon fantell!

Ond ust! drwy'r mud ddistawrwydd—dyna lef
Fel gydag awel ddieithr, ato ef
Ar enau'r ogof. "Gair yr Arglwydd" yw,
Bâr siglo dyfnder glyn anobaith gwyw!
"Elïas! beth a wnei di yma?"

Traidd
Y gair trwy'i ysbryd megis newydd aidd;
A deffry'r proffwyd—fel o blith yr yw—
Tra'i gŵyn yn dyrchu ar ei lef at Dduw:—
"Mi ddygais danbaid sêl dros d'achos Di,
O herwydd gwrthod dy gyfamod cu
Gan Israel ddall: torasant dy allorau,
A'th holl broffwydi roisant yn aberthau
I fin y cleddyf; minnau wrthyf f'hun
Adawyd i wynebu'r dymestl flin!
A cheisio y maent ddwyn fy einioes innau:
O draw'n fy nilyn, gwêl y cwmwl saethau!"
Y Ddwyfol lef a'i hetyb: "Tyred allan
O'th oer anobaith, o dywyllni'th guddfan,
I gwmni Duw. Dos allan o'th unigrwydd,
Saf yn y mynydd hwn ger bron yr Arglwydd."

Ust! awen! diosg dy sandalau'n wylaidd,—
Ai oni chlywi di swn traed y Sanctaidd?

Beth yw'r dieithrwch sydd yn gwisgo'r mynydd?
Distawrwydd dwbl fel yn cenhedlu stormydd.
Ha!—
Wele'r ARGLWYDD IOR yn myned heibio!
Mae swn ei draed yn gwneyd i Horeb siglo.
O'i flaen EFE a enfyn ei herodron
I grynnu'r ddaear a chyffroi'r uchelion:
Cymdeithion uthr y Ddeddf pan ddêl i'w thaith
I awyr daear, â'i hofnadwy iaith!

Ust, dyna dwrf o draw,—twrf mawr y gwynt
Yn rhuthro tua'r mynydd ar ei hynt;
Gwynt mawr a chryf. Brawycha'r wybr uchod
Gan fellt, o weld y gwyntoedd yn ymosod.

O'u blaen cymylau'r nen sy'n hedfan fry,
A môr o dywod o'r anialwch sy
Yn codi'n wyllt blith-drafflith dan eu fflangell,—
A darnia'r storm ei dîg ar Sinai dywell.
Dyrwyga'r gwynt y cryf fynyddoedd certh,—
Hollta eu hesgyrn gydâ braich ei nerth;
Dryllia y creigiau gwarsyth dan chwibanu,—
Ac una y corwyntoedd oll i ganu
Eu buddugoliaeth.
Sinai archolledig!
(Sawl calon sydd yn *Israel* yn glwyfedig?)

Ciliodd y storom ar ei hynt:
Ond nid oedd yr Arglwydd yn y gwynt.

Ar hyn edrycha'r Arglwydd ar y mynydd,
Yntau a grynna'n ddirfawr gan gywilydd;
Crynna fel pe i guddio ei archollion
O wydd y Sanctaidd sydd yn agos weithion.
O uthr Ddaeargryn! cerdda megis cawr
Dan seiliau Sinai; ac ysgydwa i lawr
Y creigiau certh rhwygedig; deffry'r pantiau
O flaen ei anadl, a disgynna'r bryniau
I ôl ei gamrau. Sinai sydd am ddianc
Yn wyllt ac ofnus, fel am byth, o'i grafanc.
A dianghasai oni bai fod Duw
A'i broffwyd yn ei ymyl. Wrth y llyw
Mae'r Hwn sy'n dilyn.
Sinai ddeil mewn cryndod
Nes crynnu i ddistawrwydd, fel mewn syndod:
Fel llais yn marw ar dannau y delyn.—
Ond nid oedd yr Arglwydd yn y ddaeargryn.

Ond dacw gennad arall yn dod allan
O wydd yr Arglwydd: fflamau byw o wylltdan
Yn rhedeg am y cyntaf, fewn i'r adwy,—
Fel pe i losgi'r mynydd tlawd yn aberth i'r Ofnadwy.

(Ai onid dyma gysgod tân y Farn,
Y cennad olaf, rydd y byd yn sarn
Llosgedig—cyn y dêl y Llais Tragwyddol
I fewn—ar gylchoedd gwyn y Wawrddydd fythol?)

Mae Sinai'n oddaith! chwifia'r tân-fanerau
Mewn buddugoliaeth ar ei uchelderau;
A'r nos a droir fel dydd gan oleu byw
Y fflamau gwyllt o goelcerth Mynydd Duw!

Yn sydyn—bu farw y fflamau yn lân:
Ond nid oedd yr Arglwydd yn y tân.

Daeth dwfn dawelwch dros y fro yn ebrwydd,
A'r bryniau gyd-addolant mewn distawrwydd;
Distawrwydd digon mud a digon distaw
I glywed swn Sancteiddrwydd yn mynd drwyddaw:
Distawrwydd mor ddihalog ac mor fyw,
Nas gŵyr am dwrf,—a dyma hëol Duw!

Ar hyn, dilyna llef o beraidd rîn,—
Llef ddistaw fain,—sisialiad Duw ei Hun.
O ddwyfol hyawdl iaith! Iaith gwawrddydd lon,—
Ar ddistaw feddrod twrf blodeua hon!
Ar fryn y Ddeddf, rhyw adsain bell-bell yw,
O Ben Calfaria—llef Efengyl Duw!

Ar glyw y proffwyd truan tyr y llef
Fel miwsig Trindod—yn gynghanedd gref!
Yntau yn wylaidd-hyblyg guddia'i wyneb
O fewn ei fantell, o dan drem Dwyfoldeb.
Ac allan â i ddrws yr ogof ddu,—
Ac eilwaith ato, wele lais ei Ri,—
Elias, beth a wnei di yma?
Yntau
Ail-edrydd iddo'i gyffes brudd ei nodau.

Y Dwyfol lais a'i hetyb,—"Dos i'th daith
I ffordd Damascus: yn ystôr mae gwaith
I ti i'w wneuthur drosof. Ac yn Israel
Mae saithmil eto o seintiau wedi eu gadael,
Seintiau di-enw distaw, na phlygasant
Eu glin i Baal, ac ef nis cusanasant."

Gwrondy y proffwyd y datguddiad syn
Mewn pêr foddhad, tra gwêl ar Sinai fryn
Y wawr yn torri!
Yntau dry i'w daith,
A'r wawrddydd dlos yn llanw'i lygaid llaith:
Fel proffwydoliaeth lân, neu gysgod nefol
Y Dyddiau Gwell a genfydd draw ar Fryniau y Dyfodol!

O Ddwyfol wers! Nid twrf na thymestl arw,
Na fflamau tân eill ddeffro cenedl farw
I Iachawdwriaeth Duw. Nid rhuthr y Ddeddf
A'i gwnâ; rhaid cael y dawel awel leddf
O Fryniau Grâs i chwythu ar y llawr,
A deffry Israel gyda'r fore wawr!
Gweithgarwch distaw gyffry'r blodeu byw.
"Llef ddistaw fain,"—*yn honno y mae Duw!*

JOHN T. JOB.

*Aberdâr.*

# ADRODDIAD MR. FANSHAWE.

*Liquor Legislation in the United States and Canada. Report of a non-partisan Inquiry on the spot into the Laws and their Operation, undertaken at the request of W. Rathbone, M.P.* By E. L. FANSHAWE, of the Inner Temple, Barrister. Cassell and Company. 2s. 6d.

YN araf, mae'n amlwg, y dygwyd ymlaen ein haddysgiaeth yn achos mawr sobrwydd. Pan ddeffrowyd ein tadau i deimlo i fesur bwysau y felldith o anghymedroldeb, ni feddylient ar y dechre am gondemnio y ddiod. Credent, fel y mae llawer eto yn ddigon dwl i wneyd, mai un o fendithion Rhagluniaeth, neu un o "bethau da Duw" ydoedd. Yr unig ddrwg oedd ei hyfed i ormodedd, pan yr ydoedd yn meddwi dynion. Ond o'i chymeryd o fewn terfynau cymedroldeb, yr ydoedd i'w mwynhau fel un o ddoniau y Nef, ac i fod yn ddiolchgar am dani. Mewn amser fe ddaethpwyd i weled fod ei hyfed yn gymhedrol, i bob diben a bwriad, yn amhosibl, ac mai yr unig ddiogelwch oedd ymwrthod â hi yn gwbl. Yr oedd llawer yn gwingo yn arw yn erbyn hynny; gan deimlo fel yr hen frawd doniol a ffraeth, Isaac Jâms o Sir Aberteifi, "Fod yn arw fod dynion sobr yn gorfod dioddo o herwydd hen folgwn na wyddent pa bryd y byddent wedi cael digon." Ond yr oedd y goleuni yn llewyrchu yn gryf; ac ni allwn lai nag edmygu yr hunanymwadiad syml â pha un y darfu i'r gwŷr da oedd yn arwain ein cenedl, er mwyn y daioni cyffredinol, roi i fyny yr arfer o'r ddiod feddwol, er heb deimlo ei bod, iddynt hwy, o gwbl yn beryglus. Fe ddwedir i un o'r tadau, oedd yn arwain yr ymddiddan yng nghyfarfod y pregethwyr mewn Cymdeithasfa, ac a wyddai am ddolur y brawd diniwed a grybwyllwyd, ofyn iddo, "Ych chi'n ddirwestwr, Isaac Jâms?" Yr ateb ar unwaith oedd, "Odw." Ond gofynnid drachefn, "Ië, ych chi'n ddirwestwr o galon?" Ebai yntau, "Rwy'n ddirwestwr o fola, beth sy fynnoch chi â nghalon i?" Mae gennym achos i fod yn ddiolchgar iawn wrth feddwl mor fuan ac mor lwyr y daeth ein pregethwyr a'n blaenoriaid, a chyda hwynt lïaws ein haelodau, a llawer iawn o'n gwrandawyr, yn ddirwestwyr "o galon" hefyd.

Ond wedyn, yr oedd ein teimlad da at y nifer mawr o'n cydwladwyr oedd yn gwneyd eu bywoliaeth wrth gadw tafarnau, yn peri nad allem ond prin ddweyd gair yn erbyn yF asnach yn y diodydd meddwol. O'r diwedd, sut bynnag, wrth weled pob ymdrech i sobri y wlad yn anobeithiol tra'r oedd ein hardaloedd yn llawn o dai ag yr oedd eu drysau yn barhaus yn agored i ddenu y bobl iddynt i yfed, fe'n dygwyd ninnau, fel ein cyfeillion mewn rhannau ereill o'r deyrnas, i deimlo fod diogelwch ein cydwladwyr yn galw am i'r Fasnach hon,—masnach y gwelem nad allai ffynnu ond ar draul andwyo y rhai a ymwnelent â hi,—gael ei symud oddiar y ffordd. Ac yr oedd ein hanhawster i ddyfod i hynny yn llai wrth weled nad oedd yr un dosbarth o'r boblogaeth yn dioddef yn gymaint oddiwrthi â'r Tafarnwyr eu hunain, ynghyd â'u gwragedd, a'u plant. Heblaw a welem ein hunain yn barhaus o'r difrod a wneid arnynt, ni gaem oddiwrth y cyfrifon cyhoeddus nad oedd un alwedigaeth ag yr oedd y rhai oeddi ynddi mor fynych yn troi allan yn fethdalwyr; ac yn ol cyfrifon y *Registrar General* ni gaem, am bob 100 oedd yn marw mewn pob galwedigaeth arall, fod y nifer o dafarnwyr oedd yn

marw yn 136. Ni allwn gofio ond gyda dwfn ddiolchgarwch am y difrifwch a'r nerth â pha un y cododd Cymru ei llef dros gael ei Sabothau yn rhydd oddiwrth demtasiynau y tafarnau; ac ynglyn â'r ymdrech honno fe fydd enw ein cydwladwr teilwng, Mr. John Roberts, yn barchus ac yn anwyl gennym byth. Mae'n wir y codwyd ysgrêch fileinig yn erbyn ein Deddf i Gau ar y Saboth,—ysgrêch oedd ar y pryd yn peri i'r holl deyrnas ddispedain; ac yr oedd llwyfannau a newyddiaduron yn ddirif yn ei hadsain, ac yn cyhoeddi i'r byd fod y ddeddf Gymreig wedi profi yn fethiant ac yn felldith. Ac mewn trefn, fel y golygid, i'w dileu am byth, fe ofynnwyd yn Nhy y Cyffredin am *Royal Commission* i chwilio i mewn i'r achos, ac fe'i caed gyda pharodrwydd mawr. Ond a apeliaist ti at *Royal Commission?* At *Royal Commission* y cai di fyned! Mae'n debyg fod rhagfarnau y boneddigion hynny ar y dechre yn erbyn y ddeddf; ond wedi gwrando yn amyneddgar ar bob peth oedd gan bawb i'w ddweyd yn ei chylch, hwy wnaethant eu Hadroddiad, yn yr hwn y tystient yn unfryd fod y ddeddf Gymreig, oddieithr mewn man neu ddau, wedi profi yn llwyddiant diamheuol; na fynnai y Cymry am drawiad amrant ddim sôn am ei dileu; ac mai ein cais unfrydol oedd am iddi gael ei chryfhau a'i pherffeithio. Pe buasent yn dweyd y dylsid ei diddymu, mae'n debyg y gallasai y Llywodraeth a'u penododd fynd ynghylch hynny y funud nesaf; ond gan mai am ei chadarnhau y galwent, nid oedd modd cael amser at beth felly. Ac y mae hynny, ysywaeth, heb ei wneyd hyd heddyw! Rhaid ei wneyd, sut bynnag, a hynny allan o law.

Ond fe ŵyr pawb fod Cymru yn yr achos yma yn galw am lawer yn ychwaneg. Gan y proffesir fod y fasnach hon, sydd yn profi mor andwyol i'r trigolion, yn cael ei chario ymlaen yn unig er eu mwyn, yr ydym yn galw am i'r trigolion eu hunain gael gallu i ddweyd pa un a ydynt am ei chael ai peidio. Ni a wnawn ein goreu mewn pob ffordd arall i wrthwynebu ymyfed a meddwdod. Mae darllenwyr y TRAETHODYDD yn gwybod sut y bu rhwng "Isallt," sef Dr. Roberts, Blaenau Ffestiniog, a'i glâf sychedig. Cwynai y *patient*—

Rwy'n sâl reit! effaith llymeitio;—Isallt,
Gai lasiad i fendio?
Lymed ddiffydd y fflamio
Yn fy nghêg, neu af o nghô.

Ond ateb y meddyg doeth oedd—

Gofala rhag y felen,—dwys achos
Dy syched aflawen;
Llwyr dybiaf gwell i'r diben
Yw llaeth buwch i wella'th ben.

Mi ddwedaf, mwya o ddioden—yfi,
Mwyfwy 'th syched, fachgen;
I foddio d'awch ŷf ddiod wen
Syml, loew, Samuel Owen.

Credwn ninnau, a dysgwn hefyd, gyda phob dyfalwch, yr un athrawiaeth. Ni a wnawn ein goreu hefyd er cael gan yr ynadon omedd adnewyddu trwyddedau tai afreolus, a thai na bo angen am danynt. Mae ein cyfeillion mewn rhai mannau, mae'n ddrwg gennym ddweyd, lawer yn rhy lwfr mewn dyfod ymlaen i dystiolaethu yn erbyn tai o'r fath; ac nid ydyw llawer o'r ynadon, er cryfed y goleuni sydd yn awr yn

llewyrchu o'u hamgylch, eto ond "yn gweled dynion megis prennau yn rhodio." Fe ddywed brân fod gwr bonheddig o ustus heddwch yn un o siroedd Cymru yn dweyd yn ddiweddar wrth ei frodyr, wedi iddynt ymneillduo i'w hystafell i ystyried apêl yn erbyn gomeddiad trwydded i dafarn yr oedd y tystiolaethau yn ei herbyn yn ofnadwy o gryfion,—"Tydi o ddim sens cau y dafarn yna, mae pysgota gerllaw." Ond ebai brawd o ustus oedd wrth ei ochr, gyda rhêg—sydd ffasiynol mae'n debyg ymysg boneddigion, yn enwedig rhai digon uchel i fod yn ustusiaid heddwch,—"Ydach chi ddim yn gweld ei bod yn andwyo teuluoedd y gymdogaeth, fel yr oedd y tystiolaethau yn dangos?" Ni ddymunem ni fod yn galed ar *rêg* y gwr bonheddig hwnnw; nid ydym yn wir yn cofio i ni erioed glywed am rêg oedd yn fwy cyfiawn; a gwyn fyd na chyrhaeddai glust a chydwybod holl ustusiaid ein gwlad, llawer o'r rhai sydd fel pe'n ystyried mai amddiffyn tafarnau ddylai fod eu hamcan pennaf. Ond er yr oll allwn wneyd trwy berswadio, ac er i ni lwyddo i raddau helaeth i gael gan yr ynadon wneyd rhywbeth tebyg i'w dyledswydd gyda thafarnau, eto, tra bo tai o'r fath yma yn aros, y mae drygau, a drygau mawrion, yn anocheladwy. Wedi yr ymgom y cyfeiriasom ati rhwng y meddyg a'i glaf sychedig, fe ddywedir i Isallt fynd rhagddo tan fwmian—

Ofnaf does dim a'i diddyfno—efe
O'i fir; ac rwy'n tybio
Na ddaw fyth wna iddo fo
Atal, ond *Local Veto.*

Chware teg ynte, "iddo fo," gael y feddyginiaeth nad all fethu, a'r feddyginiaeth nad oes neb yn fwy awyddus am dani nag ydi ô, a'i fyrddiynau cymdeithion sychedig sydd yn rhy weiniaid i wrthsefyll y temtasiynau y mae ein haneirif dafarnau yn osod yn eu ffordd. Ac nid oes math yn y byd o ddadl nad ydyw y Cymry yn addfed i ddeddfwriaeth felly. Fe basiwyd ail ddarlleniad y Dewisiad Lleol i Gymru yn y Senedd yn nwylaw Mr. Bowen Rowlands gyda mwyafrif o 7; ac fe'i pasiwyd dan ofal Major Jones gyda mwyafrif o 36; ac y mae yn falch gennym feddwl am y rhaniad diweddaf nad oedd ond *un*, allan o bedwar ar ddeg ar hugain o aelodau Seneddol dros Gymru, a anturiodd fotio yn ei erbyn.

Ond y mae'n wybyddus fod ein haelod rhagorol dros Arfon, ar y mater yma, dipyn yn betrusgar, a hynny am yr ofnai nad oedd deddfau ataliol yn atal. Yr oedd etholwyr Mr. Rathbone wedi bod mewn cryn bryder yn ei gylch. Nid oes odid ran o Gymru lle mae y teimlad o blaid sobrwydd mor gryf, neu yr etholwyr mor argoeddedig y dylai y bobl eu hunain gael llais mewn penderfynu pa un a oes tafarnau i fod yn eu cymdogaethau. Er holl bydrni nifer mawr o'r ynadon, y mae bellach gryn lawer o dafarnau—ac ar alwad y bobl—wedi eu cau. Ac ni chlywyd fod neb yn cwyno am hynny; ond fod hyd yn oed eu cwsmeriaid ffyddlonaf yn llawenhau, am fod maglau peryglus wedi eu symud oddiar eu ffordd. Fe ddygwyd llawer o bwysau ar Mr. Rathbone, a hynny oddiar bob cwr o'r etholaeth, er cael ganddo fotio o blaid Dewisiad Lleol i Gymru; ond yr oedd efe yn teimlo anhawster mawr i wneyd hynny, am ei fod yn cael ar ddeall, medd efe, nad oedd deddfau ataliol, lle yr oeddynt wedi eu profi, yn ateb y diben; ond fod diota a meddwdod yn ffynnu yn y mannau wedyn, ac o gymaint â hynny yn waeth am eu bod yn cymeryd lle yn lladradaidd. Oni buasai am ddirfawr barch yr etholwyr i gydwybodolrwydd y gwr da, mae yn sicr y buasai yn

anodd i lawer o honynt beidio digio wrtho. Ond dywedai wrthynt ei fod, er mwyn cael boddlonrwydd ar y cwestiwn iddo ei hun, a rhoddi y cyfleustra tecaf iddynt hwythau i'w gyflawn ddeall, wedi penderfynu anfon bargyfreithiwr galluog ac amhleidgar i'r America, i chwilio i weithrediad y deddfau ataliol yno, ac i wneyd adroddiad. Cyfeiriai at hynny hefyd yn ei araith ar ddygiad i mewn i Dy y Cyffredin fesur Major Jones, a dywedai ei fod am fotio dros ail ddarlleniad y mesur hwnnw, ond ar y dealltwriaeth y cymerai ei lywodraethu am y cwrs a gymerai yn y pwyllgor gan yr hyn a ddygid o'i flaen yn adroddiad Mr. Fanshawe. Ond dyma yr adroddiad bellach wedi ei gyhoeddi. Fe fu Mr. Fanshawe, ac ar draul Mr. Rathbone, yn gwneyd ei ymchwiliad y tu draw i'r Werydd am wyth mis, ac y mae ei lyfr hwn o 430 o dudalennau yn cynnwys llawer iawn o wybodaeth am y pethau yr ymofynnai yn eu cylch, ac yn sicr yn werth ei astudio. Ni fu diffyg llafur ac ymdrech i gael pob gwybodaeth oedd yn gyraeddadwy ar fater yr ymchwiliad, ac ni ellir ameu am funud berffaith degwch yr ymchwilydd, neu y gallu a ddengys wrth osod ger bron y wybodaeth a enillodd. Nid ydyw yn amcanu at roddi barn ar y pethau a esyd o'n blaen; mae'n debyg y golygid y buasai hynny yn aunheilwng o'r amhleidgarwch a ddisgwylid ynddo; yn unig fe'n gadewir gyda phentwr anferth o dystiolaethau, a rhyngom ni â'u barnu oreu y gallom, neu fel y gwelom yn dda. Byddai yn hawdd i ddadleuwyr medrus, o'r naill ochr a'r llall, wneyd achos cryf allan o'r tystiolaethau, ac feallai y gofynnai gryn bwyll a gallu i ffurfio barn addfed oddiwrth y cyfan.

Ond wedi'r cwbl, nid ydym ni yn gweled fod gan etholwyr Arfon, mwy na'u cydwladwyr trwy Gymru oll,—a bellach fwyafrif anferth etholwyr y deyrnas,—ddim achos i betruso am y tir y maent wedi ei gymeryd pan yn galw am i'r bobl gael llais yn llywodraethiad masnach sydd ymhob ystyr yn profi iddynt mor ofnadwy o ddinystriol. A chan fod ein barn yn yr achos hwn, trwy râd Duw, yn awr ar cael ei dwyn i fuddugoliaeth, y mae yn dra addas i ni ymwrando â'r hyn a osodir o'n blaen yn Adroddiad Mr. Fanshawe am weithrediad deddfau ataliol yr ochr arall i'r Werydd. Ni raid i ni ddweyd fed gennym, fel y mae gan Gymru oll, ddwfn barch i Mr. Rathbone; ac yr ydym yn ddiolchgar iddo, ac i'r gwr galluog a ddanfonodd i wneyd yr ymchwiliad y ceir ei ffrwyth yn yr Adroddiad sydd o'n blaen, am y gwasanaeth a wnaethpwyd ganddynt yn yr achos hwn. Ni ellir dweyd fod llawer o ychwanegiad trwy hyn wedi ei wneyd at ein gwybodaeth; oblegid trwy y cyflawnder o dystiolaethau oedd wedi ein cyrraedd,—oddiwrth elynion, oddiwrth gyfeillion, ac oddiwrth lawer y gellid ymddiried eu bod yn llawn mor amhleidgar â Mr. Fanshawe ei hun,—nid oedd prinder am ddefnyddiau i ffurfio barn weddol ddiogel ar yr achos. Ond y mae yn foddlonrwydd cael fel yma, gyda'u gilydd, a thrwy ŵr a ddisgwylid i fod yn gwbl rydd oddiwrth ragfarn a theimlad unrhyw blaid, tua'r oll ag a ellid gael mewn ffordd o wybodaeth am weithrediad deddfau ataliol America a Chanada.

Un ystyriaeth sydd yn gosod ei hargraff yn glir ar ein meddwl wedi darllen y llyfr hwn ydyw, Fod ein cefndryd yr ochr draw yn yr achos yma, fel ffigys y proffwyd, "y ffigys da yn dda iawn, a'r rhai drwg yn ddrwg iawn." Gwych ydyw fod "addysgiaeth ddirwestol" yn orfodol yn ysgolion elfennol y mwyafrif o'r Taleithiau; fod y teimlad fod rhywbeth gwarthus a phechadurus mewn yfed diod feddwol yn gryf ac

yn eang, ac yn cael ei barchu hyd yn oed gan rai nad ydynt eu hunain yn llwyrymwrthod; nad ydyw ond peth cyffredin fod gwleddoedd a roddir yn y tai parchusaf heb fod ynddynt ddafn o ddiod feddwol, ac yn ystod un lywyddiaeth y ceid rhai gweilch yn cwyno am y White House yn Washington "fod dwr yn rhedeg yno fel champagne;" nad oes odid eglwys yn America y gallai ei gweinidog ddal ei dir yngolwg ei bobl pe gwyddid nad ydyw yn llwyrymwrthodwr, ac y dywedwyd wrth Mr. Fanshawe am un amgylchiad pan oedd dychryn wedi dal y teithwyr mewn agerlong ar y Fall River wrth weled tri o weinidogion yr Efengyl yn yfed cwrw ar swper; na welir ond anaml iawn, os byth, ferch yn gweini ar gwsmeriaid mewn tafarn, ac mewn rhai Taleithiau fod hynny yn benodol yn cael ei wahardd trwy gyfraith; yr edrychir gyda mawr atgasrwydd ar waith merched yn yfed, ac fod rhoddi diod i ferch mewn tafarn i'w hyfed yn cael ei gosbi mewn un Dalaeth â blwyddyn o garchariad, heblaw dirwy drom; yr edrychir ar waith heddgeidwaid yn yfed o gwbl yn anghymhwyster ynddynt i'w galwedigaeth; pan gerrir allan y gwelliantau trwyddedol cryfaf, a hyd yn oed pan atelir y fasnach yn gwbl, nad oes air o son am ad-daliad, na neb yn disgwyl y fath beth, &c., &c. Gyda phobl yn teimlo felly, nid rhyfedd fod eu sêl yn fawr dros ddeddfau ataliol, a'u bod yn eu cario allan yn y modd mwyaf di-arbed. Mewn etholiadau lle mae cwestiwn y ddiod yn cael ei ystyried, nid ydyw yn beth dieithr gweled gweinidogion yr Efengyl a gwragedd yn ymdrechu yn egnïol o blaid ataliad. Mewn etholiad diweddar dywedir "fod gweinidogion yn gofalu am y deg lle polio, a bod y gwragedd a'r plant yn gweddïo yn eu heisteddleoedd. Ymunai cloch pob eglwys yn y dref yn y gerddoriaeth a gyhoeddai etholiad yr ymgeisydd gwrthwynebol i drwyddedau." Tybia Mr. Fanshawe fod y sêl a ddanghosir felly gan gyfeillion sobrwydd yn yr etholiadau, yn peri eu bod, weithiau, yn troi allan yn fwy blaenllaw nag ydyw y gwir deimlad o blaid ataliad. Fodd bynnag, nid ydym i anghofio fod dylifiad parhaus i America o boblogaeth ddihir a di-lywodraeth o wledydd Ewrop a mannau ereill, ac fod cadw y rheini mewn unrhyw wastrodedd yn orchwyl tra anhawdd. Yr ydym yn cofio fod Mr. Ward Beecher ar ei ymweliad â Chaernarfon yn son am y gallu hynod sydd gan America, fel y mae y cylla yn troi popeth roir ynddo yn rhan o'r cyfansoddiad, i wneyd o'r lluoedd sydd yn ymfudo yno o wledydd y ddaear, genedl gref o Americaniaid. Mae'n ddiau fod hynny i fesur mawr yn wir; ond pan gofir mor gryf ydyw chwant myrddiynau o'r ymfudwyr at y ddiod feddwol, mor ddieithr ydynt i'r ddisgyblaeth dda sydd yn gwneyd cynifer o'r Americaniaid goreu yn ffafriol i ataliad, ac mor awchus y croesawir eu cydweithrediad gan ffryndiau y ddiod a phobl y fasnach yn y wlad honno, nid ydyw yn rhyfedd eu bod yn barod i wneyd eu goreu i wneuthur yn ddirym bob ymdrech i roi unrhyw atalfa ar fasnach y ddiod. Mae llawer o honynt yn groes i bob llywodraeth,—fel y dyn a ddeffröai o'i gwsg wedi llongddrylliad ar ryw ynys, ac a ofynnai i'r cyntaf a welodd, a oedd yno lywodraeth; ac wedi deall fod, a ddywedai ar unwaith, "Then I am agen it." Heblaw hynny, mae eu chwant at y ddiod fel y bedd. A phan gofir fod y gelyn mawr yn gwneyd cymaint defnydd o bob gallu ddaw yn ei ffordd er atal rhinwedd a daioni, nid ydym mewn un modd i'w gyfrif yn beth dieithr fod llawer o yfed, hyd yn oed yn y gwledydd sydd dan ddeddfau ataliol; ïe a bod awch llaweroedd am y ddiod yn fwy yn ol llymder y deddfau sydd yn atal y ddiod oddiwrthynt.

Drachefn, yr ydym yn gweled Fod pobl America yn llawer parotach na ni i basio deddfau o'r fath; tra, o'r ochr arall, y mae gallu eu llywodraethau i weinyddu y deddfau a basiant, lawer yn fwy gwan. Nid ydyw pasio deddfau ataliol yno yn anodd iawn. Nid ydyw y creigiau a'r mynyddoedd sydd ar y ffordd yma, yno yn cael eu gweled. Nid ydynt hwy yn meddwl am funud am roi unrhyw ad-daliad i'r rhai a amddifedir o'u trwyddedau; ac y maent oll yn ymostwng mor dawel i uchafiaeth y mwyafrif fel nad ydyw anghyfleustra y lleiafrif, boed fawr boed fach, yn galw am gymaint a'i gymeryd i ystyriaeth. I ni, y mae yn rhyfedd mor ddiseremoni y maent yn gallu gosod ar eu deddflyfrau fesurau ag y golygid yma y byddai eu pasio yn waith oes. Ond peth arall ydyw eu cario i weithrediad. Y mae eu gallu gweinyddiadol lawer yn wannach. Mae'n debyg fod llawer o bethau i'w cymeryd i'r cyfrif wrth esbonio hynny; ond mae y ffaith yn ddiamheuol nad ydyw gallu llawer o'r Taleithiau, ac yn enwedig i gario allan eu deddfau ataliol, yn dal cymhariaeth o gwbl â'u parodrwydd i basio deddfau o'r fath. Y maent yn gallu eu pasio mewn ffordd nad ydynt yn gallu eu gweinyddu. Mae y cyfartaledd sydd yn angenrheidiol i wneyd mesur ataliol yn ddeddf, yn gwbl annigonol i sicrhau y bydd yn cael ei gario allan. "Drosodd a throsodd drachefn," ebai Mr. Fanshawe, "mi gefais ddynion, ac nid titotaliaid yn unig, yn dweyd y fotient dros ataliad pe gellid ei gario i weithrediad; ond eu bod yn argoeddedig nad yw ond ofer, neu waeth nag ofer, oddieithr pan yn cael ei ategu yn dda gan deimlad y bobl." Dywedai yr Arglwyddes Henry Somerset y dydd o'r blaen, wrth gyfeirio at allu y merched yn y ffordd yna: "Yn Colorado, lle mae y merched am y waith gyntaf wedi cael pleidlais, beth ddywedai pobl y fasnach? Dywedent, 'Mae arnom fwy o arswyd fôt y merched yn Colorado nag sydd arnom o arswyd deddfau ataliol; oblegid dan y deddfau ataliol gallwn fotio dynion i'n Llywodraeth na fynnant weled eu bod yn cael eu cario allan; ond gyda fôt y merched, yr ydymnid ynunig yn cael dyrnod angheuol i fasnach y ddiod, ond y mae dynion yn cael eu gosod mewn gallu a gariant y deddfau allan wedi eu pasio.'"

Am wers fawr Adroddiad Mr. Fanshawe, yr oedd Mr. Rathbone ei hun mewn araith o'i eiddo dro yn ol yn Llandudno, a chyn belled ag yr oedd y pryd hynny wedi myned, yn ei chrynhoi i ddau air:—1. Nid ydyw deddfau ataliol yn llwyddiannus ond lle byddo teimlad y bobl yn addfed iddynt. 2. Nid ydyw yn ddiogel ymddiried eu gweinyddiad i unrhyw gorff fo wedi ei ethol i amcanion ereill hefyd. A dyma, wedi ei gwblhau, ydyw hanfod yr holl Adroddiad. Y mae profiad America yn dysgu yn amlwg y rhaid cael teimlad y bobl yn ddigon cryf i sicrhau gweinyddiad deddfau o'r fath, ac nid yn unig i'w gosod ar y llyfrau; ac y mae yn dysgu yr un mor amlwg y dylai y gallu sydd i'w rhoddi mewn gweithrediad fod yn arbennig gyfrifol am hynny, ac nid i wneyd hynny ymysg llawer o bethau ereill. Cymaint a hynny yn nacâol. Ond yn gadarnhaol, y mae profiad America yn dysgu yr un mor amlwg, fel y dangosasom yn ddiweddar mewn erthygl ar "Ddeddfwriaeth Ataliol yn yr Unol Daleithiau" (TRAETHODYDD 1892, tudal. 291, &c.), lle y mae y bobl yn addfed i ddeddfau o'r fath, ac yn cadw eu gweinyddiad yn eu llaw eu hunain, fod eu gwerth yn amhrisiadwy; fod eu llwyddiant yn wir mor fawr fel y mae bellach mewn amryw o'r Taleithiau lawer o bobl ieuainc wedi tyfu i fyny na welsant erioed dŷ

tafarn, ac nad oes ganddynt syniad, ond trwy hanes, pa fath anghenfil raid fod dyn meddw.

Ond beth a allwn gasglu oddiwrth hyn oll am y mesurau o Ddewisiad Lleol sydd yn awr ger bron Senedd y wlad hon, mesurau ag y mae gennym y fath le i hyderu y byddant yn fuan wedi eu gosod ar ddeddflyfrau Prydain Fawr? Yr ydym yn dweyd "mesurau," am ein bod yn dal ein gafael yn gryf ac yn neillduol yn y mesur Cymreig, yn gystal ag ym mesur y Llywodraeth, ac yn dra awyddus, os na ellir gosod ei egwyddorion gwaharddiaethol ym mesur y Llywodraeth, ar iddynt gael eu cymeryd i mewn i'r mesur hwnnw mor bell ag y bydd a fynno â Chymru, os na ellir pasio mesur i Gymru ar wahân. Ond a sefyll ar y tir isaf, beth am fesur y Llywodraeth fel y mae, ac yn ei berthynas, nid â Chymru, sydd gymaint yn fwy addfed, ond â'r holl Deyrnas Gyfunol?

Yr ydym yn credu fod profiad America, ac fel y mae yn cael ei ddangos yn Adroddiad Mr. Fanshawe, mor lawn o galondid i ni fel nad oes achos i neb o honom betruso am funud i wneyd ein goreu o'i blaid.

1. Nid mympwy byrhoedlog ydyw, newydd godi ym meddwl ac ysbryd y deyrnas, ac mor fuan a hynny i farw. Am gicaion Jonah, "mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu." Felly hefyd am lawer o amcanion ag y mae hyd yn oed deddfwriaethau wedi cadw llawer o drwst yn eu cylch. Am y dderwen sydd i ddal ystormydd oesoedd, nid ydyw yn ormod iddi hi gymeryd tymor maith i yrru ei gwraidd i lawr, ac ymaflyd yng nghadernid y ddaear. Felly am y mesur yma o Ddewisiad Lleol. Y mae wedi bod ger bron y deyrnas yma am ddeng mlynedd ar hugain; ac yr oedd y Diwygiad Dirwestol mawr wedi bod ar waith ac yn paratoi y ffordd iddo am ddeng mlynedd ar hugain cyn hynny. Tra yr oedd y Taleithiau ymhob cyfeiriad yn pasio ac yn perffeithio, ac weithiau yn newid, eu mesurau ataliol, yr oeddym ni o hyd yn dadleu, yn dysgu, ac yn ceisio argyhoeddi ein gilydd. Byddai llawer un yn barod i feddwl mai ofer oedd y cwbl, ac yn awyddus i brysuro y diwedd. Ond *Festina lente;* yr oeddym yn brysio yn araf; er yn araf yn brysio. A braidd nad ein syndod erbyn hyn ydyw fod y gwaith,—nid wedi cymeryd cymaint o amser,—ond wedi ei wneyd mor dda. Am Gymru, nid oedd ond Mr. Kenyon ei hun, allan o'r pedwar ar ddeg ar hugain, a fentrodd fotio yn erbyn mesur Major Jones; a hyderwn y cymer bwrdeisdrefi Sir Ddinbych ofal y gwr parchus hwnnw yn y dyfodol, os na fydd ei ddadblygiad hynod ynghyfeiriad Rhyddfrydiaeth, erbyn hynny, wedi cyrraedd y fath berffeithrwydd fel y gellir bod yn dawel yn ei gylch. Ac am Loegr, y mae wedi ei hennill mor lwyr at Ddewisiad Lleol, fel y mae y Blaid Wleidyddol fawr sydd yn cario pob mesurau diwygiadol, ac nad ydyw byth yn methu a chario unrhyw fesur y mae wedi ei gymeryd i fyny,—y mae y Blaid honno wedi gosod hyn ers amryw flynyddoedd bellach mewn lle amlwg ar ei baner, ac yn rhoddi ei llais yn gryfach o'i blaid y naill flwyddyn ar ol y llall. Ië, y mae erbyn hyn wedi creu Llywodraeth sydd â'i holl galon o'i blaid, ac wedi ei gorffori mewn mesur da a thrwyadl, ac yn benderfynol o fynnu ei basio yn ddeddf. Gallwn deimlo yn hyderus am nerth argyhoeddiad y deyrnas gyda golwg arno, a chredu fod pobl Prydain o ddifrif yn ei gylch.

2. Ni ofynnir am allu i gario y ddeddf i weithrediad mewn unrhyw dref neu ranbarth, ond lle y bo dwy ran o dair o drethdalwyr y dref neu y rhanbarth yn galw am hynny. Mae hyn, yn sicr, yn golygu

addfedrwydd mawr i gyfnewidiad o'r fath. Yn America, ïe ac mewn mannau lle y mae ataliad wedi gweithio yn dda, y mae hynny wedi ei gario allan trwy *fwyafrif* yn unig. Hyd yn oed yn y Taleithiau lle y mae ataliad wedi ei gymeryd i mewn fel gwelliant yn y cyfansoddiad, neu *constitutional amendment*, ac felly i fod mewn grym nes y bydd dwy ran o dair o'r etholwyr yn galw am ei newid, ac felly y gwneir ataliad i bob diben a bwriad yn ddeddf dragwyddol,—ni ofynnid ond mwyafrif i ddwyn hynny oddiamgylch. Felly, yn ol y daflen a geir ar tudal. 30 o'r llyfr hwn, yn Kansas yn 1880, trwy 91,874, yn erbyn 86,037; yn Iowa yn 1882, trwy 155,436, yn erbyn 125,677; yn Ohio yn 1883, trwy 323,189, yn erbyn 240,975; yn South Dakota yn 1889, trwy 39,509, yn erbyn 33,450; yn North Dakota yn 1889, trwy 18,552, yn erbyn 17,393, &c. Cariwyd gwaharddiad fel dewisiad lleol ym Maine yn 1851 trwy ddau am un; ond cariwyd y gwelliant cyfansoddiadol yno yn 1884 trwy dri am un, neu 70,783 yn erbyn 23,811. Ond gwnelsai mwyafrif y tro, fel yn y Taleithiau ereill a nodwyd. Ond nid *mwyafrif* a wnai y tro i gau tafarnau dan y mesur Cymreig, na mesur y Llywodraeth; ond rhaid cael *dau o bob tri* i alw am hynny. Credwn y byddai y cyfartaledd mewn llawer o ardaloedd Cymru lawer yn fwy, ac anhawdd gennym gredu y byddai mewn ond ychydig o honynt nemor yn llai; ond yn sicr fe fyddai gwaith *dwy ran o dair* yn galw am hynny, yn dangos mesur o addfedrwydd na ddylid mewn un modd betruso mewn gwneyd prawf arno; ac fe ellid teimlo yn gwbl hyderus am ei nerth er sicrhau llwyddiant y ddeddf lle y cymerid hi i fyny.

3. Am weinyddiad y ddeddf, y mae i fod yn llaw y bobl eu hunain. Nid ydym i'w ymddiried i unrhyw gorff fo wedi ei ddewis i amcanion ereill hefyd, ac a allai esgeuluso ei waith, neu a allai fod yn agored i gael ei lygru. Nid cyngor y dref, na chyngor y sir, nac unrhyw gyngor arall sydd i benderfynu pa un a oes tafarnau i fod yn y dref neu y rhanbarth; ac nid y tirfeddiannydd, a allo ddychmygu ei fod yn gwneyd y peth goreu ar ran y bobl, tra y gallo fod y bobl eu hunain yn barnu yn wahanol; ac yn sicr nid yr ustus heddwch, nad ydyw yn gyfrifol i neb, nac ond yn anfynych yn malio am ddim, ond yn cario allan ei fympwy uchelfryd ei hunan, fel arglwydd bach ar ei gyd-ddynion. Ond mae y gwaith mawr hwn i'w wneyd gan y bobl yn uniongyrchol. Y bobl eu hunain yn Liverpool oedd yn penderfynu y mynnent eu cyflenwad ardderchog o ddwfr pur o'r Fyrnwy, a'r bobl eu hunain ym Manchester oedd yn penderfynu cael eu cyflenwad hwythau o Cumberland; ac yn gyffelyb mewn mannau ereill. Ac a ydyw yn ormod gadael i'r bobl benderfynu, pan na ofynnant am gael gwneyd hynny ond gyda mwyafrif mor fawr â dwy ran o dair o'u nifer, pa un a ydynt am gael trwyth i'w hardaloedd sydd trwy ei chyfaredd yn eu gwneyd yn slafiaid iddi, a thrwy ei gwenwyn yn ei dinystrio? Fe ymddiriedir iddynt allu mor fawr ag ethol eu deddfwneuthurwyr; a ydyw yn ormod ymddiried iddynt i benderfynu cwestiwn masnach y ddiod yn eu hardaloedd, pan y mae eu diogelwch hwy eu hunain, a bywyd eu hanwyliaid, a llwyddiant eu gwlad yn galw am gael eu hamddiffyn rhag ei melldith?

4. Mae yn hyfryd gennym feddwl hefyd y gellid yn rhesymol disgwyl y cerrid allan ddeddf o'r fath yn y wlad hon yn llawer gwell nag y gwneir yn America. Mae llawer o ddiffyg, gŵyr dyn, yng ngweinyddiad deddfau Prydain; ond fe gydnebydd pawb ein bod yn yr ystyr yma lawer iawn ymlaen ar ein ceraint yr ochr arall i'r môr. Mae ein

heddgeidwaid weithiau yn cael eu llygru; a gwaeth fyth, mae ein hynadon, ac nid yn anfynych, o ffyddlondeb i'r tafarnwyr, yn gomedd derbyn tystiolaeth yr heddgeidwaid ac ereill, er iddi fod

Mor ole â'r haul ar hanner dydd.

Ond ar y cyfan, nid oes gennym achos i gwyno am weinyddiad ein cyfreithiau yn y wlad hon. Mae ein barnwyr uwchlaw amheuaeth, ac nid oes neb a ddychmygai am eu prynnu. Ac am ddeddf fel yr un y cyfeiriwn ati,—na fydd wedi ei chael ond trwy i'r deyrnas fyned trwy gwis o ddeng mlynedd ar hugain o addfediad iddi a galw am ei chael, ac na fydd mewn grym mewn unrhyw le heb fod dwy ran o dair o'r trethdalwyr yn galw am hynny,—y mae gennym bob lle i ddisgwyl y gweinyddid hi yn effeithiol, ac y byddai ei bendith yn annhraethadwy. Mae yn ddiameu y troseddid hi. Pa ddeddf sydd ar ein llyfrau yn awr nad ydyw yn barhaus yn cael ei throseddu? Ond y mae ein deddfau yn ateb diben daionus, a'n llywiawdwyr sydd yn eu gweinyddu "trwyddo EF wedi eu danfon, er dïal ar y drwgweithredwyr, a mawl i'r gweithredwyr da." Gallwn felly edrych ymlaen yn hyderus at basio, ac at gario allan y ddeddf hon o *Local Control*, neu *Local Veto*, fel daioni ag y gall yr holl deyrnas fod yn ddiolchgar am dano, ac y bydd i oesoedd lawer lawenychu o'i fwynhau.

Buasai yn hawdd dangos mor fendithiol y mae deddfwriaeth o'r fath wedi profi, ac mewn mannau nad oeddynt yn agos mor addfed i hynny â'r wlad hon, a lle nad oedd y mwyafrif a ofynnid i osod y fath drefn mewn grym yn agos yn gymaint ag a noda y mesurau a osodwyd o flaen ein Senedd. Ond i ddangos mor hawdd ydyw gwneyd heb y ddiod feddwol, feallai y goddefid i ni ychwanegu tri gair am hen wlad anwyl ein genedigaeth. Mae ym Mon yn awr 36 o blwyfydd, yn cynnwys tua naw mil a hanner o drigolion, heb yr un dafarn o'u mewn. Ac ni fynnent yr un! Yn ddiweddar hefyd fe ataliwyd trwydded tafarn yn un o bentrefi yr Ynys, o herwydd afreolaeth; ac yr oedd y weddw druan a'i cadwai mewn dirfawr brofedigaeth; ond fe ddaeth y syniad hapus i'w phen o roddi sein newydd ar y ty, a'i gadw ymlaen fel "Temperance," gyda thê a choffi, bara a menyn, cacennau, a melusion, a phapurau newyddion; ac y mae yn canmol mai dyna y tro goreu a wnaeth erioed: —fod yr hen gwsmeriaid ac ereill yn dyfod ynghyd i fwynhau ei phethau da a'i phapurau, ac i ysmocio ac ymgomio yn ddiddan, a phob amser yn ymadael yn y teimladau goreu. Ac y mae yn falch gennym ychwanegu mai yr hotel fwyaf parchus a mwyaf poblogaidd ym Mon ydyw y Mona Caffe yn Llangefni, lle y mae pob cyfleustra i dderbyn meirch a cherbydau, a lle y mae amaethwyr a phobl barchusaf y wlad yn mwynhau yn hyfryd holl gysuron cartref, ond heb eu temtio â diferyn o ddiod feddwol. Mae yn werth hysbysu hefyd fod y cyfranddalwyr yn yr anturiaeth fendigaid hon, er nad yw y prisiau a godant ond tra rhesymol, yn cael deg punt y cant o lôg am eu harian. Mae y Gair sanctaidd yn son am droi y cleddyfau yn sychau a'r gwaewffyn yn bladuriau: buan y tröer holl dafarnau ein pentrefydd yn gyffelyb i "Demperance" Trefor, a'n holl hotels yn debyg i'r Mona Caffe yn Llangefni!

---

Wedi ysgrifennu yr uchod, yr ydym wedi cael mawr foddhad wrth ddarllen hanes yr ail Gynhadledd fawr er hyrwyddo Dirwest a gynhaliwyd yn Llundain, Rhagfyr 6ed, ynghyda hanes y cyfarfodydd cyhoeddus

a'i dilynai, a'r Ddirprwyaeth a anfonodd at Mr. Gladstone a Syr William Harcourt. Mae ein darllenwyr yn cofio am y Gynhadledd gyntaf a gynhaliwyd Chwefror 22—23ain, 1893, yn y Memorial Hall. Rhaid dweyd fod un y 6ed o Ragfyr, ymhob ystyr, lawer yn fwy. Fe'i gynhelid yn y Covent Garden Theatre. Yr ydym yn gweled fod nifer y Cynrychiolwyr oddiwrth wahanol gymdeithasau Dirwestol a chyrff Crefyddol y darllennwyd llythyrau eu hawdurdodiad gan y *Credential Committee* yn 2,000, ac o'r nifer yna fe ddywedai yr Arglwyddes Henry Somerset wrthym pan yn dychwelyd o Gaernarfon Rhagfyr 15fed, fod 600 yn ferched. Llywyddid y cynadleddau gan Mr. Caine, a'r cyfarfod cyhoeddus gan Syr Wilfrid Lawson. Ychydig funudau ar ol chwech o'r gloch, bu raid cau drysau y Chwareudy, ac anfon y bobl tuag Exeter Hall; ond wedi i'r ddwy adeilad eang gael eu gorlenwi, yr oedd wedyn filoedd yn awyddus am fod i mewn, ond yn cael bod hynny yn amhosibl. Ac fel yr oedd y cynulliadau o ran maint y fath fel na ellid gweled eu cyffelyb yn y deyrnas ynglyn ag unrhyw achos arall, felly hefyd yr oedd yr unfrydedd, a'r nerth argyhoeddiad, a'r sêl angherddol a'u nodweddai, yn gwbl ar eu pen eu hun yn hanes cyfarfodydd. Yr ydym wedi arfer clywed ymadroddion o draha a dirmyg a dygasedd am gyfeillion sobrwydd; ond buasai yr olwg ar y bobl barchus a meddylgar oedd wedi dyfod ynghyd y diwrnod hwnnw, yn filoedd ac yn filoedd, i ddadleu dros achos yr oeddynt wedi ei astudio am eu hoes, a threulio eu nerth i ymladd drosto, yn ddigon i argyhoeddi pawb eu bod yn deall yn dda beth yr oeddynt yn ei gylch, ac yn sicr eu bod o ddifrif. Yr oedd yn eu mysg, fel y dywedasai Eliphaz, y penllwyd a'r oedrannus hefyd, hŷn o oedran na thad llawer un sydd yn eu dilorni. Yr oedd llïaws o honynt yn weinidogion yr Efengyl, ereill yn aelodau seneddol, yn ynadon, a maerod, ac aelodau o bob math o gynghorau; llawer yn sefyll yn dra uchel fel gwyddonwyr, a llawer fel tywysogion ym myd masnach; llawer iawn o'r dosbarth gweithiol, yr ymgroesa llïaws o bobl barchus gyda'r fath ddyhewyd rhag eu robio o'u cwrw; a llawer o rai sydd wedi ymwerthu i'r ymdrech ganmoladwy o geisio gwared rhai felly,—ac o'r nifer yma llïaws o chwiorydd, llawer o honynt o sefyllfa uchel mewn cymdeithas, ond gan faint eu tosturi at y rhai a lusgir i angeu, wedi penderfynu treulio ac ymdreulio er ceisio sicrhau eu gwaredigaeth. Rhaid dweyd hefyd fod y llïaws areithiau a draddodid yn hynod o bwrpasol, bron bob un yn taro yr hoelen ar ei phen. Yr oedd pawb yn ymwybodol o'r sefyllfa, sefyllfa na welwyd ei chyffelyb yn ein holl hanes; a'r sefyllfa yn wir oedd yn gwneyd eu hareithiau. Nid gwasgar y goleuni oedd nod eu hymdrech, ond ei grynhoi, a'i ddwyn i bwynt llosgi, a'i gymeryd felly yn fyw a'i gymhwyso at ysbrydoedd Mr. Gladstone a Syr W. Harcourt.

Mewn trefn i osod yr achos yn glir ac yn gryno ger bron, darfu i'r Gynhadledd yn ddoeth iawn gorffori y prif ffeithiau i Gofeb, yr hon, fel y gallasid disgwyl, a basiwyd gyda pherffaith gymeradwyaeth. Y mae hon yn ysgrifen hanesyddol, yn arwydd ffordd sydd yn dynodi ymdeithiad mawr deg ar hugain o flynyddau yng nghyfeiriad amddiffyn rhag melldith fwyaf andwyol yr oesoedd, ac yn dangos y rheswm am weithrediad deddfwriaethol y rhaid ei fod bellach wrth y drws, yr hwn y mae pob lle i hyderu y bydd oesoedd yn llawenychu o'i blegid fel y daioni pennaf a allasai unrhyw Lywodraeth sicrhau iddynt. Crybwylla ddygiad i mewn y Permissive Bill yn 1864, a'r blynyddoedd dilynol. Cyfeiria at Adroddiad

Confocasiwn Canterbury yn 1869, lle y nodid fod dros 14,000 o blwyfydd heb dafarn o'u mewn, a'u cyflwr ymhob ystyr lawer iawn yn well na'r rhai lle'r oedd tafarnau, ac yr argymhellid fod "rhoddi i breswylwyr ardaloedd allu i atal rhoddi neu adnewyddu trwyddedau." A'r un modd at Adroddiad Confocasiwn York yn 1874, lle y danghosid y ceid sobrwydd neu anghymedroldeb ardaloedd yn gwbl yn ol y cyfyngu ar, neu y rhyddid a roddid i werthiant diodydd meddwol, ac y datgenid fod y cynhygiad i ganiatau i'r trethdalwyr gael penderfynu pa un a ddylid goddef tafarnau "yn deilwng o'r ystyriaeth fwyaf difrifol." Ac at Gofeb y Clerigwyr yn 1876, a arwyddnodwyd gan 13,504—tua dwy ran o dair o'u nifer—a ddatganai "y rhaid i anghymedroldeb ffynnu cyhyd ag y bydd temtasiynau iddo o bob cyfeiriad mor liosog;" ac a amlygai ddymuniad cryf ar fod ymwared buan yn cael ei sicrhau. Yn 1880 pasiwyd penderfyniad Syr Wilfrid Lawson o blaid Dewisiad Lleol yn Nhy y Cyffredin trwy fwyafrif o 26; yn 1881, trwy fwyafrif o 42; ac yn 1883, trwy fwyafrif o 87. Y pryd hynny yr oedd y Llywodraeth yn gwbl o'i blaid. Yn 1888, dygwyd i mewn fesurau Dewisiad Lleol am Loegr, Iwerddon, Scotland, a Chymru; ac am egwyddor y cyfan dywedai Syr W. Harcourt mai Dewisiad Lleol, mewn gwirionedd, oedd y drefn ar y pryd, ond fod hwnnw yn y dwylaw chwith, sef eiddo yr ynadon; ond ychwanegai na chyfyngid y gallu hwnnw mwyach i'r ynadon, ond y cai ei osod yn nwylaw yr etholwyr. Dyfynnir geiriau Mr. Gladstone yn 1889: "Mae'n wybyddus ein bod ni yn meddwl fod y cwestiwn o drwyddedu yn galw am y sylw mwyaf ymarferol." Yn 1890 corfforodd Arglwydd Randolph Churchill yr egwyddor o Ddewisiad Lleol trwy ddwy ran o dair yn ei Fesur; ond gwnelai hynny yn ddirym trwy alw am i'r ddwy ran o dair olygu y cyfartaledd hwnnw o'r rhai oedd ar yr etholrestrau, yr hyn na cheid byth. Yn 1891, yn Newcastle, yr oedd Mr. Gladstone wedi cydnabod yn dra rhesymol y dylai y gallu oedd gan y tirfeddianwyr i rwystro tafarnau ymhlith eu tenantiaid, gael ei roddi hefyd i'r tenantiaid eu hunain. Ac yng Nghaer yn 1892, dywedai: "Cyn belled ag y mae a fynno y blaid Ryddfrydol, y maent yn benderfynol, fel un gwr, i osod yn nwylaw pobl yr ardaloedd y gallu i roi terfyn ar fasnach y credant ei bod, mewn lliaws o achosion, yn niweidiol ac yn andwyol i'r graddau eithaf i fywyd cymdeithasol a moesol, yn gystal ag i fywyd naturiol y trigolion." Yn Araith y Frenhines, Ion. 31, 1893, datgenid y bwriad o ddwyn ymlaen fesur "er llywodraethiad uniongyrchol masnach y ddiod." Gwnaed hynny Chwef. 27, pan ddywedai Syr W. Harcourt, ymysg llawer o bethau da ereill: "Os ydych i daro dyrnod i bwrpas yn erbyn drwg cenedlaethol, rhaid i chwi apelio at gydwybod a llais y bobl i wneyd yr hyn a ddymunwch. Rhaid i chwi apelio at yr egwyddor ddemocrataidd fawr sydd yn galw allan egnïon bywiol llais y bobl a chydwybod y bobl. . . . Os ydych yn gobeithio diwygio arferion neu foesau cenedl, rhaid i chwi apelio yn uniongyrchol at gydwybodau y bobl eu hunain. Os yw y bobl i gael eu diwygio, rhaid iddynt fod yn awdwyr eu diwygiad eu hunain." Ni allasai dim fod yn fwy derbyniol na hyn oll gan gyfeillion sobrwydd trwy yr holl deyrnas; yn unig gofidient am na allesid o fewn y Senedd-dymor wneyd y fath fesur gwerthfawr yn ddeddf. Ond wedi dangos fel yna yr arafwch â pha un y mae y Fam Wlad yn ymsymud yn yr achos hwn, â y Gofeb ymlaen i ddynodi y camrau breision y mae y Taleithiau wedi gymeryd er sicrhau yr ymwared a deimlent mor hanfodol iddynt

oddiwrth fasnach y ddiod. Yn 1876 trefnodd Victoria y gallai mwyafrif yn unig atal trwyddedau ychwanegol. Yn 1878 trefnodd Canada y gallai etholwyr pob dinas a sir, trwy fwyafrif yn unig, atal pob trwyddedu ar derfyn y trwyddedau blynyddol oedd ar y pryd yn rhedeg. Yn 1880 gwnaeth South Australia, ac yn 1881 gwnaeth New Zealand yn gyffelyb. Yn 1882, gwnaeth New South Wales yr un fath, a phasiodd y Bahamas Bermissive Bill yn galluogi dwy ran o dair o etholwyr unrhyw ranbarth i benderfynu ataliad pob trwyddedau ar derfyn y flwyddyn drwyddedol. Yn 1883, trefnodd Cape Colony y gallai mwyafrif o'r etholwyr yn unig atal pob trwyddedau newyddion. Yn 1885, pasiodd Queensland ddeddf yn galluogi yr etholwyr (1) Trwy fwyafrif yn unig i atal trwyddedau newyddion; (2) I leihau trwyddedau oedd yn bod, ac (3) Trwy ddwy ran o dair o'r rhai fyddent yn fotio, i beidio rhoddi nac adnewyddu unrhyw drwyddedau diod ar derfyn y trwyddedu oedd yn rhedeg yn niwedd y flwyddyn. Mae y ddeddf hon, fe welir, yr un â mesur Scotland, a ddarllenwyd yr ail waith yn Nhy y Cyffredin yn 1888, ac ag un Cymru, a ddarllenwyd yr ail waith, wedi dadl lawn, dan y Weinyddiaeth flaenorol, gyda mwyafrif o 7; a thrachefn dan y Weinyddiaeth hon, fis Mawrth diweddaf, gyda mwyafrif o 36. Cyfeirir yn hyderus hefyd at ymadroddion cryfion oeddynt wedi eu llefaru gan nifer mawr o aelodau y Weinyddiaeth, a chan Mr. Gladstone ei hun, yn dangos fod y mater yma wedi cyrraedd llawn addfedrwydd, a bellach yn galw am gael ei setlo. A chan ddangos eu bod yn edrych ymlaen yn hyderus at hynny ddechreu y Senedd-dymor nesaf, arwyddwyd y Gofeb, ar ran 38 o Gymdeithasau a gynrychiolid yn y Gynhadledd, gan y Swyddogion. Yr oedd cais y Gofeb yn cael ei lawn gadarnhau gan holl benderfyniadau y Gynhadledd a'r cyfarfodydd cyhoeddus.

Wedi deall fod Mr. Gladstone a Syr W. Harcourt yn garedig wedi amlygu parodrwydd i dderbyn y Gofeb drannoeth, yr oedd yn dipyn o fater pa fodd y cyflwynid hi. Awgrymai un o'r siaradwyr yn chwareus na fyddai yn ddrwg iddynt oll ei chymeryd. "Gadewch i ni fynd i gyd," ebai rhyw frawd selog o'r dorf. Y ddwy fil! Ac ni fuasai ond peth hawdd iawn ychwanegu, fel cwmni iddynt, feallai y naw neu y deng mil oedd, heblaw y cynrychiolwyr, yn bresennol yn y ddau gyfarfod cyhoeddus, heb son am y miliynau yn Llundain a phob man arall trwy y deyrnas a fuasent yn caru cymeryd eu lle yn yr orymdaith. Am y cyfraniad a ddymunasai Cymru Lân anfon i'r arddanghosiad, fe fuasai yn ddyddorol iawn. Wrth reswm fe fuasai y tafarnwyr allan. Nid ydym yn gwybod chwaith am neb o'r esgobion, nac o'r personiaid, na hyd yn oed o'r curadiaid, na fuasent yn ymgroesi rhag cael eu gweled yn y fath gwmni; oblegid er a ddywed doethineb eu dau Gonfocasiwn, ac a ddywed eu cydwybod hwy eu hunain am y fasnach ddinystriol, eto y mae pleidlais y tafarnwyr mor anhepgorol iddynt yn yr etholiadau fel y mae'n rhaid bod yn ffyddlon i Gyngrair y Bîr a'r Beibl,—doed ddel o rinwedd, a llwyddiant, a hyd yn oed fywyd y genedl. Ac mae'n ofidus gennym weled fod y cynghreiriad politicaidd hwn, gydag achosion ereill o gyffelyb natur, wedi dirywio teimlad moesol ein cydwladwyr hyn i'r fath raddau fel, er y mynnant i'r deyrnas ddeall am Ymneillduwyr Cymru,—am na oddefant ddysgu i'w plant yn yr ysgolion dyddiol gatecism eu shiboleth hwy, pa mor foddlon bynnag i ddysgu iddynt Air Duw, ac yn wir yn gwneyd hynny eu hunain gyda ffyddlondeb na wyddant hwy am ei gyffelyb,—eu bod er y cwbl yn bleidwyr addysgiaeth ddi-Dduw; tra

na welant hwy eu hunain yn y "fasnach ddiefligা dinystriol," y fasnach sydd yn "cynhyrchu mwy o drueni na drygau unedig rhyfel, newyn, a haint," ddim oud trafnidiaeth gyfreithlawn, a'i rhyddid a'i hawliau yn bethau rhy gysegredig i'r un gallu mewn bod ymyrraeth a hwynt. Ac fel y buasai raid i ni fod heb y tafarnwyr a'r personiaid, mae'n ddiau y buasai ustusiaid heddwch yr hen ysgol—a barchant y tafarnau ond a gashant y capelau,—ynghyda'r gwŷr mawr, a'r rhai sydd yn ymheulo yn ffafr y gwŷr mawr, y rhai, fel publicanod Judea, a fuasent yn barod i werthu pethau gwerthfawrocaf eu cenedl am wên ac arian yr estron,—buasai y rhai hyn oll yn dirmygu yn fawr hyd yn oed y drychfeddwl o gael eu hunain ymysg pobl nad ydynt yn yfed diod feddwol. Ond o'r ochr arall, fe allasai Cymru anfon myrddiynau ar fyrddiynau o'i phobl oleuedig a rhinweddol,—pobl sydd wedi cael gras gan Dduw i godi gyda'u ceiniogau demlau hyfryd a hardd i addoli Arglwydd Dduw eu tadau, ac i gael eu dysgu yn ei ewyllys, fel y rhodiant yn ei ffyrdd; a phobl, am hynny, a barant nad yw ymweliad Barnwyr ei Mawrhydi â'u gwlad, oddieithr am ddrygioni ambell i estron o Sais neu Scotiad neu Wyddel, ond pleserdeithiau. A buasai yn hyfryd iawn ganddynt hwythau gael myned, er tystiolaethu i'r ddau fonheddwr teilwng, ac i'r deyrnas oll, fod Cymru mor addfed yn y mater yma fel y mae wedi hen flino yn disgwyl am weled ei dymuniadau wedi eu corffori mewn deddf Seneddol. Ac yn eu mysg, mae'n ddiau mai y rhai mwyaf eu hawydd am y fath amddiffyn fuasai y rhai sydd wannaf i wrthsefyll y temtasiynau lliosog sydd o hyd yn cael eu gosod yn eu ffordd. Mae y ddau wr mawr yn dra hoff o ganu y Cymry. Mor hyfryd fuasai gweled rhyw fil o honynt yn ymdaith heibio iddynt, dan ganu, a chyda chyfeiliant teilwng i'r amgylchiad, ar *Ddifyrrwch Gwyr Harlech:*

I'r awelon a'r baneran,
Pawb i drefnu yn y rhengau,
Troed wrth droed mewn cywir gamrau,
    Dirwest garia'r dydd;
Yn y blaen yr â ein byddin,
Syrthiwn ar lochesau'r gelyn,
Dryllio wnawn ei gaerau cedyrn,
    Dirwest garia'r dydd.
  Gwawdied ein gelynion,
  Dyblant eu hergydion,
Gwawria'r dydd pryd y bydd
  Y gwir yn gwisgo'r goron:
Cleddir gelyn mawr dynoliaeth,
Yn nyfnderoedd colledigaeth,
Adsain bloedd ein buddugoliaeth,
    Dirwest garia'r dydd.

Dewch, gyfeillion i ryfela
'N erbyn masnach sy'n difetha
Cysur a dedwyddwch penna,
    A gogoniant dyn.
Pam y caiff y fasnach feddwol
Gludo miloedd yn flynyddol
O'n cyfeillion cu, mynwesol,
    I'r tragwyddol fyd?
  Cauer y tafarndai,
  Troer hwy'n addoldai;
Cyn bo hir O boed ein tir
  Yn gwbl glir o'r drygau:
Pan ddaw'r dydd i roi'r gwirodydd
O dan ofal y fferyllydd,
Yn lle'u hyfed yn ddiodydd,
    Ni bydd medd-dod mwy.

Gallai mil arall gymeryd i fynny benillion gwych Ceiriog ar *Lwyn On:*—

A laeswn ni ddwylaw ynghanol y rhyfel,
  Tra'r gelyn yn erlid, a fynnwn ni hedd?
Tra llidiart y fynwent a'i sgrech ar ei hechel
  Wrth dderbyn y meddwon i stafell y bedd!
Mae'r blodeu sy'n tyfu ar feddrod y meddwyn
  Yn gollwng eu dagrau dan gysgod yr yw;
A'r gwynt wrth fynd heibio fel taran yn gofyn,
  Pa un a'i moesoldeb a'i medd-dod gaiff fyw?

Yw Llys y Llywodraeth rŷ uchel ei urddas
  I roi baner Dirwest ar uchaf ei dŵr?
Ai tân gaiff ddinystrio holl lysoedd y deyrnas,
  Tra nentydd yn ymyl yn orlawn o ddŵr?

A laeswn ni ddwylaw cyn cael buddugoliaeth?
Na, gweithiwn yn ddewr a gweddiwn ar Dduw:
A'r Arglwydd a etyb yn nhrefn ei Ragluniaeth
Pa un ai Moesoldeb ai Medd-dod gaiff fyw.

Gwych drachefn y deuai heibio fil arall o gedyrn ffydd a gobaith, dan ganu emyn ardderchog yr hawddgar a'r llednais David Humphreys, o Lanrhaiadr:—

Babel gwympa er ei chryfed,
Dagon syrth er maint ei barch;
Nid oes elyn ddichon sefyll
O flaen IOR a'i gadarn arch:
Hollalluog yw Duw Israel,
Arglwydd lluoedd llawr a nen;
Caerau Jericho a syrthiant
Pan ddaw'r seithfed tro i ben.

Clywir swn ym mrig y morwydd,
Deulu Seion ymgryfhewch;
Wele'r wawr yn dechreu codi,
Haleluwiah, llawenhewch:
Fe udgenir trwy'r holl ddaear
Udgorn mawr Efengyl hedd:
Syrthiodd Babel, syrthiodd Babel.
Mwy nis gwelir ond ei bedd.

A gogoneddus y gellid terfynu'r orymdaith gyda thyrfa fawr, yn cynnwys yr oll sydd oreu a llawnaf o'r nefol eneiniad ymhlith holl filoedd ein Hisrael, a'u cân "fel llef dyfroedd lawer, ac fel llef taran fawr" ym mhennill digyffelyb Williams:—

Marchog, IESU, yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun;
Ni all daear dy wrthsefyll,
Chwaith nag uffern fawr ei hun:
Mae dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae dy arswyd trwy'r greadigaeth
Pan y byddost Ti ger llaw.

Hawdd, meddwn, a fuasai felly wneyd mawreddigrwydd o gyflwyniad y Gofeb a'i gwnelsai yn gwbl ar ei ben ei hun yn holl hanes y deyrnas, ac a droisai yr holl wrthddadleuon a ddygir ymlaen gan gyfeillion y fasnach ddrwg "yn llai dim ac na gwagedd."

Ond i ddyfod ychydig yn is, penodwyd ar ryw 88 o gynrychiolwyr y cymdeithasau, &c., i fyned gyda Syr Wilfrid Lawson a Mr. Caine, a'r aelodau Seneddol, i balas y Prif Weinidog yn Downing-street, i wneyd y gwaith. Wrth weld y fath dorf, ebai Mr. Gladstone wrth Syr Wilfrid, "Yr ydych yma mewn nerth." Ni raid dweyd i'r ddau arweinydd wneyd eu gwaith gyda doethineb ac urddas. Ni allent ddweyd fod yr eithriadau, yr *exemptions* yn y mesur a ddygasai y Llywodraeth i mewn, wrth eu bodd; ond ar y cyfan yr oeddynt yn ei gymeradwyo yn fawr. Ac nid oeddynt wedi dyfod yno i gynnyg gorchymyn y Llywodraeth, neu i ddangos sut yr oedd y gwaith i gael ei wneyd; ond yn unig i wasgu arnynt ei fod yn ddyledus i'r rhai oedd wedi bod yn cario y gwaith yma ymlaen dros yr holl wlad, am gymaint o amser, ac yn ddyledus iddynt hwythau wedi'r hyn a gymerasai le yn ystod y flwyddyn, fod i'r *Veto Bill* gael sefyll o leiaf mewn cystal lle ag unrhyw fesur arall o eiddo y Llywodraeth y Senedd-dymor nesaf. Dywedent hefyd fod nifer y ddirprwyaeth wedi ei gadw i lawr mor isel ag y gellid, â'i wneyd mor gynrychioladol ag y dylsai fod ar y fath achlysur, a phan yn cyflwyno Cofeb ar gwestiwn mor fawr.

Yr oedd y derbyniad a gafwyd gan y ddau Weinidog yn bob peth a ellid ddymuno. Fel yr oedd yn dra gweddus, fe adawodd y Prif Weinidog i Syr W. Harcourt, tad y mesur a'r hwn oedd gyfrifol am dano yn y Tŷ, ateb yn gyntaf. Ac yr oedd ei araith mor lawn o oleuni ac

argyhoeddiad a nerth bywyd, fel y gallasai dyn bron feddwl mai yn y cyfarfod mawr yn y Theatre yr ydoedd eto, ac nid yn neuadd palas y Prif Weinidog. Gyda golwg ar y cwestiwn oedd yn bwysig ar eu meddwl am fwriad y Llywodraeth gyda golwg ar gwestiwn sobrwydd, yr oedd yn dda ganddo ddweyd, a hynny yn berffaith glir, fod y Llywodraeth yn sefyll yn union yr un fan a phan ddygasant y mesur i mewn ddechreu y flwyddyn. Ac yr oeddynt yn benderfynol, y cyfle cyntaf a gaent, i'w yrru ymlaen â'u holl nerth i ddiwedd terfynol a llwyddiannus. Cyfeiriai at chwedlau oedd wedi bod ar led eu bod am ei roi o'r neilldu. Chwedlau anwir oeddynt, wedi eu gwneyd naill ai gan rai a wyddent mai anwir oeddynt, neu a wneid gan rai heb ganddynt un rheswm i gredu eu bod yn wir. Nid oedd yn iawn i Lywodraeth ddyfod a chyfnewidiadau mawrion ymlaen heb le i gredu eu bod yn adlewyrchu argyhoeddiadau mwyafrif mawr y bobl. Fel yn cynrychioli y mwyafrif hwnnw, teimlai y Llywodraeth eu bod yn rhwym wrth ddiwygiad ar gwestiwn sobrwydd fel amcan o'r pwysigrwydd blaenaf. Wedi llongyfarch Syr Wilfrid Lawson ar lwyddiant ei faith lafur yn yr achos, a chyfeirio at eiriau Arglwydd R. Churchill yn 1890 yn ffafr y *Direct Veto*, dadleuai yn erbyn y syniad fod gan bobl hawl i gael tafarn yn eu cymydogaeth, ac fod ei chymeryd ymaith trwy ewyllys y mwyafrif yn drais ar hawliau a rhyddid y deiliaid. Yr oedd Dewisiad Lleol wedi bod yn cael ei arfer gan dirfeddiannwyr heb ymgynghori â thrigolion ereill eu rhanbarthau, a chan ynadon hefyd, ac yn fynych yn gwbl ddiystyr o ddymuniad y mwyafrif yn y lle; a daliai efe, os oedd dim am ba un y dylai ewyllys y bobl gael ei datgan a'i rhoi mewn grym, mai cwestiwn masnach y ddiod ydoedd. Esboniai pam nad oedd ei fesur yn mynd yn ddigon pell. Am ad-daliad, yr oedd amser yn cael ei nodi yn y mesur i bobl edrych o'u hamgylch, ond ni feddyliai y Llywodraeth am gynnyg ad-daliad mewn arian. Cwynai rhai nad oedd ei fesur yn ymyrraeth â thrwyddedau. Nid dyna ei amcan. Yr oedd hynny wedi cael amcanu ato gan ddau Esgob yn Nhy yr Arglwyddi, ac yr oedd yr Arglwyddi yn ddiseremoni wedi cicio 'mesurau y ddau allan. Derbynnid hyn gyda llawer o chwerthin, ac yn yr un awel dywedai yntau yn chwareus ei fod yn sicr y byddai ei gyfaill, Syr Wilfrid Lawson, sydd yn wr cymedrol, yn foddlon ar beidio cael gwaeth triniaeth nag Esgob. Dywedai ei fod, er pan ddygwyd y mesur i mewn, wedi derbyn cefnogaeth iddo oedd lawer y tu hwnt i'w obeithion a'i ddisgwyliadau. Ni fuasai unrhyw nifer o *private secretaries* yn ddigon i gydnabod y cannoedd a'r miloedd o benderfyniadau a deisebau a osodasid ar ei fwrdd. Yr oedd yn dda ganddo weled fod pob adran o gyfeillion sobrwydd wedi ymuno, gan adael heibio eu mân wahaniaethau, er cefnogi mesur y Llywodraeth; a hawliai fod y Llywodraeth, pan ddisgwylid iddi arwain y cadgyrch ar eu rhan, yn hynny yn llawn deilyngu eu hymddiried. Yr oedd y blaid Ryddfrydol a'r Llywodraeth wedi eu gwystlo eu hunain yn ddwfn ac yn ddidroi yn ol yn yr achos; ac yr ydoedd yn benderfyniad, fel yr ydoedd hefyd yn ddymuniad y Llywodraeth, i roddi llawn rym i'r archiad a dderbyniasai ar y cwestiwn hwn oddiwrth fwyafrif y genedl.

Addawsai Syr William "eiriau mwy eu pwys" oddiwrth Mr. Gladstone. Wrth egluro paham y gofynasai i Syr W. Harcourt eu hateb yn gyntaf, rhoes efe anrhydedd neillduol arno fel diffynnydd cyntaf a diffynnydd penodedig a neillduol y mesur pwysig hwnnw ar ran y Llywodraeth. Nid oedd eisieu ychwanegu at a ddywedasai Syr William; a

chyfyngai efe ei hun at ddatgan ei gydsyniad â'r tri pheth a dybiai efe oedd fwyaf hanfodol yn yr achos oedd o'u blaen. Y cyntaf oedd cymeriad unplyg a sengl y mesur. Yr oedd eisieu llawer o bethau ereill gyda golwg ar fater y diodydd meddwol, heb yr hyn na fyddai eu gwaith hwy—a'u gwaith hwy ydoedd—wedi ei gwblhau yn llawn ac yn foddhaol; ond credai efe am y mesur hwn y buasai yn gamgymeriad, ac feallai yn gamgymeriad andwyol, i roddi iddo y cyffredinolrwydd a ddymunai rhai, neu ei feichio â manylion y buasai yn ddymunol eu cael, ond y gellid yn well eusicrhau mewn ffyrdd ereill. Golygai efe mai cyfyngu eu hunain at egwyddor hanfodol y mesur oedd y ffordd oreu i sicrhau yr amcan oedd ganddynt mewn golwg. Yr ail bwynt ydoedd, ei fod yn cydsynio ei fod yn hawl gyfiawn y bobl i gael llywodraeth, ar amodau teg, ar drwyddedu tafarnau, yr hyn oedd hyd yma wedi ei adael, heb unrhyw ddadl, yn nwylaw tirfeddiannwyr. Ni wyddai efe sut y gallai neb wrthwynebu hynny. Beth bynnag ellid ddweyd am allu y tirfeddiannwyr,—a hyd yr oedd efe yn deall, yr oedd eu gwaith hwy yn atal tafarnau ar eu tiroedd wedi effeithio yn dda,—eto nid oedd yn gweled sut y dylid cau y fath allu oddiwrth y bobl. Yr oedd ganddynt ddyddordeb llawer mwy uniongyrchol, mwy helaeth, a mwy dwfn a bywiol yn y mater,—y bobl oedd ar y tir, ac wedi bod arno feallai am genedlaethau, ac a fwriadent barhau felly. Ei drydydd pwynt ydoedd cyfrifoldeb y Llywodraeth. Dymunai eu hadgofio eu bod nid yn unig wedi ymrwymo ger bron y wlad, neu trwy ddatganiadau yn Nhy y Cyffredin, y dygent i mewn fesur i sefydlu Dewisiad Lleol, ond yr oeddynt hefyd wedi gwneyd peth arall, yr hyn sydd wedi cael ei ddeall bob amser fel yr awdurdod uchaf a'r gwystl mwyaf sicr a all Llywodraeth roddi, trwy gynghori fod cyfeiriad penodol ar y mater yna yn yr Araith a draddodwyd o'r Orseddfainc; gan ei fod yn ddealledig, pan y mae Llywodraeth yn penderfynu dwyn i mewn fesur a olyga, nid yn unig yn dda ynddo ei hun, ond o bwysigrwydd mawr, mai y dull prïodol o ddangos y pwys a osodant arno ydyw ei gyfleu yn yr amlinelliad o waith y flwyddyn a osodir bob amser o flaen y Senedd yn Araith y Frenhines ar agoriad y Senedd-dymor. A chan fod hynny yn gydnabyddiaeth gyfiawn a phrïodol o bwysigrwydd mawr, felly fe fynnai iddynt ddeall mai dyna y ffordd sicraf y gallai Llywodraeth ei rhwymo ei hun i'r mesurau a grybwylla. Nid oedd dim sicrwydd a allent hwy roddi iddynt yn yr ystafell honno allai fyned tu hwnt, neu hyd yn oed ddyfod i fyny ag arwyddocad y rhwymedigaeth yr oedd y Llywodraeth eisoes wedi mynd dani trwy gymeryd y dull hwnnw o amlygu eu bwriad i'r wlad gyda golwg ar Ddewisiad Lleol. Gwyddent am yr anhawsterau oedd yn eu ffordd, a gwyddent mai y peth goreu a allent wneyd oedd, yn y lle cyntaf, bod yn ffyddlawn i'w holl ymrwymiadau; ac yn y lle nesaf, ymgais at gario allan yr ymrwymiadau hynny gyda'r trefniadau goreu oedd yn eu gallu. A gobeithiai nad oeddent wedi gweld un rheswm i gredu, yn yr hyn oedd wedi cymeryd lle hyd hynny, eu bod yn dueddol i osgoi dim o'r hyn yr oeddynt wedi ymrwymo iddo. A gallent fod yn hyderus, y byddai iddynt o hynny ymlaen barhau i weithredu yn yr un ysbryd; a chalonnog ymunai yn y gobaith a ddatganesid mewn dull mor nerthol gan Syr W. Harcourt, y byddai iddynt yn y flwyddyn oedd yn dyfod gael y cyfleustra, a'r cyfleustra llawn ac effeithiol, o dystiolaethu iddynt trwy weithredoedd wedi eu gwneyd mewn lle arall, eu bod yn dal y bwriadau yr oeddynt mor

ddifrifol wedi eu datgan o flaen y wlad ac o flaen y Senedd, ac o ddiffuantrwydd a gwirionedd a difrifwch pa rai yr oedd sicrhad ar sicrhad wedi ei roddi iddynt. Gobeithiai yn galonnog nad oedd y dydd ymhell pan y caent fod eu dymuniadau wedi eu cwblhau, er dirfawr fantais pobl y wlad hon.

Wrth reswm nid oedd ond un teimlad yn meddiannu yr holl Ddirprwyaeth, fel oedd yn fuan wedyn yn llanw cyfeillion sobrwydd dros yr holl deyrnas, wrth y derbyniad digyffelyb a roisid iddynt gan y ddau wladweinydd enwog. Yr oedd miloedd ar filoedd o gymeriadau puraf Prydain Fawr, yr un modd â Phaul yn Appii Fforum, yn "diolch i Dduw, ac yn cymeryd cysur." Pob rhwydd-deb a nerth i'r ddau dywysog gwych, gyda'u cymdeithion rhagorol sydd yr un mor ewyllysgar wedi gosod eu gwddf dan yr iau, i gario allan eu hamcan ardderchog, ac felly i estyn i'w gwlad ddaioni nad oes ond yr Anfeidrol a all gymeryd i fewn ei fesurau. Yn wyneb hyn oll, y mae dadleuon y tafarnwyr a'u ffryndiau yn mynd i le hynod o fach; ac y mae unrhyw anhawsterau o fath y rhai y cyfeirir atynt yn Adroddiad Mr. Fanshawe yn bethau y rhaid bron wrth chwyddwydr mewn trefn i allu eu gweled. Ond o'r ochr arall, mae y *bobl*, yr ymdrechir mor ddyfal i geisio eu perswadio y bydd y Dewisiad Lleol yn gwneyd caethion o honynt byth, yn amlygu hurtrwydd digyffelyb i ddeall y rhybuddion a gyhoeddir yn eu clustiau; ië, o'r ochr arall, y maent yn rhyfeddol o effro a blaenllaw i alw am y mesur fel amddiffyn iddynt hwy eu hunain, ac i'r oll a gasant, rhag melldith y teimlant eu bod yn rhy weiniaid i allu ei gwrthsefyll. Ac y mae cydwybod y deyrnas oll yn crïo gwarth, ië a melldith, ar bwy bynnag a fynno sefyll yn eu ffordd, a'u rhwystro i sicrhau y waredigaeth y maent mor angherddol awyddus am ei chael.

Mae rhai yn teimlo gradd o betrusder wrth feddwl am y safle a roddir i'r mater hwn gan y Llywodraeth, o ran ei berthynas â materion ereill a ddygir ger bron y Senedd-dymor nesaf, ac yn neillduol o ran ei berthynas ag un achos mawr Cymreig, sydd bellach wedi cyrraedd llawn addfedrwydd, ac y deallir ei fod ym mwriad y Llywodraeth ei ddwyn ymlaen fel un o'i mesurau cyntaf. Yr oedd yn dda gennym weled nad oedd y Ddirprwyaeth mewn un modd yn ceisio hatru y Llywodraeth ar bwnc y safle berthynasol; ond yn ymfoddloni ar fod Dewisiad Lleol yn sefyll mewn cystal lle ag unrhyw fesur arall o eiddo y Llywodraeth. Ac ar hynny fe gaed llawn foddlonrwydd. Rhaid cael Dadsefydliad a Dadwaddoliad yr Eglwys, yr un modd a Dadsefydliad a Dadwaddoliad y Dafarn. Nid ydym yn cymharu y ddau beth ond yn yr hyn ag y mae yn rhaid i'r Llywodraeth ei wneyd gyda golwg ar y naill a'r llall. Ond mae'n amlwg, fel y mae adfyd yn ein gwneyd yn gydnabyddus "with strange bed-fellows," fod y perygl cyffredin, o'r ddwy ochr, wedi dwyn dan yr un faner lawer iawn ag y buasai yn dra chwith, ar bob ystyriaeth arall, eu gweled mewn perthynas mor garuaidd â'u gilydd. Ond y mae dinas y naill wedi ei hadeiladu trwy waed, a rhaid ei thynnu i lawr; ac y mae safle y llall yn seiliedig ar ddwfn anghyfiawnder, "a phob anghyfiawnder pechod yw." Mae pleidwyr y naill a'r llall o'r mesurau mawrion hyn yn cael eu gwarthnodi gan eu gwrthwynebwyr, fel lladron ac ysbeilwyr; ond y mae "Asgre lân, diogel ei pherchen" yn gallu gwrando ar beth felly

yn eithaf tawel. "Felly yr erlidiasant hwy y proffwydi a fu o'ch blaen chwi." Ond ni a lawenhawn yn yr oruchafiaeth sydd wrth y drws fel dechreuad "y nefoedd newydd a'r ddaear newydd, yn y rhai y mae cyfiawnder yn teyrnasu."

DANIEL ROWLANDS.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Yr Eglwys Foreuol. Nodiadau gan* JOHN PRYCE, M.A., Arddiacon Bangor; Canon Trigiannol Eglwys Gadeiriol Bangor: a Chaplan Arholiadol i'r diweddar a'r presennol Arglwydd Esgob Bangor. Bangor: Jarvis a Foster. 3s. 6c.

YR ydym yn llawenhau yn ymddanghosiad y fath waith â hwn yn iaith y Cymry, a byddai yn dda gennym iddo gael ei ddarllen gan lawer. Rai blynyddoedd yn ol cawsom yr hyfrydwch o gyflwyno i'n darllenwyr lyfr o eiddo yr un awdwr ar *The Ancient British Church*. Y mae Mr. Pryce yn llanw sefyllfa urddasol yn yr Eglwys Sefydledig, ond y mae yn anfesurol bell oddiwrth feddwl nad yw yn werth iddo ofalu ond am foneddigion a phobl yn deall Saesneg; ac y mae wedi cyfansoddi y llyfr hwn er rhoddi i'w gydwladwyr syniad clir a chyflawn am yr Eglwys Gristionogol yn y cyfnod pwysicaf o'i holl hanes. Ac er ei fod yn Eglwyswr, y mae'n dda gennym weled ei fod wedi gallu cyhoeddi cyfrol o dros bedwar cant o dudalennau, heb ynddi gymaint a gair yn amharchus neu angharedig,—llawer llai yn enllibaidd neu gamddarluniol,—am ei gydwladwyr sydd y tuallan i'w Eglwys. Dywed fod y rhan fwyaf o'r "Nodiadau" wedi eu traddodi i ymgeiswyr am urddau yng ngweinidogaeth yr Eglwys yn Esgobaeth Bangor, ac mai anerchiadau gan Eglwyswr i Eglwyswyr ydynt. Ac ychwanega: "Os rhaid i Eglwyswyr ac Anghydffurfwyr wrth ddadleuaeth, yr hyn, ysywaeth, nis gellir ei hebgor dan yr amgylchiadau presennol, er hynny, ni raid i'r naill ochr na'r llall wrth deimlad anghristionogol na geiriau chwerwon." Gwir! Ond tra yn mawr gymeradwyo ei ysbryd, ynghyda'i ymddiried mewn "dadleuiad syml o'r gwirionedd" fel yr hyn sydd "yn fwyaf effeithiol i beri argyhoeddiad," yr ydym ymhell o deimlo ei fod, yn y pethau y digwyddwn fod yn gwahaniaethu oddiwrtho, wedi ein dwyn i gydweled ag ef, er yn sicr yn llawn mor awyddus ag yntau "i chwilio i mewn iddynt mewn ysbryd a thymer hanesyddol." Dyfynna o'r Llyfr Gweddi: "Hysbys i bawb yn dyfal ddarllain yr Ysgrythyr Lân, a hen Awdwyr, fod y Graddau hyn o Weinidogion yn Eglwys Crist er amser yr Apostolion; sef Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid;" a geilw hynny yn "adroddiad syml a phwyllog, ond penderfynol." Ond ni ddengys pa fodd y mae y fath beth yn dyfod i'r golwg o ddarllen yr Ysgrythyrau, pa mor "ddyfal" bynnag, nac o weithiau hen Awdwyr o foreu Cristionogaeth. Crybwylla yr Esgob Lightfoot yn barchus; ond y mae efe yn rhoddi i fyny y golygiad fod yr esgobion yn nyddiau yr Apostolion yn ddim byd gwahanol i'r henuriaid,—fel y dywed yr Apostol Paul wrth henuriaid Ephesus fod yr Ysbryd Glan wedi eu gosod "yn esgobion [*episcopous*, golygwyr, Cyf. Cym.] ar yr holl braidd;" ac y mae yn hynod nad oes "offeiriaid" yn cael son am danynt yn y Testament Newydd ond mewn ystyr a olygai fod yr holl saint felly. Y mae, yn sicr, yn beth i'w brofi fod Iago yn Jerusalem yn ddim ond "cydhenuriad," ac mai uchafiaeth swyddol ac nid rhagoriaeth ei gyngor, a roddodd iddo y fath le ymysg ei frodyr. Ac er cymeryd yn ganiatäol fod "gennym i helaethrwydd yn y Testament Newydd o gyfeiriadau anfwriadol a difyfyr at y Weinidogaeth driphlyg," ni chyfeiria Mr. Pryce at gymaint ag un o honynt; ond ymfoddlona ar ddweyd eu bod, er nad oes brawf o hynny, fel

yr oedd y *Witena-gemot* gan y Sacsoniaid, er nad oes gennym unrhyw ddeddf o'r eiddynt yn darpar ar gyfer cread a pharhad y cyfryw gyngor; neu fel, yn ol Hooker, y rhaid i ni gasglu fod y Cristionogion yn cyfarfod yn yr addoliad cyhoeddus, er nad oes gorchymyn yn cael ei roddi ar iddynt wneyd felly. "Yn y dull yma, math o *reductio ad absurdum*," ebe Mr. Pryce am Hooker, "efe a ddynoetha afresymoldeb yr wrthddadl, trwy ddangos pe gweithredid arni, yr arweiniai i gasgliadau na ddichon neb dyn Cristion o feddwl ystyriol eu derbyn." Hynny yw, ar ol honni fod y "weinidogaeth driphlyg" yn cael ei dysgu yn amlwg yn yr Ysgrythyr Lan, afreswm hollol ydyw credu nad ydyw, am nad ellir dangos mai felly y mae! Ymddengys i ni fod hyn, er yr holl bwysau sydd yn enw "y pwyllog Hooker," fel y gelwir ef, mor debyg i *reductio ad absurdum* a nemawr ddim y clywsom am dano. Os ydyw Homer weithiau yn pendwmpian, nid ydyw yn rhyfedd fod hyd yn oed gwŷr "pwyllog" ambell dro yn methu peidio gweled peth sydd yn llond eu meddwl hwy, a hynny mewn mannau na welai pobl ereill ddim o'r fath. Ni a wyddom oll nad oes unrhyw betruster am y *ffaith* o gynhulliad y saint i gyd-addoli; ac yr oedd gair mawr Crist, "Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt," ynghyda'i arfer Ef a hwythau yn nyddiau ei gnawd, yn warrant dros wneyd hynny oedd gystal â gorchymyn. Ond fel nad oes unrhyw awdurdod dros y drefn esgobyddol neu breladaidd, nac yng ngeiriau Crist nac yng ngeiriau yr Apostolion, fellynid ydyw i'w chael chwaithyn hanes yreglwys yn nyddiau yr Apostolion, ond trwy eidarllen *i'r hanes* oddiwrth a ddaeth i fod ar ol hynny, a hynny mewn cyfnodo ddirywiad. Priodolir "Athrawiaeth yr Apostolion," a ddarganfyddwyd yn ddiweddar i rhwng B.A. 80 a 110; ond nid oes yno a ira awgrymai y "weinidogaeth driphlyg." Fel yr ysgrifennai yr Esgob Lightfoot am y *Didachē*, pen. xv.: "Mae gennym yma weinidogaeth deithiol a lleol; y gyntaf yn gynwysedig yn bennaf o Apostolion a phroffwydi, a gwaith y naill a'r llall yn ymdoddi i'w gilydd, fel nad yw yn hawdd tynnu y llinell rhyngddynt." Ac am y rhai lleol, dyma a ddywed y *Didache*, pen. xv.: "Etholwch gan hynny i chwi eich hunain esgobion a diaconiaid teilwng o'r Arglwydd, gwyr llariaidd a rhydd oddiwrth gybydd-dod, a chywir a chymeradwy, canys y maent hwythau hefyd yn gweinidogaethu i chwi weinidogaeth y proffwydi a'r athrawon." Yr oedd yr esgobion neu y golygwyr hyn (Act. xx. 28) wrth reswm yr un â'r henuriaid, ac i'w hethol gan y credinwyr. Y fath anfesurol bellder rhwng y drefn yma a'r un yr ymfoddlona cynifer ynddi yn ein dyddiau ni, o esgob yn brelad, ac yn eistedd yn Nhy yr Arglwyddi, ac wedi eu greu gan y *politician* y digwyddo damwain yr etholiadau fod wedi ei osod mewn awdurdod. Ac oni bai ein bod yn ei weled yn barhaus o flaen ein llygaid, fe fuasai bron yn anhygoel fod pobl ddysgedig yn dadleu dros y drefn hon fel yn derbyn ei hawdurdod o'r Ysgrythyr Lan! Mae Mr. Pryce yn gweled rheswm da am ddiweddarwch y dealltwriaeth y daeth yr Eglwys iddo am athrawiaeth yr Efengyl, wrth ystyried symledd ac anallu y disgyblion cyntefig; ond am y drefn eglwysig a geid tua diwedd yr ail ganrif, y mae yn cael rheswm rhagorol yn agosrwydd y cyfnod hwnnw at ddyddiau yr Apostolion, er nad oes rith o sail iddi nac yng ngeiriau nac yn arfer yr Apostolion eu hunain, nac ychwaith yn hanes yr Eglwys rhwng eu dyddiau hwy a'r adeg y ceir, fel yn yr *Apostolical Constitutions*, tua diwedd y drydedd ganrif, grybwylliad am "esgobion, henuriaid, a diaconiaid." Tua chanol yr ail ganrif yr ydym yn cael fod hereticiaid yn codi ac yn peryglu heddwch a phurdeb yr Eglwys, ac felly yn enwedig yn Rhufain. Ac yn lle ceisio eu gwrthwynebu yn ol trefn yr Efengyl â'r "arfau nad ydynt gnawdol," fe farnwyd mai gwell, ac mewn dinas lle'r oedd awdurdod y llywodraeth yn bopeth, oedd "fod un, wedi ei ddewis o blith yr henuriaid, yn cael ei osod uwchlaw y lleill," fel y dywed Jerom yn ei esboniad ar Titus, "fel y gellid cymeryd ymaith hadau sism." Ac mewn canlyniad darfu i Hyginus, oedd ar y pryd yr henuriad mwyaf dylanwadol yn Rhufain, fel y dywedir gan un o'i ddilynwyr ddau gan mlynedd yn

ddiweddarach, "drefnu y clerigwyr, a dosbarthu eu graddiadau." Dywedai Jerom, tua diwedd y bedwaredd ganrif, "Yr un yw yr henuriad â'r esgob, a chyn i bleidiau liosogi yn gymaint dan ddylanwad dieflig, llywodraethid yr eglwysi gan gyngor o henuriaid." Mae yn sicr fod Brenin yr Eglwys wedi ymddiried llawer i ddoethineb ei bobl dan arweiniad yr Ysbryd, ac mae yn debyg, fel y golygai Lightfoot, mai "dadblygu a wnaeth y prelad yn y drydedd ganrif allan o henuriad llywodraethol yr ail;" ac mai yn gyffelyb y daeth y "graddiadau" ereill i fodolaeth. Ond y mae y trefniadau dynol hyn i'w barnu wrth eu lle mewn hanes; ac yn sicr, debygem ni, nid ydynt i'w cymharu am funud â'r llywodraeth wreiddiol trwy "gyngor o henuriaid." Mae Milman ac ereill, tra yn gorfod dyfod i lawr ymhell oddiwrth "yr Ysgrythyr Lan a Hen Awdwyr," yn dadleu "nad oedd dyrchafiad yr Esgobion i'w ystyried fel dirywiad, ond fel anghenraid dynoliaeth." Ond nid oedd neb a adwaenai y natur ddynol gystal â Christ, a dywedai Efe: "Eithr na'ch galwer chwi Rabbi; canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd." Drachefn: "Y mae brenhinoedd y cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt; a'r rhai sydd mewn awdurdod arnynt, a elwir yn bendefigion. Ond na fyddwch chwi felly: eithr y mwyaf yn eich plith chwi, bydded megis yr ieuengaf; a'r pennaf, megis yr hwn sydd yn gweini." Mae "anghenraid dynoliaeth," bid sicr, yn trefnu ar i'r mwyaf mewn doethineb a daioni gael ei le ymhob cymdeithas; ac ni phâr hynny niwed i neb, ond daioni i bawb; ond y mae gosod dyn, ac yn fynych heb unrhyw gymhwyster, mewn sefyllfa o fawredd swyddol, ac yn enwedig yn Eglwys Crist, yn beth sydd yn hollol groes i ysbryd ei athrawiaeth Ef, ac y mae profiad yr oesoedd yn ei gondemnio. Nid ydym am darawiad yn barnu y rhai sydd wedi eu magu dan y drefn Esgobyddol, ac yn teimlo yn ymlyngar wrthi; ond ni allwn gymeryd ein perswadio gan ein cydwladwr hynaws, er ei holl "raddiadau" yn yr Eglwys, fod yr Ysgrythyr Lan a Hen Awdwyr yn dangos mor ddiamheuol mai dyna drefn yr Eglwys Apostolaidd, pan yr ymddengys i ni yn dra chlir nad ydoedd felly mewn un modd. Mae yn dda gennym weled hefyd fod Esgobyddiaeth yn yr Eglwysi Dadsefydledig,—yn America ac Iwerddon a'r Taleithiau,—trwy roddi llawer ychwaneg o le i'r lleygwyr ac i'r elfen Henaduriaethol, yn dyfod yn allu llawer cryfach i ymosod ar bechod ac i ennill y byd i'r Arglwydd Crist.

Am y rhelyw o gynnwys y llyfr nid oes gennym ond datgan ein cymeradwyaeth fwyaf calonnog. Mae yn amlwg fod yr awdwr wedi ei wneyd yn llafur cariad i ddarllen yn helaeth yr awdurdodau gwreiddiol, yn gystal a llyfrau diweddar ar ei bwnc. Y mae hefyd wedi eu hastudio yn dda, ac wedi gosod eu hystori werthfawr o flaen ei gydwladwyr mewn ffordd glir, addysgiadol, a darllenadwy. Dengys gydnabyddiaeth helaeth hefyd â llenyddiaeth mewn cylchoedd ereill, ac fe'i ceir nid yn anfynych yn ysbeilio yr Aifftiaid ac yn gosod o flaen ei ddarllennydd drysorau doethineb ac addurniadau prydferthwch o bob cyfeiriad, nes peri iddo deimlo yn dra dedwydd. Mae yn dda gennym ychwanegu hefyd ei fod yn gosod y pethau mawrion yr ymdrina â hwynt ger bron mewn ffordd sydd yn dangos ei fod wedi eu meddwl, gydag addfedrwydd barn a chwaeth sydd yn deilwng o'u pwysigrwydd, a nawseidd-dra ysbryd sydd yn dangos eu bod yn werthfawr yn ei olwg. Yr unig gŵyn sydd gennym yn ei erbyn ydyw na fuasai yn fwy gofalus gyda'i Gymraeg. Pe buasai, yn nyddiau ei ysgolheigdod, yn gollwng o'i ddwylaw ymarferion yn y Saesneg a'r ieithioedd dysgedig, cyffelyb i'r hyn a wna nid yn anfynych yn y llyfr hwn yn Gymraeg, yr ydym yn ofni y buasai yn ddrwg arno. Mae y "Gymraeg wen," chwedl Edmund Prys, yn edrych yn guchiog ar bethau o'r fath yma:—caplan arholiadol i'r diweddar a'r presennol Esgob Bangor; yr hyn bethau, ysgatfydd wrth eu henw, yw ei feddylddrychiolion sylweddoledig; fyned trwy dri gwahanol gyfnod; fe ŵyr pob ymchwiliedydd hanesyddol; ond hefyd i oleuannu'r deall; ni feiddiai un gwlad yn awr gyhoeddi rhyfel; yn ei Gynnadledd a elwid y Phaedo; yn esgor ar benrhydd-der;

nid ydyw yn beth i'w ryfeddu ato; i'r goludogion i gynnorthwyo â'u helusenau; breuddwydion y bardd ydynt; ond helaethed ac er eanged yr iaith; ond am y cyfystyr air Lladinaidd; syniadau crefyddol y dwyrainfyd a'r gorllewinol; yn iaith Ysgol-ddifinwyr; yn hawsach i'w gofio; na ddichon neb dyn Cristion; o herwydd ei dduwiolgarwch rhagorol; ac y tynnwyd y cleddyf oddiar warau Cristionogion; gwrthwynebiad llawer enbytach, gan ei fod yn barhaol a chyssodaidd; gyferbyn a phalas a thrigle Diocletian; pa mor anrhaith-oddef oedd yr erledigaeth; effaith y gwenwyn ni fu i farwolaeth; ymladdfa ymgleddorol; os gwell oedd ganddynt ryfel oddiar elyn; mewn canlyniad o'r fuddugoliaeth; creadwriaeth y byd; naill ai drwg-weithredwyr ydynt, neu nad ê ddim; yn amgau yr ail a'r pwysicaf ystyr; o herwydd llafuron diorphwys; ar holl ymwneuthuriadau St. Athanasius; gwelai y Groegwr y Delfrydol-ddyn; trwy ddyfod, ac Efe yn genedlig gennyt Ti, yn was i ni; y cynferthyr St. Stephan; wedi eu rhagnodi a llythyrenau y wyddoreg; fe allwn yn gyflawn mewn ffordd o dalfyriad gylchynu holl ddangosion Henafiaeth, &c. Tra bo mewn grym y canon mawr, *Ut usus volet*,

Fel y myn arfer,
Gyda'r hwn y mae tynged, a rhaith, a threfn ymadroddi,—

mae'n amlwg nad ellir cydnabod pethau fel hyn yn Gymraeg "wrth fraint a defawd."

Hefyd wrth weled yr awdwr mewn amryw fannau yn cyfeirio, ac yn hollol briodol, at y dull hynod y bu Duw ar wahanol amserau o erledigaeth, yn amddiffyn ei bobl ac yn dangos ei anfoddlonrwydd tuag at eu herlidwyr, ni allem lai na chofio y dirmyg â pha un y gwelsom ei fod ef ei hun rai blynyddoedd yn ol yn fwrw ar awdwr *Hanes Methodistiaeth Cymru* o herwydd pethau cyffelyb a gofnodai efe yn hanes yr erledigaeth a ddioddefodd llawer o'r tadau Methodistiaid oddiar law yr offeiriaid a'r uchelwyr Eglwysig, er y gŵyr pawb fod Mr. Hughes yn un o'r rhai mwyaf annhebyg mewn bod o ysgrifennu gair yn y fath gyfeiriad heb ei fod yn cael ei foddloni am ei gywirdeb.

*Caniadau* JOHN GRUFFYDD HUGHES (*Moelwyn*). Ail Gyfres. Llanuwchllyn: Ab Owen. 1s.

Y MAE Moelwyn yn gallu canu yn beraidd a hyfryd. Mae ei ddarnau yn fyrion, ond crynhoa iddynt feddwl ac amcan, ac y maent yn fyw gan felodedd a theimlad. Y mae ynddynt hefyd nid yn anfynych wythïen o gyfriniaeth ddymunol sydd yn dangos ei fod, trwy ragoriaethau y gweledig, yn gallu dal cymundeb â'r pethau llawer ardderchocach sydd yn perthyn i'r ysbrydol ac anweledig. Dywed fod

Llais *tu fewn* i leisiau'r greadigaeth,
Llais tragwyddoldeb yw.

Mwynhaodd darllenwyr y TRAETHODYDD dro yn ol un o'r darnau a geir yma, "Y Graig sydd uwch;" a diameu y mwynhaent yn fawr y darnau ereill. Ymofynnid yn ein gwydd y dydd o'r blaen gan fwy nag un o ddosbarth ag y carai Moelwyn yn sicr eu boddhau, Pam yr ydoedd yn gosod cynifer o'i eiriau mewn llythyrenau Italaidd, ac yn defnyddio cynifer o ryfeddnodau? Mynnai yr efrydesau hawddgar fod yn rhy ddrwg i un ag yr oedd ei ganiadau yn rhoddi iddynt gymaint pleser, deimlo mor amheus am eu gallu i weled ei brydfferthion fel nad allai eu gollwng o'i law heb dan-linellu ei eiriau, "fel y gallai y gwannaf ei amgyffredion," chwedl Robert Tomos, "gomprehendio gwir feaning y geiriau," a gweled eu bod yn farddoniaeth. A nodent nad oedd yr un o'r clasuron, yr ymhyfrydant yn gymaint ynddynt, yn dangos y fath ddiffyg ymddiried yn eu darllenwyr. Ar yr un pryd yr oedd ganddynt eiriau caredig iawn i'w dweyd

am *Ganiadau Moelwyn.* Ymysg pethau ereill, crybwyllent ei benillion i'w Frawd yn Bournemouth fel yn dyner iawn.

A yw'r awel dyner, ysgafn
Yn dwyn iechyd yn ei chôl?
Sut yr wyt ti'n teimlo bellach?
A yw'r nerth yn dod yn ol:
O! ni hoffem iti ddychwel;
Carem eto'th weld *yn iach*;
Dyma ydyw iaith ein calon,—
*Brysia adref William bach!*

Da gennym ddeall fod llyfr cyntaf Moelwyn wedi ei werthu. Dylai hwn gael derbyniad caredicach fyth.

*Lloffion yr Amddifad, sef Cyfansoddiadau Barddonol* TRYFANWY, *Porthmadog, yn cynnwys lliaws o Ddarnau Cystadleuol ac Anghystadleuol, o'r Englyn i'r Awdl, ac o'r Ganig i'r Bryddest.* O dan nawdd Cymdeithas Lenyddol y Tabernacl, Porthmadog. 1s.

MAE Tryfanwy wedi cael ei ran o drallodion bywyd trwy golli ei rïeni, a cholli i fesur helaeth ei olwg a'i glyw, ac ymddengys ei fod hefyd wedi dioddef cryn lawer o afiechyd. Er iddo, medd efe, o adeg foreu ar ei fywyd "glywed swn pell y gloch yn llenwi'r pentref, a gweled y plant yn rhedeg i'r ysgol," methodd efe a dysgu'i ffordd yno gan wendid a nychdod, a'r holl ysgol a gafodd wedyn oedd yr Ysgol Sul. Ond dywed iddo gael llawer o gysur a lles yng nghwmni'r awen, ac iddi oleuo llawer awr dywell ar ei fywyd. Y mae yntau lawer yn rhy hael ar ei lythrennau Italaidd a'i ryfeddnodau, a gallem feddwl ei bod yn demtasiwn iddo ambell dro ollwng pethau trwy ei ddwylo braidd yn rhy rwydd; ond y mae canu, mae'n amlwg, yn ei anian, ac y mae iddo mewn awen gynysgaeth dda. Pan ddywed

Tu hwnt i'r tonnau suaut gerdd ar lan Arfonia dlos,
Mae'r Ynys Werdd fel cwmwl bach ar fron serenawg nos;

fod y lloer lân wrth edrych ar y dwfr yn ei "hadwaen ei hunan o dan y waneg;" a phan ofyna wrth son am Grist yn dringo'r bryn

Onid oes rhwng seiniau dig,
Dinc cariad dan y cerrig?—

ac y ceir ganddo lawer o brydferthion cyffelyb,—yr ydym yn teimlo yn sicr nad oes ond ychydig o'i gydwladwyr a amheuent nad ydyw Tryfanwy yn un o wir blant yr awen. Hyderwn y caiff ei lyfr yntau dderbyniad croesawus, ac y calonogir ef trwy hynny i fyned rhagddo yn fwy hyderus fyth "i geisio perlau teg."

Y Llyfrau Bach.—VI. *Trem ar Hanes Cymru.* Gan OWEN M. EDWARDS, M.A., Rhydychen. Llanuwchllyn: Ab Owen. 1c.

DYLAI y "llyfr bach" hwn eto redeg a chael derbyniad mawr. Rhydd "drem" eang a chraff ar faes yr hanes Gymreig. Gall ein plant gymeryd y gwaith i fyny yn naturiol, a rhydd iddynt ddechreu ar efrydu yr hanes a'u gosyd mewn ystad dra manteisiol i fyned rhagddynt. Mae ei ddynodiadau o'r cymeriadau y cyfeiria atynt yn ddetholedig, ac yn debyg o lynu: megys "Huw Fflaidd fwystfilaidd yng Nghaer, Roger de Montgomeri gyfrwys ddichellgar yn yr Amwythig, William Fitz Osborn aflonydd uchelgeisiol yn Henffordd." Tybed nad gormod gadael i ddarllenwyr ieuainc y llyfr ddyfalu sut yr oedd y Saeson yn "dal Dafydd, gyda choron Cymru a darn o groes yr Iesu?" Am lïaws o honynt mae "y dyn hysbys" hefyd yn sicr ymhell o fod yn hysbys.

CYFROL LI. RHIFYN CCVII.

# Y TRAETHODYDD.

## MAWRTH, 1894.

### CYNHWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF MAI 1af, 1894.*

## PRIS SWLLT.

CAERNARFON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN GWMNI'R WASG GENEDLAETHOL GYMREIG (CYF.).

# Y TRAETHODYDD.

## ERNEST RENAN A'I LYFR AR "FYWYD YR IESU" ("VIE DE JESUS").

Er fod awdwr y *Vie de Jesus*, fel y mae yn hysbys yn ddiau i'r rhan fwyaf o ddarllenwyr y Traethodydd, wedi marw ar yr 2il o Hydref, 1892, nid yw yn debyg y bydd ei weithiau farw gydag ef. Yn hytrach, ymddengys y bwriada ei gymun-weinyddwyr, neu ei gyhoeddwyr, iddo yn y gwaith hwn yn arbennig, er "wedi marw lefaru eto," canys yr ydym yn cael fod yr 52ain argraffiad o hono, yn ei ffurf boblogaidd—yr *Edition Populaire*—wedi ei ddwyn allan yn 1893, ac y maent wedi trefnu iddo gael ei ledaenu yn y wlad hon yn gystal ag ar gyfandir Ewrop ac America.

Dros ystod y rhan gyntaf o'r ganrif hon,—am fwy na thri chwarter o honi,—gellir dweyd mai llyfrau ar Fywyd yr Iesu, neu yn dwyn rhyw berthynas â'r Efengylau, ydoedd toraeth fawr cynhyrchion duwinyddol y cyfnod. Rhennir y rhai hyn yn ddau ddosbarth. Ar y naill law, ceir y rhai sydd yn cymeryd golwg ddynol, unochrog, ar fywyd yr Iachawdwr, gan wadu popeth goruwchnaturiol ynglyn â'i berson a llwyddiant ei deyrnas. Cyn y gallent wneuthur nemor gynnydd yn y cyfeiriad hwn, teimlent eu bod o dan orfod i docio a llurgynio y rhan fwyaf o'r hanes Efengylaidd, yr hyn a wnai rhai o honynt gydag arddanghosiad o lawer o ddysgeidiaeth a rheswm, ond ereill mewn dull hollol fympwyol a diawdurdod. Ar y llaw arall, cyfarfyddwyd y lenyddiaeth hon gan weithiau yn meddu y safle uchaf,—rhai yn uniongyrchol yn ymosod ar yr athrawiaethau newydd ac yn amddiffyn y golygiadau uniongred, ac ereill trwy ymchwiliadau dyfal a llafurfawr mewn beirniadaeth ac esboniadaeth Feiblaidd yn uniongyrchol yn dymchwelyd cestyll gelynion y gwirionedd i'r llawr.

Y mae yn debyg mai ym Mhrydain, gan ysgrifenwyr Deistaidd y ganrif o'r blaen, y dechreuwyd y ffurf ddiweddar ar anffyddiaeth sydd yn ymosod ar ddilysrwydd ac awduriaeth y llyfrau sanctaidd, ac felly yn ymgais at fyned dan wraidd Cristionogaeth. Fel Deistiaid, credent yn y bod o Dduw, ond gwadent bob datguddiad uniongyrchol oddiwrtho tuhwnt i'r hyn a ellir gasglu oddiwrth waith ei ddwylaw yn y greadigaeth faterol. Ymddanghosodd yr ysgrifenwyr hyn yn fore yn y ganrif, ac erbyn ei diwedd yr oedd eu daliadau wedi eu derbyn mewn rhan gan lawer o dduwinyddion Germani, er yn gwahaniaethu oddiwrthynt mewn un nodwedd bwysig, sef yn eu derbyniad cyffredinol o'r Beibl fel gair Duw. *Rhesymoliaeth*, feallai, fyddai y gair goreu i ddynodi dysgeidiaeth y beirniaid hyn yn Germani. Eu blaenor a'u hathraw pennaf ydoedd Dr. Paulus, o Heidelberg. Eu nôd ydoedd esbonio y Beibl ar egwyddorion *rhesymoliaeth*, sef caniatau fod yr

ysgrifenwyr yn hollol ddidwyll, a bod y digwyddiadau a gofnodid ganddynt wedi cymeryd lle mewn rhyw ffurf, ond fod y cwbl i'w esbonio yn ol safon rheswm dynol. Felly camgymeriad o eiddo yr ysgrifenwyr ydoedd popeth gwyrthiol yn yr hanes, oblegid yn ol eu haeriad hwy, gellid egluro y cyfan yn ol egwyddorion hollol naturiol. Fel engreifftiau o esboniadaeth yr ysgol hon,—maentumiant nad ydyw yr hyn a ddywed yr Efengylwyr am yr Iesu yn iachau y cleifion, ond effaith ei gynghorion iddynt fel meddyg medrus a llwyddiannus; nad oedd cyfodiad y meirw ond adferiad o lewyg neu weledigaeth; mai ystyr wirioneddol yr hyn a ddywedid am dano fel wedi porthi pum mil âg ychydig dorthau a physgod, ydoedd iddo allu dylanwadu yn y fath fodd ar feddyliau ei wrandawyr fel y cymhellwyd y rhai mwyaf cyfoethog yn y dyrfa, oeddynt wedi rhag-ddarparu lluniaeth iddynt eu hunain, i gyfrannu i gyfreidiau yr anghenus yn eu plith. Wedi i'r syniadau hyn gael cryn rwysg am dymor, cododd Dr. Strauss, tua'r flwyddyn 1835, i ddangos eu geudeb, ac i gynnyg damcaniaeth hollol newydd gyda golwg ar darddiad a chynnwys yr Efengylau. Ond cyn gosod i fyny ei gyfundrefn ei hun, ewyllysiai ddinystrio eiddo y Rhesymolwyr hyd ei sylfeini, Danghosodd nas gallai yr ysgrifenwyr fod yn *ddidwyll*, os oeddynt yn fwriadol wedi disgrifio digwyddiadau hollol gyffredin fel yn wyrthiol; ac o'r ochr arall, os nad yn wyrthiol, yr oedd yn canlyn fod yr ysgrifenwyr yn fwy ehud a hygoelus nag y gellid meddwl am iddynt fod, hyd yn oed yn yr oesodd tywyll ac amherffaith hynny. Ei ddamcaniaeth ef ydoedd,—gwadu fod nemor ddim o'r hyn a gofnodid yn yr Efengylau wedi cymeryd lle yn wirioneddol, ond mai *mythical*, neu chwedlonol ydoedd y prif osodiadau, wedi eu crynhoi o gwmpas person a hanes Crist gan ei ganlynwyr ar ol ei ymadawiad. Yn debyg fel y mae hanesion boreuol Groeg, Caerdroia, a Rhufain wedi eu cymysgu â dychmygion, felly *myths* yw yr oll o'r pethau mwyaf hynod am yr Iesu, wedi eu creu gan ddychymyg ei edmygwyr, yn eu hawydd i wneyd arwr o hono. I Strauss, fel *pantheist*, yn gwadu personoliaeth Duw, ac yn cyfrif mai y bydysawd yw Duw, neu yn hytrach nad oes dim Dwyfol uwch nag ymwybyddiaeth bersonol y dyn ei hunan, nis gallai unrhyw gyfryngiad o eiddo Duw tuag at blant dynion gymeryd lle; ac felly un o'i osodiadau pennaf yw *fod gwyrthiau yn amhosibl, a threfniadau natur yn anghyfnewidiol.* Ac fel safon i'r *myths* neu y chwedlau a gasglwyd gan ei ganlynwyr am yr Iesu fel eu ceir yn yr Efengylau, myn mai ymgais ydyw o'r eiddynt i sylweddoli y syniadau oeddynt yn bod ar y pryd yn y meddwl Iuddewig gyda golwg ar weithrediadau y Messiah pan y deuai. Gan fod y Messiah wedi ei addaw o hâd Dafydd, ac i gael ei eni yn Bethlehem, yr oedd yn rhaid gwneyd achres i'r Iesu fel yn disgyn o hono, a threfnu iddo gael ei eni yn Bethlehem, er mai lle preswylfod y rhieni ydoedd Nazareth. Dywedai'r proffwydoliaethau y byddai yn nyddiau y Messiah arwyddion a rhyfeddodau yn cael eu cyflawni (Es. xxxv.); am hynny, yr oedd yn rhaid cofnodi fod yr Iesu yn agoryd llygaid y deillion, yn rhoddi clustiau i'r byddariaid, ac yn gwneyd i'r cloff lamu fel yr hydd. Nid yw Strauss yn gwadu ymddanghosiad yr Iesu fel dyn hynod, ar lawer cyfrif; ond ychydig mewn gwirionedd ydoedd y ffeithiau hanesyddol a berthynent iddo. Y mae efe yn meiddio chwynnu yr Efengylau o'r rhan fwyaf o'i bregethau, ei holl wyrthiau, ei enedigaeth oruwchnaturiol, ynghyd a'i adgyfodiad a'i esgyniad. Gydag ef, creadigaeth yr eglwys ydoedd Crist, yn lle ei fod ef yn

sylfaenydd i'r eglwys. Y mae syniadau Strauss yn fwy dinystriol i Gristionogaeth, ac yn fwy anghyson âg egwyddorion beirniadaeth deg nag eiddo y Rhesymolwyr a aethent o'i flaen. Nid oeddynt hwy yn priodoli unrhyw anonestrwydd i'r ysgrifenwyr sanctaidd, ond y mae Strauss yn dweyd mai dychymyg ymwybodol ydoedd popeth oedd a gwedd wyrthiol *angenrheidiol* arnynt; ac am bethau y gellid eu hesbonio fel yn *ymddangosiadol* wyrthiol yn unig, *Rhesymolwr* ydoedd yntau hefyd pan yn ceisio rhoddi cyfrif am eu ffurf wyrthiol yn yr hanes.

Yn y flwyddyn 1835 y cyhoeddodd Strauss yr argraffiad cyntaf o'i lyfr, o dan y teitl *Das Leben Iesu, kritish bearbeitet von Dr. David Friedrich Strauss, Tübingen:* Bywyd yr Iesu yn feirniadol, wedi ei baratoi gan Dr. D. F. Strauss. Ac y mae yn eglur oddiwrth yr hyn a newidiodd ar y teitl yn ddiweddarach, mai i'r dysgedigion yn unig y bwriadai ef ar y cyntaf. Cynhyrchodd gynnwrf mawr yn fuan trwy yr holl wlad; daeth y dysgedigion allan yn llu i'w wrthbrofi; cymerwyd i fyny feirniadaeth yr Efengylau yn fwy trylwyr nag erioed, fel erbyn y flwyddyn 1839 yr oedd yr awdwr, yn ei drydydd argraffiad, wedi gorfod newid llawer ar ei ddamcaniaeth chwedlaidd, a chydnabod fod ei wrthwynebwyr wedi myned dan sail llawer o'i gasgliadau hanesyddol. Erbyn y flwyddyn 1864, nid yw mwyach yn meiddio parhau i gyfarch y dysgedigion, ond teitl y llyfr yw *Das Leben Iesu, für das Deutsche Volk bearbeitet, Leipsig, Brockhaus*: sef Bywyd yr Iesu wedi ei baratoi *i'r werin Germanaidd.* Oddiwrth y cyd-drawiad amser sydd rhwng ymddanghosiad yr argraffiad hwn ac ymddanghosiad llyfr Renan yn Ffrainc, y mae yn naturiol casglu i hynny ddylanwadu ar Strauss yn ei apeliad at y *bobl,* oblegid chwe mis yn flaenorol, tua chanol 1863, y cyhoeddwyd argraffiad cyntaf Renan, a cheir llawer o syniadau y Ffrancwr wedi eu mabwysiadu gan y Germaniad,—megis nad oedd yr Iesu ond blaenor dynol yn unig mewn materion crefyddol, fel ag yr ydoedd Socrates mewn athroniaeth, ac Aristotle mewn gwyddoniaeth. Amlwg yw, yn yr argraffiad hwn, ei fod, nid yn unig yn troi ei gefn ar y dysgedigion, ond yn ymgais at gynhyrfu y werin yn erbyn eu harweinwyr crefyddol. Fel y dywedai'r bardd,

Flectere si nequeo superos, Acheronta movebo,

Os nad allaf blygu y duwiau, myfi a gynhyrfaf Annwn: felly yntau. Cyhoedda ryfel anghymodlawn â Bugeiliaid Lutheraidd ei wlad, fel amddiffynwyr llwyddiannus y ffydd. Ei amcan yn yr argraffiad hwn yw eu symud ymaith yn gwbl. "Yr hwn," meddai, "a fynnai symud yr offeiriaid allan o'r eglwys, a raid yn gyntaf symud y gwyrthiol allan o grefydd."

Haera Strauss, yn ei argraffiad hwn i'r bobl, fod Schleiermacher, un o ddysgawdwyr pennaf Germani yn nechre y ganrif hon, yn un ag ef mewn llawer o'i syniadau. Dywed iddo ymweled â Berlin pan oedd Schleiermacher yn traddodi ei ddarlithiau ar Fywyd yr Iesu, ac er na chafodd y fraint o'u gwrando ei hunan, gwelodd gopïau o honynt mewn llawysgrif gan rai o'r efrydwyr. Ond yn anffodus iddo ef, ymhen ychydig fisoedd ar ol ymddanghosiad ei argraffiad ef, *für das Deutsche Volk*, cyhoeddwyd darlithiau Schleiermacher yn llyfr, yr hwn a allesid ei gyhoeddi 32ain mlynedd yn gynt, ond fel yr oedd y cyhoeddwyr yn methu a chael copi cyflawn o honynt. Canfyddwyd fod ei syniad ef yn gwahaniaethu yn hanfodol oddiwrth yr eiddo

Strauss ar y prif byncian,—megis posibilrwydd gwyrthiau, cymeriad yr Iesu, ei adgyfodiad, a pherthynas yr athrawiaethau am yr Iesu â sylfaeniad a pharhad yr eglwys. Gwanychodd hyn eto lawer ar ddylanwad Strauss, ac er fod amryw o'i ddisgyblion, megis Dr. Schenkel, Heinrich Ewald, a Keim, yn ei ddilyn mewn rhai manylion, y maent yn barhaus yn esgyn yn nes at y gwirionedd na'r athraw; a gellir dweyd yn awr mai effaith y cynnwrf ynghylch y Rhesymolwyr a'r Pantheistiaid yn Germani ydyw dychweliad at addysg syml ond didwyll yr Efengylwyr o berthynas i berson a gwaith yr Iesu.

Ar ol Strauss, cododd ysgol Baur, neu fel y gelwir hi yn gyffredin, ysgol Tübingen. Er nad ydynt hwy yn ymwneyd yn uniongyrchol â Bywyd yr Iesu, eto y mae eu haeriadau ynghylch awduriaeth ac amseriad yr Efengylau, a llawer o'r Epistolau, y fath fel mai y canlyniad uniongyrchol yw gwanychu grym y tystiolaethau am Grist a lledaeniad ei deyrnas. Damcaniaeth Baur yw, mai tua chanol a diwedd yr ail ganrif, y cyfansoddwyd y rhan fwyaf o lyfrau y Testament Newydd, ac mai amcan uniongyrchol pob un o honynt ydoedd cefnogi, un ai y blaid Iuddewig, ai y blaid eang, neu fel y gelwid hwy yn gyffredin, plaid Petr a phlaid Paul, pa rai yn ol ei haeriad ef oeddynt yn chwerw yn gwrthwynebu eu gilydd yn yr eglwys dros ystod y rhan fwyaf o gyfnod cyntaf ei hanes. Nid yw Baur am hynny yn derbyn ond pedwar o epistolau Paul, sef y cyntaf a'r ail at y Corinthiaid, y Galatiaid, ac mewn rhan yr Epistol at y Rhufeiniaid, y rhai sydd yn amlwg yn cadarnhau addysg Apostol mawr y Cenhedloedd am ehangder goruchwyliaeth yr Efengyl. Am Lyfr yr Actau, dalient mai hwn yw y diweddaraf oll o lyfrau'r Testament Newydd, mai bod yn gymodol hollol i'r pleidiau oedd ei amcan, ac mai dychmygol yw y rhan fwyaf o'i gynnwys. Erbyn dyddiau Llyfr yr Actau, yr oedd y pleidiau hyn yn yr eglwys Gristionogol wedi llwyr ddarfod; ac amcan y llyfr am hynny, meddant hwy, yw rhoddi ar ddeall nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt a'u gilydd, yn yr oes Apostolaidd, wedi'r cwbl, ond bychan a dibwys; a bod enw Luc wedi ei ddodi wrtho er mwyn rhoddi awdurdod ffaith i ddisgrfiadau hollol ddychmygol; canys y gwirionedd, yn ol Baur, ydyw fod y gwahaniaeth rhyngddynt yn anghymodlawn ar y cyntaf. Effaith addysg yr ysgol hon hefyd yn Germani fu rhoddi cynhyrfiad i'r ysbryd ymchwiliadol a beirniadol. Profwyd tu hwnt i bob dadl fod y llyfrau oll wedi eu cyfansoddi a'u cyhoeddi yn yr oes Apostolaidd, ac yn fynegiant ffyddlawn o amgylchiadau oedd yn cymeryd lle yn ymyl adeg eu hawduriaeth; ac felly yr oedd holl adeiladaeth yr ysgol hon yn cwympo i'r llawr yn un adfail anobeithiol.

Cyn dwyn ein hadolygiad hwn i derfyniad, gweddus yw i ni grybwyll un llyfr eto ar y pwnc, yr hwn a dynnodd sylw anghyffredin am ychydig amser yn y wlad hon, sef *Ecce Homo, a Survey of the Life and Work of Jesus Christ*, a ymddanghosodd yn 1866. Nis gwyddid yn iawn ar y cyntaf pa fodd i'w restru, pa un ai ar yr ochr uniongred ai yr un anffyddol, gan yr honnai yr awdwr mai cyfran o'i gynllun yn unig a gynhwysid yn y gyfrol hon, a bod un arall i ddilyn, yn yr hon y danghosid "pa gysur a roddai Crist i'r ddynoliaeth yngwyneb ei gofidiau, pa fodd yr oedd yn ei chymodi â natur trwy gynnyg iddi olygiadau newyddion am y gallu sy'n llywodraethu y byd, trwy ei oruchafiaeth ei hun ar angeu, a thrwy ei ddatguddiad o ddirgelion tragwyddoldeb." Dienw, fel y gwelir yn ol y teitl, oedd y gwaith, ac nid oedd derfyn ar

y dyfaliadau pwy allai yr awdwr fod. Dywedir fod y cyhoeddwr, Mr. Macmillan, wedi gwahodd unarbymtheg o bersonau ato i'w dy i giniawa un diwrnod, i gyfarfod awdwr *Ecce Homo*, ond dychwelasant heb fod ddim doethach na phan yn myned. Sylwodd un gyda golwg ar y digwyddiad hwn, "Y fath wledd hynod fuasai honno, pe gwahoddasid iddi bawb y priodolwyd y llyfr iddynt. Cynhwysid yn nifer y ciniawyr, ymhlith ereill, y mwyaf enwog o'r duwinyddion Pabaidd, y mwyaf dysgedig o'r lleygwyr Pabaidd, nis gwyddom pa nifer o weinidogion Ymneillduol, tri o awdwyr yr *Essays and Reviews*, Archesgob York, llu aneirif o gymrodorion Colegau, athraw gwerinol, awdures ffug-chwedlau, newyddiadurwr blaenllaw, hanesydd Gwyddelig, bardd Ysgotig, duc Ysgotig, athraw Coleg y Drindod, Deon Westminster, Cyfreithiwr Cyffredinol, bardd llawryfog, Canghellydd y Trysorlys, Is-ganghellydd Uchel-eglwysig, llyfrwerthydd cyfreithiol, fferyllydd, llonglywydd anhysbys, ac Ymerawdwr y Ffrancod. Ni buasai unrhyw 'ymddiddanion dychmygol,' unrhyw 'ymgom rhwng y meirw,' unrhyw 'wledd yn nhy Solomon,' yn cystadlu mewn swyn, â'r cyd-gasgliad hynod hwnnw."

Yn 1868, cyhoeddodd Mr. Gladstone lyfr o dan yr enw *Ecce Homo*, sef cyfres o erthyglau a ymddangosasent o'r blaen yn y *Good Words*, i amddiffyn gwaith yr awdwr gwreiddiol yn rhoddi rhan o'i gynllun yn unig i ddechreu, ar y sail mai felly y datblygodd yr Iesu ei hun ei genadwri ar y cyntaf i'r byd. Yn erbyn hyn, danghoswyd yn fuan fod angenrheidrwydrwydd anorfod i'r Iesu ddatblygu ei gynllun yn raddol, ond nad oedd dim yn galw am hynny yn amgylchiadau ymddanghosiad *Ecce Homo*. Yn hytrach yr oedd yr awdwr yn rhoddi gwedd annheg, anffafriol ar Gristionogaeth, yn anwybyddu llawer o'i gwirioneddau hanfodol, ac yn tueddu, mor bell ag yr ydoedd yn myned, i gymylu ei gogoniant ger bron y byd. Oblegid fel "dyn hynod" yn unig y mae yn edrych ar yr Iesu. Y mae yn wir y dywed, "mai ewyllys Duw oedd peidio cenhedlu un mab arall tebyg iddo;" ond er hynny nid ydyw ddim mwy na dyn. Y mae wedi rhoddi coron y deyrnas ryfeddaf welodd y byd erioed ar ben *dyn* yn unig. Nid yw yr ail ran o'r cynllun wedi ymddangos eto, ac nid yw yn hysbys beth yw yr achos,—ai lluddias wnaed i'r awdwr gan farwolaeth barhau, ynte teimlo y mae nas gall unrhyw ymdrech o'i eiddo, mwyach, wrthweithio y dylanwad drwg a gynhyrchodd. O dan y gochl o anrhydeddu person Crist, y mae efe yn anwybyddu ei brif ogoniant, ac yn priodoli goruchafiaeth yr eglwys i awydd ei phleidwyr i sylweddoli drychfeddwl ei sylfaenydd oddiar "frwdfrydedd yn achos dynoliaeth"—*enthusiasm of humanity*,—heb son dim am euogrwydd y ddynoliaeth ger bron Duw, yr angen am Iawn i'w rhyddhau oddiwrth ofynion cyfiawnder Dwyfol, ac mai cymhelliad mawr yr Apostol Paul, yn hytrach, sydd wedi cynhyrfu pob gwir Gristion er dyddiau Crist i ymhelaethu ymhob daioni. "Y bywyd yr ydwyf yn ei fyw yr awrhon yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf drwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof."

Fel y gallesid disgwyl, parhaodd yr holl ymosodiadau hyn i gynhyrfu yr Eglwys Gristionogol hyd ei gwaelodion. Daeth prif ddysgedigion y wlad hon, yn gystal a Germani a Ffrainc, allan yn eu harfogaeth ddisgleiriaf i amddiffyn y gwirionedd; rhai gyda chyfrolau ar hanes yr Iesu, megis Neander, Hase, Dörner, Lange, a Bernhard Weiss, fel

awdwr diweddarach yn Germani yn erbyn Strauss, Pressense yn Ffrainc yn erbyn Renan; ac yn y wlad hon Liddon, Farrar, a Geikie, yn cymeryd y pwnc i fyny yn gyffredinol; ereill gyda'r feirniadaeth fwyaf trylwyr ar ddilysrwydd ac awduriaeth holl lyfrau y Testament Newydd, megis Lücke, Tholuck, Ebrard, Heugstenberg, Lange, a Luthardt ar y Cyfandir; ac yn bennaf yn yr iaith Saesneg, Westcott, Alford, a Dr. Wordsworth. Effaith y cwbl yw fod castell y gwirionedd heddyw yn gadarnach nag y bu erioed. Fel y sylwai y diweddar Dr. Philip Schaff am ran o'r cyfnod, dyna'r gwir erbyn hyn am yr oll o hono:—"Fel yr oedd esboniadaeth y diwygwyr Protestanaidd yn dwyn olion ar bob tudalen o'r rhyfel aruthrol yn erbyn Pabyddiaeth a thraddodiadau dynol, felly hefyd y mae duwinyddiaeth efengylaidd ddiweddar Germani wedi tyfu yng nghanol ffawd amrywiol rhyfel o fwy na deng mlynedd ar hugain gan Gristionogaeth yn erbyn Rhesymoliaeth a Phantheistiaeth. Bydd i'r hanesydd dyfodol arddangos yr ymgyrch deallol ac ysbrydol hwn, nad yw eto wedi ei derfynu, fel un o'r penodau mwyaf pwysig a dyddorol mewn hanesiaeth, ac fel un o fuddugoliaethau mwyaf disglaer ffydd ar anghrediniaeth, y gwirionedd Cristionogol ar gyfeiliornad gwrth-Gristionogol. Nid yw y meddwl Germanaidd, er dyddiau'r Diwygiad, wedi datblygu gweithgarwch mwy dwys a dyfal, yn erbyn ac o blaid yr Efengyl nag yn y cyfnod hwn; ac os bydd iddi orchfygu yn llawn yr ymosodiadau diweddar a mwyaf nerthol yn erbyn Cristionogaeth [yr hyn sydd bellach wedi ei gyflawni], bydd wedi cyflawni gwaith mor bwysig a'r Diwygiad yn yr unfed ganrif ar bymtheg. Y mae cenedlaethau ereill wedi astudio y Beibl gyda chymaint, ac o bosibl fwy o sêl, o ddifrifwch, ac o unoliaeth amcan na'r un bresennol. Ond ni ddarostyngwyd ef erioed o'r blaen i'r fath ymchwiliad a holiad trwyadl a chyflawn,—beirniadol, ieithyddol, hanesiol, a hynafiaethol. Erioed o'r blaen nid ymosodwyd arno ac nid amddiffynwyd ef gyda'r fath ddysgeidiaeth, treiddgarwch, a dyfalbarhad." Ond fe ellir dweyd am dano heddyw, fel y dywedai'r patriarch Job am dano ei hun, ar ol ei brofi y mae wedi dyfod allan fel aur.

Cyn myned ymlaen i sylwi yn fwy manwl ar lyfr Renan yn ei berthynas â Strauss ac *Ecce Homo*, y mae yn ddiau y byddai ychydig ffeithiau yn hanes ei fywyd yn ddyddorol fel yn taflu goleuni ar neilltuolion a datblygiad ei feddwl.

Ganwyd Joseph Ernest Renan ar y 27ain o Chwefror, 1823, yn Treguir, talaeth Cotes du Nord, Llydaw, sef y rhan honno o Ffrainc sydd yn wynebu Cernyw a Dyfneint, ym Mhrydain, gyda pha rai yn yr hen amseroedd, yr oedd ganddi yn ddiau gysylltiad achyddol yn gystal a thrafnidol. Pan oedd y bachgen yn lled ieuanc bu farw ei dad, gan adael ei deulu mewn dwfn dlodi. Symudodd y fam gyda'r llanc a'i chwaer i Lannion, gan obeithio gallu gwella eu hamgylchiadau, ond yn aflwyddiannus, ac am hynny dychwelodd cyn hir i Treguir. Pan yn bymtheg oed, anfonwyd Renan i'r Coleg Pabaidd yn Paris i'w baratoi ar gyfer yr offeiriadaeth. Yno gwnaeth gynnydd cyflym, yn enwedig yn yr iaith Hebraeg. Ond daeth i gyrraedd dylanwadau anffyddol, a chyn cwblhau ei gwrs athrofäol, gwadodd y ffydd, a rhoddodd i fyny yn hollol bob bwriad am y weinidogaeth. Ar ol hyn, cafodd le fel athraw, a thrwy ddyfalwch yn ei astudiaeth o'r ieithoedd clasurol, yn raddol daeth i sylw cyhoeddus, ac apwyntiwyd ef i ofalu am y llawysgrifau yn y Llyfrgell Genhedlaethol. Yn 1856, gwnaed ef yn aelod o'r *Academie*

*Francaise*, fel olynydd i Augustin Thierry, yr hanesydd enwog, yr hwn a fuasai farw yr 22ain o Fai y flwyddyn honno. Yn 1860, anfonwyd ef gan y llywodraeth i wneyd ymchwiliadau hynafiaethol yn Phenicia, ac yn 1863 penodwyd ef yn athraw mewn Hebraeg yng Ngholeg Ffrainc. Ond yn ei ddarlith gyntaf gwadodd Dduwdod Crist, ac yn ebrwydd diswyddwyd ef. Bu yr amgylchiad, er hynny, yn foddion i'w hynodi yng ngolwg y wlad, ac i sicrhau llwyddiant i'w lyfrau. Yn y flwyddyn 1870, ail osodwyd ef yn y swydd, yr hon a ddaliodd mwyach gyda llwyddiant mawr. Ysgrifennodd gryn ddeg ar hugain o gyfrolau ar wahanol faterion, a rhai o honynt yn weithiau mawrion a dysgedig iawn. Ei gyfres bennaf yn ddiau ydyw yr hon a eilw *Histoire des Origenes du Christianisme*, o ba un y mae y *Vie de Jesus* yn cynnwys y gyfrol gyntaf. Dilynwyd hon yn yr un gyfres gan *Les Apôtres*, *Saint Paul*, *L'Antechrist*, *Les Evangiles et la Seconde Generation Chretienne*, *L'Eglise Chretienne*, *Marc Aurele et le fin du Monde Antique* (Marcus Aurelius, a diwedd y byd hynafol). Dywedir yr ysgrifennwyd tua 150 o lyfrau yn erbyn ei *Vie de Jesus*. Un arall o'i weithiau pwysicaf yw *Histoire du people d' Israel*, mewn pum cyfrol. Gallesid meddwl y dylasai hwn fod yn rhagarweiniad i'r gyfres ar Darddiad Cristionogaeth, ond yn olynol i honno y dechreuodd y gwaith, a'i bryder mawr oedd gallu ei orffen cyn marw, yn yr hyn y llwyddodd erbyn diwedd 1891. Gwaith arall o awdurdod uchel yw ei *Histoire Generale des Langues Semitiques* (Hanes Cyffredinol o'r Ieithoedd Semitaidd), ac fel ffrwyth ei ymweliad swyddogol â Phenicia, cyhoeddodd ei *Mission de Phenice*. Rhoddodd ei ymweliad â Chanaan ynglyn â'r gwaith hwn, gynhorthwy mawr iddo hefyd gyda'i *Vie de Jesus*, canys y mae yn gwneyd defnydd helaeth ynddo o'r hyn a welodd a'i lygaid yn y wlad y cerddasai'r Iesu ei llwybrau. Yn wir bu ei ymweliad â'r wlad yn foddion uniongyrchol iddo gredu yng ngwirionedd yr Efengylau yn gyffredinol, fel hanes wedi ei ysgrifennu gan lygad-dystion. Dywed y bu ei ymweliad â'r wlad gystal iddo a phumed Efengyl, yr hyn oedd yn cadarnhau mewn modd cyffredinol gywirdeb y pedair ereill. Yr oedd yr holl wlad, meddai, yn ei chreiriau o oesoedd boreuol, ei hinsawdd a'i daear, gyda dull ei thrigolion o fyw; mewn gair yr oll a welodd yno, yn ei gadarnhau yn ei argyhoeddiad fod y pedair Efengyl, ar y cyfan, yn ysgrifeniadau credadwy, wedi disgyn i ni o'r ganrif gyntaf. Nis gallant fod o ddyddiad diweddarach, nac wedi eu cyfansoddi yn unlle arall ond Palestina. Yr oedd ganddo hoffder mawr hefyd o wlad ei enedigaeth, Llydaw; a braidd na feddyliem ein bod yn canfod adlewyrchiad o rai o'i golygfeydd, arferion syml a hygoelus ei thrigolion, ynghyda dylanwad a gorthrwm yr offeiriaid Pabaidd arnynt, yn ei ddisgrifiadau bywiog o olygfeydd Galilea, arferion syml y trigolion yno, ynghyda dallbleidiaeth, gelyniaeth, a chreulondeb yr offeiriaid Iuddewig yn ei *Vie de Jesus*. Ymwelai â'i anwyl Lydaw yn rheolaidd bob blwyddyn, ac yn fuan ar ol ei ddychweliad oddiyno, yn 1892, i Paris, tarawyd ef yn ddisymwth gan y parlys, a bu farw ar yr ail o Hydref, yn 69 mlwydd oed.

Wrth ddarllen llawer rhan o'i lyfr ar Fywyd yr Iesu, gellid meddwl ei fod yn un o'r ysgrifenwyr mwyaf uniongred. Ymddengys ei edmygedd o hono yn ddiderfyn, a'i barch tuag ato yn ddwfn a diragrith; a cheisia roddi argraff ar feddwl ei ddarllenwyr mai un o genadwriaethau mawr ei fywyd oedd dwyn y byd i werthfawrogi cymeriad a sylweddoli amcanion mawr Iesu o Nazareth. Fel Balaam gydag Israel, os bu

ganddo wrth gychwyn fwriad i felldithio, ai nid ei fendithio, wedi'r cwbl y mae, yn nylanwad cyffredinol y llyfr? Yn ei ragdraeth *(avertissement)* i'r argraffiad poblogaidd, cyfarcha y darllenwyr fel pe o dan deimlad o rwymedigaeth ddwys yn achos y gwirionedd fel ag y mae efe yn ei ddeall, ac mai un o fuddiannau uchaf y byd yn gyffredinol fyddai ei weled yn yr un goleuni. Fel hyn y cyfarcha y darllennydd:—

Gan y rhoddwyd i mi dynnu darlun o'r Iesu sydd wedi ennill cryn sylw, credais mai fy nyledswydd yw cynnyg y darlun hwnnw mewn ffurf hylaw a chyraeddadwy i dlodion a thruenusion y byd, y rhai yn bennaf a garwyd gan yr Iesu. Gan fod amryw wedi amlygu gofid nad oedd y llyfr, oherwydd ei bris a'i faint, yn gyraeddadwy i bawb, yr wyf wedi aberthu y rhagarweiniad, y nodiadau, a rhai rhannau o'r testyn a dybient fod y darllennydd yn hyddysg yn ymchwiliadau arbennig beirniadaeth. Trwy adael allan y gwahanol rannau hyn, cyrhaeddwyd tri amcan. Yn gyntaf, y mae y llyfr wedi dod i faint mor gymhedrol fel y gall pawb fydd yn meddu chwaeth at y pwnc ei berchenogi. Yn yr ail le, nid wyf yn meddwl yr erys na gair nac ymadrodd a fydd yn gofyn efrydiaeth ragbaratoawl er mwyn ei amgyffred. Ac yn ddiweddaf, trwy y talfyriadau hyn yr wyf wedi cyrraedd un canlyniad yr hyn nid yw i mi yn llai gwerthfawr. Yr oeddwn wedi cyfansoddi fy llyfr gydag annhueddrwydd pendant yr hanesydd, a'm hunig nod yw canfod arlliw mwyaf manwl a chywir y gwirionedd. Nis gallasai y rhyddid hwn lai nag achosi dolur i lawer meddwl rhagorol a fagwyd ac a feithrinwyd gan Gristionogaeth. Llawer gwaith y gofidiais weled rhai personau ag y buasai yn hyfrydwch diderfyn i mi allu eu boddio, yn troi ymaith rhag darllen llyfr ag yr oedd yn bosibl fod rhai tudalennau ynddo na fuasent iddynt heb gydsyniad a mwynhad. Yr wyf yn credu fod llawer gwir Gristion na chenfydd yn y gyfrol fechan hon unrhyw beth i'w glwyfo. Heb newid dim ar rediad fy meddwl, yr wyf wedi llwyddo i ddileu yr holl rannau oeddynt yn agored i gael eu camddeall, neu a fuasent yn gofyn eglurhadau meithion. Yma, sef yn yr Efengylau, cawn yn wirioneddol fywyd cyfaill goreu y bobl; y mae holl arwrgerdd tarddiad Cristionogaeth yn gwneyd i fyny hanes y werin fwyaf ardderchog a fodolodd erioed. Y mae'r Iesu wedi caru y tlodion, wedi cashau yr offeiriaid cyfoethog a bydol, wedi cydnabod llywodraeth wladol ei amser fel angenrheidrwydd; gosododd yn hyf fuddiannau moesol uwchlaw cwerylon pleidiau; pregethodd nad yw y byd hwn ond breuddwyd, nad yw pob peth yma ond y ddelw a'r ffurf, mai gwir deyrnas Duw yw y ddelfrydol (*ideal*), a bod y ddelfryd hon yn perthyn i bawb. Y mae'r hanes neu'r chwedl am dano yn ffynhonnell fyw o gysuron tragwyddol; y mae yn llenwi dyn â llonder mwynaidd; y mae yn cefnogi gwelliant moesau heb ragrith chwyddedig; y mae yn rhoddi blas ar ryddid; ac yn ddiweddaf oll, y mae yn dwyn un i fyfyrio ar y cwestiynau cymdeithasol sydd fwyaf pwysig i'n dyddiau ni. Y mae'r Iesu yn agor ar y pwynt hwn olygiadau o ddyfnder rhyfeddol. Pan y mae un yn myned allan o'i ysgol ef, cenfydd yn hollol eglur nas gall gwleidyddiaeth fod yn rhyw chwareu gwagsaw, ond mai y pwnc hanfodol un diwrnod fydd gweithio er lles, er addysg, er rhinwedd plant dynion, a bod pob ymgais i ddiystyru y fath gwestiynau wedi cu nodi â diffrwythder. Chwi, isel wasanaethwyr a gwasanaethesau Duw, y rhai ydych yn dal pwys y dydd a'r gwres; chwi weithwyr sydd yn llafurio a'ch breichiau i adeiladu y deml yr hon a godir i'r ysbryd; offeiriaid gwir sanctaidd sydd yn gruddfan mewn distawrwydd gan draha Saduceaid beilchion; ferched tlodion sydd yn dioddef oddi wrth ystad gymdeithasol lle y mae rhan y da eto yn wannaidd; weithwyr duwiol a boddlongar ar waelod y gell oer lle y mae'r meistr gyda chwi, deuwch i'r wyl y mae Duw un diwrnod yn ei wên, yn myned i'w ddarparu i'r syml eu calon. Chwychwi yw gwir ddisgyblion yr Iesu. Pe byddai i'r meistr mawr hwn ail ymddangos, pa le, dybiech chwi, y canfyddai wir hiliogaeth y fintai anwyl a ffyddlawn a'i hamgylchai ar lan llyn Genesareth? Ai ymhlith amddiffynwyr arwyddluniau na ddarfu iddo ef eu cydnabod; mewn eglwys swyddogol sydd yn ffafrio popeth a wrthwynebodd efe; ymysg pleidwyr hen ddrychfeddyliau sy'n uno ei grefydd gyda'u buddiannau a'u nwydau eu hunain? Nage; yn hytrach, yn ein plith ni, sydd yn caru gwirionedd, cynnydd, rhyddid. . . . Ystyriwch y terfyngylch; gwelir yno doriad gwawr gwaredigaeth trwy oddefgarwch, trwy waith, trwy ddaioni, trwy gydymddwyn; gwaredigaeth trwy wyddoniaeth, yr hon gan dreiddio i mewn i ddeddfau y ddynoliaeth, a darostwng mater yn fwy o hyd i'w hawdurdod, a esyd i lawr

sylfaen urddas plant dynion, a gwir ryddid. Paratown, trwy i bob un wneyd ei ddyledswydd, ar gyfer paradwys y dyfodol hwn. Am danaf fi, byddaf ddedwydd, os llwyddais, pe ond am foment, trwy yr adroddiadau hyn am y gorffennol, i beri i chwi anghofio y presennol; os adnewyddais i chwi feluster y fugeilgerdd anghymharol honno, a orlanwodd â llawenydd, rhyw ddeunaw can mlynedd yn ol, rai isel fel chwi. (*Avertissement*, t. d. i.—iii, a viii.—xii.)

Yr un modd, yn nechreu y llyfr disgrifia gychwyniad Cristionogaeth fel pe byddai ar y telerau goreu â'r holl Efengylwyr:—

Digwyddiad mawr hanes y byd (meddai) ydyw y chwyldroad trwy ba un y mae rhannau uchaf y ddynoliaeth wedi myned heibio i'r hen grefyddau a gynhwysid o dan yr enw llac, Paganiaeth, at grefydd seiliedig ar yr undod dwyfol, ar y drindod, ar ymgnawdoliad Mab Duw. Gofynnodd y dröedigaeth hon yn agos i fil o flynyddoedd i'w chwblhau. Cymerodd y grefydd newydd iddi ei hun o leiaf dri chant o flynyddoedd i gael ei ffurfio. Ond tarddiad y chwyldroad y mae a fynno ag ef ydyw ffaith a gymerodd le o dan deyrnasiad Augustus a Tiberias. Y pryd hwnnw bu fyw berson uwchraddol, yr hwn trwy ei addysg feiddgar, a'r cariad a allai ei gynhyrchu, a greodd wrthrych, ac a osododd i lawr gychwynfan, ffydd ddyfodol y ddynoliaeth. (*Edition Populaire*, t. d. 1, 2.)

Y mae perthynas yr Iesu a'r Tad hefyd yn cael ei osod allan ganddo, er i raddau yn dywyll, eto yn amlwg fel ymgais i gadw at dermau uniongred,—

Drychfeddwl uchel o Ddwyfoldeb, yr hyn ni dderbyniodd oddiwrth Iuddewiaeth, ond a ymddengys yn ei holl rannau fel creadigaeth ei enaid mawr ei hunan, ydoedd mewn ystyr brif elfen ei nerth. Y drychfeddwl am Dduw fel ei Dad ydoedd hyn, llais yr hwn a glywir yn nhawelwch y gydwybod a distawrwydd y galon. Nid oes gan yr Iesu weledigaethau; nid yw Duw yn llefaru wrtho ef fel wrth un oddiallan iddo; y mae Duw ynddo ef; y mae yn teimlo ei hun gyda Duw, ac y mae yn tynnu o'i galon yr hyn a ddywed am ei Dad. Y mae yn gweled i fynwes Duw, trwy gymundeb parhaol; nid yn ei *weled* y mae, ond yn ei glywed heb angen y daran a'r berth yn llosgi, megis Moses; y dymestl ddatfuddiol, megis Job; yr oracl, fel hen ddoethion Groeg; yr ysbryd cymdeithiol, fel Socrates; neu yr Angel Gabriel, fel Mohamed. (*Edition Populaire* t. d 35.)

Yr un modd trwy gorff y gyfrol, y mae ganddo sylwadau prydferth a chywir gyda golwg ar natur teyrnas nefoedd, ac ysbrydolrwydd y gwasanaeth o'i gyferbynu â ffurfioldeb oer Iuddewiaeth. Gyda golwg ar sylw yr Iesu wrth y wraig o Samaria, mai "Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef ei addoli mewn ysbryd a gwirionedd," tyr allan yn y folawd gynhyrfus hon:—

Y dydd y cyhoeddodd Efe y gair hwn yr oedd yn wirioneddol Fab Duw. Llefarodd am y waith gyntaf y gair ar ba un y gorffwys adeilad y grefydd dragwyddol. Gosododd i lawr sylfeini addoliad pur, heb ddyddiad, heb wlad, yr hwn y bydd i eneidiau dyrchafedig ei ymarfer hyd ddiwedd amser. Nid yn unig daeth ei grefydd o'r dydd hwnnw allan yn grefydd dda y ddynoliaeth, ond daeth y grefydd arbennig; ac os oes i'r planedau ereill drigolion wedi eu cynysgaeddu â rheswm a moesoldeb, nis gall eu crefydd hwy fod yn wahanol i'r hon a gyhoeddodd yr Iesu oddiar ymylon ffynnon Jacob. Nis gallodd dyn ymgadw wrth y syniad; oblegid nid ydyw yn cyrraedd y delfrydol ond am foment. Rhyw fflachiad fu gan yr Iesu mewn noson dywell; cymerodd ddeunaw cant o flynyddoedd i lygaid y ddynoliaeth—beth wy'n ddweyd! i ran anfeidrol fechan o'r ddynoliaeth—i ymgydnabyddu ag ef. Ond fe dŷf y fflachiad yn llawn dydd, ac wedi teithio holl gylchoedd cyfeiliornadau, dychwel y ddynoliaeth at y gair hwn, fel mynegiant anfarwol ei ffydd a'i gobeithion. (*Edition Populaire*, t.d. 148, 149).

Wedi dilyn hanes yr Iesu yn ei ddamhegion, ei wyrthiau, ei ymddiddanion, a'i ddadleuon gyda'r offeiriaid a'r Phariseaid anghymodlawn yn Jerusalem, y mae yn cyrraedd ei brawf diweddaf, ei ddedfryd, a'i

groeshoeliad. Wedi ei gael yn gogwyddo ei ben ar ei fynwes ac yn trengu, y mae yn gwaeddi uwch ei ben:—

Gorffwys bellach yn dy ogoniant, gychwynydd ardderchog. Y mae dy waith wedi ei orffen; dy ddwyfoldeb wedi ei gadarnhau. O hyn allau tu hwnt i gyffyrddiad breuolder, byddi yn gwylio o uchder tangnefedd dwyfol, ganlyniadau diderfyn dy weithredoedd. Ar draul ychydig oriau o ddioddefaint, yr hyn ni chyffyrddodd â'th enaid mawr, ti a enillaist yr anfarwoldeb mwyaf perffaith. Am filoedd o flynyddoedd y mae'n byd i gael ei godi gennyt ti. Yng nghanol banerau ein gwrthddywediadau, yr eiddot Ti fydd y canolfan o fewn pa un yr ymleddir y frwydr fwyaf poethlyd. Fil o weithiau yn fwy byw, fil o weithiau yn fwy yn cael dy garu ar ol dy farwolaeth nag yn ystod dy ymdaith yma isod, byddi yn gonglfaen y ddynoliaeth i'r fath raddau, fel y byddai tynnu dy enw allan o'r byd yn ddinystr iddo i'w sylfeini. Rhyngot Ti a Duw, ni wahaniaethir mwyach. Cyflawn fuddugoliaethwr ar angeu, cymer feddiant o'th deyrnas i'r hon y'th ddilynir gan genedlaethau o addolwyr, ar hyd y ffordd freiniol a weithiwyd gennyt ti. (*Edition Populaire*, t.d. 247).

Gallesid meddwl fod y geiriau uchod yn cyfeirio yn ddigamsyniol at esgyniad yr Iesu, a'i eisteddiad ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd, gyda phob awdurdod wedi ei roddi iddo tuagat sicrhau holl amcanion ei ymgnawdoliad a'i farwolaeth. Ond dim o'r fath beth. A dyna un o beryglon mawr Renan i ddarllennydd dibrofiad,—cymeryd ei eiriau yn yr ystyr gyffredin a roddir iddynt gan yr Efengylwyr, pan y golyga ef yn hollol wahanol, a thrwy hynny gael ei lithio i dderbyn ei gasgliadau cyfeiliornus. Yn y cymeriad hwn, y mae yr argraffiad poblogaidd yn fwy peryglus na'r gwreiddiol, gan ei fod, o herwydd gochel pob dadl a beirniadaeth, a llefaru gydag awdurdod oraclaidd, mewn mwy o fantais i gamarwain. Fel ag y mae addysg yn ymledaenu yng Nghymru, a'r iaith Ffrengig yn cael ei hastudio a'i dysgu gan nifer cynhyddol bob blwyddyn trwy offerynoliaeth ein colegau cenedlaethol a sefydliadau ereill, nid yw yn annhebygol na bydd y gwaith hwn o eiddo Renan, o herwydd ei arddull swynol, yn cael ei ddarllen gan nifer chwanegol o flwyddyn i flwyddyn Nid ydym ar hyn o bryd yn myned i fanylu ar ei anghysonderau, ei ddiffygion, a'i beryglon; dim ond sylwi mai nid Iesu yr Efengylwyr a'r Apostolion, nid Crist llyfr yr Actau a'r Epistolau ydyw Iesu Grist Renan. Er proffesu edmygedd mawr o hono, y mae yn ei ysbeilio o'i ogoniant pennaf, trwy wadu ei Dduwdod yng ngwir ystyr y gair; ac yn wir yn ei ddarostwng weithiau islaw y mwyaf cyffredin o ddynion. Am hynny dylid arfer y gochelgarwch mwyaf wrth ymgydnabyddu â'i syniadau. Effaith niweidiol raid iddynt gynhyrchu oddieithr ymbwyllo i'w cymeryd am yr hyn y maent yn werth. Nid ydym yn barod i'w restru gyda'r ysgrifenwyr Ffrengig uniongyrchol anfoesol, yn ei ddylanwad niweidiol ar ei ddarllenwyr. Hyfryd ydoedd gweled Llywydd y Cyngrair Eglwysig yn Birmingham yr Hydref diweddaf, yn condemnio mor ddifloesgni waith yr *Institute of Journalists* yn Llundain ychydig ddyddiau yn gynt, yn croesawu M. Zola i'w plith, yr hwn fel y dywedai oedd "wedi treulio ei oes i lygru a halogi meddyliau ac eneidiau, nid yn unig filoedd o'i gydwladwyr ei hunan, yn enwedig ymysg yr ieuenctid, ond hefyd trwy gyfieithiad o'i weithiau, gannoedd y filoedd o eneidiau ieuainc mewn gwledydd ereill. Nis gallai ef wahanu ysgrifennydd y ffugchwedlau oddiwrth yr ysgrifennydd newyddiadurol, a gofidus iawn ganddo oedd gweled neb yn y wlad hon yn gallu edrych yn ysgafn ar ei gyhoeddiadau isel ac anfoesol." Tarawiadol iawn hefyd yw y chwedl am y diweddar Broffeswr Jowett, Meistr

Coleg Baliol, Rhydychen, fel yn dangos ei atgasedd yntau o'r awduron Ffrengig anfoesol. Dywedir fod gŵr o allu yn darllen traethawd yng nghlyw y Meistr er mwyn derbyn ei gymeradwyaeth. Yng nghwrs ei frawddegau gorffenedig, daeth i ymhelaethu ar ein dyled i Ffrainc. "I Ffrainc," meddai, "yr ydym yn ddyledus am ein goreuon mewn celfyddyd, ein goreuon mewn llenyddiaeth, mewn gair ——." "A wyddoch chwi," cyfryngai'r Meistr yn gyffrous, "beth sydd wedi ei ysgrifennu uwch ben drws uffern?" Yn ddifeddwl drwg, crybwyllodd yr Is-raddedig y dyfyniad cyffredin o Dante—

A ddelo yma, na obeithied mwy.

"Nage," meddai'r Meistr, "yr ydych yn methu, yr arysgrifen yw, '*Ici on parle Français*'"—Yma siaredir Ffrancaeg. Nis gallwn ddweyd fod Renan yn perthyn i'r dosbarth hwnw o ysgrifenwyr y mae eu dylanwad yn uniongyrchol anfoesol; ond fel awdwr anffyddol, yn gwadu Duwdod yr Arglwydd Iesu, nis gellir ei restru, yn ol yr Apostol Ioan, ond ymhlith twyllwyr, gau broffwydi, ac anghristiau. "Oblegid," meddai ef, "y mae twyllwyr lawer wedi dyfod i mewn i'r byd, y rhai nad ydynt yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd. Hwn yw y twyllwr a'r anghrist." Gobeithiwn cyn hir fanylu ar neilltuolion ei ddysgeidiaeth fel y mae yn cytuno â'r Rhesymolwyr a Strauss; ond yn y cyfamser, dymunem ar i bawb sydd yn dyfod i gyffyrddiad â'r gwaith hwn o'r newydd, edrych arno, er holl swyn ei arddull, rywbeth yn debyg fel yr edrychai Mrs. Hemans ar deleidion golygfeydd y corsydd gwenwynig yn yr Ital:—

Is awyr Ital mae'r olygfa yn hardd,
  Lle taena heuliau cân eu gwawl ar hyd,
Tyf blodau'n wyllt a'i gwna fel Eden ardd,
  A hael yw natur lwys o'i lliwiau clyd;
Ond paid rhoi cred i'w gwên, i'w balmaidd wynt;
I ffwrdd a'i swynion, rhwysg marwolaeth ŷnt.

*Abermaw.* DAVID EVANS.

---

# EDMUND PRYS A'I GYD-OESWYR.

EDMUND PRYS, Archddiacon Meirionydd, oedd y gŵr dysgedicaf a galluocaf o holl breswylwyr sir Feirionydd yn yr oes yr oedd yn byw ynddi. Cafodd ddyddiau lawer i fyw, mewn oes wahanol iawn i'r oes bresennol. Gwnaeth ddigon o waith i brofi ei fod yn wr da a nerthol, ac o herwydd ei gymeriad rhagorol a'r gwaith a wnaeth, y mae ei enw yn hysbys ac yn anwyl i lawer mwy o bobl heddyw nag ydoedd pan yr ymadawodd â'r byd. Yr oedd yn 83 mlwydd oed pan fu farw, ac y mae ei holl fywgraffwyr yn cytuno mai yn y flwyddyn 1624 y cymerodd hynny le. Ymhen un mlynedd ar ddeg ar hugain eto, bydd 300 mlynedd wedi myned heibio er adeg ei farwolaeth. Pwy bynnag fydd byw yr adeg honno, digon tebyg y bydd pobl Ffestiniog a Maentwrog—y plwyfi y bu yn eu gwasanaethu—a thrigolion ei Sir enedigol, os nad eu cydwladwyr hefyd trwy Gymru oll, yn anrhydeddu ei goffadwriaeth yntau. Nid oes eto, modd bynnag, yr un gofgolofn wedi ei chodi iddo, na

charreg arw, na dwy lythyren, i ddynodi ei fedd. Y mae helyntion ei oes—oes lawn o ddigwyddiadau hynod—wedi eu hadgyfodi yn ddiweddar, ac yn para i gael eu hadgyfodi eleni yn arbennig mewn cysylltiad â choffadwriaeth John Penry, yr hwn a roddwyd i farwolaeth am siarad ac ysgrifennu dros gael pregethu yr Efengyl i'r Cymry. Fel awdwr enwog y Salmau Cân, y mae enw Edmund Prys i'w gydwladwyr yn dra chlodfawr. Yn y cysylltiad hwnnw ysgrifennwyd am dano gan lawer o dro i dro. Amcan y sylwadau hyn fydd rhoddi ychydig o'i Hanes yn ei ardal ei hun, mewn perthynas â'i gymdogion yn ei fro enedigol, ei gydoeswyr, y rhai y daeth ef i gysylltiad agosaf â hwynt, helyntion cyffredinol yr oes, a'r modd y cerddodd y goleuni i bobl ei fro ar ol ei ddyddiau ef.

Mae hanes ei fywyd, o'i febyd i'w fedd, yn gysylltiedig â phlwyf Maentwrog, ym Meirionydd. Bu peth camddealltwriaeth ymhlith ysgrifenwyr parthed man ei enedigaeth: rhai a ddywedant mai yn y Gerddi Bluog, ereill mai yn y Tyddyn Du, ym mhlwyf Maentwrog, ei ganed. Camgymerodd rhai haneswyr hefyd trwy roddi y Gerddi Bluog ym mhlwyf Llandecwyn. Ond ym mhlwyf Llanfair, gerllaw Harlech, y mae y Gerddi Bluog, rhyw dair neu bedair milltir uwchlaw y dref honno, yng nghyfeiriad Cwm Bychan, a Thrawsfynydd. Mae yn wir y bu cysylltiad rhyngddo â Gerddi Bluog, a'r peth tebycaf ydyw iddo fod yno dros ryw dymor o'i oes; ond nid yno y ganwyd ef. Yr hanes a gymeradwyir yn fwyaf cyffredin ydyw yr un a geir yn y dyfyniad canlynol a gafwyd yn Llyfrgell hynafiaethol Tanybwlch:—"Yr Archddiacon oedd fab y Tyddyn Du, Maentwrog, ac a anwyd yn y flwyddyn 1541. Efe a aeth i fyw yn y Gerddi Bluog, ym mhlwyf Llanfair, ar briodas ei ail fab, Morgan Prys, â Margaret Williams, etifeddes y Gerddi Bluog. Fe'i claddwyd ym Maentwrog, heb unrhyw goflech, yn y flwyddyn 1624." Y mae penillion Lladinaidd o waith yr Archddiacon, i ganmol gwaith Dr. Davies o Fallwyd yn paratoi Gramadeg o Elfennau yr Iaith Gymraeg, wedi eu dyddio yn y flwyddyn 1621. Mae yr awdwr yn y rhai hyn yn galw ei hun yn "Archddiacon Meirionydd," ac yn crybwyll ei fod y pryd hwnnw yn 80 mlwydd oed. Cytuna hyn â dyddiad ei farwolaeth yn Llyfrgell Tanybwlch. Y Tyddyn Du,* plwyf Maentwrog, ydyw y man tebycaf iddo gael ei eni ynddo; yno hefyd y treuliodd ei oes, ac yno y bu farw.

Ffermdy ydyw y Tyddyn Du, tua dwy filltir uwchlaw pentref Maentwrog, wrth ymyl y groesffordd, lle yr ymranna y ffordd fawr a arweinia o Drawsfynydd i Faentwrog; y rhan o'r ffordd sydd yn arwain i lawr i Faentwrog yn gadael y ty ar y dde, a'r rhan o honi sydd yn arwain at Ffestiniog yn ei adael ar y chwith. Ychydig yn nes i'r groesffordd na'r ty y mae llyn bychan, a melin, yr hon a elwir Melin y Tyddyn Du. Gellir taflu carreg ar ddwy waith i do y ty o orsaf Maentwrog Road, ar linell y Bala a Ffestiniog. Pe'r edrychai y teithiwr ar ei daith yng ngherbyd y rheilffordd o Ffestiniog i'r Bala, ar ei law dde, newydd adael gorsaf Maentwrog Road, tuag i wared rhyngddo

* Mewn ysgrif ddarluniadol ar Gerddi Bluog yn y rhifyn am Mehefin, 1893, o'r *Cymru*, mae yr awdwr yn galw y lle yn fynych yn gartref yr Archddiacon. Gyda phob dyledus barch i wybodaeth ddiderfyn awdwr yr ysgrif mewn hanesyddiaeth, mae y profion oddiwrth hanes Edmund Prys lawer yn gryfach dros y farn mai y Tyddyn Du ydoedd ei *gartref*. Aeth i breswylio i Gerddi Bluog, naill ai o herwydd cysylltiadau teuluaidd, neu ryw resymau ereill.

â gwastadedd Maentwrog, gwelai y Tyddyn Du, hen gartref yr Archddiacon Edmund Prys. Mae yr olygfa oddiwrth y ty yn eang a mawreddog. Nid oes na mynydd na môr yn agos, er bod cyflawnder o'r naill a'r llall i'w gweled yn y pellder draw. Nid yn fynych y ceir y fath ehangder golygfa ag sydd i'w chael o ymyl ty Tyddyn Du. Y Manod Bach, a'r Manod Mawr, y tri Moelwyn, a'r Wyddfa o'r tu cefn iddynt, a chopâu cribog a llyfnion mynyddoedd Eryri, a'r môr glas ar y chwith i Borthmadog a Phwllheli; ac wedi troi i'r tu arall, gwelir mynydd Migneint tua'r Bala, a Chadair Idris yn codi ei phen uwch tref Dolgellau; ac yn y gwaelod islaw y ty, gorwedda dyffryn prydferth Maentwrog. Os gwir y dywediad fod ehangder ac ardderchogrwydd golygfa yn cynhyrchu bardd, ni chafodd neb erioed well mantais i fod yn fardd nag Edmund Prys. Gallasai yr Archddiacon hefyd weled bron yr oll o'i blwyfolion o ddrws ei dy, gan fod yr oll o blwyf Ffestiniog, a rhan fawr o blwyf Maentwrog yn y golwg.

Nid oes dim olion hynafiaethol i'w canfod ar y ty, oddiallan nac oddifewn. Ffermdy cyffredin ydyw yn awr; ei ddiwyg oddi allan yn drwsiadus, ac yn llawn mor gryno â ffermdai y wlad yn gyffredin, fel pe byddai wedi ei adeiladu y tro diweddaf, beth bynnag, o fewn yr hanner can mlynedd diweddaf. Ni fuasai y syniad yn dyfod i feddwl neb, tra yn edrych ar yr annedd unig a'i hamgylchoedd, fod gŵr o'r fath enwogrwydd ac urddas wedi bod yn byw yma. Y mae rhai ffermdai yn y gymdogaeth—megis Cynfal, Pengwern, a Dolymoch—yn dwyn nodau hyd heddyw fod bonedd ac uchelwyr y tir wedi bod yn trigiannu ynddynt ganrifoedd yn ol. Ond nid ydyw hen gartref Edmund Prys, o ran dim sydd yn y golwg yn awr, ond cyffelyb i gartrefi amaethwyr dinod a fu yn byw yn y wlad trwy yr oesau sydd wedi myned heibio. Yn hytrach, y mae "Melin" y Tyddyn Du wedi bod yn fwy adnabyddus i drigolion y fro ers llawer o amser na'r ty y mae iddo enwogrwydd hanesyddol, yr hwn a dreiglwyd i lawr trwy yr oesau, ac a dreiglir eto i'r oesau a ddaw. Gallesid disgwyl gweled o gwmpas Tyddyn Du, olion palasdy, oblegid hannai Edmund Prys o blith uchelwyr mwyaf urddasol a chyfoethog y wlad. Olrheinir achau ei deulu i lawr i frenhinoedd cyntaf Ynys Prydain. Ac yr oedd iddo etifeddiaeth dirol. Y tebyg ydyw mai ei eiddo ef oedd fferm Rhiwbryfdir, ar yr hon y saif tair o brif chwarelau Ffestiniog—yr *Oakley Quarries*, chwarelau sydd yn dwyn elw mawr i'w perchennog yn flynyddol. Gelwir Ffowc Prys, mab hynaf yr Archddiacon yn

Aer breudeg ar Riwbryfdir.

Prïododd Ffowc Prys âg aeres y Wern, Llanfrothen. O'r brïodas hon ganwyd merch o'r enw Lowri. Hon a etifeddodd etifeddiaeth ei thad a'i thaid o'r Tyddyn Du, ac a brïododd Robert Evans, Ysw., o Danybwlch; ac felly unwyd etifeddiaeth yr Archddiacon âg etifeddiaeth Tanybwlch, lle y maent trwy gysylltiadau prïodasol yn aros hyd y dydd hwn, a chyfoeth mynyddoedd Ffestiniog yn rhedeg i lawr yma. Dengys yr addysg uwchraddol a gafodd Edmund Prys o'r Tyddyn Du, hefyd, fod y teulu yn uwch eu hamgylchiadau na'r cyffredin. Fel y canlyn y rhed yr hanes am foreuddydd ei oes, a'i symudiadau dilynol. Derbyniodd ei addysg yng Nghןoleg St. Ioan, Caergrawnt, lle y graddiodd yn M.A. Wedi cymeryd urddau Eglwysig, penodwyd ef i bersonoliaeth Ffestiniog a Maentwrog, Mawrth 14eg, 1572. Ordeiniwyd ef yn

Archddiacon Meirionydd, Tachwedd 5ed, 1576. Cafodd fywoliaeth Llanenddwyn, Ebrill 16eg, 1580. Ordeiniwyd ef yn Ganon (*Canonicus Secundus*) Llanelwy, Hydref 8fed, 1602.

Digwyddodd iddo ef yn groes i'r dywediad cyffredin am ddynion cyhoeddus, sef "Nad oes i broffwyd anrhydedd yn ei wlad ei hun." Yn ei ardal enedigol y gosodwyd ef yn beriglor gyntaf, pan yr oedd yn 31 mlwydd oed, a threuliodd ddeuddeng mlynedd a deugain yn yr un lle fel arweinydd ysbrydol y bobl a swyddog uchaf y plwyf, gan breswylio bron trwy gydol ei oes yn y ty lle y ganwyd ef. Capeloniaeth oedd Maentwrog yn ei ddyddiau ef, perthynol i blwyf Ffestiniog. Wedi hynny y ffurfiwyd ef yn blwyf arno ei hun. Mae y Tyddyn Du o fewn terfynau plwyf Maentwrog, ond ar gwr plwyf Ffestiniog. Ac ym Maentwrog, fel y dywedwyd, o'r tu fewn i furiau yr Eglwys, y rhoddwyd yr hyn oedd farwol o hono i orffwys. "Nid oes," medd y *Gwyddionadur Cymreig*, "unrhyw grybwylliad am yr Archddiacon yng nghoflyfrau Eglwys Maentwrog, am nad ydynt yn cyrraedd yn ol yn ddim pellach na thua dau gan mlynedd." Nid oes ychwaith fawr o fanylion ei fywyd wedi eu cofnodi ymhellach na thraddodiadau yr ardaloedd, ynghyda'r hyn a geir yn ei weithiau barddonol ef ei hun, a gweithiau ei gydoeswyr. Y mae yn dra sicr ei fod yn fardd o radd uchel, ac yn ysgolhaig gwych. Iddo ef y cyflwynodd y Dr. John Davies ei *Antiqua Linguae Britanicae*, Medrai, fel y dywedir, wyth o ieithoedd; cyfansoddodd farddoniaeth yn yr iaith Lladin. Wrth son yn un o'i gywyddau am yr "wythiaith" a fedrai, ychwanega na wyddai am un ag yr oedd ei barddoniaeth mor gaeth â'r Gymraeg.

> Ni phrofais dan ffurfafen
> A'i gwê mor gaeth a'r Gymraeg wen.

Ordeiniwyd ef pan yn bymtheg ar hugain oed yn Archddiacon Meirionydd; llanwodd yr holl swyddau a roddwyd iddo gydag anrhydedd hyd ddiwedd ei oes faith. Mae y pethau hyn oll, heb son am deilyngdod uchel ei weithiau barddonol a llenyddol, yn profi ei fod yn sefyll yn uchel yn ei oes fel gŵr o allu, a barn, a dylanwad. "Mae mor ddianghenraid dywedyd dim am E. Prys fel bardd a llenor ag ydyw paentio'r lili, neu oleuo yr haul; oblegid mae ei enw yn adnabyddus fel Mydrydd y Salmau Cân, o Fon i Fynwy; ac y mae 'rhaith gwlad' wedi mynnu chware teg iddo." (*Hynafiaethau Harlech*, gan Mr. Ellis Pugh). Dichon fod peth gwir, neu liw o wir, yn y traddodiadau sydd wedi disgyn i lawr, o oes i oes, yn ei ardal enedigol. O leiaf, gadawa y traddodiadau, pa mor bell bynnag y gallent fod oddiwrth y gwir, yr argraff ar y meddwl fod Edmund Prys yn uwch dyn o lawer na'r cyffredin o ddynion ei oes. Un o'r traddodiadau ydyw y byddai yn arfer rhoddi y Salmau, a dröid ar gân ganddo yn ystod yr wythnos, allan i'w canu ar y Suliau. Edrydd Cynddelw yn *Cymru Fu*, tu dal. 174, draddodiad arall am dano ef a'i gydoeswr a'i gymydog, Hugh Llwyd, o Gynfal, sydd annaturiol ac anhawdd ei gredu, yr hwn sydd fel y canlyn:—

Un tro, ar ddydd gwyl ffair ym Maentwrog, yr oedd Huw Llwyd mewn tafarn yn yfed, a gwelodd yr Archddiacon Prys yn cerdded yr heol; yna rhoddodd ei ben allan trwy y ffenestr, a galwodd arno i mewn i gael rhan o'r gyfeddach. Eithr ni fynnai y gŵr Eglwysig ymostwng i hynny, a digiodd yn hytrach wrth Huw Llwyd am ei hyfdra; a thrwy rym ei gelwyddoniaeth, parodd i ddau gorn eidion dyfu mewn munud, un o bob tu pen Huw Llwyd, fel na allai dynnu ei siol yn ol o'r ffenestr; ac yno y bu efe, yn destyn chwerthin i rai, a braw a

dychryn mawr i'r lleill, nes y gwelodd Edmund Prys yn dda ei ryddhau. Pa fodd bynnag, yr oedd dydd gofwy Edmund Prys yn agos; oblegid wrth fyned adref y noson honno i'r Tyddyn Du, talwyd iddo yn ei arian ei hun. Yr oedd ganddo felin yn ymyl ei dŷ, a'r "cafn gwyllt," yr hwn oedd yn arwain y dwfr tros y ffordd i ben yr olwyn ddwr yn rhidwll, a'r funud yr oedd yr Archddiacon yn myned o dan y cafn diferllyd hwn, dyna un neu ragor o gythreuliaid Huw Llwyd yn ymaflyd yn ei war, ac yn ei ddal tan y diferion nes oedd yn wlyb drwyddo! Felly yr oedd y naill cystal a'r llall, ac yn well hefyd.

Heblaw traddodiadau llafar gwlad, y mae tystiolaeth ei gydoeswyr a'i oloeswyr yn profi mai dyn anghyffredin oedd yr Archddiacon. Ym Marwnad ei orwyr, Evan Evans, Ysw., o Danybwlch, dywed Sion Dafydd Lâs, telynor a bardd o Benllyn:—

Un o lwythau gorau gwedd
Brig enwog broau Gwynedd:
Llin Edmund Prys, dawnus dôn,
Eurwych hygoedd Archddiagon.

Y Parch. Thomas Charles, o'r Bala, yr hwn oedd yn byw 100 mlynedd yn nes i'r amseroedd yr ydym yn son am danynt, a ysgrifennai:—"Yr oedd Edmund Prys yn un o'r gwŷr mwyaf dysgedig, a'r prydydd hynotaf yn ei oes; ac y mae amryw o'i gyfansoddiadau ar gael eto; y mwyaf hynod o honynt yw ei ddadleuaeth brydyddol efo William Cynwal. Ond nid yw ei ymryson prydyddol hwn ddim mor addas i gyfieithydd ardderchog y Salmau ag y byddai yn ddymunol er adeiladaeth." Yr oedd yn wr o synwyr, a doethineb, a chyraeddiadau anghyffredin. Y mae llawer o'i ddywediadau yn ddiarhebion parhaol ar gof a chadw ymysg ei genedl hyd heddyw. Ymha le y ceir cymaint o wirionedd am helyntion cyffredin dynolryw, a chymaint o graffder yr athronydd ag sydd i'w cael yn y ddwy linell ganlynol allan o'i "Gywydd ar Helynt y Byd,"—

Rhaid i'r gwan ddal y ganwyll
I'r dewr i wneuthur ei dwyll.

Ymysg ei gyfansoddiadau prydyddol y mae 54 o gywyddau ymryson rhyngddo â William Cynwal. Y William Cynwal hwn oedd fardd nid anenwog o Benmachno. Geilw Mr. Charles y cywyddau hyn yn "ddadleuaeth brydyddol," ac yn "ymryson prydyddol;" ac felly maent. Eu prif ddyddordeb ydyw eu bod yn ddanghosiad o agwedd gymdeithasol yr amseroedd, ac o allu cyflym a llymdost Edmund Prys ar brydyddu. Yn y TRAETHODYDD am y flwyddyn 1858, t.d. 248, ceir yr adroddiad canlynol am y ddadl hon,—

Rhys Wyn, hen wr boneddig, a ddaeth efo William Cynwal at yr Archddiacon, lle yr oedd ef yn saethu deg ar hugain ei hun; ac wedi ei gyfarch a ddywedodd fel hyn,—"Pe tae gennyf fwa digon gwan, er fy hyned i, ni chaech chwi mor saethu eich hunan" Yno dywedodd William fod ganddo fo fwa a dynnai Rys a'i fys bach a gyrhaeddai ddeg ar hugain. A Rhys a eilodd ymadrodd wrtho, "Mi a baraf i'r gŵr yma wneuthur i chwi gywydd i'w ofyn, os rhowch chwi gennad." Yno y rhoes ef gennad, ond gadael iddo fo yrru y testyn i'w ofyn; oblegid rhodd oedd y bwa iddo yntau gan Mr. William Clwch, a ddaethai gydag ef o Antwerp. Ond ni welai Rys Wyn mo William yn gyrru mor testyn mewn amser; yna dymunodd ar yr Archddiacon ganu cywydd ar ei amcan; ac efe a ganodd. Ac ateb William trwy lythyr oedd fod y bwa yn menthyg gyda Mr. Thomas Prys, ac y ceid ef pan ddoai adref; neu fe brynai y bwa goreu a gaffai yn Nghaerlleon.

Wedi aros dwy flynedd a mwy wrth addewid William, fo ddaeth lle yr oedd yr Archddiacon, yr hwn a roes sen i'r prydydd, am na roai fo er cerdd fel

y mynnai gael er cerdd. Yno y gyrrodd William gywydd a llythyr i ddangos ei achau ei hun, a bod yn arfer dwyn achau os gofynnid dim; ac am i'r Archddiacon, meddai fo, raelio arno fo, pan gyfarfu âg ef, fo yrrodd fwa cerdd i foddloni Rhys Wyn, ac esgus na chaid adref mor bwa i'w roi gan y Dr. Ellis.

Yno y gyrodd E. Prys ateb i'r cywydd a'r llythyr; a William a'i atebodd yntau; a bu deuddeg cywydd o ateb a gwrth ateb rhyngddynt. Yno y canodd E. Prys dri chywydd am un i William; ond William a ganodd iddo yntau dri chywydd am danynt. Yna yr Archddiacon a ganodd i William naw am ei dri; ond yntau a ganodd naw am danynt.

Yr oedd rhai o'r cywyddau mor wawdus a llymion, fel y dywedir iddynt fod yn achos o farwolaeth William Cynwal. Ar dderbyniad y newydd canodd Edmund Prys farwnad yn llawn o deimlad, ar ddull o ymddiddan rhyngddo â'r gennad a ddaeth i'w hysbysu am farwolaeth ei wrthwynebydd, yn cwyno colled ar ol bardd mor odidog.

Digwyddodd i ni yn ddiweddar ddyfod ar draws y cyfansoddiad canlynol o'i eiddo yr hwn a argraffwyd yn y *Blodeugerdd*. Gan ei bod yn ddieithr i lawer o'n darllenwyr, rhoddwn ef yma fel engraifft o'i farddoniaeth rydd:—

CYDSAIN CERDDORION YN GLYN HAELICON.

Llef a roeson llafur weision,
Ddoe a glywsom, dan wydd gleision,
Glwysaidd ac Eglwysaidd;
Teiroes i'r pencerddi tirion,
Llinos o'r llwyn Eos irion,
Dwysaidd, Baradwysaidd:
Bronfraith bur araith bêr walch
A'r Fwyalch fwya'i hawydd;
Ysgidogyll drythyll dro,
Yn chwyddo llais yr Ehedydd;
Yn canu, yn tanu,
Cymaint o Awenydd,
Cyn hoywed, cyn groywed,
Ac un gywir newydd.

Llwyn nid pell nodau heb pallu,
Llwyn Ebrillaidd llawn Briallu,
Lle gwawd teg a Llygad Tŷdd;
Glynn y Meillion, glân am allu,
A gwyrdd Ddillad gwyr ddiwallu,
A'i llenwi mewn llawenydd;
A'i Blodau ar drwynau'r Drain,
A'r Fedwen fain a'r glasddail;
Gloyw yw'r ffynnon glân yw'r fan,
Sy'n codi dan y Gwïail:
Y croywddwr, y gloywddwr,
Lle teg yw eu llwyddiant;
Lle i gysgu, lle i ddysgu,
Holl felus wir foliant.

Mynnwn bob mwynder i'm Annedd,
Mynnwn ganu Mwynen Gwynedd,
Isgywer Miwsig hoyw:
Cannir llafar Awen hafar,
A'r Adar yn gyfrodedd:
Canu'n hylwydd Gaingc i'r Arglwydd,
Eurglych glod a maswedd;
Profiadau, Caniadau,
Rhyw byngciau cyfnewidiog;
Dyfeisiau troi lleisiau,
Llysoedd tra lliosog.

Aml y Codai'r amlwg goedydd,
Aml yw Colofn ddofn o ddefnydd,
Aml gwlwm a mawl golau;
Llawn aml osteg llwyn y melusdant,
Aml ddiogan a mawl ddygant,
Adeilad yn y Dolau:
Pob Aderyn yn ei lais,
Pob pren a'i bais yn laswerdd,
Pob Llysieuyn yn ei rîn,
Pob Edn a'i fin yn Bencerdd:
Nid clwyfus, ond nwyfus,
Rhyw byngciadau Nefol:
Nid tryblus, ond trablus
Fenus y piau'r Faenol.

Dâ i ddynion ei diddanwch,
Dâ i Forwyn ei difyrwch,
Daw Sul dâ i weision;
Teg yw hyn nid dig i Henaint,
Teg i Ifainc nid digofaint,
Glwyswych ddolau gleision;
Teg y trefnodd gwir Duw'r Tad,
Ei rôdd a'i Râd mor hynod:
Teg pob osle teg bob trô,
A thrwy na bo mor pechod;
A'r Ddaiar mor glaiar,
Mor gynnar yw â'r Gwenith;
A'r Llwyndir mor fwyndir,
Lle'i rhoddir, y mawr Fendith.

Ond prif wasanaeth Edmund Prys i'w genedl ydoedd troi y Salmau ar gân. Am y gwasanaeth ardderchog hwn bydd ei enw yn glodfawr gan y Cymry, tra bo Cymry a Chymraeg mewn bod.

Yr oedd y teulu hwn wedi ymgymysgu â'r Wyniaid a'r Salsbrïaid, o Leweni a Llanrwst, yr hyn a brofir oddiwrth amryw o gywyddau y prydydd. Ac yn ol tystiolaeth Gwallter Mochain, yr oedd Edmund Prys yn nai fab cyfyrder i William Salsbri, cyfieithydd y Testament Newydd i'r iaith Gymraeg. Tybir yn lled gryf iddo roddi cynhorthwy i'w ewythr, William Salsbri, yng nghyfieithiad y Testament Newydd. Ieuanc ydoedd y pryd hynny, oddeutu pedair neu bump ar hugain oed. Ond yr oedd yn ysgolhaig gwych, a'i ewythr ac yntau yn byw o fewn oddeutu ugain milltir i'w gilydd. Ac os gellir credu iddo gymeryd rhan yn y gwaith hwn, hawdd ydyw credu i hynny fod yn symbyliad iddo at y gwaith ardderchog o droi y Salmau ar gân. Y mae pob sicrwydd yn bod iddo gymeryd rhan arbennig mewn cynorthwyo yr Esgob William Morgan i gyfieithu y Beibl i'r iaith Gymraeg. Mae Dr. Morgan yn cydnabod hynny yn ei ragymadrodd i'w gyfieithiad, ac yn ei lythyr wrth gyflwyno y Beibl i'r Frenhines Elizabeth. A chyfansoddwyd yr englyn canlynol gan Edmund Prys, pan fygythid ef gan y Pabyddion am gynorthwyo Dr. Morgan i gyfieithu y Beibl:—

Nid all diawl, na'r hawl sy'n rheoli—drwg,
Na dreigiau na chynni;
Na dim wneyd niwed imi,
Ag a Duw mawr gyda mi.

Y mae gweithiau prydyddol Edmund Prys, ynghyda'r cynhorthwy a roddodd i gyfieithu yr Ysgrythyrau i iaith ei gydgenedl, yn hawlio iddo gael ei osod yn y lle uchaf fel cymwynaswr ei oes. Pa faint o ddiwygiwr ydoedd, a beth oedd ei ddylanwad fel pregethwr, nid oes

wybodaeth i allu ffurfio barn mor bendant. Ond gellir casglu yn lled sicr oddiwrth y duedd grefyddol ddofn a ganfyddir yn ei ganiadau ei fod yn llenwi lle pwysig fel efengylydd i'w blwyfolion. Rhydd y prydydd a'i ymrysonydd o Benmachno, William Cynwal, yn y Cywyddau Ymryson, y darluniad canlynol o'r Archddiacon fel pregethwr :—

Dy bregeth hyd y brigyn
O Dduw a ddaeth yn dda i ddyn,
Erioed egluro yr ydwyd
Gair Duw a'i agoryd wyd!
Lladinwr hael diweniaeth
A Groegwr wyd Gregor iaith,
Os mawr oedd swmer addysg
Dy gorff mae'n llawn dawn a dysg.

Nid oedd poblogaeth y plwyfi lle y gwasanaethai yr Archddiacon ond teneu iawn yn ei amser ef. Cyfartaledd y genedigaethau blynyddol ym mhlwyf Ffestiniog, o 1695 i 1700—y cofrestriadau hynaf sydd ar gael—ydoedd 13. Ychydig o brïodasau gymerent le yn y plwyf yr adeg hon. Elai llawer blwyddyn heibio heb i'r un gymeryd lle o gwbl. "Yn y flwyddyn 1699 ni chymerodd yr un brïodas le yma—'*Nulla matrimona contracta*' geir yn yr hen *Register*." "Yn 1704 eto, *Conjugata nulla*—dim prïodas."* Ac felly am y blynyddoedd 1709 a 1710, ni chofrestrwyd yr un brïodas yn y plwyf. Yn ol y rheol gyffredin o gyfrif, sef y rhaid fod 35 o drigolion am bob genedigaeth, nid oedd trigolion plwyf Ffestiniog y pryd hwn ond o 460 i 470. Ymhen y can mlynedd, sef 1795-1800, yn ol yr un safon, rhif trigolion y plwyf ydoedd oddeutu 710. Poblogaeth plwyf Maentwrog yn 1801 ydoedd 593. Yn amser Edmund Prys nis gellir cyfrif fod trigolion y ddau blwyf gyda'u gilydd yn ddim mwy nag o 500 i 600. Gallasai yr Archddiacon, gan hynny, fforddio rhoddi tipyn o'i amser i brydyddu, gan nad oedd ei waith bugeiliol yn hynod o fawr.

Ychydig o gydoeswyr Edmund Prys, y gallasai eu galw yn gymdogion, oedd yn alluog i roddi fawr o gynhorthwy iddo gydag achos ysbrydol pobl ei ofal. Y cymydog agosaf o enwogrwydd ydoedd Huw Llwyd, Cynfal. Saif Cynfal o fewn llai na milltir i'r Tyddyn Du, ar derfyn plwyf Ffestiniog, oddeutu hanner y ffordd rhwng cartref yr Archddiacon a'r eglwys lle y gwasanaethai yn Sabothol, ac ar ochr y llwybr wrth iddo fyned i Lan Ffestiniog. Ganwyd Huw Llwyd oddeutu 1540, a bu farw yn ei gartref, yn 1620, yn 80 mlwydd oed. Derbyniodd addysg dda, a daeth yn ysgolhaig gwych. Gwasanaethodd yn y fyddin yn Loegr ac ar y Cyfandir. Yr oedd yn fardd o fri. Ceir crybwyllion yn ei weithiau, y rhai sydd ynghadw gan mwyaf mewn llawysgrifau yn yr Amgueddfa Brydeinig a mannau ereill, am y gwledydd y bu yn teithio ynddynt. Ynghanol yr afon a red gerllaw Cynfal, mewn ceunant rhamantus, ceir croglwyth o graig, pymtheg neu ddeunaw troedfedd o uchder, a adwaenir fel "Pulpud Huw Llwyd." Dywed llafar gwlad yr elai i hwn i fyfyrio, ac ystyrrid ef gan y werin yn ddewin, a chredid ei fod yn berchen galluoedd goruwchnaturiol. Y mae llawer o chwedlau wedi eu cadw yn y fro am y pethau a wnai ac a ddywedai am ysbrydion ac am y "gŵr drwg." Dyma gymydog agosaf Edmund Prys, yr hwn a breswyliodd yn yr un ardal, oddieithr pan ar ei deithiau, trwy gydol ei oes, a'r hwn fel yntau a fu farw mewn henaint teg. Claddwyd ef ym Maentwrog, a rheithior y

* "Hanes Plwyf Ffestiniog," Mr. G. J. Williams, F.G.S.

plwyf, yr Archddiacon Prys, a gyfansoddodd yr englyn canlynol ar yr achlysur, yr hwn a ddengys fod Huw Llwyd yn un mawr, a bod y ddau yn gyfeillion cu:—

Pen campau doniau a dynwyd – o'n tir
Maentwrog ysbeiliwyd;
Ni chleddir, ac ni chladdwyd
Fyth i'r llawr mo fath Huw Llwyd.

Pum mlwydd oed oedd Morgan Llwyd, o Gynfal, pan fu farw Edmund Prys. Yr oedd ef yn berthynas i Huw Llwyd—mab medd rhai, nai neu ŵyr, medd ereill; nis gellir bod yn sicr pa un, ac nid ydyw o bwys. Cyrhaeddodd ef enwogrwydd mwy a rhagorach na'i berthynas yn ol y cnawd. Daeth yn efengylwr ac yn weinidog pennaf ei wlad yn yr oes honno. Dywed yr hanes iddo gael ei argyhoeddi pan yn dra ieuanc, o dan weinidogaeth nerthol Walter Cradoc, yng Ngwrecsam. Feallai hefyd fod y son am yr Archddiacon, yn nyddiau ei febyd, marwolaeth yr hwn y gallasai ei gofio, wedi gadael rhyw gymaint o argraff ar ei feddwl ieuanc. Gelwir ef gan ysgrifenwyr y Gogledd yn "Morgan Llwyd o Gynfal," a chan ysgrifenwyr y Deheudir, "Morgan Llwyd o Wynedd," am y rheswm yr ystyrrid ef fel prif efengylwr y dalaeth ogleddol. Tua'r flwyddyn 1649, gosodwyd ef yn un o'r efengylwyr er lledaenu yr Efengyl yng Nghymru, yn amser Cromwell. Elai ar deithiau trwy Ogledd Cymru, a bu yn foddion i sefydlu eglwysi Ymneillduol mewn amryw fannau. Mae traddodiad am dano yn pregethu ym Mhwllheli ar ddyddiau marchnad gyda dylanwad mawr; ac wrth iddo gerdded ar hyd yr heol, a'i ddwylaw ar ei gefn, gan gario ei Feibl gydag ef, byddai y bobl yn ffoi o'i ffordd, fel pe buasai gerbyd yn carlamu trwy yr heol. Dywed y Parch. John Evans, o'r Bala, trwy Mr. Charles, am dano:—"Gŵr tra enwog yn ei oes oedd Morgan Llwyd; o gynheddfau cryfion, dwys fyfyrdod, a symlrwydd duwiol." Am un amgylchiad yn unig y mae hanes am dano yn pregethu yn ei fro enedigol, yr hwn a adroddir gan Robert Jones, Rhoslan, yn *Drych yr Amseroedd*:—"Un tro pan oedd yn pregethu ym mhentref Ffestiniog, a bod yno ym mysg amryw oedd yn cellwair ac yn gwawdio, un dyn ieuanc oedd yn rhagori arnynt oll mewn ysgafnder a chellwair; wrth sylwi arno nododd ef allan, gan ddywedyd wrtho fel hyn, 'Tydi, y dyn ieuanc, gelli adael heibio dy gellwair; tydi fydd y cyntaf a gleddir yn y fynwent yna.' Ac felly bu." Gwnaeth grybwyllion proffwydol cyffelyb mewn mannau ereill, y rhai a ddaethant i ben fel y dywedodd hwynt. Bu farw Mehefin 3ydd, 1659, yn 40 mlwydd oed. Cytuna ei gydoeswyr â'r rhai a oesent ar ei ol i'w osod fel prif gymwynaswr ei wlad yn ystod ei oes fer.

Cydoesai âg Edmund Prys nifer o feirdd o gryn bwysigrwydd o Ddyffryn Ardudwy,—Sion Phylip, Gruffydd Phylip, Rhisiart, Dafydd, William, a Phylip Shon Phylip, oll o'r un llinach, ac yn cael eu cyfrif yn fedrus mewn cerdd a chân. Yr enwocaf o honynt oedd Sion Phylip, o Fochras. Dywedir am hwn ei fod yn "ddigon o ddyn i dynnu y dorch â'r Archddiacon Prys, a chyhyd ei wynt ag yntau." Sicr yw y deuai yr Archddiacon i gyffyrddiad mynych â'r Phylipiaid o Ardudwy, oblegid daliai ef bersonoliaeth Llanenddwyn, plwyf y beirdd, yn gystal a Ffestiniog a Maentwrog, ac yr oedd y Gerddi Bluog, lle y bu dros amser yn preswylio, yn yr un gymdogaeth. Bu Sion Phylip o Fochras farw trwy foddi ym Mhwllheli yn 1620, yn hen wr, 80 mlwydd oed, a chanodd prif feirdd yr oes, ac yn eu plith Edmund Prys, farwnadau ar ei ol.

Oes dywyll ar grefydd Cymru oedd oes Edmund Prys. Prin yr oedd yr un seren eto wedi codi. Teyrnasai tywyllwch dros hyd a lled y Dywysogaeth. Eisteddai y bobl ym mro a chysgod angeu; cydredai yr offeiriaid, gwreng a bonheddig, tlawd a chyfoethog, i'r unrhyw ormod rhysedd. Oes ydoedd cyn i'r Ficer Prichard gyfansoddi "Canwyll y Cymry." Oes yr oedd y Frenhines Elizabeth yn teyrnasu, yr hon oedd am wneyd pob Cymro yn Sais, a phob Sais yn Babydd. Yr oedd yr Archddiacon yn oesi fwy na chan mlynedd cyn geni yr un o'r Diwygwyr Methodistaidd, na Wesley, na Whitfield. Ac yr oedd yn byw cyn toriad allan neb o dadau Ymneillduaeth Cymru. Ond yr oedd amryw ar ddihuno, a gwawr goleuni ar dorri. Yr oedd Walter Cradoc, un o ser cyntaf Anghydffurfiaeth yn Sir Fynwy, yn bedair ar hugain oed y flwyddyn y bu farw Edmund Prys; yr oedd Vavasor Powell, yr Anghydffurfiwr enwog o Sir Faesyfed yn saith oed; yr oedd Morgan Llwyd, o Gynfal, efengylwr pennaf y Gogledd, fel y dywedwyd, yn bum mlwydd oed; yr oedd y Ficer Prichard enwog o Lanymddyfri yn bump a deugain oed. Yr oedd yr Archddiacon ei hun yn ddeuddeg a deugain oed y flwyddyn y dienyddiwyd John Penry, y merthyr Cymreig cyntaf; ac yn saith a deugain oed y flwyddyn y dygwyd allan y Beibl Cymreig cyntaf. Ac ymhen y tair blynedd ar hugain ar ol ei farwolaeth ef y daeth Oliver Cromwell i lywodraethu y deyrnas. Yr oedd yn byw megis ar ganiad y ceiliog, pryd yr oedd amryw o'r diwygwyr wedi eu geni, ond heb gyrraedd cyflawn oed.

Cwestiwn prïodol i'w ofyn ydyw, Pa ddiwygiad a brïodolir i'r Archddiacon Edmund Prys? Fe gafodd oes hir i fyw, a threuliodd yr oll o honi yn yr un plwyfi, a chyda'r un bobl; ai ni allesid disgwyl gweled effeithiau mwy parhaol ym maes uniongyrchol ei lafur? Nid oes amheuaeth nad oedd yn ddyn da, ac yn berchen gallu mawr; cyrhaeddodd ddylanwad mawr ar ei gydoeswyr; a mwy na hynny, cynhyrchodd waith o ddylanwad parhaol—gwaith sydd yn para i fyw, ac a bery i fyw am oesoedd; eto nis gellir ei gyfrif yn ddiwygiwr o faintioli cyfatebol i'w athrylith a'i allu. Nid oes wybodaeth ei fod yn gosod ei wyneb yn erbyn oferedd a drwg fuchedd yr offeiriaid, fel y gwnai Ficer duwiol Llanymddyfri; na bod tân sanctaidd yn ysu ei ysbryd am ledaenu yr Efengyl yn ei goleuni a'i nerth ymysg ei gydgenedl, fel John Penry. Mae yn ffaith ei fod yn glodfawr fel cyfieithydd yr Ysgrythyrau, ac y mae beirdd ei oes yn crybwyll am ei nerth a'i ddaioni yn y pulpud; ond o fewn cylch uniongyrchol maes ei lafur gweinidogaethol, ni adawyd dim olion o ddiwygiad mewn nac adgofion na thraddodiad. Ysgubwyd y cwbl ymaith gan ddiluw anwybodaeth a llygredigaeth yr oes a ddilynodd ar ei ol.

Yng ngoleuni y blynyddoedd dilynol, ceir tipyn o esboniad ar y modd y collwyd y daioni a gynhyrchwyd trwy ei fywyd a'i lafur ef. Amseroedd cythryblus oedd yr amseroedd hynny. Cyn pen yr ugain mlynedd ar ol marw yr Archddiacon, yr oedd y Rhyfel Cartrefol wedi dechreu. Yr oedd presenoldeb byddinoedd y Brenin a byddinoedd Cromwell yn y wlad, nid yn unig yn rhwystr i gynnydd crefydd, ond yn ddifäol i bob cynnydd. Cafodd plwyfi Ffestiniog a Maentwrog, yn gystal a'r wlad yn gyffredinol, eu rhan o'r blinder a gynhyrchwyd trwy y rhyfel. Dengys y llythyr canlynol ryw gymaint o hynny, yr hwn a anfonwyd i Ddol y moch, ym mhlwyf Ffestiniog, at William Wynne, Ysw., o'r Glyn, gan ei fab William Wynne:—

Gariadus Dad,—

Yn unol a'ch dymuniad a'ch gorchymyn i mi pan oeddwn yn ymadael o Dol-y-moch, bum yn ymddiddan â Mr. Rowland Vaughan yn nghylch y *business*. Y mae ef yn ymddangos yn foddlon i chwi ymrwymo i Margaret, ferch William, am gan' punt, a rhydd yntau *discharge* i chwi am yr unrhyw. Yr wyf yn credu ei fod yn anfon atoch o berthynas iddo; beth sydd briodol i'w wneyd gyda'r achos, chwi sydd yn gwybod oreu. Y maent [y milwyr] yn parhau yn benderfynol o ymdeithio, o herwydd taerni y llythyrau oddiwrth Arglwydd Yorke ac ereill. Disgwylir dynion o'ch rhanau chwi gyda pharotoadau ar gyfer chwe' diwrnod o ymdaith. Yr wyf yn erfyn arnoch anfon am y *drum* o'r Castell [Castell Harlech], a'i hanfon yn gystal a'r corddryll (*carabine*) o Danybwlch.

Fel hyn, gan gofio fy nyledswydd,
Ydwyf eich mab wrth eich gorchymyn,

WILLIAM WYNNE.

Bala, y 7fed o Chwefror, 1644.

Ceir yn "Hanes Plwyf Ffestiniog" gan Mr. G. J. Williams, F.G.S., y cofnodau canlynol:—

Yr oedd y byddinoedd yn y plwyf yn aml yn ystod y blynyddoedd canlynol,—

1645. Chwefror 20fed. Daeth Cadben Ithelwal a deugain o wŷr meirch o Lanrwst i Ffestiniog, ac oddiyno i Ddolgelle, a'r dydd canlynol i'r Bala.

1646. Ebrill 6ed. Daeth rhwng tri a phedwar cant o ddynion Arglwydd Biron, gwŷr meirch a gwŷr traed, i Ddolgelle, o dan arweiniad y Milwriad Vane.

Ebrill 9fed. Yn y boreu ymdeithiodd cant o honynt i Mowddu, gan ladrata ac anrheithio yr holl ffordd. Dychwelasant gydag ysbail lawer erbyn un-ar-ddeg o'r gloch. Yna derbyniasant £28 10s. 0c., cyfraniad un mis, yn syrthio ar Uwch Cregynan, a gorchmynasant i'r gweddill gael eu talu mewn llian gwyn, yn Nghastell Harlech, ar yr 16eg o Ebrill, â'r hyn yr ymgymerwyd gan y trigolion. Y dydd canlynol, ar ol anrheithio yr holl dref, a llawer o leoedd yn y wlad, enciliasant i Drawsfynydd, ac yna i Ffestiniog a Maentwrog.

Trwy yr ardaloedd hyn yr ymdeithiai y byddinoedd i wneuthur ymosodiadau ar Gastell Harlech—dyma y castell olaf yng Nghymru i ddal allan dros y Brenin—hyd nes y cymerwyd ef yn derfynol gan fyddin y Senedd, ym mis Mawrth, 1647, ac y cafwyd heddwch. Cyn bod blynyddoedd blinion y rhyfel drosodd, yr oedd trigolion y wlad wedi eu tlodi yn fawr mewn pethau tymhorol, a'u crefydd, oedd yn isel o'r blaen, wedi dioddef yn drymach. A hawdd y gellir gweled fod yr amgylchiadau cythryblus yr oedd y wlad ynddynt yn y cyfnod hwn yn ddifäol i bob cynnydd. Pa mor uchel bynnag yr oedd awdwr clodus y Salmau Cân wedi codi tôn crefydd ei blwyfolion, collwyd y cyfan trwy yr helyntion dinystriol a ddilynodd.

Olynydd uniongyrchol Edmund Prys, fel Rector Ffestiniog a Maentwrog, oedd y Parch. Henry Thomas, yr hwn a dröwyd allan o'i fywoliaeth gan Oliver Cromwell, naill ai oherwydd anfoes a drwgfuchedd, neu ynte ei fod yn pregethu ufudd-dod i'r Brenin, ac yn gwrthod ymostwng i'r Senedd a'r Werin-lywodraeth. Os oblegid anfoes a drwgfuchedd, y tebygolrwydd ydyw fod y bobl a fugeiliai mewn cyflwr tra isel; os oherwydd ei anufudd-dod i'r Senedd a'r Werin-lywodraeth, profai hynny ei fod yn wrthwynebol i ryddid a diwygiad; ac yr ydoedd o herwydd y naill fai a'r llall yn dra phell o fod yn olynydd teilwng i'r enwog Archddiacon.

Y cyntaf a gyfododd wedi hynny o enwogrwydd yn y cyffiniau hyn ydoedd Ellis Wynn, o Lasynys, awdwr y "Bardd Cwsg." Mae yn wir fod Morgan Llwyd, o Gynfal, yn bregethwr enwog, ond pregethwr

teithiol oedd ef, ac Ymneillduwr trwyadl. Mae digon o sicrwydd fod cyflwr anfoesol ac annuwiol ei gydgenedl yn pwyso yn drwm ar ei feddwl ef, a chyfododd ei lais yn groch yn erbyn annuwioldeb yr amseroedd. Saith mlynedd a deugain ar ol marw Edmund Prys, a deuddeng mlynedd ar ol marw Morgan Llwyd, sef yn y flwyddyn 1671, y ganwyd y Parch. Ellis Wynn o Lasynys gerllaw Harlech. Cytuna haneswyr yn eu tystiolaeth fod Ellis Wynn yn wr da a duwiol. Safai fel un o Byramidiau yr Aifft, yn uwch mewn duwioldeb na holl drigolion yr oes yr oedd yn byw ynddi. Pan yn 30 oed, cyfieithiodd i'r Gymraeg waith y duwiolfrydig Jeremy Taylor, "*Rule and Exercise of Holy Living,*" o dan y teitl "Rheol Buchedd Sanctaidd." Ystyrrir ei waith, sef "Gweledigaethau y Bardd Cwsg," ymysg y campweithiau llenyddol Cymreig. Rhybuddiai ei gydoeswyr, fel y gwnelai y proffwydi yn Israel, trwy ddarluniau llymion a chryfion o sicrwydd marwolaeth, a'r cosbedigaethau dychrynllyd sydd yn dilyn bywyd annuwiol. Efe a fu farw ac a gladdwyd o dan fwrdd yr allor yn Eglwys Llanfair, Gorffennaf, 1734,—ddwy flynedd cyn i Howel Harris dorri allan i bregethu yn Nhrefecca.

Yn y flwyddyn 1755, daeth seren i'r golwg yn y rhan yma o Feirionydd, goleuni yr hon sydd yn para i lewyrchu hyd y dydd heddyw. Y mae y Parch. John Hughes, awdwr "Methodistiaeth Cymru" yn gosod ffigyrau y flwyddyn hon yn frawddeg arnynt eu hunain, gan ystyried yn ddiameu bwysigrwydd y flwyddyn mewn cysylltiad â chrefydd yn y parthau hyn. Dyma'r flwyddyn y daeth gwraig grefyddol, o'r enw Lowri William, ynghyda'i phrïod, John Prichard, o Bandy Chwilog, yn Sir Gaernarfon, i fyw i Bandy y Ddwyryd, yn Sir Feirionydd. Y mae Pandy y Ddwyryd yng ngwlad Edmund Prys, wrth odre y mynydd, i gyfeiriad Dyffryn Ardudwy, o fewn tua dwy filltir i'r Tyddyn Du, ei hen breswylfod. Yr oedd 131 o flwyddi er pan fuasai farw yr Archddiacon, a chan mlynedd ond pedair er amser marwolaeth Morgan Llwyd; ac am yr holl amser hyn nid oes wybodaeth am neb yn codi bys na llaw i rybuddio y bobl am bethau y fuchedd dragwyddol. Yn y flwyddyn 1755, modd bynnag, torrodd gwawr goleuni. Yr oedd y wraig, Lowri William, yn un o'r crefyddwyr a ymgynhullent ym Mrynengan, er amser Howel Harris a Daniel Rowland. Wedi dyfod i fyw i Bandy y Ddwyryd, teimlai yn ddwys o herwydd cyflwr anwybodus a drwg ei chymdogion; dechreuodd gynnal moddion crefyddol yn ei thy ei hun, a thrwy ryw foddion anadnabyddus, llwyddodd i gael ambell bregethwr i bregethu yn ei thy. Ymgasglodd y cymdogion i'r moddion, ac ymhen ychydig yr oedd yno wyth yn ymgyfenwi ar enw Crist ac yn gwneyd proffes o hono. Wyth oedd nifer y proffeswyr dros ryw gymaint o amser, ac oblegid hynny gelwid hwy gan eu gelynion yn "Deulu Arch Noah." Dyna hedyn cyntaf Methodistiaeth Gorllewin Meirionydd. Yr oedd tân y Diwygiad wedi bod yn goddeithio yn y Deheubarth, ac mewn rhai mannau yn y Gogledd, ers ugain mlynedd cyn i'r wreichion gyntaf ddisgyn yn y wlad hon. Ac o'r wreichionen a ddisgynnodd yma, mae yr wyth enaid o Fethodistiaid Gorllewin Meirionydd erbyn heddyw wedi cyrraedd tros 8,000 o eneidiau.

*Pennal.* ROBERT OWEN.

gymeryd ymaith yn bellach bellach oddiwrth yr hyn sydd yn sylweddol. Tra yn cydnabod fod gan amgylchiadau ddylanwad arnom, er hynny ein dyledswydd ydyw disgyblu ein hunain i gyfarfod â hwynt, a'u darostwng i fod dan deyrnged i amcanion uchaf bywyd. Y mae yn bosibl i ddyn fod yn fwy na'r amgylchiadau. Mor bwysig y syniad i bob dyn ieuanc y gall fod, yn eu canol, fel tywysog ynghanol ei lu, yn gorchymyn yr oll i'w amcanion. Tynner dyn o hanesyddiaeth y byd, a diflannai yr hanes. Bid sicr, credwn fod y Dwyfol yn, ac uwchlaw yr oll; ond yn y dyn y ceir mwyaf o hono, yr hyn sydd yn gosod ar hanesyddiaeth yr oesoedd wedd Ddwyfol-ddynol. Cymerer unrhyw gyfnod, neu gyfres o amgylchiadau; ni a welwn mai dyn ydyw y prif weithredydd ar y chwareufwrdd. Pa beth ydyw cyfodiad a chwymp ymerodraethau, darganfyddiadau gwyddonol, dyfeisiau celfyddydol cywrain, yr helynt fasnachol sydd yn ymferwi ymhob congl o'r ddaear, —ond yr ynni sydd mewn dyn yn torri allan. Un fantais o astudio gwyddor hanes fyddai ein deffro i ganfod y lle pwysig a leinw dyn yn nygiad ymlaen weithrediadau y Llywodraeth Ddwyfol. Efe a osodwyd fel rhaglaw y Brenin Mawr ar y ddaear; ac yn hytrach na rhodio yn ddifeddwl ynghanol ei dalaeth odidog, da fyddai iddo edrych ar ogoniant ei raglawiaeth. "Duw hefyd a ddywedodd, gwnawn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain, ac arglwyddiaethant ar bysg y môr, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar yr anifail ac ar bob ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear. Felly Duw a greodd y dyn ar ei ddelw ei hun, ar ddelw Duw y creodd efe ef." "Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw: gosodaist bob peth dan ei draed ef."

Arweiniwyd ni i wneyd y sylwadau hyn gan yr ystyriaeth fod bywyd pob dyn, i raddau mawr, yn cael ei benderfynu gan y syniadau a fedd am ei werth a'i urddas ei hun. Ac nid heb achos y pryderir gan lawer nad ydyw hyn yn cael y lle dyladwy yn addysg yr oes bresennol; fod y plant yn cael eu dwyn i fyny fel nifer o beiriannau cyfleus i gyflawni gorchwylion neillduol. Rhaid, oblegid ein hamgylchiadau presennol, i'r pethau hynny gael ein sylw, ac nid ydyw yn un dianrhydedd arnom. Ond nid peiriant ydyw dyn. Ac y mae yn bwysig i bobl ieuainc gredu y gellir ymddyrchafu i anrhydedd, er gorfod ymwneyd â gorchwylion nad ydynt, o bosibl, yn gofyn rhyw lawer o dalent na medr. Y mae posibilrwydd ein bywyd yn enfawr; ac y mae *hyn* yn cynnwys nad oes dim i fod yn rhwystr ar ein ffordd i gyrraedd y perffeithrwydd hwnnw mewn bywyd y myn Duw i ni ei gyrhaeddyd,—dyfod "yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Ceir hadau mawredd yn enaid pob dyn; ond gynifer sydd yn eu difetha cyn y caffont gyfle i egino! Nid oes odid gylch mewn cymdeithas na cheir ynddo dalentau cryfion wedi eu parlysu, a rhagolygon disglaer wedi eu llwyr ddiffodd.

Ac un o'r pethau pwysicaf, er gwneyd ein bywyd o ryw werth, ydyw meddu graddau o gydnabyddiaeth â nodweddion yr oes yr ydym yn byw ynddi. Anfantais ddirfawr ydyw bod yn ddisylw o arwyddion yr amserau. Y mae y gallu i ddeall y rhai hyn yn elfen bwysig o ddoethineb bywyd. Pa beth ydyw ysbryd neillduol yr oes? Pa rai ydynt y nerthoedd sydd yn gweithio rymusaf ynddi, a'r tueddiadau sydd yn ei gwahaniaethu oddiwrth yr oes flaenorol? Pa bethau ydynt ei manteision, a'i pheryglon neillduol? Y mae perygl i'n cydnabyddiaeth agos â'r presennol fod yn rhwystr i ni ganfod ei bethau mawrion, a pheri i ni dybied fod mawredd yn perthyn yn unig i'r oesoedd gynt. Eithr nid

o ddoethineb bob amser yr ymofynnir, "Paham y bu y dyddiau o'r blaen yn well na'r dyddiau hyn?" Y mae i bob oes ei phethau pwysig a rhagorol, a dylid ymarfer meddylgarwch rhag, oblegid ein hagosrwydd iddynt, i ni fethu eu canfod. Adrodda un teithiwr iddo droi i mewn i fwthyn wrth odre mynyddoedd yr Alpau, yn yr hwn y trigai hen wreigan, yn bedwar ugain mlwydd oed, yr hon yn ystod ei hoes faith nad oedd wedi bod gymaint ag un diwrnod o olwg y mynyddoedd uchel; ac un o ddirgeledigaethau bywyd yr hen bererin oedd, beth a allasai fod yn perthyn i fynyddoedd yr Alpau i ddenu teithwyr yno o bob gwlad. Yr oedd ei chynefindra â'r golygfeydd ardderchog yn rhwystr iddi ei gwerthfawrogi. Y mae yr un posibilrwydd i'n hagosrwydd ninnau i nodweddion ein hoes fod yn rhwystr i ni weled eu hystyr a deall eu cenadwri, nes mewn canlyniad ein bod yn treulio ein dyddiau mewn gwagter, ac yn eu terfynu heb fod dim pwysicach i'w ddweyd am danom na bod nifer benodol o flynyddoedd rhwng dydd ein genedigaeth a dydd ein marwolaeth. Un o'r syniadau mwyaf gwrthnaws i'r teimlad ydyw anfarwoldeb di-hanes.

Gan fod deall ein hoes yn rhan mor bwysig o ddisgyblaeth bywyd ac yn amod ei lwyddiant, ni a edrychwn ar rai o nodweddion y dyddiau presennol yn eu maeteision, eu peryglon, a'u hawliau, ynghyda'n dyledswydd arbennig ninnau yn eu hwyneb. Ac nis gallwn, o fewn terfynau ysgrif fel hon, ond cymeryd cipdrem frysiog ar rai o'r pethau y tybiwn ddylent gael sylw darllenwyr ieuainc mewn modd arbennig.

I. *Y mae yr oes hon yn nodedig ar gyfrif ei Brwdfrydedd dros Ryddid.*

Dyma un o brif syniadau yr amseroedd ymhob gwlad. Ymweithia trwy gymdeithas yn ei holl rannau; ac os digwydd i rywun fod yn ddigon rhyfygus i geisio rhoddi atalfa arno, buan y caiff wybod mai ei ddoethineb ydyw arfer pob diwydrwydd i gilio o'r ffordd, rhag iddo gyfarfod â thriniaeth na hoffai. Un o ganlyniadau y Diwygiad Protestanaidd ydoedd agor llygaid y bobl i weled mai eu hawlfraint ydoedd rhyddid. Dangoswyd nad oes gan un awdurdod hawl i rwymo barn a chydwybod; a byth wedi hynny y mae apostolion rhyddid yn myned allan gan ffaglu gwinllannoedd y Philistiaid ydynt am gadw pob dim yn ysglyfaeth i'w balchder a'u traha hwy. Y mae yn ffaith amlwg yn hanes gwledydd fod caethiwed yn atalfa ar ffordd pob cynnydd,—celfyddydol, deallol, a moesol. Rhwymer ewyllys y bobl, gosoder cydwybod y werin mewn cyffion, ac wele genedl o farbariaid. Ceir engraifft o effeithiau andwyol caethiwed yn nhiriogaethau y Twrc. Llethir y trigolion gan feichiau trymion, a gorfodir hwy i roddi i fyny eu meddiannau â blaen y bidog. Er fod y gwledydd ffrwythlonaf dan ei awdurdod, ynddynt hwy y ceir y tlodi a'r dioddefaint mwyaf. Y mae diogelwch eiddo a chysegredigaeth bywyd yn bethau dieithr, a phrin y meiddia neb fyned trwy ei diriogaethau heb warchodlu o filwyr. Nerth a harddwch gwlad ydyw ei rhyddid. Ac os gorfu i Brydain aberthu yn ddrud er ei feddu, y mae yr ennill yn fwy na gorbwyso yr aberth, er ei faint. Ni ellir pwyso ei werth o arian, ac ni chydbrisir ef âg aur pur.

Ond y mae eisieu gofal rhag camddefnyddio bendith mor werthfawr. Nid yw pawb wedi eu dysgu pa fodd i ddefnyddio rhagorfreintiau i'w hamcanion priodol, yr hyn sydd yn cyfrif am y rhan fwyaf o ddrygedd a thrueni y byd. Eithr nid ydyw hyn yn profi *nad* bendithion

ydynt; yn y dyn y mae y diffyg, ac nid yn y fendith. Clywsom cyn hyn rai yn dadleu fod addysgu y werin yn un o beryglon yr oes,—ei fod yn llïosogi troseddwyr, ac yn eu cymhwyso i gyflawni troseddau gyda mwy o eofndra a chyfrwyster. Am yr un rheswm dadleuir yn erbyn rhyddid, gan haeru, oblegid fod rhai yn ei gamddefnyddio, na ddylid ei estyn i'r bobl. Ond ni chaiff y fath syniad le ym meddwl neb ond pobl a'u henaid heb ymddeffro. Rhyfedd fod neb yn yr oes hon yn coledd y fath syniad, a rhyfedd fod neb yn ddigon ynfyd i draethu eu meddwl gyda'r fath honiadaeth. Y mae yn amlwg y dylai dyn fod yn rhydd; dyma ei enedigaeth-fraint; a gelyn pennaf dynoliaeth ydyw hwnnw a faidd gynnyg ei ysbeilio o honi. Ond gofaler am ei ddefnyddio yn iawn. Mynner deall ei natur a'i gysylltiadau. Nid ydyw yn cynnwys fod gan bob un hawl i weithredu fel y myn, heb dalu sylw i neb arall. Cymdeithas ydyw dynolryw, a phan y mae rhyddid yn cael ei ddefnyddio i fod yn ofid y llïaws, y mae yn drosedd. Nid oes gan rai syniad uwch am ryddid na bod hawl ganddynt i fyned ar draws pob deddf, dynol a Dwyfol. Gwelsom cyn hyn ambell laslanc yng ngherbyd y rheilffordd yn crochfloeddio ac yn rhegi, a phan ofynnid iddo ymddwyn yn weddaidd, yn arfer pob dawn yn ei feddiant i ddiraddio y teithwyr, gan ddweyd ei fod wedi talu am docyn fel ereill. Gallai hynny fod, ond nid tocyn i dorri ar heddwch cymdeithas ydoedd, a difyrrwch nid bychan a geid wrth weled yr ymffrostiwr yn cael ei roddi yng nghofal y gwarchodwr i fyned i rywle i ddysgu gwers gogyfer a'r daith nesaf. Hanfod gwir ryddid ydyw trefn. Y mae natur yn rhydd, ond yn drefnus yr un pryd. Trosedder yn erbyn ei deddfau, a diflanna rhyddid.

Nid yw y gwahaniaeth rhwng Cristionogaeth a chrefyddau ereill yn fwy amlwg mewn dim nag yn y safleoedd neillduol a roddir ganddynt i'w derbynwyr yn eu perthynas â'r pwnc dan sylw. Y mae hen grefyddau mawreddog y Dwyrain fel hualau am y miliynau trigolion. Yr un modd am ffurfiau mwyaf dirywiedig Cristionogaeth,—y Babaeth, er engraifft, y mae ei nerth mewn cadw y bobl, hyd y gellir, mewn caethiwed. Cynnydd yn nirnadaeth yr oes o natur Cristionogaeth sydd yn cyfrif am ddiflaniad gorthrwm a chaethiwed gyda'r fath gyflymder. Pelydrodd goleuni Crist gyda'r fath danbeidrwydd ar feddwl Wilberforce fel na chafodd y wlad heddwch nes rhyddhau y caethion. Wedi i egwyddorion dwyfol y Testament Newydd lewyrchu ar gaethwasiaeth, ymddanghosodd mor hagr ac annuwiol nes codi cywilydd i wyneb y deyrnas fod y fath gyfundrefn yn cael ei goddef. Y mae pob peth sydd am gadw dyn i lawr, yn cilio yn ymyl Efengyl Crist. Ac nid ydyw ond megis dechreu ar ei gwaith. Y mae cymdeithas hyd yn oed yn y gwledydd mwyaf Cristionogol, yn llawn trais ac anghyfiawnder, yn gymaint felly fel yr honna rhai ei bod yn fethiant yn yr amcan o addrefnu y byd. Beth amser yn ol gofynnai Mr. Frederick Harrison, apostol *Positivism*, wrth gymeryd trem dros holl wledydd Ewrop y dydd hwn, ar ba dir y gellir honni fod Cristionogaeth, wedi bellach ganrifoedd lawer o brawf, yn llwyddo i buro cymdeithas oddiwrth yr hyn sydd yn warthrudd a gofid iddi? Onid yw y cenhedloedd Cristionogol yn ymgystadlu mewn perffeithio yr hyn a elwir yn *destructive arts;* ychwanegir yn flynyddol at nerth byddinoedd a llyngesoedd, a gruddfanna y trigolion dan y gost o'u cadw. Meddylier am y cyfoeth enfawr a'r tlodi dychrynllyd yn yr un gymdogaeth; pobl yn gadael cannoedd o filoedd o

bunnau heb fod cymdeithas yn ddim gwell erddynt; *capitalists* mewn penbleth pa le i roddi eu hariau, a miloedd yn y wlad prin yn gallu cadw y blaidd y tu allan i'w drysau, ac yn eu mysg nifer mawr, yn wir, ond odid y nifer mwyaf, heb un achos ynddynt eu hunain. Nid rhyfedd clywed *pessimists* yn gwaeddi fod pethau yn myned i'r gwaethaf, ac yn haeru fod Cristionogaeth wedi troi yn fethiant yn ei chenadwri at gymdeithas. Rhoddasem i fyny i'w dadl oni bai y cefiwn mai graddol o angenrheidrwydd ydyw pob diwygiad sydd yn cyrraedd at wreiddiau cymdeithas; nad wrth rifedi blynyddoedd y trefna Duw ei oruchwyliaethau tuag at y byd; ac mai annheg i'r eithaf ydyw gosod yn erbyn Cristionogaeth yr hyn sydd yn ddiffyg mewn dynion. Tra ymhell o gredu pob peth a ddysgir gan Gymdeithasiaeth (*Socialism*) ddiweddar, yr un pryd ofer anwybyddu y ffaith mai dyma sydd yn dyfod agosaf at feddwl y mwyafrif o'r werin y dydd heddyw; ac y mae yn disgyn ar yr Eglwys Gyffredinol i ymgyfaddasu ar ei gyfer, nid trwy newid Cristionogaeth y Testament Newydd, eithr trwy ymholi, Beth a wnaethai Crist ei Hun pe yma fel y bu yn Palestina? ac yna, wedi ei llanw â'i ysbryd Ef, ymdaflu i ganol cymdeithas, ac nid beirniadu yn athronyddol o'r pellder draw. Ysbryd yr Arglwydd Iesu ydyw gobaith y gwledydd am ryddid o'r hyn sydd yn gaethiwus. Ac wele ryddid sydd yn Ddwyfol drefnus, oblegid rhyddid gwirionedd ydyw. Cymerer yr Iesu i mewn i holl gysylltiadau bywyd, ac ni theimlir y dyledswyddau trymaf yn yn feichus. Ac ni byddwn mewn perygl o ymddwyn yn falch ac uchelfryd, nac anwybyddu iawnderau ereill. Gellir bod yn annibynnol heb fod yn drahaus, yn onest hed fod yn angharedig, yn foneddigaidd heb fod yn fursenaidd. Darllenner hanes Crist yr Efengylau,—darllenner nes teimlo fod nerthoedd gogoneddus ei fywyd Ef yn gweithio ynom ninnau. Ynddo Ef cawn y perffaith sanctaidd a'r caredig yn yr un Person; un a fedrai fod yn gyfaill plant bychain, ac ar yr un pryd lefaru ei wrthwynebwyr i fudandod. Yna, ynghanol holl gynhyrfiadau yr amseroedd, cedwir ni rhag cael ein cylcharwain gan ddylanwadau peryglus, nes o'r diwedd gyrraedd y ddinas yn yr hon y mae yr holl breswylwyr yn "rhodio yn rhydd."

II. *Nodwedd arall a berthyn i'r oes ydyw Ehangder ei Manteision Llenyddol.*

Hwyrach na bu cymaint o ddefnyddiau darllen mewn un oes flaenorol. Y mae yn syndod o ba le y daw yr holl gynhyrchion o bob math a gymhellir arnom. Dylifant o'r wasg gyda chysondeb diball, ac nid oes argoel fod nifer crefftwyr llenyddol yn prinhau. Pe cymharer yr adeg hon â blynyddoedd cyntaf y ganrif, ceid fod gwahaniaeth aruthrol yn swm llenyddiaeth y ddau gyfnod. Drigain mlynedd yn ol, nid oedd nifer y newyddiaduron Cymreig ond dau neu dri, ac ychydig ydoedd nifer y cylchgronau; erbyn heddyw y maent yn lliaws mawr. Y pryd hwnnw byddai cyhoeddiad llyfr yr ochr Gymreig i Glawdd Offa, yn ddigwyddiad pwysig, pe na byddai ond Almanac ceiniog; erbyn heddyw y mae ymddanghosiad llyfrau Cymraeg o gryn faint yn ddigwyddiad mynych, er y gellir dweyd am aml un, "A lle ni chafwyd iddynt." Yr un pryd llawen ydym fod llenyddiaeth Gymreig yn ymehangu, gan ddangos arwyddion o fywyd a pharhad. Paham y rhaid gadael i lenyddiaeth Gymreig farw o ddiffyg cefnogaeth? Yn ol ei maint, deil gymhariaeth, mewn llawer o

gyfeiriadau, â llenyddiaeth Seisnig unrhyw ddydd. Mewn rhai cyfeiriadau a ddywedasom, oblegid gwyddom na ddeil gystadleuaeth â hi, dyweder, mewn hanesiaeth, gwyddoniaeth, &c. Meddylier am farddoniaeth: anhawdd taro ar ddim rhagorach wedi ymddangos yn iaith y Saeson o fewn y ganrif hon nag a geir yng ngweithiau Eben Fardd, Hiraethog, ac Islwyn. Ac am emynnau cysegredig, daliwn fod yr eiddo Williams, Pantycelyn ac Ann Griffiths yn tra rhagori ar ddim a feddant. A all y Saeson ddangos gwell pregethau na'r eiddo Henry Rees ac Edward Morgan? Ac edrych ar Gofiantau John Jones, Talsarn, a Henry Rees, Liverpool, oddiar safle lenyddol, heb gymeryd i ystyriaeth ddim arall, oni ddaliant i'w gosod ochr yn ochr a dim o'r fath a ymddanghosodd mewn unrhyw wlad? Oni ddeil gwaith Dr. Lewis Edwards ar yr *Iawn*, yn ol ei faint, gymhariaeth âg unrhyw draethawd Saesneg? Ac nid yw hyn ond nifer fechan. Ymhlith newyddiaduron a chylchgronau, ceir amryw yn sefyll yn dra uchel yng nghraddfa beirniadaeth; a meiddiwn ddweyd nad yw y gwaelaf o honynt yn waelach na gwaelaf y Saeson. Teimlwn yn falch o lenyddiaeth yr iaith Gymraeg, ac yn enwedig o'r Beibl Cymraeg, yn swn adnodau yr hwn y gobeithiwn roddi ffarwel i amser, a chroesaw i dragwyddoldeb.

Ond yn ychwanegol at lenyddiaeth Gymreig, y mae pobl ieuainc Cymru bellach yn alluog i fanteisio ar lenyddiaeth eang y byd Seisnig. Ond os ydyw eu manteision trwy hyn yn lliosog, y mae eu peryglon hefyd yn llawer. Pa fath ydyw chwaeth y nifer fwyaf o ddarllenwyr? Ai nid y pethau ysgafnaf, tlotaf o feddwl, sydd a "mynd" arnynt? Rhaid addef fod nifer o gyhoeddwyr papurau newyddion, Cymreig a Seisnig, yn euog o borthi chwaeth afiachus, yn hytrach na chyflwyno ymborth pur a sylweddol. Yr ydym yn dal fod llenyddiaeth isel yn bechod yn erbyn cymdeithas, am y rheswm fod tuedd ynddi i gynhyrchu syniadau isel am fywyd. Y mae yn hen ddywediad yr adnabyddir dyn wrth ei gyfaill; y mae yn gymaint gwir yr adnabyddir dyn hefyd wrth ei lyfr. Adwaenem ddyn ieuanc nad oedd nemor byth yn darllen ond *Sporting Literature*, a gallwn sicrhau na buasai neb rhieni parchus yn hoffi i'w plentyn wneyd cyfaill o'r fath un. Nid oes raid byw ar ymborth gwael pan y mae digonedd o ebran pur i'w gael ar y telerau mwyaf manteisiol. Mor bwysig ydyw gofalaeth am y meddwl! Un o beryglon ein hoes faterol ydyw anghofio ysbryd. Os na ellir canfod y cyfan â'r llygad noeth, a thynnu pob dim trwy brawf y *laboratory*, tueddir i ameu y cwbl, neu ynte dybied fod yr oll y tu hwnt i hyn yn rhy bell, neu yn rhy anymarferol i drafferthu yn ei gylch. Rhyfedd yr anghysondeb sydd yn hyn! I drafod sylweddau materol yn eu ffurfiau symlaf, rhaid wrth feddwl; ac onid syn yw fod neb yn gwadu neu yn esgeuluso y gallu trwy ba un y maent hwy eu hunain yn gweithredu ar bob dim? Y mae pob ymgais i esbonio meddwl ymaith yn fethiant dirmygus. Nac anghofier y gair ym mhennill Dr. Watts, sydd wedi hen ddyfod yn wireb:—

Mind is the standard of the man.

"Onid yw y bywyd yn fwy na'r bwyd?" Yn ol barn miloedd, yn wrthwyneb y dylesid gosod yr ymadrodd,—Onid yw y bwyd yn fwy na'r bywyd? Cleddir meddwl aml un cyn rhoddi ei gorff yn y ddaear.

Gynifer o feddyliau sydd yn gorwedd dan drwch o fydolrwydd ymhob ffurf arno! Y fath wahaniaeth a deimlir yn ymadawiad dau ddyn! Bu un farw, a chladdwyd ef, a'r unig beth deimlodd ei ymadawiad ydoedd cloch yr eglwys: bu y llall farw, ond wele yr holl wlad wedi ei hysgwyd. Dywedai cannoedd yr un pryd, "O, rhyfedd, hwn a hwn wedi marw!" Pam hwnnw? Dim ond fod meddwl grymus, a chalon eang ynddo. Dyma ogoniant dyn; ac onid ynfydrwydd ydyw iddo gladdu coron ei ogoniant, sydd yn disgleirio gan emau dwyfol, ynghanol sothach y byd. Yr ydym wedi gweled aml ddyn ieuanc yn cerdded yn ddiystyr yn angladd ei feddwl ei hun, ac yn mynnu ei gladdu cyn i bwysau deg ar hugain o flynyddoedd orwedd arno.

Ynghanol cymaint o gyfleusterau i feithrin y meddwl yn yr hyn sydd bur a dyrchafedig, y mae ein cyfrifoldeb i ni ein hunain yn ddirfawr. Erbyn hyn y mae cynhyrchion meddyliol yr oesau o fewn cyrraedd y rhan fwyaf. Pe rhoddai pobl ieuainc ond cyfran *fechan* o'u henillion i'r amcan hwn, deuent ymhen ychydig amser yn feddiannol ar etifeddiaeth ardderchog. Wrth rodio yn sylwgar dros feusydd llenyddiaeth, buan y deuent i deimlo eu bod yn rhywbeth llawer uwch na thirarglwyddi. Dynion wedi meddiannu syniadau dyrchafedig ydynt wir arglwyddi gwlad! Gymaint yn well ydyw meddwl na thir! Y mae un syniad ardderchog yn fwy o berchenogaeth na'r ystad fwyaf yn y deyrnas; ac y mae pob rhan o fyd gwirionedd yn llawn trysorau, a cheir hwynt yn fynych mewn lleoedd na ddisgwylid am danynt. Un o'r elfennau pwysicaf mewn disgyblaeth feddyliol ydyw ymarfer ein hunain i chwilio am y mawr yn y bychan a'r ymddangosiadol ddibwys. Gall ein cynefindra â gwirionedd ein gwneyd yn ddideimlad o'i fawredd. Dywed Coleridge,—"Truths, of all others, most awful and interesting, are too often considered as *so* true, that they lose all the power of truth, and lie bedridden in the dormitory of the soul, side by side with the most despised and exploded errors." *(Aids to Reflection).* Honnir gan rai, a broffesant raddau helaeth o wreiddiolder meddwl, fod cydnabyddiaeth â llenyddiaeth yr oesau yn anfantais i annibyniaeth meddwl. Rhaid fod cyfoeth cynhennid y dosbarth hwn mor fawr fel nad oes ganddynt le i gynnwys rhagor. Ond os ydyw ynddynt, rhaid boddloni ar eu tystiolaeth noeth fel prawf, gan na *welir* eu trysorau un amser. Gwell, yn hytrach, gan nad faint fyddo nerth y meddwl, ydyw manwl chwilio tiriogaethau ereill hefyd. Ni raid, trwy hynny, aberthu gwreiddiolder ac annibyniaeth meddwl; yn hytrach, dyma un ffordd i'w cryfhau. Beth sydd yn harddach na meddwl wedi ei drwytho â syniadau dyrchafedig? Sylwai un mai enaid pob diwylliant ydyw diwylliant enaid. Mynnai Carlyle nad oes nemor ddim i'w gael yn yr oes hon ond "*cant*,"—ymddanghosiad gwag, bostfawr; a byddai yr hen ddoethawr yn ei hystyried yn ddyledswydd arno regi yr oes bob tro y caffai gyfle, oblegid ei gwegi. Nid ellir gwadu nad oedd llawer o wir yn yr hyn a ddwedai, yn enwedig gyda golwg ar yr hyn a elwir yn *culture*. Rhyfedd y camsyniadau a ffynna ynghylch yr hyn sydd yn wir ddiwylliant. Syniad aml un o'r ddau ryw ydyw, os llwyddant i gael gwisg fyddo yn tynnu sylw, ac addurniadau fyddo yn disgleirio, a cherdded yr heol gan edrych yn ddyfal tua'r cymylau, eu bod wedi cyrraedd perffeithrwydd diwylliant; ac yn enwedig, os yn Gymry, fod taflu diystyrwch ar bob peth Cymreig, yn arwydd o ddiwylliant digymysg. Y mae yn destyn llawenydd fod sylw yn cael ei dalu yn y blynyddoedd

hyn i hen hanes Gymreig; ceir hwyl mewn areithiau ciniawol pan yn son am orchestion Owain Glyndwr; mewn areithiau Seisnig canmolir yr iaith Gymraeg, ac ar unwaith y maent yn mynd i "godi'r hen wlad yn ei hôl." Pwy nad yw yn hoffi brwdfrydedd cenedlaethol pa le bynnag yr ymddengys? Ond y mae yn ormod profedigaeth ymatal rhag gofyn,—wedi i ddydd yr Eisteddfod Genedlaethol fyned heibio, Pa le y mae y boneddigion ydynt yno yn berwi gan sêl Gymreig? Wedi i wledd Dydd Gwyl Dewi Sant fyned drosodd, hyd nes y daw Dydd Dewi y flwyddyn ganlynol, Pa le y mae cenedlgarwch llïaws o'r areithwyr tanbaid? Gan lawer o'r rhai hyn, yn yr oesoedd gynt yn unig y gellir ymffrostio, ac y mae islaw eu hurddas i dalu gwarogaeth i'r hyn sydd wedi bod, ac yn parhau i fod yn brif ogoniant ein cenedl. Pell ydym o anfon allan fygythion; a phellach na hynny o gredu, pe 'r anfonem gatrawd o honynt, y caent nemor dylanwad; ond ni phetruswn ddatgan ein hyder fod yr adeg ar ddyfod pryd na oddefa Cymru i'r rhai a anrhydeddir ganddi ei dirmygu trwy anwybyddu yr hyn ag y mae calon y genedl yn ymlynu am dano. Y mae rhyw neillduolion yn perthyn i'r genedl sydd yn werth eu cadw; a gocheler rhag tybied fod gwerthu y rhai hyn yn rhan o ddiwylliant. Un nodwedd a berthyn i Gymru ydyw ffyddlondeb i Air Duw. Hwn, ers llawer o flynyddoedd, ydyw y Llyfr mwyaf cysegredig yn y Dywysogaeth. Dymunem ofyn, Onid oes arwyddion fod y Gyfrol Sanctaidd yn cael ei hesgeuluso y dyddiau hyn? Oni welir ambell un sydd wedi cael ychydig addysg yn edrych i lawr arni? Ai tybed ein bod yn byw mewn oes ag y mae yn rhaid gwneyd *apology* dros y Beibl wrth ei gymell i sylw y bobl? Ni a arhoswn ychydig eto, pa fodd bynag, cyn cydnabod fod llenyddiaeth ysbrydoledig hwn wedi colli pob hawl i edmygedd a pharch. Nid oes raid iddo blygu ei ben, a chuddio ei wyneb.

Ar wahan i'w amcan gogoneddus, pa le y ceir llyfr mor arddunol drwyddo. I ddechreu, y mae yn hynafol iawn,—rhai darnau o hono, fe dybir, yn myned ymhellach yn ol na dim arall, hyd yn oed yn hen lenyddiaeth y Dwyrain; pa fodd bynnag, cyrhaedda ei hanesyddiaeth yn ol i'r boreuddydd. Pa le y ceir gwell rhamant na hanes cenedl Israel? Dechreuer gydag Abraham, dilyner hwy ymlaen o gyfnod i gyfnod, ac y mae golygfeydd yr hanes yn ein synnu. Ni chyfansoddwyd erioed chwedl yn cynnwys mwy o ddigwyddiadau cyffrous. Meddylier drachefn am ei farddoniaeth. Cymerer llyfr Job,—wele ddrama! Y mae yr holl gymeriadau yn cadw eu lle mor berffaith; ac am y syniadau, nis traethwyd erioed eu cyffelyb. Y mae areithiau rhai o gyfeillion Job yn synnu y darllennydd. Darllenner penodau xxxviii. a xxxix., a theimlir fel pe 'n cymerid mewn cerbyd esmwyth gyda chyflymder y goleuni trwy eang lywodraeth yr Anfeidrol. Ar ol llawer o siarad rhwng Job a'i gyfeillion, y mae Duw yn ei ateb allan o'r corwynt, gan ei wahodd i ddyfod am daith gydag ef. "Gwregysa dy lwynau yn awr fel gŵr." Gosod dy hun yn barod; ni a fynnwn lonydd am ennyd oddiwrth Eliphaz y Temaniad, a Bildad y Suhiad, a Saphar y Namathiad. Ac wele gatecism! Beth pe yr elai aml un sydd wedi ei hud-ddenu gan gasgliadau anffyddwyr dros hwn yn feddylgar? "Pa le yr oeddet ti pan sylfaenais i y ddaear? Mynega os medri ddeall. Pwy a osododd ei mesurau hi, neu pwy a osododd linyn arni hi? Ar ba beth y sicrhawyd ei sylfaeni hi? Neu pwy a osododd ei chonglfaen hi? Pan gydganodd sêr y boreu, ac y

gorfoleddodd holl feibion Duw. A phwy a gauodd y môr â dorau, pan ruthrodd efe allan megis pe deuai allan o'r groth? Pan osodais i y cwmwl yn wisg iddo, a niwl tew yn rhwymyn iddo pan osodais fy ngorchymyn arno, a phan osodais drosolion a dorau, gan ddywedyd, Hyd yma y deui, ac nid ym mhellach. A orchymynaist ti y bore er dy ddyddiau? a ddanghosaist ti i'r wawr-ddydd ei lle? A oes dad i'r gwlaw? neu pwy a genhedlodd ddefnynnau gwlith? O groth pwy y daeth yr iâ allan? a phwy a genhedlodd lwydrew y nefoedd? A rwymi di hyfrydwch Pleiades? neu a ddatodi di rwymau Orion? A ddygi di allan Mazzaroth yn eu hamser? neu a dywysi di Arcturus a'i feibion?" Yna disgynna at yr anifeiliaid, fychain a mawrion. "A elli di hela ysglyfaeth i'r llew? Pwy a ddarpar i'r gigfran ei bwyd? pan lefo ei chywion ar Dduw, gwibiant o eisieu bwyd." Ond rhaid ymatal; darllenner y Beibl, a cheir ynddo gyfuniad o bob gwir ragoriaeth llenyddol. Y mae yn ddigon mawr i'r mwyaf, ac yn ddigon syml i'r lleiaf ei amgyffredion. Ond y mae ganddo hawliau uwch arnom na'i werth llenyddol. Llyfr Duw i ddyn gyda golwg ar y pethau pwysicaf ydyw; ac y mae yn cymeryd i mewn holl gwrs ei fodolaeth. Ei ddiben mawr ydyw dyrchafu cymeriad; a hwn ydyw y gwaith pennaf sydd yn cael ei ddwyn ymlaen ar y ddaear. Tuag at i'r llyfr sanctaidd gyrraedd ei amcan yn ei berthynas â ni, rhaid ei dynnu i mewn i'r bywyd. "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd; dy air sydd wirionedd." Hwn ydyw y diwylliant uchaf. "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, fel y byddai dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda."

III. *Nodwedd arbennig a berthyn i'r oes ydyw ei Hysbryd Beirniadol.*

Y mae hyn yn ganlyniad naturiol rhyddid a chyflawnder llenyddiaeth. Rhyfeddol hefyd ydyw llwyddiant ymchwiliadau y ganrif hon. Meddylier am wyddoniaeth naturiol. Dywedir fod darganfyddiadau y ganrif bresennol yn fwy na'r holl oesau blaenorol gyda'u gilydd; ac felly hefyd am gelfyddyd yn ei holl rannau. Perthyna i'r oes hon bethau na ddychmygwyd am danynt yn yr oes o'r blaen, ac nid oes flwyddyn yn mynd heibio na chlywir am ryw orchestwaith celfyddydol newydd. Ac nid yw byd meddwl a moesoldeb yn eithriad. Gwyddom fod pynciau mawrion meddwl a gwirionedd yn cael sylw aiddgar cewri yr oesau blaenorol. Dadleuai ysgolwyr y canol-oesau gyda brwdaniaeth ynghylch drwg a da, ewyllys, cydwybod, cyfrifoldeb, &c.; gelwid ynghyd gynghorau eglwysig mawrion i drafod y pynciau pwysicaf mewn duwinyddiaeth, pryd y cymerid rhan ynddynt gan brif feddylwyr y gwledydd; ac mor bell ydyw y dyddordeb o gilio, fel nad oes dim sydd yn apelio gyda mwy o rym at y meddyliau mwyaf diwylliedig heddyw na'r sylwadau hyn. Ond y mae un gwahaniaeth eglur rhwng yr oes hon a'r oesoedd blaenorol: tra'r oeddynt gynt yn fedrus mewn dadansoddi, nid oeddynt mor lwyddiannus i ganfod egwyddorion cyffredinol. Erbyn hyn, tra yn parhau i gario ymlaen ymchwiliadau, gosodir pwys ar unoliaeth, fel, yn lle pellhau amrywiol weithredoedd Duw oddiwrth eu gilydd, edrychir ar yr oll fel un cyfanwaith gogoneddus. Un Duw, un llywodraeth, ac un amcan mawr, yr hwn a gyrhaeddir trwy ymgnawdoliad a marw yr Iesu. Nid oes raid pryderu pan y rhoddir i Iawn Crist y lle pwysicaf ynghanol nerthoedd llywodraeth y Brenin Mawr. Hwn yw y gallu a una yr oll yn Nuw. "Fel yng nghoruchwyliaeth cyflawnder

yr amseroedd y gallai grynhoi ynghyd yng Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd, ac ar y ddaear, ynddo Ef." "Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo Efe y deyrnas i Dduw a'r Tad, wedi iddo ddileu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth." Rhodder, gan hynny, y lle blaenaf i'r Arglwydd Iesu. Gwyddom y tybia rhai fod teyrngarwch i Grist yn anghyson, neu, pa fodd bynnag, yn anfantais i ragori yn y gwyddorau. Y mae y rhai hyn yn euog o un o ddau ddiffyg,—naill ai anwybodaeth gwirfoddol o Grist a natur ei ddysgeidiaeth, neu ynte wrthdarawiad pendant i foesoldeb ei eiriau, yn codi o lygredd eu bywyd, naill ai mewn syniadau neu arferion. Pe buasai crefydd yr Iesu mewn rhyw fodd yn anfantais i gynnydd mewn unrhyw gyfeiriad, gallesid ar unwaith gymeryd hyn yn brawf o'i hanghymhwyster; ond pan y mae, nid yn unig yn caniatau eithaf rhyddid i bob gallu mewn dyn, eithr hefyd yn troi yn gymhwyster iddo weithredu, rhaid fod ysbryd Crist y caffaeliad gwerthfawrocaf ymhob cylch. Cristionogaeth yn atalfa ar ffordd cynnydd! Onid gyda'i threigliad hi yr ymleda gwir wareiddiad? O'r dydd cyntaf y pregethwyd hi yn Ewrop, y mae wedi bod yn ysbrydoliaeth i bob peth sydd yn ddyrchafedig. Wrth osod yr Arglwydd Iesu yn uchaf yn y meddwl, ni theimlwn unrhyw bryder yn wyneb ysbryd beirniadol yr oes. Y mae aml ddamcaniaeth fu unwaith yn boblogaidd wedi methu sefyll goleuni beirniadaeth ddiweddar; ond y mae Efe wedi dal pob llewyrch. Ac ni fynnem gadw yr Iesu o'r naill du; rhodder Ef yn y lle amlycaf; gwahodder dysgawdwyr gwyddonol a hanesyddol y byd i droi eu lampau ato, gan ei chwilio a'i farnu. Teimlwn yn berffaith dawel y saif tystiolaeth y disgybl am dano heb ei symud,—"Ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Y mae Craig yr Oesoedd yn sefydlog, er fod ystormydd beirniadaeth gelynion medrus wedi curo arni; ac fe saif. Symud y mae pethau amser. Ond y mae cri dyfnaf yr enaid am sefydlogrwydd. Ar y wyneb y mae y cyfnewidiadau; ond y mae seiliau teyrnas gwirionedd yn aros yn ddigyfnewid. "A'r eto unwaith hynny sydd yn hysbysu symudiad y pethau a ysgydwir, megis pethau wedi eu gwneuthur, fel yr arhoso y pethau nid ysgydwir."

*Llundain.* ABRAHAM ROBERTS.

---

## TANGNEFEDD.

DANGNEFEDD pur! Anadla i fy nghalon
Y funud hon dy anian di dy hun;
Blinedig wyf yn brwydro â gofalon
Sydd megis bleiddiaid byth yn ymlid dyn!
Mi roddwn fyd pe'i meddwn, am gael rhoddi
Fy mhen i orffwys ar dy fynwes wen,
Sydd ganmil gwynnach nag yw bron y lili
Gusenir gan serch-ddagrau gwlith y nen.

Dangnefedd hoff! dy amnaid di ostega
Ymchwyddol donnau môr fy mywyd blin;
Dy wên i mi sydd megis enfys gwynfa,
Byw-ddafnau'r nef wyt i fy enaid crin:

Rwyf fel y goedwig lom am hâf yn wylo
  O'th eisieu di, O! fwyn Dangnefedd byw;
Blodeuyn wyf mewn anial blin yn gwywo
  Mewn hiraeth am fyth hâf Paradwys Duw.

Mi dybiais unwaith weld dy wedd anwylgu
  Fel enfys nef uwch aelwyd fach ddinam,
A thybiais i dy glywed yn llefaru
  Yng ngweddi nhad, a chariad-gân fy mam!
Ond nid oes heddyw'n aros ddim ond adgo;
  Rhy bell yw rhai'n i mi eu clywed mwy;
Dangnefedd! O Dangnefedd, siarad eto,
  Rho adgyfodiad i'w lleferydd hwy!

A thybiais weld dy gysgod hardd yn gorffwys
  Ryw hwyrnos hâf ar fynwes dôl a bryn,
A myrdd o sêr fel engyl claer paradwys
  Mewn gosteg dwys yn gwylio'th ysbryd gwyn;
A'r chwäon per wrth eu telynnau'n huno
  Mewn anghof llwyr o swyn eu miwsig byw,
Ac anian deg fel duwies wedi ei swyno
  Yn gwbl oll i gôl Tangnefedd gwiw.

Ysbrydion anian giliant i'w llochesau,
  Fel dieifl Gadara rhag yr Iesu gynt;
Hyf ysbryd mawr y storm sydd mewn cadwynau
  Ni feiddia droi yn awr i'w drystfawr hynt;
Myn anian gu addoli mewn taweledd
  A delw'r nef ar ei dihalog fron,
A'r enaid blin a yfa win Tangnefedd,—
  Awr dwfn gymundeb gyda Duw yw hon.

Dy gysgod, O Dangnefedd welaf eto
  Yn gorffwys ar aneddau'r fynwent fud,
A chenedlaethau yn dy gôl yn huno;
  O dangnefeddus dyrfa, gwyn eich byd!
Yn anghof aeth helbulon taith flinderus
  A byd-drallodau drengant ger y fan,
'Run fath â chwyddol donnau môr digofus
  Pan yr ymddrylliant ar ystlysau'r lan.

Mi âf i lawr glyn tywyll cysgod angau
  Os ti, Dangnefedd, gydia yn fy llaw;
Yn ddigryn âf drwy enbyd ddreig-lochesau
  A gwenaf yno yngwyneb brenin braw:
Ymchwydded lli yr hen Iorddonen enbyd,
  Mi a groesawaf swn ei marwol don,—
Tangnefedd gaf yn gadarn dŵr fy mywyd,
  A sieryd hedd-gysuron i fy mron.

Dychmygaf weld cydwybod heb Dangnefedd
  Yn deffro yng ngoleuni mellt y Farn,
A'r Barnwr Mawr ar ei drybelid orsedd
  Yn dangos iddi'r Ddeddf a wnaeth yn sarn;

Ac O, cywilydd, megis llen o barddu
  Sydd yn ymdaenu dros ei hagr wedd,
A chledd euogrwydd yn ei bythol wanu,
  Heb obaith byth i adwaen gwenau Hedd!

Ond wele'r Sant, anwylaf Fab Tangnefedd,
  Mor ddigryn ydyw â cholofnau'r nef;
Ei galon sy'n dychlamu gan orfoledd,
  Tangnefedd Duw yw hoen ei enaid ef:
Ac er fod anian megis yn ymddatod,
  A'r bydoedd oll yn ceisio man i ffoi
Gan mor ofnadwy ydyw'r sanctaidd Wyddfod,—
  Ond wele un a'i galon heb gyffroi!

HENRY ISGAER LEWIS.

---

# CREFYDD YSBRYDOL.

CREFYDD yr enaid, y syniad, y teimlad, yr argyhoeddiad, yr egwyddor o dduwioldeb yn y dyn oddifewn, yw crefydd ysbrydol. Y mae i'w gwahaniaethu oddiwrth grefydd ymarferol, yr ymddygiad allanol addas i'r Efengyl. Ac y mae yn wahanol i ymarferiadau crefydd gymdeithasol, pa un bynnag ai yn y teulu ai yn y cysegr. Ffrwyth a ffurf duwioldeb yw crefydd ymarferol a defosiynau yr addoliad dwyfol gan y teulu a'r gynulleidfa; ond "ei grym hi" yw crefydd ysbrydol. Y mae yn rhaid i'r hedyn sanctaidd gynhyrchu ei ffrwyth priodol, ac y mae yn rhaid i ysbryd crefydd ymwisgo mewn ffurf neu gorff trwy ba un y mae i amlygu ei hun ac i weithio allan ei fywyd. Gan hynny, tra y rhaid cydnabod gwahaniaeth, mae yn eglur fod y berthynas agosaf a chysylltiad hanfodol rhwng crefydd ysbrydol a chrefydd y fuchedd allanol, a chrefydd yr addoliad cyhoeddus.

Yr ydym yn byw mewn oes ac mewn gwlad lle mae crefydd ymarferol yn barchus, ac mewn rhai gweddau o honi yn boblogaidd. Y mae cynlluniau dirifedi wedi ac yn cael eu dyfeisio i gyfrannu elusennau mewn bwyd a dillad i'r tlodion. Fe deimlir mai un o ragoriaethau pennaf ein gwareiddiad Cristionogol yw yr ymdrech i "godi'r tlawd o'r llwch a'r anghenus o'r domen," ac fe edrychir ar yr adeiladau a ddefnyddir i letya ac addysgu amddifaid, yn gystal a'r clafdai, fel addurniadau gwychaf ein gwlad. Yn y dyddiau hyn hefyd, yn neillduol mewn rhai cyfeiriadau, y mae sylw mawr yn cael ei dalu i ddefodaeth yr addoliad cyhoeddus, ac amcenir i ddwyn ymlaen y gwasanaeth dwyfol yn y cysegr mewn dull celfyddydol, yn foddus i'r llygad ac i'r glust. Datgenir y Salmau megis dan redeg, hanner genir gweddiau gosodedig, ac adroddir yr Amen eilwaith a thrachefn yn beirianyddol. Ond beth am fywyd ysbrydol y gynulleidfa, a chrefydd ysbrydol yr addolydd unigol? Os nad yw ein cymwynasau, a'r hyn a ddeallir wrth gyfiawnder ymarferol a bucheddiad moesol yn tarddu o'u crefydd ysbrydol, y mae perygl i'r daioni allanol naill ai i gael ei wyrdroi i fod yn hunangyfiawnder ac yn destyn ymffrost, neu ynte i sychu i fyny a diflannu. A'r un modd, yn niffyg crefydd ysbrydol ddofn a diffuant, y mae cyflawniadau crefyddol yn sicr o suddo i fod yn ddim mwy na

gwell nag ymgais arwynebol i wasanaethu Duw. Nid ydym yn defnyddio y gair cryfach a chaletach, rhagrith; ond y mae bod yn arwynebol gyda chrefydd ymhell ar y ffordd i dueddau rhagrith. Beth, gan hynny, yw crefydd ysbrydol? Ymha bethau y mae yn gynwysedig? Yr ydym yn teimlo fod pwys dirfawr yn y cwestiwn ar yr amser presennol, pan y mae llawer hyd yn oed o'r rhai sydd mewn cysylltiad â chrefydd yn rhodio "yn ol helynt y byd hwn" mewn prysurdeb mawr a didor. I lawer mae brwydr bywyd yn galed a phryderus, ac yn ddigon ynddi ei hun at hynny o nerth ac ynni ag sydd gennym. Eithr pan y mae plant y goleuni yn cydymffurfio a'r byd hwn, y maent yn rhedeg ar ol cyfoeth, neu yn ymgyrraedd at enwogrwydd, neu yn ymdrechu i gael mwyniant ac esmwythyd, a'r cyffelyb bethau. Y mae y cyfryw bethau yn llyncu i fyny eu bryd ac yn difa eu nerth, fel y maent yn ddibrofiad, ac i raddau mawr yn ddiffrwyth gyda chrefydd. Crefydd ysbrydol ydyw yr unig feddyginiaeth effeithiol i'r cyfryw i'w cadw rhag cael eu cario ymaith gyda'r llif; a dyma y cysur a'r cymorth goreu i'r rhai sydd yn gorfod ymlwybro yn drafferthus trwy amgylchiadau y bywyd presennol, eithr gan ymdrechu i "ymarfer eu hunain i dduwioldeb." Unwaith eto, gan hynny, gofynnwn, Ymha bethau y mae crefydd ysbrydol yn gynwysedig?

I ateb y cwestiwn hwn, y mae yn rhaid edrych ar y pwnc o amrywiol gyfeiriadau. Yn gyntaf oll, rhaid ystyried y mater o safle y Bod Dwyfol yn ei berthynas â dyn, ac hefyd o ran ei natur Ef ei Hunan. Nid oes dim yn sicrach na bod perthynas rhwng Duw a dynion; y mae a fynno Duw â ni, ac y mae a fynnom ninnau â Duw. Y mae y berthynas o leiaf yn driffiyg. "Efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain." "Ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod. Ei bobl Ef ydym, a defaid ei borfa." "Yr Arglwydd yw fy ngoleuni a'm hiachawdwriaeth." Duw yw ein Crewr, ein Cynhaliwr, a'n Hiachawdwr. Ei greaduriaid Ef ydym, yn hollol ddibynnol arno am bob cynhaliaeth; ac os wedi ein hachub, ei waredigion Ef yn unig ydym. Mae yr ystyriaethau hyn ar unwaith yn awgrymu ei fod yn weddus ynom ac yn ddyled arnom i fawrhau Duw fel ein Creawdwr, i ddiolch beunydd "ym mhob dim" ac "yn wastad i Dduw a'r Tad am bob peth" fel ein Cynhaliwr, ac i ymdaflu yn gyfangwbl ac mewn llawn hyder ffydd ar ei ddaioni a'i dosturi fel ein hunig Iachawdwr. Meddylier eto am natur Duw fel y mae yn cael ei datguddio yn yr Ysgrythyrau. Yr oedd yn rhaid i ddyn wrth ddatguddiad Dwyfol, yn arbennig wedi i'w lygaid gael eu dallu ac i'w feddwl gael ei dywyllu mewn canlyniad i'r cwymp. Nid yw yn afresymol meddwl y buasai gennym Feibl pe na buasem wedi syrthio trwy bechod, er o angenrheidrwydd y buasai yn llyfr gwahanol i'r Ysgrythyrau Sanctaidd sydd gennym. O leiaf, y mae yn llawn mor naturiol credu hyn â'r athrawiaeth y buasai yr Ymgnawdoliad yn cymeryd lle pe na buasai pechod erioed wedi dyfod i'r byd. Un o drysorau pennaf ein hetifeddiaeth yw Gair Duw, ac nis gallwn lai na theimlo mai gwag fuasai ein byd a bychan iawn ein gwybodaeth hebddo. Y mae yn datguddio i ni fod y Duw mawr, y Creawdwr gogoneddus, y Cynhaliwr ffyddlawn, a'r Iachawdwr hollalluog, yn meddu naturiaeth drïawl; neu, mewn geiriau ereill, fod yn yr Hanfod Sanctaidd dri Pherson yn cydfodoli yn ogyfuwch ac yn ddigyfnewid,—y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan. Fel y mae ein golwg yn ymagor ar y gwirionedd mawr a dyrchafedig hwn, y mae gwedd arall ar grefydd ysbrydol

yn dyfod ger ein bron. Y mae y Tad i'w garu a'i anrhydeddu, ac i dderbyn pob ufudd-dod i'w ddeddf a'i lywodraeth. Mae y Mab i'w anwylo a'i barchu, ac i'w ddefnyddio fel y Cyfryngwr trwy yr Hwn yn unig y mae i ni ddyfodfa at y Tad. Ac y mae'r Ysbryd i'w dderbyn a'i ganlyn, ac hefyd yr ydym i ymlenwi o'r Ysbryd Glan. "Eithr llanwer chwi â'r Ysbryd." Y mae yn perthyn i ni, nid yn unig i rodio gyda'r Goruchaf fel y gwir a'r bywiol Dduw, hollbresennol, hollwybodol, a hollalluog, y perffaith gyfiawn, sanctaidd, a da; ond hefyd i gymdeithasu âg Ef fel y mae yn Dad, Mab, ac Ysbryd. Y gyfrinach ddirgeledig ac aruchel hon ydyw sancteiddiolaf crefydd a duwioldeb. Mewn cysylltiad â'n hiachawdwriaeth y mae y datguddiad o'r gwirionedd am y Drindod o Bersonau yn yr Hanfod Ddwyfol yn cael ei wneuthur yn fwyaf eglur: y Tad fel dechreuad neu darddiad, y Mab fel cyfrwng, a'r Ysbryd fel cymhwysydd. Y mae crefydd ysbrydol yn gynwysedig yng ngwaith yr enaid, yr holl enaid, yn ymwneyd â'r Tad fel ffynhonnell yr iachawdwriaeth; â'r Mab fel yr unig Gyfryngwr rhwng Duw a dynion, a'r ffordd at y Tad; ac â'r Ysbryd Glan yn ei waith yn cymhwyso darpariaeth yr Efengyl, trwy oleuo, argyhoeddi, aileni, a sancteiddio. Yn y ffwrn dân gynt yn Babilon, y pedwerydd ydoedd Mab y Dyn yn diogelu ac yn gwaredu y tri llanc. Ond yng nghymdeithas y bywyd ysbrydol, y pedwerydd yw'r enaid crediniol yn ymwneyd â'r Tri-yn-Un,—mewn cariad ac ufudd-dod i'r Tad, mewn ymserchu ac ymddiried yn y Mab, ac mewn rhodio yn ol yr Ysbryd. Dyma gymdeithasfa fawr a gogoneddus mewn gwirionedd! Ac os ydyw yn "fraint, i gael cymdeithas gyda'r saint," pa faint mwy pan y mae "ein cymdeithas ni yn wir gyda'r Tad, a chyda'i Fab Ef Iesu Grist," a hynny dan arweiniad ac yng ngoleuni yr Ysbryd Glan.

Yn awr ni a symudwn ein safle. Nid ydym, modd bynnag, am symud ymhell. Deuwn at Berson yr Arglwydd Iesu Grist.

Dyma fan yn ymyl Duwdod,

ac eto yn agos atom ni ein hunain. Edrychwn ar grefydd ysbrydol o gyfeiriad y Duw-ddyn. Y mae i'r Arglwydd Iesu y lle amlycaf a helaethaf yn y Beibl. Ac y mae yn deilwng o le cyffelyb ym meddylfryd a chalon pob un o'i ganlynwyr, bod yn brif destyn ein myfyrdod ac yn brif wrthrych ein serch. Y mae crefydd ysbrydol yn golygu ein gwaith yn gwneuthur Iesu Grist yn ganolbwynt ein bywyd—yn gymhelliad i'n cynhyrfu, yn esampl i'w ddilyn, yn nôd i ymgyrraedd ato, a'i ogoniant yn amcan ein holl wasanaeth. Y mae yn teilyngu y cyfryw ymgysegriad i "fynegu ei rinweddau," nid yn unig oblegid ei fod yn Dduw-ddyn, ond hefyd ar gyfrif ei swyddau cyfryngol fel Proffwyd, Offeiriad, a Brenin. A dyma gyfeiriad arall o ba un yr ydym yn gweled gwedd ychwanegol ar yr hyn yw crefydd ysbrydol. Y mae yn ymhyfrydiad yn nysgeidiaeth Crist, yn ymorffwysiad ar ei aberth, ac yn ymostyngiad i'w awdurdod; gwrando ei eiriau, pwyso ar ei iawn, plygu i'w ewyllys; dysgu, credu, ufuddhau; eistedd wrth ei draed, edrych ar ei groes, ymaelodi yn ei deyrnas; derbyn a choleddu meddwl Crist, ymdaflu yn hollol ar haeddiant Crist, ac ymroddi o lwyrfryd calon i ufudd-dod Crist.

Bellach ni a symudwn ein safle, a hynny i'r man agosaf atom ein hunain. Edrychwn ar y cwestiwn o'n blaen o gyfeiriad Cynheddfau yr Enaid. Crefydd yn yr enaid ac yng ngweithrediad ein galluoedd

meddyliol a moesol tuag at Dduw yw crefydd ysbrydol. Y mae gan hynny yn cynnwys meddwl, hynny yw, meddwl am Dduw, "meddwl am ei enw ef," a "myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos": meddwl hyd at brofi fod y myfyrdod am dano yn felus; meddwl hefyd gan ymwthio i'r dwfn, nid yn arwynebol, ond yn ddifrifol a dwys, gyda'r amcan o feddu a meithrin syniadau clir a chywir am "fawrion weithredoedd Duw." Dyma faes ëang a thoreithiog! Trwy aros ynddo ac ymborthi ar ei gynnyrch nis gall yr enaid amgen nag ymgryfhau a chasglu cyfoeth lawer. Perthyna i wrthrychau myfyrdod duwiol brydferthwch digyffelyb a swyn anghymharol. Y mae Duw yn "ogoneddus mewn sancteiddrwydd y mae; yr Arglwydd Iesu "oll yn hawddgar," ac "yn decach na meibion dynion;" ac y mae "y pethau sydd uchod" yn hawlio ein serchiadau dyfnaf a chynhesaf. Yn nesaf at fyfyrdodau y meddwl ar bethau ysbrydol, y mae ymserchiad y galon ynddynt yn rhan bwysig o grefydd ysbrydol. Cariad ydyw gair cynhwysfawr y Testament Newydd i ddynodi, nid yn unig y teimlad, y naws, y serch, y cynhesrwydd a'r hoffder yn yr enaid, ond hefyd ymhyfrydiad y serchiadau yn eu gwrthrychau priodol. "Car yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon." "Cusenwch y Mab." "Cerwch eich gilydd." "Ymddigrifa hefyd yn yr Arglwydd." "Ymhyfryded eich enaid mewn brasder." Cwestiwn pwysfawr yr Efengyl, ïe gofyniad y Ceidwad ei Hun eilwaith a thrachefn, yw, "A wyt ti yn fy ngharu i"? Y llais oddiuchod atom yw, "Fy mab, moes i mi dy galon." Y mae crefydd ysbrydol yn cynnwys nid yn unig ein bod yn myfyrio ar bethau Duw yn feddylgar a deallus, ond hefyd ein bod yn meddwl am danynt gyda hyfrydwch, ac fel ein mwynhad pennaf a goreu. Yr ydym hefyd i gadw mewn cof yr hyn a welsom ac a glywsom ac a brofasom am Air y bywyd. Y mae dwy ffordd ymha rai y gall y gynneddf hon weithredu yn yr ymarferiad o grefydd ysbrydol; yn gyntaf, trysori pethau Duw yn y meddwl a'u cuddio yn y galon; ac yn ail, trwy eu galw i fyny i wyneb yr ymwybyddiaeth fel ag i edrych yn adnewyddol arnynt. Yr oedd trefniadau neillduol dan yr Hen Destament i adgofio i'r genedl Iuddewig eu hanes a rhannau ffyrdd Duw tuag atynt; ac y mae yn aros ordinhad arbennig er gwneuthur coffa am weithred bennaf Duw yn achubiaeth dynion. Ac ymhellach, y mae ein natur ni ein hunain yn dangos fod crefydd ysbrydol yn cynnwys ymroddiad yr ewyllys i gadw gorchmynion yr Arglwydd ac yn arfer cydwybod dda tuag at Dduw a dynion. Y mae hyn yn golygu fod y duwiol yn ymwneyd llawer â'r cymhellion sydd yn effeithio yn ddaionus ar yr ewyllys ac yn ei grymuso, ac hefyd yn ymgadw yn agos at y gwirionedd mawr

Am Iesu Grist a'i farwol glwy,

yr hwn yn unig sydd yn dwyn tangnefedd i'r gydwybod, ac ar yr un pryd yn ei phuro. "Cymdeithas ei ddioddefiadau Ef" ydyw nerth yr "ewyllys sydd yng nghyfaith yr Arglwydd," ac unig noddfa heddwch "cydwybod ddirwystr." Mangre gysegredig crefydd ysbrydol yw pen Calfaria, a'i ddymuniad pennaf yw,

Nac aed hwnnw byth o'm cof.

Dyma lle y mae yn cael ei maeth goreu a'i symbyliad grymusaf. Mae yr awyrgylch ar fryn Golgotha yn bur ac yn iachus, ac yn wirioneddol

K

hyfryd i anadlu ynddi. Dyma ddyhëad pur pob duwiol, ac am hyn y gweddia.

O hoelia'm meddwl ddydd a nos
Crwydredig wrth dy nefol groes,
A phlanna'm hysbryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur.

Yma y mae prif destyn y myfyrdod, prif wrthrych y serch, prif drysor y cof, prif gymhelliad yr ewyllys, a phrif gysur y gydwybod effro yn cydgyfarfod.

Y mae un gair gan yr Apostol Paul yn neillduol sydd yn dangos fod crefydd ysbrydol yn gynwysedig yng ngwaith yr enaid yn arfer ei gynheddfau yng nghyfeiriad, gyda golwg ar a thuag at bethau Duw, a'r nefoedd, a thragwyddoldeb. "Ymarfer dy hun i dduwioldeb." Yn yr ymarferiad ysbrydol hwn y mae dyn yn ymgodi at lefel ei natur. Y mae islaw iddo ei hun ymhob man a chyda phopeth arall, hyd yn oed yn llwybrau cyfreithlawn bywyd; a phan yn rhodio yn ffyrdd pechod y mae yn annhraethol islaw iddo ei hun ac yn mawr ddiraddio ei hunan. Eithr y mae gwir dduwioldeb yn gofyn ac yn galw allan weithrediad egnïol holl alluoedd yr enaid. A hawdd ydyw gweled y gwahaniaeth rhwng y rhai sydd yn meddu "syniad yr ysbryd" a'r rhai sydd yn crefydda yn arwynebol ac yn allanol, gyda golwg ar y wedd yma ar grefydd ysbrydol. Y mae gan y naill ddeall da, a chariad mawr, a chof byw, ac ewyllys gref, a chydwybod dyner; mae ganddynt brofiad melus a grymus o bethau crefydd; y mae eu hymddiddanion yn fuddiol a blasus; eu hymarweddiad yn esiampl deilwng i'w dilyn; y mae ganddynt gymeriad sydd yn eu gwneuthur yn arogl bywyd i fywyd, ac y mae eu dylanwad yn fawr er daioni. Eithr yn achos y rhai ag y mae eu hymwneyd â chrefydd yn arwynebol, ac yn unig mewn allanolion, nid oes modd gwahaniaethu rhwng byd ac eglwys; mae y ddirnadaeth o bethau ysbrydol yn wan, y teimladau crefyddol yn ysgafn, yr ewyllys yn eiddil a diymadferth, a'r gydwybod yn amddifad o argyhoeddiadau dyfnion. Nid yw yn perthyn i neb "farnu," ond yr Hwn ag y mae pob barn wedi ei rhoddi iddo; ond y mae yn gorffwys arnom ni i adnabod y prennau wrth eu ffrwyth. Unwaith eto, gan hynny, dywedwn fod crefydd ysbrydol yn cynnwys meddylgarwch a serch a chofusrwydd ac ewyllysgarwch a chydwybodolrwydd mewn perthynas i'r pethau mawrion sydd ynglyn wrth ogoniant Duw ac iachawdwriaeth dyn; goleuni yn y deall, cariad yn y galon, trysorfa dda yn y cof, nerth yn yr ewyllys, a thangnefedd yn y gydwybod.

Eithr nid ydym wedi gorffen ag edrych ar y mater dan sylw o gyfeiriad Dyn. Nid ydym wedi crybwyll dim, o leiaf yn uniongyrchol, am sefyllfa dyn fel pechadur euog ger bron Duw. Y mae y gwirionedd hwn yn cael ei dybio yn yr hyn a ddywedwyd. Ffaith fawr ddifrifol ac ofnadwy yn hanes dyn yw pechod, ac y mae yn rhaid ei chymeryd i ystyriaeth, a'i chadw yn amlwg o flaen y meddwl, fel ag i ddeall y sefyllfa yr ydym ynddi wrth natur. Yng ngwyneb yr ystyriaeth bwysig o euogrwydd a cholledigaeth dyn fel troseddwr o ddeddf Duw, y mae yn eglur fod crefydd ysbrydol yn cynnwys argyhoeddiadau cryfion mewn perthynas i bechod, a chyfiawnder, a barn; dwfn edifeirwch am bechod; dwys deimlad o ddrwg haeddiant ar gyfrif pechod, a gweddi daer am faddeuant, a hynny yn unig ar sail aberth a haeddiant Iesu Grist; ymdrech ddyfal i gilio oddiwrth

bechod, ac i farweiddio ei lygredd; a defnydd gwastadol o'r moddion ordeiniedig i sancteiddio ein natur halogedig. Nid gwendid, na chamsyniad, nac anffawd, ydyw pechod yng ngolwg y dyn o feddwl ysbrydol; ond drwg erchyll, a gwrthryfel yn erbyn Duw. Ac am hynny mae ei edifeirwch yn ddwys-bigiad, ïe, yn ofid ingol. Y mae pob gobaith am waredigaeth yn darfod o ran dim ag y gall efe ei hun ei gyflawni. A phan y mae yr olwg ar drefn gras yn gwawrio arno, ac y mae yntau yn cael ei alluogi i ymdaflu ar haeddiannau y Dwyfol iawn, y mae iddo megis gollyngdod o gaethiwed. Yn yr ymwybyddiaeth ddedwydd o'i ryddhâd, y mae ganddo heddwch tuag at Dduw, a gobaith bywiol am ei fywyd tragwyddol; ac fel ffrwyth o hynny, "y mae yn ei buro ei hun," trwy ymroddiad i fywyd o sancteiddrwydd a defnyddioldeb.

Afreidiol yw ychwanegu at yr amrywiol elfeniadau o grefydd ysbrydol yr ydym yn awr wedi eu cyflwyno. Gellid nodi safleoedd ereill o ba rai i edrych ar y pwnc. Ond y mae yr hyn a ddywedwyd yn ddigon i ddangos yr uchder a'r dyfnder, yr hyd a'r lled, y cyfoeth a'r ehangder sydd yn perthyn i'r mater. Am hynny y mae yn anhawdd, os nad yn amhosibl disgyn ar ddosbarthiad dyhysbyddol o'r hyn sydd yn gynwysedig mewn crefydd ysbrydol. Ond hyderwn fod y sylwadau a wnaethpwyd yn cynhyrchu argraff o fawr bwysigrwydd ac annhraethol werth gwir dduwioldeb,—crefydd bur a dihalog "yn wreiddyn y mater," yn y dyn oddifewn. O'r gwreiddyn hwn y daw y tyfiant iachus, a'r praffder trwchus, a'r gwyrddlesni parhaol, a'r addfed ffrwyth. Meithrin crefydd ysbrydol ydyw un o brif ddibenion ordinhadau yr Efengyl; am ba reswm y maent yn cael eu galw yn foddion gras. Y mae yn perthyn yn arbennig i'r rhai sydd yn arwain yr addoliad cyhoeddus i ddarpar arlwy helaeth, fel y bo'r bwrdd yn Nhy yr Arglwydd yn llawn. Yn sicr, fe ddylai y bregeth fod yn rhywbeth mwy nag ychydig friwsion neu damaid; bydded, hyd y gellir, yn dorth o fara iach a blasus. Pa un a oes chwant bwyd ar y saint ar fore Saboth ai peidio, y mae eisieu bwyd yn fawr arnynt ar ol ymdreulio trwy gydol yr wythnos gyda thrin y byd; ïe, bwyd ydyw eu hangen; nid blodau na barddon·aeth na beirniadaeth, ond bwyd,—manna nefol y gwirionedd Dwyfol. Pan y mae cymaint o amser a nerth ein cydwladwyr yn cael eu rhoddi i'r symudiadau gwleidyddol, addysgol, a chenedlaethol ag sydd yn ein cynhyrfu yn y dyddiau hyn,— heb son am ofalon cyffredin bywyd,— ni fu erioed yn fwy angenrheidiol cadw i fyny fywyd ysbrydol yr eglwysi. Fe ganiateir hyd yn oed gan wyddonwyr fod y bywyd newydd sydd yn awr yn hydreiddio y Cymry yn gynnyrch crefydd ein gwlad. Os gwir hynny, y mae diogelwch ein haddysgiaeth a'n cenedlgarwch yn dibynnu a'r barhad a dadblygiad ein bywyd crefyddol. Y mae ein trefniadau eglwysig yn helaeth a manwl. Mae y cynlluniadau yn lliosog, a'r cymdeithasau yn amlhau. Beth am y bywyd mewnol? A ydyw'r galon yn ddigon iach a grymus i yrru'r gwaed yn gynnes trwy'r holl wythennau a hyd derfynau eithaf y corff neu'r gyfundrefn? Crefydd ysbrydol gref, gyflawn, yn unig a symuda achos pob gwendid a nychdod, ac a wna bobl yr Arglwydd yn abl i wrthsefyll dylifiad llanw bydolrwydd. "Canys syniad y cnawd, marwolaeth yw; a syniad yr Ysbryd, bywyd a thangnefedd yw."

WILLIAM EVANS.

# PETER WILLIAMS.

III

YN y flwyddyn 1790, fel y crybwyllwyd mewn ysgrif flaenorol, cyhoeddodd Peter Williams argraffiad o Feibl John Canne, yn cynnwys cyfeiriadau (*references*) y gŵr hwnnw; ynghyda sylwadau eglurhaol o'i eiddo ei hun ar waelod y dail. Yn y sylwadau hyn mae y golygydd yn rhoddi datganiad llawer mwy pendant o'i syniadau ar y Drindod na dim oedd wedi ymddangos yn y Beibl Teuluaidd; ac un o'r pethau yr ydym yn synnu ato fwyaf yn yr holl achos ydyw, fod yr hen weinidog yn ail gyhoeddi y golygiadau oedd, rai blynyddau yn flaenorol, wedi achosi cymaint o anfoddlonrwydd a siarad ymysg ei frodyr crefyddol. Pa fodd bynnag, ar ymddanghosiad Beibl Canne, ail ddechreuodd yr ymosodiad ar y golygydd, oblegid ei olygiadau ar athrawiaeth y Drindod. Dywedir fod yr achos wedi cael ei ddadleu mewn amryw Gymdeithasfaoedd yn y De a'r Gogledd; ac yn eu plith enwir Cymdeithasfaoedd y Bala, Aberystwyth, Llanidloes, a Llandeilo Fawr. Ychydig sydd gennym o hanes yr ymdriniaeth a fu ar y mater yn y naill na'r llall o'r cynulliadau hyn, na phwy a gymerodd ran yn y ddadl. Gyda chyfeiriad at y drafodaeth yng Nghymanfa y Bala, dywed ei gofiantydd, Owen Williams, fel y canlyn:—

Ond amddiffynnodd ei hun ger eu bron mor gadarn, yn rhesymol ac Ysgrythyrol, nes oedd ei wrthwynebwyr oll yn ymddangos megis mudaniaid: eto gofynnwyd i Mr. Daniel Rowland, a wnai ef ei wrthwynebu; atebodd na wnai, o herwydd (ebe ef), fod y testyn yn rhy bwysfawr, ac am hynny nad oedd ganddo ddigon o ddeall i farnu a oedd P. W. yn cyfeiliorni, ai nad oedd. Pa fodd bynnag, cyfododd i'w wrthwynebu wr o'r enw Richard Tibbot; ond bu ei holl araeth yn ofer, a therfynwyd y cyfarfod, a P. W. yn fuddugoliaethus.

Mae'n hysbys mai gweinidog ar eglwys yr Annibynwyr yn Llanbrynmair oedd Richard Tibbot y pryd hwn, ond yr oedd yn parhau yn gyfeillgar â'i hen frodyr y Methodistiaid, ac yn arfer mynychu eu Cymanfaoedd yn gyson hyd ddiwedd ei oes. Oddiwrth y darluniad a roddir o'r gŵr hwn ym "Methodistiaeth Cymru," mae yn amlwg ei fod yn un a berchid yn fawr gan bob plaid o grefyddwyr yn y Dywysogaeth. Ymysg ereill, defnyddir yr ymadroddion canlynol er dynodi ei nodweddiad:—"Dywedir am dano nad oedd neb yn fwy cadarn ac anhyblyg nag ef ym mhethau pwysig crefydd, na neb yn fwy goddefol i amrywio yn ei phethau amgylchiadol. Yr oedd ef ei hun hefyd yn nodedig am ei ysbryd hynaws, rhydd a diragfarn."

Mae yn ymddangos mai ar ol Cymdeithasfa y Bala y bu yr achos dan sylw yn Aberystwyth; ond nid oes wybodaeth pa benderfyniad a basiwyd ar y mater yno chwaith. Ond mae lle i gasglu fod y frawdoliaeth y pryd hwnnw wedi anghymeradwyo daliadau Peter Williams, a'u condemnio fel pethau cyfeiliornus. Yn y cofiant ceir y sylwadau a ganlyn ar yr hyn a gymerodd le yng Nghymdeithasfa Aberystwyth:—

Ei wrthwynebwr pennaf ydoedd Nathaniel Rowland, yr hwn y pryd hwnnw, fel y dywedir, oedd yn wr rhy ieuanc o lawer, ac hefyd yn rhy amhrofiadol i wneuthur barn ar y fath hen wr enwog, a phrofiadol lafurwr yng ngwinllan Crist. Ond pentyrodd y gwrthwynebwr eiriau ofnadwy a

chaledion, hollol ddieithr i'r testyn mewn llaw, nes oedd meddyliau a thymerau efengylaidd Peter Williams yn methu dal, o herwydd ei fod yn canfod ysbryd yr Efengyl wedi ei symud o'u plith. Dywedwyd wrthynt gan wr oedd yn bresennol yno, mai enllibwyr rhy annhebyg i Gristionogion oedd y gwrthwynebwyr oll; felly aeth diwedd y Gymanfa honno yn waeth na'i dechreuad.

Dywedir nad oedd Daniel Rowland yn Aberystwyth y pryd hwn, a bod ei fab, Nathaniel Rowland, wedi talu ymweliad â'i dad yn fuan ar ol y Gymdeithasfa, ac adrodd iddo hanes yr ymdriniaeth a fuasai ynddi ar achos Peter Williams, yn cynnwys y rhan a gymerasai ef ei hun yn yr achos; pryd y dywedodd ei dad wrtho, "Nat, Nat, ti a gondemniaist dy well." Bu trafodaeth drachefn ar yr achos mewn Cymdeithasfa yn Llanidloes; ond ni ddywedir yn fanwl pa bryd y cymerodd hynny le, beth oedd natur yr ymdriniaeth, na pha fodd y terfynodd. Ymddengys nad oedd P. Williams ei hun yn Llanidloes, oblegid mewn llythyr a ysgrifennodd ar ol hynny at un o'i hen gyfeillion, dywed, "Mi gefais lythyr angharuaidd oddiwrth y brodyr yn Llanidloes, yr hwn a barodd i mi fawr ofid calon." Yr ydym yn casglu fod y frawdoliaeth yn Llanidloes wedi dyfod i'r penderfyniad fod yn rhaid diarddel y Parch. Peter Williams, oddieithr iddo ymwrthod â'r syniadau yr oedd wedi eu cyhoeddi ar Bersonau y Drindod, ac addaw peidio eu hamddiffyn rhagllaw; a bod y llythyr y cyfeiriwyd ato wedi ei anfon i ddatgan hynny iddo, ac er ceisio ei ddarbwyllo mai hwn oedd yr unig lwybr trwy ba un y gellid tawelu yr ystorm, a chadw y pleidiau i gydweithredu yn heddychlawn yn y dyfodol. Ond hyn, fel y gwelir, ni fynnai Peter Williams ei wneuthur; yn hytrach, mae yn parhau i amddiffyn y pethau y cwynid o'u herwydd mor gadarn a diysgog ag erioed, gan ddatgan nad oedd yr hyn a roddid yn ei erbyn yn galw am gerydd o gwbl. Mewn canlyniad i hyn cymerodd y diarddeliad le, fel yr ymddengys, mewn Cymdeithasfa a gynhaliwyd yn Llandeilo Fawr, yn 1792.

Yr ydym yn teimlo fod yn resyn na buasai mwy o fanylion am y drafodaeth anniddan hon ar gôf a chadw; megis pa benderfyniadau a basiwyd ar yr achos, a phwy oedd y personau a gymerasant ran yn y siarad. Buasai hynny, a dweyd y lleiaf, yn boddio cywreinrwydd yr oes bresennol. Ond mae yn hawdd cyfrif am y diffyg hwn; yr oedd yr achos o'i gychwyniad yn un mor boenus, y "testyn," fel y dywedai Rowland, "mor bwysfawr" ac anhawdd ei amgyffred, ymadroddion mor chwerwon wedi eu defnyddio gan y pleidiau y naill tuag at y llall, y trychineb o ymraniad oedd yn bygwth y Corff ar y naill law mor fawr, a gwrthrych yr ymosodiad ar y llaw arall yn hen weinidog mor barchus a defnyddiol, fel nad oedd y rhai cymhwysaf i wneyd hynny yn teimlo un awydd i adrodd yr hanes, gan farnu yn hytrach mai distawrwydd a syndod oedd yn gweddu oreu i'r amgylchiad.

Dywedir fod Daniel Bowland a W. Williams, Pantycelyn, yn cymeryd plaid Peter Williams yn yr achos, a chan fod eu parch a'u dylanwad yn y Gymdeithasfa—ar gyfrif eu defnyddioldeb a'u hoedran, —uwchlaw yr eiddo neb arall, llwyddasant, tra y buont hwy fyw, i atal y gwrthwynebwyr i ddwyn eu barn i fuddugoliaeth, trwy fwrw y cyhuddedig allan o'r synagog. Ysgrifennwyd amddiffyniad iddo dan yr enw "Dialogous, neu Ymddiddan rhwng Philalethes ac Eusebes, mewn perthynas i wir Grist'nogrwydd." Argraffwyd hwn yn bamffled bychan yn Nhrefecca, fel y tybir, heb enw yr awdwr wrtho; ond dyddir

ef Gorffennaf 21, 1791. Dywed "Llyfryddiaeth y Cymry" mai y Pardd o Bantycelyn oedd awdwr yr amddiffyniad hwn; ond credwn mai camgymeriad yw hynny, gan fod Williams wedi marw yn Ionawr, 1791. Bu Daniel Rowland farw Hydref 16, 1790, yn 77 mlwydd oed; a bu William Williams farw Ionawr 11, 1791, yn 74 mlwydd oed. Fel y sylwyd, yr oedd Nathaniel Rowland, mab y Parch. Daniel Rowland, yn cymeryd rhan flaenllaw yn yr helynt hwn, ac yn wrthwynebwr creulon i P. Williams a'i olygiadau. Un o weinidogion yr Eglwys Sefydledig oedd N. Rowland, ond yn cyfeillachu llawer â'r Methodistiaid, ac yn cymeryd rhan bwysig yn eu Cymanfaoedd, fel y gwnai amryw ereill cyffelyb iddo y pryd hynny. Mae yn ymddangos mai gŵr balch ac ystyfnig oedd Nathaniel Rowland, hollol amddifad o hynawsedd ac arafwch ei dad; ac nid oedd iddo y gair goreu am foesoldeb ei fuchedd. Yn 1807, dywedir iddo gael ei atal i weinidogaethu yn yr Eglwys Wladol oblegid anghymedroldeb; ac yn yr un flwyddyn, bwriwyd ef allan o fysg y Methodistiaid; a thybiwn na byddai hanes yr amgylchiad diweddaf allan o le yn y fan hon. Ceir yr adroddiad yng "Nghofiant John Jones, Talsarn,' yn y sylwadau a wneir ar y Parch. Ebenezer Morris, er dangos yr awdurdod a'r gwroldeb a berthynai i'r gweinidog enwog o Dwrgwyn, hyd yn oed y pryd hwnnw:—

Ac yn y flwyddyn 1807, mewn Cymdeithasfa yn y Castell Newydd, pan nad oedd Mr. Jones, o Langana, na Mr. Griffiths, o Nefern, na neb o'r rha oeddent hŷn nag ef, yn ddigon gwrol i ddisgyblu Mr. Nathaniel Rowland, am ddrwgfuchedd amlwg a diamheuol; a phan y mynnai ereill weinyddu rhyw gerydd ysgafnach, fe ddanghosodd Mr. Ebenezer Morris y fath onestrwydd a gwroldeb a dylanwad, ag na welwyd yn fynych ddim cyffelyb. Mewn araeth ddifrifol, a nodedig o effeithiol—yn yr hon y cyfeiriai gyda'r teimladau dwysaf, at lafur apostolaidd a bendithiol tad y cyhuddedig; ac at ddoniau disglaer, sefyllfa urddasol, hir wasanaeth gwerthfawr, a dylanwad mawr y cyhuddedig ei hunan,—efe a sylwai fod y profion o'i afreolaeth a'i ddrwgfuchedd mor amlwg, a'i ymddygiadau mor anghydweddol â'r hyn oedd deilwng i weinidog Cristionogol, fel yr oedd efe yn teimlo angenrheidrwydd arno i gynnyg ar fod i bob cysylltiad gweinidogaethol rhyngddo ef â hwynt gael ei dorri, ac na byddai mwyach i'w ystyried yn aelod o'r Gymdeithasfa. Cefnogwyd hynny gan Mr. David Charles, Caerfyrddin, yr hwn nad ydoedd eto wedi dechreu pregethu, ond yn unig yn flaenor. Bu yno am ysbaid ddistawrwydd difrifol. Gofynnai Mr. Jones, o Langana, A oedd gan neb arall ryw gynygiad gwahanol? Ond nid oedd gan neb. "Rhoddwch y cynygiad i'r cyfarfod, Mr. Jones," meddai Mr. Ebenezer Morris. "Na, rhaid i chwi ei roddi eich hunan, Eben., ni allaf fi wneyd," meddai yntau, a r dagrau yn treiglo dros ei ruddiau. "Wel, Mr. Jones, eich lle chwi ydyw ei roddi, ond os na wnewch chwi, yn enw Iesu Grist, mi a'i gwnaf." Ac yna, â golwg bruddaidd ond awdurdodol arno, fe ddywedodd,—"Yr wyf fi ynte yn galw ar bawb sydd yma ag sydd am sefyll dros burdeb eglwys Crist ac anrhydedd gweinidogaeth yr efengyl, i gyduno â mi ac â Mr. David Charles, yn ol y cynygiad a osodwyd ger eich bron, i dori pob cysylltiad â Mr. Rowland, hyd oni chaffer arwyddion edifeirwch gwirioneddol ynddo." Ar hynny, fe gododd pawb eu dwylaw—hyd yn oed Mr. Jones, Llangana, a'r offeiriaid ereill. Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi hynod, a hynod iawn, gan Mr. Evans, New Inn." "Cofiant John Jones, Talsarn." Cyf. II. td. 837-838).

Yr ydym yn casglu fod N. Rowland wedi cael ei adferu i'w le a'i swydd ymhen amser ar ol hyn; oblegid dywedir ddarfod iddo gilio yn hollol oddiwrth y Methodistiaid ar ol y Neillduad yn 1811; ac iddo fod

yn gweinidogaethu mewn capel a godwyd iddo yn Hwlffordd, Sir Benfro, gan blaid fechan o'r Methodistiaid nad oeddynt yn foddlawn i neb weinyddu yr ordinhadau iddynt, ond offeiriaid Eglwys Loegr. Bu farw yn 1831, yn 82 mlwydd oed.

Mae yn hysbys fod brodyr parchus ereill perthynol i'r De a'r Gogledd yn bresennol yn rhai, os nad yn yr oll, o'r Cymanfaoedd y bu achos Peter Williams ger bron; megis Mr. Jones, o Langan; Mr. Charles, ac ond odid, John Evans, o'r Bala; a Robert Jones, Rhoslan. Yr oedd y gwŷr hyn yn gyfryw o ran eu cywirdeb, eu pwyll a'u harafwch, fel nas gellir tybied, pa ran bynnag a gymerasant yn y drafodaeth, ddarfod iddynt, hyd eithaf eu gallu, oddef i ddim gael ei wneuthur ond yr hyn oedd yn unol â thegwch a chyfiawnder.

Mae yn wybyddus ddarfod i Mr. P. Williams apelio at ei frodyr fwy nag unwaith, am iddynt ailystyried eu penderfyniad, a chaniatau iddo gael treulio gweddill ei oes yn eu mysg; ond ni fynegir pa effaith a gafodd hynny ar ei hen gyfeillion, heblaw fod sicrwydd na farnwyd yn brïodol alw y ddedfryd yn ol. Mae un o'r llythyrau a ysgrifennodd i'r perwyl yma, yr hwn hefyd a argraffwyd, yn lled faith; ond gan ei fod yn taflu mesur o oleuni ar y cwynion a ddygid i'w erbyn, yn gystal a'i amddiffyniad yntau iddynt, tybiwn mai teg ydyw rhoddi hwnnw hefyd yn gystal â'r llythyrau ereill sydd yn dilyn, i mewn yn gyflawn :—

*Llythyr at Hen Gydymaith mewn perthynas i gywirdeb cyfieithiad Bib Canne, yn Ymddiffyn Diwygiad, ac yn Gwrthbrofi Camachwyniad. 2 Cor. ii 17, a iv. 2; Salm cxix. 169; Zech. xiii. 6. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, dros P. Williams.* MDCCXCI. (8 *tudalen*, 12 *plyg bychan.*)

Fy hen Gydymaith,—Mi a glywais, ac y mae'n wir, fod afonydd mawrion yn lledanu, pa nesaf y delont i'r môr: gobeithio fod eich cariad chwi yn ymhelaethu, fel y mae'ch gwallt yn gwynnu, a chwithau yn neshau i fôr tragwyddoldeb; am hynny yr wyf yn chwennych traethu wrthych fy nghwyn a'm credo.

Mi a gefais lythyr angharuaidd oddiwrth y brodyr yn Llanidloes, yr hwn a barodd i mi fawr ofid calon. Mi dybiais sefydlu heddwch yn Aberystwyth, a bod yr hen gariad yn adfywio. Pa fodd y diflannodd mor fuan? A ydyw yn weithred gydwybodol, o ddifrif, yn eich golwg chwi gynnwys dygasedd yn eich mynwes, tuag at eich hen frawd; a diarddelu'ch cydweithiwr llafurus yng ngwinllan Crist? Wele, a rhaid i'r neb a lwyr ymroddo i'r Arglwydd, fod yn gas gan bawb! A oedd neb rhyw faterion yn fwy angenrheidiol i'w trin yn eich cyfarfodydd, na chydymgynghori, fel Saul, i hela chwannen? Rheitiach ymogelyd rhag Pabyddiaeth, gwylied yn erbyn balchder yr oes, a heresi Sosiniaeth, sydd yn ymdaenu fel diluw. Ni wnaethum â chwi ddim cam, ac ni wnaethum niwaid ychwaith i eglwys Crist.

Yn ddiamau y mae'r *beiau* a nodir yn eich llythyr (os ydynt feiau hefyd) yn rhy fychain i gyffroi digofaint, ac i dorri cwlwm cariad, rhwng brodyr Cristionogol. Y trosedd a enwir yw, am *sylwadau a newid geiriau* yn y Bibl bychan; ond ni ddarfu i chwi nodi'r bai yn y naill na'r llall. Ai cof gennych y gorchymyn, "Car dy gymydog, na cherydda hynafgwr, na wnewch gam a'ch gilydd, byddwch ymarhous, frodyr?" &c.

Fe ddywedwyd wrthyf, mewn perthynas i'r *newid geiriau*, mai rhoi'r gair *benywaid* a wnaethum yn lle'r gair *gwragedd*, Dat. xiv. 4. Yn sicr fe haeddai *gwragedd* well parch: canys *benywaid* drwg, nid *gwragedd* diwair, sy'n halogi dynion; ac ysbryd anghrist sy'n gwahardd prïodi! Mi a wn mai cyffelybiaeth ydyw, fel 2 Cor. xi. 2; ac mai eilunod a feddylir; eithr gan fod son am *halogi*, mi a fernais yn fwy addas roddi'r cyfieithiad yn ol y Saesoneg, *benywaid*. Os ydyw hynny yn fai, gobeithio nad ydyw

yn anfaddeuol gan Dduw na dynion. Mi a newidiais hefyd y gair *cenhedlwyd* yn *esgorwyd*, Diar. viii 25. Ond ni throseddais yn erbyn y gwirionedd trwy hynny chwaith; canys y mae'r gair yn yr iaith wreiddiol yn cael ei arferyd felly; a'r un modd y gwelwn yn y Saesoneg (*brought forth*) sef *esgorwyd*, ac felly ym *Mibl y Brenhin*. Yn ddiau, nid y swn ond y synwyr, nid y gair ond yr ystyr, y dylid ymofyn; am hynny y clywn yn fynych y gair a'i gyfieithiad ynghyd, yn yr iaith wreiddiol; megis "Mene, Mene, Tecel, Upharsin," Dan. v. 25. "Immanuel," Math. i. 23. "Talitha, cwmi," Marc v. 41. "Golgotha," Marc xv. 22. "Melcisedec," Heb. vii. 1. Diau y dylai pob cyfieithydd arferyd y gair a amlygo'r synwyr, nid ei dywyllu; ac ni ddarfu i mi ei dywyllu, ond ei eglurhau. "Ond" medd rhyw un, "yr oedd diben hunanol gennych." Y mae yn ddiameu fod gennyf *ddiben*, sef i "ddyrchafu Mab y dyn," a throi llygaid y darllennydd at ein *Cyfathrachwr* anwyl, yr *Immaniwel* mwyn, y *Mab* a ragddywedodd y proffwyd yr *esgorai* morwyn arno; a chan gael o honof gyfle i wneuthur felly, mi a'i cofleidiais yn llawen. Ac os yw hyn yn eich tramgwyddo, chwi dramgwyddwch heb achos, o leiaf ni roddais un achos o'm bodd, i dramgwyddo neb o honoch. Eithr hyn sydd sicr, os bydd un gorchwyl hynod yn cael ei wneuthur, ag a fyddo'n fuddiol i eglwys Crist, fe arfer Satan bob dichell i ddiddymu'r amcan; fe fydd "fel sarff ar y ffordd a neidr ar y llwybr, yn brathu sodlau'r march, fel y syrthio ei farchog yn ol." Gobeithio y bydd i'm Duw ofalu am danaf, megis y dywedodd yn Salm xci. 13, "Ar y llew a'r asp y cerddi, y cenaw llew a'r ddraig a fethri." Ond ameu yr wyf fod rhyw rai yn cyffroi cynnen, trwy adgoffa'r hen ddadl ynghylch *Maboliaeth* ein Iachawdwr, Iesu Grist; sef pa un ai trwy genhedliad tragwyddol *o sylwedd y Tad*, fel y dywaid rhai; neu o herwydd y natur ddynol a genhedlwyd trwy'r *Ysbryd Glan*, o Fair Forwyn, fel yr wyf fi yn ostyngedig yn meddwl, y cafodd ei alw yn *Fab*, Salm ii. 7. Yr un peth gan Dduw amser a thragwyddoldeb. Cyfrifir fod Crist wedi codi oddiwrth y meirw, cyn ei eni i'r byd. P'odd bynnag, gwell i ni weddio am gael ein dysgu gan Dduw, nag ymddadleu ynghylch dirgelwch mor fawr, na's gallwn ei amgyffred, mwy na chragen fechan gynnwys y môr! Ac hefyd, gan ein bod ni, bawb fel ein gilydd, yn cyfaddef mai *Mab Duw* yw *Iesu Grist*, a'i fod efe yn Dduw, ac mai efe yw'r *Iachawdwr:* "Cusanwn y Mab, ymostyngwn iddo," ac nac ymrysonwn ynghylch yr amser y cafodd ei *faboliaeth;* eithr profwn ef yn Gyfathrachwr i'n henaid, fel Boaz i Ruth! Y mae etifedd yn etifedd, ni a wyddom, trwy waedoliaeth; ond profi hynny, digon yw. Ni waeth beth oedd oed y lleuad, nac ym mha arwydd yr oedd yr haul, pan y ganed ef; felly adnabod yr Iesu yn achubydd yw'r fraint! Fe gyfeiriodd y seren ato, a'r angel a dystiodd mai *efe* oedd, pan orweddodd yn y preseb. Y mae'n ddiddadl ei genhedlu ef yn *arfaethol*, o dragwyddoldeb, Mic. v. 2; ac yng nghyflawnder yr amser, yr arfaeth ddianwadal a gyflawnwyd; "Duw a ymddanghosodd yn y cnawd." Yr hwn a greodd *ddyn* ar ei ddelw ei hun, a wisgodd natur dyn! ac felly fe ddaeth yn Iachawdwriaeth ini. *Duw* mewn natur dyn y mae fy enaid yn ei garu:—

Dyna ddigon, dyna ddigon,
Cheisia'i 'nabod dim ond hyn.

O frodyr, cyd-ddygwch â mi ronyn bach; gadewch i mi orphen fy ngyrfa yn eich mysg. Pe bawn yn cyfeiliorni, a'm barn yn gamsyniol, eto chwi addefwch nad yw fy athrawiaeth yn *heresi ddinystriol*. Diau, ni wna ddywedyd mai Mab Mair oedd y *Mab a roddwyd i ni*, fel y dywed y proffwyd Esaia; ni wna hynny, meddaf, ddim niwaid i enaid neb! Nage, fe wna i enaid garu *Duw*, a charu pob *dyn*, sydd â delw Duw arno. Wele, y mae'n brenin tirion yn caniatau rhyddid i'r argraffwasg! Dioddefwch chwithau i mi werthu fy Miblau; gan ein bod yn cael *llonyddwch*, na fyddwn rwystr i'n gilydd; cyd-filwyr ydym ni. Moliant i Dduw, y mae

galwad taer am Fiblau eto; sef *bychain* a *mawrion*. Atolwg i chwi, oni chynorthwywch fi, gadewch i mi lonydd; peidiwch a gwaradwyddo y gwaith y bum dros Dduw, i ogoniant Crist, a lleshad eneidiau, yn ymboeni wrtho dair blynedd, gan dreulio ac ymdreulio, gyda phob diwydrwydd, mewn gweddiau ac ymprydiau ddydd a nos. A gaf fi, gwedi'r cwbl fy enllibio gan "blant fy mam?" Ond wele, gelynion gŵr fydd tylwyth ei dŷ ei hun. Gosodant yn fy erbyn beth nas gwn oddiwrtho! Dywedasant roddi o honof y nifer *unigol*, yn lle y nifer *lliosog*, yn nechreu Genesis. Ond tafod cenfigen a'i traethodd! Y mae'r Bibl ei hun yn dyst. Dywedasant hefyd ddarfod i mi osod ysgrythyrau cyfeiriol ar ymyl y ddalen, yn ol fy meddwl fy hun, yn lle nodau J. Canne! Mi a *chwanegais*, y mae'n wir, ac y mae'r addysg yn helaethach. Ond yr wyf fi'n tybied nad yn fwriadol y gwnaethant gam â mi o ran ymyl y ddalen; ond o eisieu gwybod pa argraffiad yn Saesoneg oedd fy *nghopi* yn y Gymraeg, sef yr un a argraffwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1698; a gwybyddent mai fel *esboniad* yr amcenir.

Fe ddywedwyd wrthyf hefyd, fod fy mrodyr yn anfoddloni i'm sylwiad ar yr ymadrodd yn Mathew i. 20; a Luc i. 35, y *peth sanctaidd*, am i mi ddywedyd fod dull yr ymadrodd yn profi, nad oedd Crist yn *berson gwahanol* oddiwrth y Tad, eithr yn banfod ynddo, Ioan vi. 57, fel y brigwydd (*mistletoe*) yn y pren lle mae'n tyfu; fe ellir ei wahaniaethu, nid ei wahanu; fel corph, enaid, ac ysbryd, neu fysedd llaw dyn; canys y mae'r Tad a'r Mab yn *cydweithio*, Ioan v. 17. Os bernwch fi am hyn, chwi'm gosodwch, nid ym mysg *gwehilion* y bobl (a wnaethpwyd yn offeiriaid); ond ymhlith Cymanfa barchedig, sef awdwyr yr agoriad ar y Bibl, a elwir *Assembly's Annotations:* yno y gwelais y gair yn argraffedig. Pe amgen ni fuaswn yn anturio ei gymeradwyo, rhag tramgwyddo'm brodyr gweinion; canys mi a wn nad gwiw rhoddi gwin newydd mewn hen gostrelau.

Heblaw hynny, fe feir arnaf am newid yr ymadrodd yn Esaia liii, 10., sef *ei hun*, yn lle *ei enaid*; eithr gan fod rhai yn dychmygu mai *enaid* dyn sy'n pechu, ac nid y corph, ac felly *enaid* y Cyfryngwr ddylai ddioddef, mi fernais yn addas (i ragflaenu cyfeiliornad) ddywedyd, *ei hun;* canys y mae'r gair yn wreiddiol yn arwyddo'r holl ddyn. Ac yn Esaia liii, 12. newidiais y gair *ranna* yn *feddianna*. Pa beth yw *rhannu Sichem*, ond meddiannu? Salm lx. 6. Felly gellir dywedyd yma, "efe a feddianna yspail y cedyrn;" canys nid gadael rhan yn llaw'r gelyn a wna Crist, ond *ysbeilio'r ysbeilydd*, gwared ei bobl yn hollol, heb adael *ewin yn ol;* gorchfygu tywysogaethau, &c., a gwared ei eiddo o law eu gelynion: fel Dafydd a'i wŷr yn dwyn y cwbl o law'r Amaleciaid a losgasant Siclag. 1 Sam. xxx, 19. Os yw'r *cyfieithiad* yn gywir, onid yw'r goleu hyn yn ardderchogi'r gwaith, ac yn gogoneddu'r gweithydd? Felly Heb. v. 9; mae *daeth* (*became*) yn dangos Duwdod Crist, yn well na *gwnaethpwyd*. A pha beth yw *selio* pechod, Dan. ix. 24, ond caethiwo neu garcharu, fel selio'r maen, Math. xxvii. 66. Os cymer ereill achlysur i dywyllu'r Ysgrythyr, am fy mod i yn ceisio ei egluro, hwy ddylid eu cospi, nid *myfi*.

O fy mrodyr! a fernwch chwi fi 'n haeddu i'm bwrw allan, am ryfygu diwygio geiriau er mwyn fy ngwlad? Os gwnewch gwyliwch rhag i'ch barn fod fel wermod, neu wenwynllys yn rhychau'r maesydd, Amos vi. 12, yn atal aradr yr Efengyl.

I neb o'r byw ni bydd llesad
Ond fe wna niweid i'r holl wlad.

P'odd bynnag, mi a ddisgwyliaf wrth yr Arglwydd, yn ol ei air, gan obeithio y dwg efe fy nghyfiawder allan fel y goleuni, a'm diniweidrwydd fel hanner dydd, gyda boddlonrwydd i'm brodyr. Felly y gweddia eich anheilwng frawd, a'ch cydymaith mewn cystydd.

PETER WILLIAMS.

Ha wyr frodyr,—Ymgasglasoch yn enw'r Arglwydd, a bydded pennaeth y Gymanfa yn eich canol, i gyfarwyddo eich ymddiddanion cynghorol i ogoniant y nod uchaf; a bydded Iachawdwriaeth eneidiau eich prif ddiben. Nid ydwyf yn meddwl athrawiaethu, fel blaenorwr, ond rhoddi gostyngedig gyngor fel un o'r hynafiaid neu'r brawd hynaf. O herwydd brodyr ydym i Grist. Yr ydwyf yn glynu'n garedig gyda chwi o fy nghalon, a da fyddai gennyf gael aros gyda chwi; ac yr ydwyf yn sicr mai dyfais diafol sy'n peri anghytundeb rhyngom, yr hyn sy'n gwneuthur crefydd yn amharchus yngolwg crefyddwyr o bob enw, ac yn neillduol o wrthun yngolwg y byd; sef dynion o feddyliau llygredig, y rhai sydd yn barnu crefydd wrth eu mympwy oferwag eu hunain; yr hyn sy'n dangos fod Satan o hyd yn amcanu am fwy o ddilynwyr.

Gan ein bod o'r un ysbryd (er ein hanghytundeb mewn meddyliau yngbylch rhyw ddaliadau mewn perthynas i'r Calfiniaid, neu athrawiaethwyr ereill) ni a gyfarfyddwn i foliannu Duw ac i weddio dros ein gilydd, a bydded Efengyl y tangnefedd yn ein cyfarwyddo oll.

Fy nghyfeillion, yr ydwyf yn gofidio am fod eich anghariad ataf fi mor fawr; ond felly yr oedd meibion Jacob tuag at eu brawd. Teimlo yr ydwyf fy hun yn garuaidd a theimladwy atoch. Chwi a'm gwthiasoch i allan o'r synagog; er hynny credu yr ydwyf y derbyn Esgob ein heneidiau myfi yn ei fynwes, yr hwn sydd yn rhoddi i mi o'i fawr gariad. Yr ydych chwi yn ymddieithro oddiwrthyf; ond fy Arglwydd bendigedig a'm carodd, ac sydd bob amser gyda mi; yr Hwn nid yn unig a'm derbyn yn gariadus i'w dŷ, ond sy'n fy nwyn yn rasol i'w fynwes; er mor annheilwng ydwyf, eto Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist sy'n anfon ysbryd ei Fab i dystiolaethu gyda'm hysbryd i, fy mod yn blentyn i Dduw; gan hynny rhoddwch le i mi yn eich mysg, fel y gwypo'r byd fod cariad Crist'nogol goruwch pob anhawster. Heddwch a thangnefedd yn Seion, rhodd nefolaidd ydyw; hi a daena dros y byd, gan foddi ysbryd anghyd-ddygol ac erledigaethus. Gweddïwn ar i Dduw ein cyfarwyddo i bob gwirionedd, fel y cadwer ni oddiwrth ysbryd hunanol. Esaia xlvii. 10. O'm rhan i, yr ydwyf yn addef fy mod yn ymdrechu yn barhaus i gyrhaeddyd y gwirionedd. Atolygu yr ydwyf i Dad yr Ysbrydoedd fy nifeddiannu oddiwrth bob hunan a chnawdol ysbryd; yr ydwyf yn deisyf yn ostyngedig ar fy Nhad Nefol i fy addysgu i fod yn ufudd, ac nid yn hunanol mewn uchelgais, fel y rhai hynny gynt, am fod yn flaenaf yn nheyrnas Nefoedd, &c.

Pa beth a wnaf â blaenoriaeth, am fy mod yn gwybod y bydd llawer o'r rhai blaenaf yn olaf. Yr ydwyf yn diolch i Dduw, fy mod wedi darfod â phob anghydfod; darfod yr ydwyf âg ysbryd anufudd, fel Meldad ac Eldad, yn prophwydo yn y gwersyll ac yn moliannu Duw.

Fy mrodyr, paham yr ydych yn cenfigennu wrthyf? Paham y gwnewch niwed i mi, trwy gyfodi dynion cenfigennus i'm herbyn, a'm rhwystro gymaint yngwaith fy Nuw a'm Iachawdwr?

PETER WILLIAMS.

---

Gyfeillion a Brodyr,—Mi a roddais arwyddion o'm didwyll serch tuag at eich cymdeithas, fwy nag unwaith, ond ni chefais ateb. A aethum yn ddirmygedig yn eich golwg, fel un annheilwng yn eich plith? Gyfeillion Cristionogol, ystyriwch fy nghwyn. Yr ydych yn gosod allan achwyn yn fy erbyn; a ydwyf yn haeddu y cyfryw driniaeth a osodir yn eich gweithredoedd i'm herbyn ers tair blynedd? A ydwyf wedi pechu y pechod anfaddeuol? na ato Duw. Dywedasoch fy mod yn gwadu hanfod y *tri pherson* yn y Duwdod; pa fodd yr achwynwch felly arnaf? Onid yw hynny yn sail ddrwg? Ond felly y dangosasoch eich ewyllys tuag ataf, mewn modd anwireddus a chenfigennus, megis y dywedodd yr enllibwyr hynny gynt, am fy mendigedig Feistr, Iesu Grist, yr hwn a wasanaethaf yn fy ysbryd, ac ynddo ef yr ymddiriedaf, ac arno yr edrychaf; canys efe a'm

derbyn yn gymdeithasol gyda ei bobl. Rhyfedd gennyf i Gristion wadu Trindod o bersonau yn y tragwyddol Jehofa; y gwirionedd, gan hynny, sydd yn amlwg yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, ac felly yn dra buddiol i eneidiau dynion. Duw sydd rasol Dri mewn amser, ac felly o ragfwriad, Tri cyn amser; yr Ysgrythyr a brawf hyn yn y modd cadarnaf, sydd i'w gweled yn Rhufeiniaid viii. 11, "*Ysbryd yr hwn* a gyfododd Iesu o feirw;" yma y Tri yw'r Ysbryd, yr *hwn*, Iesu; i'r rhai y perthyn y sylwedd; nid yw o bwys pa un o'r tri oedd y cyntaf. Credo St. Athanasius a ddywed, "Nid oes un cynt na chwedi eu gilydd;" ac felly "ydynt o gyd-tragwyddol a gogyfuwch;" eto nid yn ddynol, ond yn ysbrydol; yn ddirgelaidd, nid yn llythyrenol; canys y dyn Crist Iesu, sydd yn dri Duw, a alwodd y pethau nid ydynt megis pe byddent, er mae'n wir fod diafliaid a dynion yn ameu hyn; "os Mab Duw ydwyt," medd Satan. Ac yr ydwyt yn *ddyn;* ac yn gwneuthur dy hun yn Dduw, medd yr Iuddewon. Y cablwr a'r twyllwr, medd Caiaphas. Er hynny ni a wyddom ei fod yn Fab Duw o dragwyddoldeb, eto yn ei natur ddynol (corph ac enaid) er mai mewn amser ni a wyddom oll. "Heddyw y'th genhedlais," medd y gair; felly yn dragwyddol Dduw (mewn natur ddynol) i wneuthur iddo ei deml; felly Duw a ddaeth yn berthynas i ni, ac yn Dad i Israel, a chymod i holl ddynolryw; ac wrth hyn y Mab ei hunan a ddatguddiodd y gogoniant yn iachawdwriaeth pechaduriaid. Yn fyr, yr ydwyf yn canfod yng ngoleuni'r efengyl Dri Pherson yn un Duw, yn yr hwn y mae'r holl nerth, a'r hwn yn unig a ymladd drosom ni. Y Duw hwn yw y Tad Hollalluog, yr hwn sydd yn ymladd yn erbyn y diafol; Duw yr hwn yw y Mab, ac a ymladd yn erbyn y byd, ac a'i gorchfyga; Duw yr hwn hefyd yw'r Ysbryd Glan, sydd yn rhyfela yn erbyn y cnawd, gan berffaith lanhau yr etifeddiaeth, trwy ras, oddiwrth bob aflendid.

Yn awr fy mrodyr, os yw'r athrawiaeth yn gyfeiliornus, er mwyn Duw a Christ, ac er mwyn cydwybod, boed i ryw un fy addysgu i wybod pa beth ydyw crediniaeth gywir. Gweddïwn am heddwch; a boed i ni ymheddychu y naill wrth y llall. Mewn cystudd,

P. WILLIAMS.

---

Garedig Frodyr,—Yr ydwyf yn dymuno cael ymddiddan â chwi, y rhai ydych golofnau, a'r rhai sy'n edrych arnaf fi fel peth gwrthodedig; beth bynnag ydwyf yn eich golwg, nid yw ond o ychydig bwys i mi, am nad yw Duw yn derbyn wyneb dyn.

Yr ydwyf yn cyfrif yn wrthwyneb i bethau a berthynant i ddynolryw, fod neb yn cael ei yrru allan o gymdeithas (*society*) yn yr hon y derbyniwyd ef yn aelod, heb ddangos yr achos o'i fod yn droseddwr, a hynny heb fod yn ddirmygus, ond pob pwnc wrth bwnc, fel y gallo yr hwn a'i hammeuo gael cyfleustra i amddiffyn ei hun pan gymerai'r pethau le. Yr wyf fi hyd yn hyn, yn hiraethu yn ddisgwyledig am le yn y Gymdeithas; nid wyf yn chwennych y lle anrhydeddusaf, ac nid oes arnaf eisieu goruchafiaeth, ond boddlon ydwyf i eistedd hyd yn oed ar y rhiniog.

Ond yr ydych chwi yn dywedyd fy mod wedi cael fy nhroi allan gyda'r llais lliosocaf; eto yr ydwyf fel yn gwadu hynny; a phe bai'r fath ymddygiad anghrist'nogol yn cael ei gymeradwyo mewn achosion crefyddol, fe fyddai'n beth hollol anghytunol â'r Efengyl, ac yn ddirfawr ddirmyg ar Grist'nogaeth. Pe byddai gwirionedd crefydd i'w farnu gan rifedi o bobl, cyfeiliornai'r byd, gan farchogaeth yn orfoleddus trwy'r holl ddaear. Gyfeillion a brodyr, cofiwch pa beth ydych yn ei wneuthur; gadewch i'r gwir gael ei brofi yngwirionedd geiriau Duw; gadewch garwyr y cyfryw wirionedd (y rhai sydd ffyddlon dystion) pe ychydig neu lawer, farnu yn gydwybodol yr achos mewn llaw. Mae torri ymaith aelod, yr ydym yn gwybod, yn weithred o'r pwys mwyaf; ac o ddiffyg adnabyddiaeth dda yn y cyfryw orchwyl, gall bywyd y corph fod mewn dirfawr berygl; ac felly chwithau,

ysgatfydd, o ddiffyg gwybodaeth, a ellwch edrych ar agwedd fy nghorph hwn yn crymu tua'r bedd, yn gynt o lawer nag y meddyliasoch. Na fydded i ni ddinystrio y naill y llall; ond yn hytrach cynorthwyo ein gilydd fel y gallom iachau ein gilydd gan weddïo am rym oddiuchod, i dorri ymaith (neu yn y diwedd i'n dwyn i mewn), fel na byddo i'r ystormydd ein goddiwes yn y profedigaethau. Ymofynnwn am gyfiawnder, ynghyd ag ysbryd gostyngedig; am hynny feallai'n cuddio yn nydd digofaint yr Arglwydd (Seph. ii. 3). Amser a fu, ac a all fod eto, pan y byddo i'r hwn a laddo'r cyfiawn dybied ei fod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw, &c. *Fy Nhad, maddeu iddynt, ni wyddant beth a wnaethant.* Mae'n ddrwg neillduol gennyf, fod neb o'm brodyr, yn enwedig y rhai pennaf, mor annaturiol, anghrist'nogol, ac anghyd-ddygol tuag ataf fi. Chwi a'm lladdasoch yn fy enw, yn fy nghymeradwyaeth, yn fy athrawiaeth, yn iechyd fy nghorff, ac yn fy eiddo. Er hyn oll, gwell gennyf fi fod yn blentyn dan gerydd y wialen, yr hon yn fuan a deflir i'r tân. Yn sicr, byddai yn dirionach i Grist'nogion o bob gradd, fod yn bobl heddychol, nac anheddychol, a gweddio am ostyngeiddrwydd a boddlonrwydd, dan bob croes a dirmyg, nag fel Haman i ddarparu crogbren i eraill. Y dyn tlawd a waredodd Jeremia, sydd yn cael ei gyfrif yn onestach na'r tywysog yr hwn a'i carcharodd.

D.S.—Mae'n anweddaidd i neb fod yn aflwyddiannus; ac a raid i mi fod yn un y cenfigennir i'm herbyn, a'm taflu allan yn fy hen ddyddiau, a'm bregethu'r gwir, gwedi llafurio *deg a deugain* o flynyddoed yn y weinidogaeth?

PETER WILLIAMS.

Nis gellir darllen y llythyrau hyn heb deimlo yn ofidus wrth feddwl mai hynafgwr o brofiad a defnyddioldeb Peter Williams a'u hysgrifennodd. Mae yn wir fod elfen o chwerwder yn rhedeg drwyddynt; ac wrth ystyriad popeth nid yw hynny yn rhyfedd; eto y mae ei awydd a'i hiraeth am gael dychwelyd i gymdeithas ei hen frodyr yn gyfryw fel mai y syndod ydyw na buasai ei daerni ar y pen hwn wedi llwyddo i ddwyn y pleidiau i ryw fath o gytundeb, ac i roddi ail gynnyg ar gydweithio yn heddychlawn yn y dyfodol. Ond ofer ydyw dyfalu pa anhawsterau oedd ar y ffordd i ddwyn hynny oddiamgylch.

Fel lliaws o bethau ereill sydd yn dywyll ynglyn ag achos y Parch. P. Williams, nid oes sicrwydd erbyn hyn, beth oedd nifer y rhai a ymadawsant â'r Methodistiaid mewn canlyniad i'w ddiarddeliad o'r Cyfundeb. Mae yn dra thebyg fod yn y Dywysogaeth ar y pryd gannoedd oedd wedi eu dychwelyd trwy ei weinidogaeth, ac ar y cyfrif hwnnw yn ei barchu yn fawr, ac yn teimlo tuag ato fel plant at eu tad; a phan y torrwyd ef allan, diameu ddarfod i lïaws o'r cyfryw deimlo yn chwerw at y Gymdeithasfa, yn enwedig gan fod y gorchymyn wedi myned allan, na oddefid iddynt, dan boen esgymundod, ei wrando, na chyfeillachu ag ef mwyach. Yr oedd yr anghydwelediad yn gyfryw hefyd o ran ei natur, fel nad oedd y lliaws yn yr eglwysi yn alluog i'w amgyffred, pe cawsent gyfleusterau i wneyd hynny. Yr oedd y dosbarth yma o grefyddwyr yn cymeryd yr olwg fwyaf arwynebol ar yr amgylchiadau, ac, fel y mae yn digwydd yn fynych, yn pleidio yr ochr wannaf. Ac wrth gymeryd y pethau hyn i ystyriaeth, nid ydyw yn beth anhygoel ddarfod i ymadawiad gymeryd lle mewn mannau, yn neillduol yn y Deheubarth, lle yr oedd Peter Williams yn fwyaf adnabyddus. Ymysg lliaws o ymadroddion eithafol ereill yn ei *Gofiant*, dywedir gyda chyfeiriad at effeithiau y troad allan:—"Ie, gellir gofyn, a fu crefydd mewn cymaint purdeb gwedyn, ag yr oedd

yn nyddiau blodeuog Peter Williams? Onid oes *gwenwynllys yn rhychau'r maesydd* yn y dyddiau hyn, yn atal aradr purdeb Efengyl Crist?" Peth rhyfedd na buasai yr awdwr yn chwanegu ddarfod i ddialedd oddiweddyd yr holl genhedlaeth honno, a myned o honynt, hil ac epil, i ddistryw. Ym "Methodistiaeth Cymru," ceir y sylwadau canlynol ar hyn:—

Nid ydym yn cael ddarfod i'w fwriad ef allan effeithio cymaint ar y Cyfundeb ag a allesid ddisgwyl: ni fu nemawr o ymadawiad oddiwrth y Corff o'i herwydd mewn un man, er fod teimlad o dosturi ato, a pharch iddo, yn gryf yn meddyliau pawb a'i hadwaenai, ïe, yn mynwesau y rhai a fynnent ymddidoli oddiwrtho, gan yr ystyrient ef yn ddyn ag oedd yn ofni Duw, ond ei fod yn y materion mewn dadl wedi gwyro, yn ol eu tybiau hwy, oddiwrth y gwirionedd, ac mai gwell o'r ddau oedd yr ymddidoliad, na bod achles yn cael ei roddi i ymrysonau a dadleuaeth yn y Corff.

Fel y sylwyd yn flaenorol, mae llawer wedi bod yn traethu eu barn ar ymddygiad y Methodistiaid at y Parch. Peter Williams, gan eu beio yn erwin am yr hyn a wnaethant; a gofelir yn wastad am ddwyn ar gof iddynt y "golled ariannol ddirfawr" a achoswyd iddo, trwy iddynt dynnu yn ol y gefnogaeth a addawsid i ledaeniad Beibl Canne, yr hyn fu yn atalfa ar werthiant y Beibl hwnnw. Ond mae yn digwydd mai brodyr perthynol i enwadau ereill—Bedyddwyr ac Annibynwyr gan mwyaf, ynghyda pherthynasau y gŵr parchedig, ydyw y rhai hyn sydd yn grwgnach. Nid y bobl gymhwysaf i farnu teilyngdod unrhyw achos yw y rhai sydd yn y pellder, ac oblegid hynny heb feddu nemawr fantais i wybod yr holl wirionedd o berthynas iddo; ond y rhai hynny, ysywaeth, yw y rhai parotaf i ymgymeryd â'r gwaith. Heblaw hynny, os gwnaed cam â P. Williams, cwestiwn o athrawiaeth a arweiniodd iddo; a phrin y mae yn gweddu i frodyr sydd yn ystyried pob athrawiaeth yn ogyfuwch; ac os yn meddu cyffes o gwbl, y gellid meddwl fod honno, fel llenllïan Pedr, yn ddigon llydan i gynnwys popeth; prin meddwn, y mae yn gweddu i gyfeillion yn y sefyllfa yma, ymgymeryd â dysgu ereill pa fodd i weinyddu disgyblaeth ar faterion o'r fath.

Mewn cyhoeddiad misol a ddygid allan flynyddau yn ol, dan nawdd gweinidogion yr Eglwys Sefydledig, ymddanghosodd llythyr o eiddo y Parch. Eliezer Williams, M.A., mab hynaf Peter Williams, a ysgrifennwyd ganddo at ei fam pan ynghanol y profedigaethau hyn. Ac yn rhagflaennu y llythyr, ceir sylwadau ar y mater gan fab yr awdwr, y Parch. St. George Armstrong Williams, M.A., yn cynnwys amlinelliad o'r hyn fu yn achlysur ysgrifeniad y llythyr; a chan i'r rhai hyn gael eu hysgrifennu gan berthynasau Mr. P. Williams, barnwn mai prïodol ydyw rhoddi lle iddynt yma, er mantais i weled pa fodd yr edrychent hwy ar yr achos:—

AT GYHOEDDWR Y GWYLIEDYDD.

Syr,—Yn ddiweddar wrth chwilio rhai o'm papurau, canfyddais y llythyr canlynol o eiddo Mr. Williams at ei fam, pan oedd ef yn Athraw a Chapelydd teuluaidd yn nheulu Iarll Galloway, yr hon sefyllfa a gadwodd efe dros amryw flynyddoedd gyda bri mawr iddo ei hun a lleshad i deulu yr Iarll. Os bernwch ef yn deilwng o gael lle yn eich Cyhoeddiad, byddaf ddiolchgar i chwi; os caniatewch iddo ymddanghosiad buan, gall fod yn foddhaol gan lawer o'ch darllenwyr, yn enwedig y rhai hynny o'i gyfeillion caredig, a'i hên ysgolheigion ag sydd yn digwydd cyfaneddu yn y wlad

hon. Yr hyn a achlysurodd y llythyr crybwylledig o gydymdeimlad oedd fel y canlyn. Y mae'n hysbys fod tad Mr. Williams, y Parch. Peter Williams (yr hwn yn ei ddyddiau boreuol oedd weinidog o'r Eglwys Sefydledig) yn awdwr tri argraffiad o'r Bibl pedwar-plyg gyda sylwadau arno. Yn fuan wedi yr ail argraffiad darfu i rai dynion afreolus neu anwybodus, neu feallai bob un o'r ddau (fel y canfyddir, ysywaeth, yn y dyddiau goleufawr hyn, ormod o'r fath ynfydion disynwyr, ac enllibwyr rhagfarnllyd, megis awdwyr * "Traddodiadau yr Hynafiaid;" "Sefydliad Eglwysig yn anysgrythyrol;" "Y Bugail neu Flaidd yn rhith dafad," &c., a llawer ereill, y rhai na ofalant nemor pa un ai gwir ai celwydd a gyhoeddant, os etyb i'w diben enllibgar hwy, y rhai ydynt o'r fath dymherau anghristionogol; ïe, rhaid dywedyd, dieflig). Darfu i'r dynion hynny, meddaf, er mwyn cyfodi terfysg, ym mysg pobl Dduw, daenu y gair fod yr hen wr hybarch wedi cyfeiliorni yn ei gredo Gristionogol; ac iddo hyd yn oedd gyfnewid geiriadaeth yr Ysgrythyr i gytuno a'i olygiadau. Y camachwyniad hwn, pa un oedd mor niweidiol i achos yr efengyl, ac anweddaidd i nodweddiad Gweinidog yr efengyl, a weithiodd fel tân gwyllt ar feddyliau anwybodus ac afreolus llawer o'r Trefnyddion Calfinaidd (â'r rhai yr ymunodd y Parch. Peter Williams, wedi iddo adael yr Eglwys, nid yn gymaint o *ddewisiad*, ond o angenrheidrwydd), fel mae yn unol a'n natur lygredig, — un dyn drwg a wna fwy o niweid nag y gwna ugain o ddynion da o ddaioni — felly llawer o honynt yn un llais a lwyddasant i luddias y pulpud iddo; ac at y cwbl tynasant ymaith eu tanysgrifiau tuag at Fibl llogell y Parch. J. Canne, a gadawsant yr holl ofal arno ef ei hun, a cholled o £500 i £600 i'w dwyn. Yr ymddygiad gorwael ac angharedig hwn o eiddo y Corff, dros yr hwn y llafuriodd gymaint o flynyddoedd (50 yr wyf yn tybied) a weithiodd ar ei deimladau tyner, ac (yn ol dull dynol o ddywedyd) a'i prysurodd yn gyflym i'r bedd; ac y mae yn argraffedig ar ei feddadail, er cywilydd ac edliwiaeth parhaus i'r blaid honno, yr adnodau cwynfanus a ganlyn o'r 55 Salm, "Canys nid gelyn a'm difenwodd; yna y dioddefaswn: nid fy nghas-ddyn a ymfawrygodd i'm herbyn; yna mi a ymguddiaswn rhagddo ef: eithr chwychwi y rhai yr oedd yn felus gennym gydgyfrinachu, ac a rodiasom i dy Dduw ynghyd." Ie, gellir dywedyd, mai nid er *cywilydd* ac *edliwiaeth* yn unig, ond hefyd er galar, tristwch, ac ochenaid i filoedd o'r Trefnyddion, o herwydd i'w hynafiaid ymddwyn mor dost at y gŵr Parchedig a grybwyllwyd, ac nid anhawdd cael tystion heddyw o glywed rhai o honynt yn dywedyd, bron â'u dagrau ar eu gruddiau, "Pe buasent hwy yn nyddiau eu tadau, na chamgyhuddasent y cyfiawn hwnnw."

Eich Ewyllysiwr da,

SIOR AP MYRDDIN.†

B-t-s G-r-m-n,
Awst 20, 1834.

* Y mae y traethodau hyn yn rhy blentynaidd a diystyr i feddwl am eu hateb. Och! gresyn feddwl fod dau o'r awdwyr hyn yn chwennych cael eu hystyried *fel* Gweinidogion yr efengyl; a'u bod wedi cymeryd *arnynt eu hunain* y swydd aruchel o erfyn dros Grist am i ddynion gymodi â Duw, pan y maent yn dangos trwy eu hysgrifau cullibaidd, maleisus, a rhagfarnllyd, o dan arweiniad pa ysbryd y maent Ac am y trydydd, y mae ef mor genfigenllyd a'i gyfeillion *rhagorol* uchod; ond gyda hyn o wahaniaeth—gŵyr pawb sydd yn ei adnabod ef, nad yw yn ofni Duw, nac yn parchu ei air a'i ordinhadau sanctaidd—ac hefyd yn ganlynol, ei fod yn hollol anaddas i farnu rhwng gwir a chelwydd. O, y fath waradwydd yw hyn i wlad Gristionogol!

† Y Parch. St. George Armstrong Williams, M.A., ŵyr Peter Williams, yr hwn oedd ar y pryd yn Gurad Parhaol Bettws Garmon, Arfon; ac a fu am 37 mlynedd wedi hynny yn Beriglor Llangybi a Llanarmon, lle y bu farw Chwefror 5, 1886, yn 82 mlwydd oed.

Tŷ Iarll Galloway, Iscoed Celyddon,
Mehefin 28, 1791.

Fy Anwyl Fam,—Yn ol pob tymhestl y daw tawelwch; ac yn ol y dymhestl bresennol, diau y ceir gwell hin ym mhen ychydig amser: am hynny byddwch amyneddgar, a gosodwch eich holl obaith yn yr Hwn sydd yn gwneuthur i "bob peth i gydweithio er daioni i'r sawl sydd yn ei garu Ef." Y mae'r gwynt wrth siglo yr yd yn y meusydd yn peri iddo wreiddio a chryfhau yn well; felly gwyntoedd profedigaethau y byd a wnant i Gristion wreiddio yn ddyfnach yn yr Arglwydd, a gwella ei afael wrth bob ysgydwad, gan weled nad oes sicrwydd mewn un peth arall. Ni wiw bwrw hyder ar hen gyfeillion; y cyfeillion goreu yn fynych a wnant y gelynion llidiocaf; ond fe fedr Duw droi eu llid yn fendith, a throi eu digter yn lleshad; fel y tân, yn lle llosgi yr aur, yn ei buro oddiwrth bob amhuredd, ac yn ei wneuthur yn weddus i ymddangos yn y trysordy goreu. Yr ymddygiad angharuaidd a ddanghoswyd tuag at fy nhad yn ddiweddar, a gorona ei barch, ac a gwblhâ ei anrhydedd; canys ni wna ei *frodyr tyner* ond cyhoeddi ar ŵydd y wlad, na chafodd ef ddim cymorth ganddynt hwy yn ei lafuriaith, ac iddo orchfygu pob gwrthryfelgarwch, ac ymddianc rhag pob perygl, heb bwyso ar un fraich o gnawd. Os deil ef i'r lan yn wrol yn erbyn ei elynion, gan ddioddef fel Cristion, heb dalu drwg am ddrwg, ac heb wan obeithio na digaloni, fe fwynhâ fwy o les oddiwrth eu gelyniaeth na fwynhaodd ef erioed oddiwrth eu cyfeillgarwch. Ni wna'r glo, tra bo'n glynu ar y graig, ond ei diwyno a'i hamhrydferthu; ond gosodwch dân yn ei fysg, fe dry'r graig yn galch pur, a werthfawrogir gan bawb, ac a ffrwythlona yr holl wlad. Gwell peidio dywedyd dim yn erbyn y gwŷr cymwynasgar a fuont mor dyner tuag at ei deulu, yna hwy a gânt yr hyn a haeddant, hynny yw, diystyrwch. Hwy a ddyrchafasant eu dwylaw, mae'n debyg, ar yr achos; ond fe ddyrchafa yr holl wlad ei dwylaw ym mhen ychydig am eu rhyfyg a'u hanwybodaeth hwy. Y mae llawer o boen i gyfansoddi llyfr a fyddo fuddiol i'r wlad; ond nid yw ei gyfansoddi yn ddigon—rhaid, yn ol y drefn ddiweddar, rhoddi i ddysgawdwyr annoeth synwyr i'w ddeall hefyd. Canys pe buasent hwy yn deall ysgrifeniadau fy nhad, hwy a ganfuasent nad oedd dim ynddynt yn wrthwyneb i'w cyffes hwynt eu hunain, os gwyddant beth yw eu cyffes hefyd. Ond hwy a welant eu ffolineb maes o law, ac fe wel pawb ereill eu ffolineb hwynt. Ond, O! fy anwyl fam, gadawn y cwbl yn llaw'r Arglwydd Iesu, byddwn ymarhous, a chysurwn ein gilydd. Byddwch chwi yn llawn gobaith da, a pherwch i fy nhad anwyl beidio gwan obeithio. Ni ad Bugail Israel fod dim yn eisieu arnoch, er i fleiddiau y'nghrwyn defaid eich brawychu weithiau. Duw a wylio drosoch yn wastadol, felly y gweddia, fy anwyl fam, eich ufuddaf fab, Eliezer Williams. (*Y Gwyliedydd*, Hyd. 1834, tudal. 296).

Fe welir fod y llythyr uchod wedi ei ysgrifennu yn 1791, ond pa un ai at ddiarddeliad ei dad y cyfeiria yr awdwr, ai ynte at waith y Methodistiaid yn tynnu yn ol y gefnogaeth a addawsent i werthiant Beibl Canne, nid yw yn hawdd penderfynu. Os at y cyntaf, rhaid fod hynny wedi cymeryd lle yn 1791, ac nid yn 1792, fel y dywedir mewn rhan arall o'r ysgrif hon.

Rhag trethu amynedd y darllenwyr yn ormodol y tro hwn, gwelwn y rhaid i ni, yn groes i'n bwriad, adael y gweddill o'r hanes hyd adeg ddyfodol.

EDWARD JONES.

# YSTAFELL TOBIAH.

PRIN y mae angen esbonio i rai sydd wedi bod ar hyd eu hoes yn ddarllenwyr cyson o'r Beibl, mai Amoniad o genedl oedd Tobiah. Yr oedd ym mlodau ei ddyddiau tua'r flwyddyn 450 C.C. Fel gwas i Sanbalat yr oedd yn un o elynion chwerwaf yr Iuddewon ar eu dychweliad o Babilon, a gwnaeth bob peth oedd yn ei allu i osod rhwystrau ar ffordd Nehemiah i ail-adeiladu muriau Jerusalem. Nid oedd unrhyw foddion yn rhy isel ganddo er cyrraedd ei amcan. Ac nid oedd unrhyw amcan yr ymdaflai iddo gyda mwy o ynni na cheisio dymchweliad honiadau yr Iuddewon fel cenedl etholedig ac uchel ei breintiau. Nid oedd dim yn rhy ddrwg ganddo ef a Sanbalat, ei feistr, i'w wneyd i bawb a geisient ddaioni i'r Iuddewon. Taenent chwedlau celwyddog a maleis-ddrwg am eu hamcanion. A phan nad oedd hynny yn tycio, cynllwynent i'w lladd a rhwystro eu gwaith. "Ni chânt wybod na gweled nes i ni ddyfod i'w mysg hwynt, a'u lladd, a rhwystro eu gwaith hwynt."

Nid oedd dim dirmyg yn ormod ganddo fwrw ar bobl yr Arglwydd. Tobiah ddywedodd y frawddeg fythgofiadwy honno sydd yn rhoi mynegiad cywir i ysbryd gelynion pobl Dduw ymhob oes: "Er eu bod hwy yn adeiladu, eto ped elai lwynog i fyny, efe a fwriai i lawr eu mur cerrig hwynt."

Er rhoddi atalfa ar waith yr Arglwydd, llwgrwobrwyai a phrynnai y proffwydi i broffwydo celwydd, yn ol ei gyfarwyddiadau ef. Ac fel y mae yn ddifrifol meddwl, yr oedd yno feibion a merched yn barod i werthu eu safle fel proffwydi yr Arglwydd er mwyn arian. A oes rhai eto wedi eu galw i lefaru dros Dduw, ac yn proffesu eu bod yn ufuddhau iddo, yn cael cyweirnod eu cân, nid oddiwrth Dduw, ond oddiwrth dinc arian rhyw Dobiah sydd yn wr o safle yn eu heglwysi? Y brif fasnach a gerrid ymlaen yn ystafell Tobiah oedd prynu cefnogaeth y gwŷr mawr â hyawdledd, neu o'r hyn lleiaf â distawrwydd y proffwydi.

Ni yw yr arfer yma wedi peidio eto: ofnwn yn wir ei bod yn myned ar gynnydd. Yn y frwydr ddiweddar i ddwyn y gwelliant gwaharddol yn rhan o gyfraith Pennsylvania, ni chai dim ymddangos yn newyddiaduron y dalaeth o blaid y gwelliant, am fod y gwirodwyr wedi talu miloedd o bunnau am eu colofnau i ddadleu eu hawliau hwy, ac i gyhoeddi y celwyddau mwyaf yn y ffurf o ystadegau twyllodrus, ac er rhwystro i ddim o blaid Dirwest ymddangos ynddynt cyn dydd y pleidleisiad. A llwyddasant i ddychrynu yr etholwyr ym Mhennsylvania gyd a'u celwyddau, tra y methodd Tobiah ddychrynu Nehemiah. Methodd Tobiah, tra y llwyddodd gwirodwyr America, a thra y llwydda gwirodwyr y wlad hon trwy ystrywiau cyffelyb,—am nad oedd dylanwad y proffwydi yn Israel yn gymaint ag ydyw dylanwad y wasg yn ein dyddiau ni. Methodd hefyd am mai nid trwy bleidlais gyffredinol yr oedd y peth i gael ei benderfynu, ond gan farn Nehemiah. Yn wir, llwyddodd yn rhyfedd gyda'r bobl, wedi i Nehemiah fyned ymaith. Methodd hefyd am fod yn Israel y pryd hwnnw fwy o broffwydi nas gellid eu prynu nag oedd o newyddiaduron ym Mhennsylvania bedair blynedd yn ol. Os oedd Noadïah y broffwydes, a'r rhan arall o'r proffwydi yn dychrynu Nehemiah; a Semaiah, mab Delaiah, wedi cau arno yn ei dŷ i'r un amcan, am fod

Tobiah a Sanbalat wedi ei gyflogi; yr oedd yno rai, fel Selemiah yr offeiriad, a Sadoc yr ysgrifennydd, a Phedaiah o'r Lefiaid, a Hanan mab Zaccur, a gyfrifid yn ffyddlawn trwy y cwbl.

Cyfrifid Tobiah yn un hael a charedig gan y rhai oedd yn byw arno fel hyn. Ac nid oedd dim yr hoffent son am dano yn fwy na'r llythyrau oedd yn cynnwys ei addewidion, a'i roddion. "Ac yn y dyddiau hynny pendefigion Judah oedd yn mynych ddanfon eu llythyrau at Tobiah, a'r eiddo ef oedd yn dyfod atynt hwythau. A'i gymwynasau ef y byddent hwy yn eu mynegi ger fy mron i. A Thobiah a anfonodd lythyrau i'm dychrynu i." Nid yn yr oes hon y mae ysgrifennu llythyrau bygythiol wedi dechreu, yr oedd Tobiah yn hen law ar y gwaith. Yr ydym yn cymeryd amser i ddangos cymeriad Tobiah er gweled mor wrthun oedd gwaith Eliasib yn rhoi lle mor bwysig ac anrhydeddus iddo yn y deml. Ac er bod yn fwy manteisiol i gyflawni y budrwaith hwn, yr oedd arno yntau eisieu ystafell yn y deml. Byddai felly yn ymyl y pendefigion, ac ni fyddai raid iddynt foddloni ar gymdeithasu trwy lythyrau, fel yr oedd yn rhaid iddynt wneyd pan oedd Nehemiah yn bresennol.

Mae yr hysbysiad a rydd Nehemiah ddarfod iddo godi trysoryddion newyddion mewn canlyniad i fwriad Tobiah allan, yn awgrym hefyd fod Tobiah dipyn ar ei fantais mewn ystyr ariannol wrth symud i fyw i'r ystafell fawr oedd wedi ei darparu iddo gan Eliasib yn y deml. Mae pob cymwynas a wneir gan lwgrwobrwywr yn foddion i ennill cymwynas fwy yn ei lle iddo ei hun, yn rhywle arall. Yr oedd cael yr ystafell fawr yma yn y deml, ynghyd a'r enillion a ddygai y safle hon iddo, yn talu yn dda i Tobiah am bob rhodd a chymwynas a dderbyniodd pob Iuddew ganddo erioed.

Pe buasai yn iawn dangos cymeriad o'r fath yma mewn unrhyw gylch, mae yn amlwg mai goreu po leiaf fyddo a wnelo â phethau crefydd. Wrth gofio gelyniaeth arbennig Tobiah at y grefydd Iuddewig, ar wahan i bydredd cyffredinol ei gymeriad, un o'r pethau diweddaf a ddisgwyliasem fuasai gweled yr hwn yr oedd gofal llwyddiant yr achos yn bennaf ar ei ysgwyddau, yn gwneyd cyfaill mynwesol o hono. Ond eto dyma yr hyn a gymerodd le. Nid yn unig gwnaeth Eliasib yr archoffeiriad gyfaill o hono, ond derbyniodd ef trwy gysylltiad prïodasol, yn aelod o'r teulu offeiriadol. Yr oedd trwy hyn yn troseddu mwy nag un o ddeddfau Moses. Yr oedd yn ysgrifenedig yn llyfr Moses na ddylai yr Amoniaid ddyfod i gynulleidfa Duw yn dragywydd. Beth a ddywedwn pan dderbynia y prif swyddog ef i'r cylch teuluol a chymdeithasol anrhydeddusaf a berthynai i'r genedl?

Ond nid hyn yn unig a wnaed er Tobiah; ond y mae esiampl Eliasib, trwy wneyd ystafell iddo yng nghynteddoedd y deml, fel hoel wedi ei churo â morthwyl ysbrydoliaeth i fan sicr yn yr Ysgrythyr i grogi arni fratiau budron ffafraeth eglwysig, er mwyn i'r oesau dyfodol eu ffieiddio. Ond y mae llawer, ysywaeth, yn lle eu ffieiddio, yn ymryson am danynt, ac yn ymwisgo â hwynt fel eu harddwch pennaf.

Am ein bod yn ofni fod ffafraeth grefyddol a pharodrwydd i gymeryd ein llywodraethu, a'n harwain gan ystyriaethau personol yn hytrach na chan y gwirionedd, yn bod eto yng Nghymru, tybiwn na byddai mynd a'n darllenwyr am dro i edrych ystafell Tobiah yn anfuddiol. Mae yn dda na fyddwn mewn pryd i weled ei ddodrefn yn cael eu bwrw allan gan y digofus Nehemiah, onide buasai yn beryglus i ni geisio

cil-edrych i mewn, rhag y buasai rhyw ddarn o'r hen gelfi gwrthodedig yn cael eu chwyrnellu o amgylch ein pen; oblegid mae yn debyg nad oedd y gofal mwyaf yn cael ei gymeryd am eu cyfanrwydd wrth eu lluchio i'r heol. Hwyrach er hynny, pe buasem yn dystion o'r olygfa, ac yn enwedig o oruchwyliaeth y glanhau ar ol hynny, y buasai yn rhoddi arbenigrwydd ar i ni wahanu rhwng cysegredig a digysegredig, a rhwng aflan a glân. Feallai y buasai sêl Nehemiah dros gadw bydolddyn a'i ddodrefn allan o deml yr Arglwydd yn cael dylanwad daionus arnom ninnau mewn llawer cylch. Ni fuasem mor barod i osod dynion mewn safleoedd o bwys a dylanwad yn yr eglwys yn bennaf, os nad yn unig, oblegid eu bod yn meddu safle fydol dda. Pe cawsem ychydig o sêl Nehemiah, buasem yn fwy gofalus i beidio gadael i byrsau mawrion dynion eu cysgodi rhag myned dan ddisgyblaeth eglwysig. Buasai bod yn dystion o'r olygfa hon hefyd yn peri i ni fod yn fwy gofalus rhag rhoi ein haddoldai i gynnal pob rhyw gyfarfodydd.

Pan ymadawodd Nehemiah o Jerusalem, cafodd Tobiah yr Amoniad ryddid gan Eliasib yr archoffeiriad i ddefnyddio rhan o'r deml yn ystafell at ei bwrpas ei hun. Mae yn ddiameu fod Eliasib yn tybio fod ganddo berffaith hawl i wneyd fel y mynnai â'r rhan hon o'r deml, oblegid efe oedd wedi ei osod i ofalu am dani. "Eliasib yr offeiriad, yr hwn a osodasid ar ystafell tŷ ein Duw ni." Yr oedd Eliasib wedi anghofio mai goruchwyliwr ydoedd, ac ymddygai at y deml fel pe buasai yn eiddo personol iddo ef ei hun. Mae crefyddwyr yn aml yn syrthio i'r un camgymeriad ag Eliasib. Nid ydynt yn cofio yn ddigon mynych mai goruchwyliaeth ydyw swyddogaeth eglwysig. Yr oedd Eliasib yn llawn sylweddoli mai efe oedd ar ystafell tŷ Dduw, ond nid oedd yn rhoddi cymaint o le yn ei feddwl i'r ystyriaeth mai wedi ei osod arni yr ydoedd. "Eliasib yr offeiriad yr hwn a *osodasid* ar ystafell tŷ ein Duw ni."

Gwnaeth Eliasib yr hyn y mae lle i ofni, a wneir eto yn rhy fynych gan grefyddwyr; gadawodd i ystyriaethau personol ei gamarwain oddiar lwybr ei ddyledswydd fel swyddog crefyddol. Gwnaeth Eliasib i Tobiah "ystafell fawr," ac yno y byddent o'r blaen yn rhoddi "y bwyd offrymau, y thus, a'r llestri, a degwm yr ŷd, y gwin, a'r olew, a orchymynasid eu rhoddi i'r Lefiaid, a'r cantorion, a'r porthorion, ac offrymau yr offeiriaid." Arweiniwyd Eliasib yn yr amgylchiad hwn i wneyd cam ag ordinhadau y tŷ. Trwy yr offrymau yr oedd y bobl yn dangos eu teyrngarwch i Dduw. Ac arnynt hwy hefyd yr oedd gweini-dogion y cysegr yn byw. Yr oedd Eliasib oblegid ei gyfathrach â Thobiah, yn cael ei gamarwain i wneyd cam â Duw a dyn. Gan eu bod yn gweled y camddefnydd a wneid o honynt, yr oedd y bobl wedi peidio dwyn yr offrymau. "Gwybum hefyd fod rhannau y Lefiaid heb eu rhoddi iddynt, canys ffoisai y Lefiaid a'r cantorion, y rhai oedd yn gwneuthur y gwaith bob un i'w faes." Boddio Tobiah oedd peth mawr Eliasib, eled gwaith yr Arglwydd lle yr elo. Yr oedd cael lle i'r Amon-iad dienwaededig hwn yng nhynteddoedd tŷ Dduw, yn llawer mwy pwysig gan Eliasib na chadw y Lefiaid a'r cantorion gyda gwaith y tŷ.

Gallwn dybio, hefyd, fod Eliasib nid yn unig am gadw Tobiah yn nhy yr Arglwydd, doed a ddelo, ond yn digio ac yn dial ar bawb a ddanghosai unrhyw wrthwynebiad i'w ddull ef o ddefnyddio ei awdurdod. "Canys ffoisai y Lefiaid a'r cantorion." Nid wedi gadael y tŷ yr oeddynt, ond yr oeddynt wedi gorfod ymadael oblegid eu gwrthwynebiad i Tobiah, ffafr-ddyn yr offeiriad. "Canys ffoisai y

Lefiaid a'r cantorion." Gyrrwyd hwy ar ffo, oblegid eu hamharodrwydd i roddi eu hawlfreintiau cyfreithlon i fyny, er mwyn i Eliasib gael gwneyd anrheg o honynt i Tobiah.

Yr hyn a barai i Eliasib fod mor chwannog i bentyrru ei ffafrau ar y fath adyn annuwiol, ffals, maleisddrwg, a dienwaededig, oedd cysylltiad Tobiah trwy brïodas a phendefigion yr Iuddewon. "Canys yr oedd llawer yn Judah mewn cynghrair ag ef, o herwydd daw oedd efe i Sechaniah fab Arah; a Johanan ei fab ef a gymerasai ferch Mesulam fab Berechiah." Engraifft ydyw ystafell Tobiah o'r fodrwy aur y cwynai yr Apostol Iago yn ei herbyn. Mae hefyd yn engraifft o'r hyn a elwir yn Simoniaeth yn ein hoes ninnau. Mae rhai safleoedd yn yr eglwys i ddynion annheilwng oblegid eu safle fydol a'u cysylltiadau, yn hen arfer; mae mor hen, beth bynnag ag ystafell Tobiah. Mae aml un eto o'r un anian â Thobiah yn meddu lle uchel yn eglwys Dduw.

Nid oes dim thus yn perarogli y gwasanaeth mewn llawer eglwys, am fod Tobiah yn cael gormod o le ynddi. Llawer Lefiad sydd wedi gorfod ffoi o'i ofalaeth oblegid ei wrthwynebiad i ryw Dobiah feddw, ac y mae yn rhaid gwneyd ystafell fawr iddo yng nghynteddoedd tŷ Dduw. Yr oedd Tobiah yn dirmygu crefydd yn ei galon, ac yn ei gwawdio gyda'i gyfeillion; ond eto, yr oedd yn dewis cael ystafell yng nghynteddoedd y deml, er mwyn bod mewn gwell mantais i gario ei amcanion ei hun ymlaen. Mae aml un eto yn gyffelyb iddo. Nid yw am fyned i mewn i gysegr sancteiddiolaf crefydd; nid oes ganddo flas ar bethau ysbrydol crefydd; y mae am le yn yr eglwys, ond nid â ymhellach i mewn na'r cynteddoedd. Os bydd eisieu pwyllgor i wylio y blaenoriaid, bydd Tobiah trwy gam neu gymwys, yn lled debyg o gael ei hun arno. Odid fawr nad efe fydd y cadeirydd, a bydd ganddo fwy na neb i'w ddweyd ar y mater. Ond os gofynnir gair o'i brofiad yn y seiat, os na fedr y bugail wneyd gwyrthiau a rhoi tafodau i fudanod, ni cheir byth air ganddo ef. Os gofynnir iddo gymeryd rhan yn y cyfarfod gweddi, ysgydwa ei ben; ond nid oedd taw ar ei glebran yn y cyfarfod brodyr a'r cyfarfod athrawon yr wythnos o'r blaen. Nid oes dim y mae yn cael mwy o foddhad yn ei drafod nag esgeulustra y swyddogion i ddysgu moesoldeb i'r plant, tra na chynhaliodd addoliad teuluaidd erioed yn ei dŷ. Mae yn hoffi cynteddoedd y deml, ond y mae yn dibrisio yn hollol bethau cysegredicaf a mwyaf ysbrydol crefydd. Aiff ymlaen i bob swydd, a chwyna na fyddai ymhellach ymlaen; ond nid yw ei fod gymaint ar ol mewn sancteiddrwydd a chrefydd ysbrydol yn poeni dim arno. Ond y mae, fel Tobiah, am fod yn ddigon pell ymlaen i hawlio y pethau y mae y byd a dyn bydol yn rhoi pris arnynt. "Ac efe a wnaeth iddo ef ystafell fawr; ac yno y byddent o'r blaen yn rhoddi y bwydoffrymau, a thus, a'r llestri, a degwm yr yd, y gwin a'r olew." Yr oedd yn werth gan ddyn digrefydd fel Tobiah fynnu lle yng nghyntedd y deml er mwyn elwa ar y pethau oedd yn cael eu dwyn yno er cynnal crefydd. Un o'r manteision mwyaf a ddelai i Tobiah trwy gael ystafell fawr yng nghynteddoedd y tŷ oedd, mai dyma yr unig ffordd y gallasai roddi ei law i ysbeilio yr Arglwydd o'r bwyd-offrwm a'r thus; ac mai yn y modd hwn y gallasai gael iddo ei hun ddegwm yr ŷd, y gwin, a'r olew oedd wedi ei drefnu i'r Lefiaid, y cantorion, a'r porthorion, am ofalu am waith y tŷ.

Gwelwn oddiwrth yr amgylchiad hwn nad oes dim mwy niweidiol i grefydd na rhannu ei breintiau o ffafr ac nid o deilyngdod. Mae

anffyddlondeb swyddogion i drefniadau Duw yn cynhyrchu amharodrwydd yn yr aelodau i gyfrannu at grefydd. Pan welodd y bobl i bwy yr oedd yr offrymau yn debyg o fyned, gwrthodent eu talu. "Gwybum hefyd fod rhannau y Lefiaid heb eu rhoddi." Nid heb eu rhoddi iddynt, sef i'r Lefiaid, yn ol y cyfieithiad Cymraeg; ond heb eu talu o gwbl. Ond wedi bwrw holl ddodrefn tŷ Tobiah allan o'r ystafell, a dwyn i mewn yno drachefn lestri tŷ Dduw, yr offrwm a'r thus: "Ac wedi casglu ynghyd y Lefiaid, y cantorion, a'r porthorion, a'u gosod yn eu lle: Yna holl Judah a ddygasant ddegwm yr ŷd, a'r gwin, a'r olew, i'r trysordai." Mae rhyfel y degwm yn darfod ar unwaith wedi i'r bobl gael eu hargyhoeddi fod y degwm yn cael ei ddefnyddio yn brïodol er cynnal gwir swyddogion crefydd, ac nid i gadw mewn moethusrwydd Tobiah a'i dylwyth, gelynion anghymodlawn crefydd, a'r rhai a ddefnyddient eu cysylltiadau â'r deml i geisio difetha crefydd.

Mae rhai yn gwrthod disgyblu dynion digrefydd rhag colli eu cyfraniadau. Ond pa faint bynnag fydd cyfraniad Tobiah yr ydym wrth wrthod ei fwrw allan yn colli mwy nag ydym yn ennill. Wrth ei daflu allan, Tobiah a'i dylwyth yn unig ydym yn golli. Ond yr ydym yn ennill ewyllys da holl Judah. Ac wrth ddwyn drachefn lestri tŷ Dduw, yr offrwm a'r thus, yr ydym yn ennill ewyllys da Preswylydd y berth: ac os yw Duw o'n plaid, pwy a all fod i'n herbyn? A pha mor dda bynnag, ar rai ystyriaethau, yw cadw cyfeillgarwch Tobiah nid yw yn werth colli ewyllys da, a phresenoldeb Duw er ei fwyn.

Ond Eliasib ei hunan gollodd fwyaf trwy ei gyfeillgarwch â Thobiah. Ar yr offrymau yr oedd ef yn byw; ond cynhyrchodd ei gyfeillgarwch â Thobiah anewyllysgarwch yn y bobl i ddwyn y degwm a'r offrymau i mewn. Nid oes dim yn talu cystal yn y pen draw a ffyddlondeb i orchmynion ac ordinhadau Duw.

Gwelwn oddiwrth yr amgylchiad hwn mai gwirfoddol oedd taliad y degwm yn nyddiau Nehemiah. Pe buasai cyfraith yn gorfodi talu y degwm, ni buasai Tobiah yn petruso ei rhoddi mewn gweithrediad; yn wir, buasai yn falch o gael ei rhoddi mewn gweithrediad, i borthi ei elyniaeth a'i ddialgarwch ar y rhai a wrthwynebent ei gamddefnyddiad ef o gynteddoedd y deml. Ond nid oes awgrym o gwbl fod unrhyw orfodaeth yn cael ei arfer. Ac yr oedd dynion yn yr oes honno mor benderfynol o gael yr hyn a ystyrient yn iawnderau fel nad oeddent, er mwyn cael eu dyledion, yn petruso gwerthu eu brodyr. "Nyni yn ol ein gallu a brynasom ein brodyr yr Iuddewon, y rhai a werthasid i'r cenhedloedd; ac a ydych chwithau yn gwerthu eich brodyr?" Mae distawrwydd am orfodaeth ynglyn â'r degwm, yn profi nad oedd yn bosibl rhoi unrhyw orfodaeth ar y rhai a wrthodent ei dalu. Ddeugain mlynedd yn ddiweddarach, cawn y genedl wedi myned i wrthod talu y degwm drachefn, yn nyddiau Malachi. Cyhoeddir melldith gan Malachi yn eu herbyn am, y mae yn debyg, nad oedd ganddynt gystal esgus dros beidio ag yn achos Tobiah. Ond cofier mai melldith proffwyd sydd yn cael ei harfer tuag atynt, ac nid ffon y swyddog gwladol a chleddyf y milwr. "A ysbeilia dyn Dduw? eto chwi a'm hysbeiliasoch i: ond chwi a ddywedwch, ym mha beth y'th ysbeiliasom? yn y degwm a'r offrwm."

Gwyddom fod rhai, yn y blynyddoedd diweddaf hyn, wedi bod yn cymeryd yr adnod hon yn destyn i bregethu oddiwrthi, fod y Beibl yn cefnogi anfon y beili, yr heddgeidwaid, a'r milwyr i gasglu degwm oddiar ffermwyr anfoddog Cymru, at gadw dynion a ystyrrir ganddynt

yn ddim ond trawsfeddianwyr, fel Tobiah, yng nghynteddoedd y deml. Ond ystori arall sydd gan yr adnod hon mewn gwirionedd. Dengys mai gwirfoddol oedd cynhaliaeth crefydd dan yr Hen Destament, yn gystal a than y Testament Newydd. A gwelwn hefyd mai moesol ac ysbrydol ydyw y cymhellion prïodol i haelioni crefyddol. Ac nid oes dim yn debycach o darfu haelioni crefyddol nag anffyddlondeb y swyddogion i'w dyledswyddau. Aeth tŷ Dduw heb fwyd yn nyddiau Malachi am fod angen "puro meibion Lefi, a'u coethi hwynt fel aur ac fel arian, fel y byddent yn offrymu i'r Arglwydd offrwm mewn cyfiawnder. Yna byddai melus gan yr Arglwydd offrwm Judah a Jerusalem, megis yn y dyddiau gynt, ac fel yn y blynyddoedd gynt." Mae yn rhaid i gyfiawnder nodweddu ymddygiadau meibion Lefi, cyn y bydd dim meluster yn offrwm Judah a Jerusalem. Nid oes dim yn fwy niweidiol na dynion digrefydd, fel Tobiah, mewn cysylltiad agos â chrefydd. Ac nid oes dim yn fwy gwarthus na gweled dynion fel Eliasib yn defnyddio eu dylanwad a'u safle eglwysig i lochi dynion annheilwng fel Tobiah i gael rhan o freintiau y deml. Ac y mae yn myned yn fwy gwarthus fyth pan y gwneir hynny i foddhau perthynas fel y gwnaeth Eliasib gyda Thobiah, oblegid ei fod yn gyfathrachwr iddo.

Tybiai Eliasib fod yn anrhydedd cael gwas Sanbalat ymysg ei gyfeillion. Ond i'r hwn yr oedd y cyfrifoldeb o gadw i fyny anrhydedd y gyfraith ar ei ysgwydd, mae yn anhawdd meddwl am unrhyw weithred ddylasai beri mwy o gywilydd. Ac y mae yn bosibl mai er mwyn cael yn agos ato rywun a ystyriai yn ddigon teilwng i gymdeithasu ag ef yr oedd wedi rhoddi y fath le iddo yn y deml. Yr oedd yn gallu byw yn gysurus heb gymdeithas ei frodyr tlodion, y Lefiaid; ond nid oedd dim yn ormod ganddo wneyd er mwyn cael yr Amoniad dienwaededig hwn yn ddigon agos ato. Mae awydd am gymdeithas rhai o safleoedd bydol uchel ymysg swyddogion ac aelodau eglwysig, wedi rhoi briw i grefydd lawer gwaith ar ol yr ystafell fawr a wnaeth Eliasib i Tobiah. Y mae lle i ofni fod llawer teml eto y byddai yn dda cael rhyw Nehemiah yn ddigon gwrol i fwrw aml i Dobiah allan, nid yn unig o'i chynteddoedd, ond o'i chysegroedd. A hyd yn oed wedi ei fwrw ef a'i ddodrefn allan, bydd mwy o waith glanhau y prif seddau ym mhrif leoedd y dyrfa, nag a gafodd Nehemiah i lanhau ystafelloedd y deml ar ol Tobiah. Pla sydd wedi difetha dylanwad yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru ydyw yr ysfa sydd wedi bod ymysg ei phrif swyddogion i adeiladu ystafelloedd i Tobiah yn ei chynteddoedd. A phan y mae cyfoethogion a swyddogion gwladol yn amlhau ymysg yr Ymneillduwyr, rhaid bod yn ofalus rhag i'r un peth ddifa ein nerth ninnau. "Ephraim a ymgymysgodd â'r bobloedd. Ephraim sydd fel teisen heb ei throi. Estroniaid a fwytânt ei gryfder, ac nis gŵyr efe; ymdaenodd penwynni ar hyd-ddo ac nis gwybu efe. Ac y mae balchder Israel yn tystiolaethu yn ei wyneb." Ofnaf fod y lle mawr sydd i Tobiah yn y gwahanol gyfundebau crefyddol, yn dangos ein bod yn awr yn debycach i Israel gynt nag yr ydym yn barod i gyfaddef. Ond gobeithio na bydd ein hanes ni yn diweddu fel yr eiddynt hwy. "Ac er hyn oll, ni throant at yr Arglwydd eu Duw, ac nis ceisiant ef." Dibennodd balchder Israel yng nghaethgludiad deg llwyth colledig Israel, y rhai sydd yn aros ar goll hyd heddyw. Dibennodd yr ysbryd a adeiladodd ystafell Tobiah yng nghroeshoeliad y Messiah, dinystr Jerusalem, a gwasgariad yr Iuddewon i fod yn wawd ac yn rheg i holl deuluoedd y ddaear hyd heddyw.

Gall ffafraeth a phartïaeth sectol ein dwyn ninnau fel cyfundebau crefyddol i gaethiwed, a'n suddo i fwy o ddinodedd na'r deg llwyth colledig. Tipyn rhagor o adeiladu ystafelloedd i Tobiah a'n gwna yn wawd ac yn rheg i Atheistiaid, Socialiaid, ac annuwiolion ein hoes, a'r oesau dyfodol. Gall pwy bynnag a ymdrecho lanhau yr eglwys trwy fwrw rhyw Dobiah a'i ddodrefn allan o honi, gyda phrïodoldeb a chyda disgwyliad cryf y bydd iddo gael ei ateb, weddio gweddi Nehemiah: "Cofia fi fy Nuw, o herwydd hyn, ac na ddilea fy ngharedigrwydd a wnaethum i dŷ fy Nuw, a'i wyliadwriaethau ef."

*Llanllechid.* ROBERT WILLIAMS.

---

# Y BRIFYSGOL I GYMRU.

## 1854 AC 1894.

ANAML, os erioed, y gwelwyd cynhulliad Cymreig mor ddylanwadol â'r un a lanwai ystafell fwyaf y Trysorlys, ac a lwyddodd i agor dorau calon a llogell y Canghellydd, ar y 12fed o fis Ionawr diweddaf. Yr oedd Arglwydd Aberdar, Ardalydd Bute, a Mr. W. Rathbone megis Plenydd, Alawn, a Gwron, yn cynrychioli y Tri Choleg Cenedlaethol fel eu Llywyddion; a chyda hwynt yr oedd Arglwydd Swansea ac Arglwydd Kensington yn cynrychioli y Bendefigaeth; tra yr oedd rhyw bymtheg o aelodau Cymreig Ty'r Cyffredin yn cynrychioli Bywyd Newydd Cymru, heblaw athrawon y Colegau, llywyddion Cynghorau Sirol, maerod y prif drefydd, a blaenoriaid y bobl o bob phlaid a chredo,—llawer o honynt wedi ymdaith yn bwrpasol at yr amgylchiad o gyrrau pellaf y Dywysogaeth.

Ond er mor llïosog a dylanwadol a llwyddiannus y cynhulliad hwn, prin y gellir disgwyl iddo fod yn fwy ffrwythlawn yn ei ganlyniadau i Gymru na chynhulliad llawer llai, heb fod nepell o'r un fangre, a fu yn gosod i lawr seiliau Addysg yng Nghymru, ddeugain mlynedd yn flaenorol. Allwedd a luniwyd yn 1854, a agorodd ddorau cedyrn y Trysorlys yn 1894, ac y mae y deugain mlynedd rhwng 1854 ac 1894 yn cynnwys dechreuad, cynnydd, a buddugoliaeth Addysg Uwchraddol yng Nghymru. Bychan a didrwst oedd y cyfarfod yn 1854, ond er hynny yr oedd yn cynnwys pigion y genedl Gymreig, ac yn cynrychioli elfennau goreu y bywyd cenedlaethol. Nid dibwys na dinod unrhyw gynhulliad a gynhwysai Mr. (wedyn Syr) Hugh Owen, y Parch. Henry Rees, Mr. (yn awr Syr) George Osborne Morgan, y Parch. Richard Humphreys o Ddyffryn Meirionydd, Dr. David Charles, Dr. Lewis Edwards, S. R. o Lanbrynmair, Mr. Richard Davies (yn awr Arglwydd Raglaw Mon), a Mr. E. G. Salisbury o Gaer. Nid oes yn aros heddyw ond Syr George Osborne Morgan a Mr. Richard Davies; ond pery coffadwriaeth yr oll yn fendigedig "tra môr tra Brython," fel Tadau y symudiad sydd wedi ei goroni â Phrifysgol Genedlaethol. Yr oedd Mr. Hugh Owen rai blynyddau cyn hynny wedi llwyddo i gael y Cymry i fabwysiadu cyfundrefn o Addysg Elfennol y Gymdeithas Frytanaidd; yr oedd Mr. B. T. Williams, y bargyfreithiwr, y flwyddyn flaenorol wedi cyhoeddi traethawd ar yr angen am Brifysgol; yr oedd Dr. Lewis Edwards ar ddalennau y TRAETHODYDD, wedi galw sylw, yn ei ddull eglur a nerthol, at y dymunoldeb o sefydlu "Ysgolion Ieithyddol" yng Nghymru. Nid oedd ond un farn yn y cyfarfod gyda golwg ar angen mawr Cymru, sef cael cyfundrefn o Addysg Ganolraddol ac Uwchraddol; a phenodwyd ar

Mr. Osborne Morgan a Mr. Hugh Owen i ystyried pa fodd y gellid dwyn yr amcan hwnnw i ben. Bu y ddau hyn am gryn amser yn ymholi ynghylch yr adnoddau ariannol, yn ymchwilio i'r elusennau a'r gwaddoliadau, yn astudio trefniadau addysgol cenhedloedd ereill, ac yn ystyried pa gyfundrefn oedd yn debyg o ateb y diben yng Nghymru. Tynasant allan gynllun manwl, yn cynnwys darpariaeth i sefydlu coleg neu golegau yng Nghymru o nodwedd anenwadol, ac ar safon hollol genhedlaethol, gyda chyfansoddiad hynod debyg i gyfansoddiad y colegau presennol. Cyn iddynt allu cyhoeddi y cynllun hwnnw, llusgwyd y wlad hon i ryfel â Rwssia, ac yr oedd yn amhosibl cael sylw y wlad na'r Llywodraeth at y mater.

Ond yn y cyfamser yr oedd yr Ysgolion Brytanaidd yn myned ar gynnydd yng Nghymru, ac nid oedd yn hawdd cael nifer digonol o athrawon ar eu cyfer. Felly ymdaflodd Mr. Hugh Owen i'r gwaith hwn, sicrhaodd gydweithrediad y Parch. John Phillips, a llwyddwyd i sefydlu y Coleg Normalaidd ym Mangor. Agorwyd y Colegdy hardd ym Mangor yn 1862; ac yn 1863, ail-gychwynwyd y mudiad o blaid Addysg Uwchraddol. Cynhaliwyd cyfarfodydd cyhoeddus yn Llundain, a chafwyd tanysgrifiad o fil o bunnau gan Mr. William Williams, yr aelod Seneddol dros Lambeth. Bu Dr. Nicholas a Dr. Charles yn gweithredu fel ysgrifenyddion, ac erbyn 1872, llwyddwyd i gasglu dros ddeuddeng mil o bunnau. Yn y cyfamser, yr oedd y drychfeddwl o Brifysgol yn cryfhau; ni chollid unrhyw gyfleustra ar lwyfan yr Eisteddfod ac yn y wasg i ddadleu drosto; ac er nad oedd apostolion addysg yn lliosog, yr oeddynt yn effro, yn benderfynol, a bron iawn yn holl-bresennol. Yr oedd y wlad yn addfed, a phenderfynwyd sefydlu Coleg ar unwaith fel y cam cyntaf tuag at sicrhau y Brifysgol. Buwyd am beth amser mewn trafodaeth gyda Chwmni y Ffordd Haiarn am lain o dir i'r adeilad yn y Britannia Park, gerllaw Bangor, oedd y pryd hwnnw yn perthyn i'r Cwmni, ond sydd yn awr ym meddiant teulu Treborth. Ond yn y cyfamser, clybuwyd am yr adeilad godidog yn Aberystwyth; prynwyd hwnnw, ac agorwyd y Coleg ym mis Hydref, 1872.

Mae y flwyddyn 1872, gan hynny, yn ganolbwynt y symudiad sydd erbyn hyn yn dechreu newid wyneb Cymru,—y garreg filltir gyntaf ar brif-ffordd sydd a'i chyfeiriad i Gymru Fydd. Nid yw yn anhawdd nodi y cerrig ereill,—Dirprwyaeth Arglwydd Aberdar yn 1881; sefydliad Coleg Caerdydd yn 1883, a Choleg y Gogledd ym Mangor yn 1884; cychwyniad y gyfundrefn o Addysg Ganolraddol yn 1889; Cynadleddau yr Amwythig yn 1892-3; a sefydliad y Brifysgol gyda'i Breinlen yn ystod yr ychydig fisoedd diweddaf. Parhaodd y frwydr am Addysg Uwchraddol am ddeugain mlynedd; nodweddwyd hi nid yn unig gan frwdfrydedd a hunan-aberth, ond gan benderfyniad gwydn a dyfalbarhad,—teithi nad oedd pawb yn barod i'w cydnabod fel yn nodweddiadol o'r cymeriad Cymreig. Prin y gellid galw y mudiad yn un poblogaidd, yn ystyr gyffredin y gair. Danodwyd fwy nag unwaith i'w arweddwyr nad oeddynt ond cynifer o freuddwydwyr,—dyrnaid o arweinwyr heb dorf y tu cefn iddynt. Gellid ateb mai breuddwydwyr ymhob oes sydd wedi peri y chwyldroadau mwyaf mewn gwlad ac eglwys, ac y mae yn ddigon posibl y gellid dweyd am lawer o'r nodweddion sydd yn gosod rhagoriaeth ar y Cymro, ac wedi cadw yr hen genedl yn fyw trwy dreigl yr oesoedd, mai

Breuddwydion y beirdd ydynt.

Ond gall y breuddwydwyr Cymreig o leiaf hawlio erbyn hyn fod cwrs y byd yn dehongli eu breuddwydion, ac yn nydd y fuddugoliaeth, hwyrach y cydnebydd y beirniaid fod y breuddwydion a'u sylweddoliad yn berffaith gyson â thraddodiadau y genedl Gymreig, ac yn arddangos ffydd ddiysgog yn y posibilrwydd o "godi'r hen wlad yn ei hol." Ni chafodd y rhan fwyaf o'r blaenoriaid ond crwydro yn flin am y deugain mlynedd yn yr anialwch, heb fyned i mewn i wlad yr addewid, eithr o bell ei gweled hi; eto, ni laesasant ddwylaw, ac yn araf cawsant yr argyhoeddiad fod y werin, er nad yn drystfawr, mewn gwirionedd yn

Gefn wrthynt i'w cyfnerthu.

Dyfnhawyd awyddfryd pob dosbarth am foddion addysg; meddiannwyd hyd yn oed lwyfan yr Eisteddfod, cipiwyd rhan o adnoddau ariannol y gwyliau cenedlaethol yn waddol i addysg, treiddiwyd i gynulliadau y Cymrodorion a phob cymdeithas Gymreig, cariwyd yr ymgyrch hyd yn oed i lysoedd y cyfundebau crefyddol, gan y rhai a gredent mai y goreu arf i ymladd brwydrau Cymru ydoedd Arf Dysg. Gorchwyl blin ac araf oedd dwyn y bobl i weled mai y symudiad hwn oedd yr allwedd i bob dyrchafiad cenedlaethol; ond o'r diwedd cododd y llanw, ac ysgubodd bob rhwystr o'i flaen.

Argyhoeddwyd y genedl o'r angen am Brifysgol, ond hyd nes y sefydlwyd y Colegau Cenedlaethol, nid oedd ganddi y peiriant angenrheidiol i roddi i'r syniad noeth ffurf ymarferol. Penodwyd Cynhadledd yr Amwythig gan y Colegau a'r Cyd-bwyllgorau Addysg i wneyd y diffyg i fyny; cyfarfu y Gynhadledd yn fynych am ysbaid dwy flynedd, gan eistedd am ddeuddydd llawn bob tro, i chwilio i mewn i drefniadau gwahanol wledyddd, ac i ymgynghori ynghylch y trefniant goreu i Gymru. Yn y Gynhadledd hon cynrychiolid pob un o siroedd Cymru gan oddeutu trigain o bersonau,—nifer mawr o honynt yn meddu profiad ymarferol o gynlluniau Lloegr, Ysgotland, a'r Iwerddon, a bron yr oll, rywbryd neu gilydd, wedi bod yn cymeryd rhan flaenllaw ym mrwydr Addysg yng Nghymru. Ni bu erioed fwy o amrywiaeth barn mewn unrhyw gyngor; a thybiai rhai na ddeuid byth i gytundeb. Ond cafodd pob barn ei llafar, ac ar ol mesur a phwyso pob golygiad, daethpwyd o'r diwedd i benderfyniad lled unfrydol gyda golwg ar y cynllun mwyaf cyfaddas i Gymru, a lluniwyd cyfansoddiad a esyd Brifysgol Cymru ar ei phen ei hun gyda golwg ar liaws o'i threfniadau. Astudiodd y Gynhadledd ragoriaethau pob cynllun, ond anturiodd hefyd ar lwybr hollol annibynnol, lle yr oedd sefyllfa ac angenrheidiau neillduol Cymru yn galw am wreiddioldeb.

Gwaith cyntaf y Gynhadledd oedd penderfynu egwyddor sylfaenol y Brifysgol,—pa un ai Prifysgol yn cyfrannu addysg ei hunan, ynte Prifysgol fel Prifysgol Llundain a'i swyddogaeth yn unig i arholi neu i fesur a phwyso addysg a gyfrennid gan ereill. Edrychwyd ar y pwnc o bob cyfeiriad, a mabwysiadwyd y cynllun blaenaf fel yr un goreu i sicrhau yr addysg fwyaf trwyadl, a'r unig un a sicrhai Brifysgol o nodwedd genedlaethol a Chymreig. Cafwyd fod yr awdurdodau uchaf ar addysg, a blaenoriaid y symudiad, bron yn ddieithriad yn condemnio y cynllun o Fwrdd Arholiadol, yr hwn oedd yn seiliedig mewn gwirionedd ar yr egwyddor o *payment by results*, sydd wedi bod mor andwyol ynglyn âg addysg elfennol, ac nid ar yr egwyddor y dylai

graddau athrofaol gael eu rhoddi fel coron i gwrs o ddiwylliant meddyliol yn hytrach nag fel gwobr mewn arholiad nad oedd yn golygu dim ond côf gafaelgar yn yr ymgeisydd, neu rhyw fath o grap arwynebol ar esgyrn sychion pynciau yr arholiad. Nid oedd tebygrwydd ychwaith y buasai y Llywodraeth, ac yn enwedig Mr. Acland,—un o'r awdurdodau uchaf yn y deyrnas ar Addysg, a gelyn anghymodlawn i'r gyfundrefn arholiadol,—yn cymeradwyo unrhyw gynllun anghyson â'r egwyddor fod y Brifysgol i grynhoi, dadblygu, a choroni llafur yr athrawon yn yr Ysgolion Canolraddol a'r Colegau, fel ag i sicrhau fod cyfundrefn Addysg Cymru yn gyfanwaith golygus, yn hytrach nag yn gydgasgliad gwastraffus o ymdrechion digysylltiad ac anghyson.

Yr un modd â'r Ysgolion a'r Colegau, golygid i'r Brifysgol hefyd fod ar sylfaen Anenwadol. Dyna'r paham y gwrthodwyd gosod Coleg Llanbedr a'r Colegau Duwinyddol ereill, sydd dan lywodraeth enwadol, ar yr un tir a'r Colegau Cenedlaethol. Yng nghynllun gwreiddiol y Gynhadledd, ni wneid un ddarpariaeth ar gyfer arholiadau a graddau mewn Duwinyddiaeth, am y rheswm nad oedd Duwinyddiaeth yn rhan o gwrs addysg y Colegau oedd i gyfansoddi y Brifysgol; ac y mae yn ddigon posibl fod cryn nifer o'r aelodau o'r farn mai dyledswydd Eglwysi Crêd, yn hytrach na sefydliadau gwladol, yw dysgu Duwinyddiaeth. Dadleuid ar y llaw arall, fod gan ymgeiswyr am y weinidogaeth yn yr Eglwys Sefydledig foddion i sicrhau graddau Duwinyddol yng Ngholeg Llanbedr, ac felly, er mwyn sicrhau cydraddoldeb breintiau i efrydwyr y Colegau Anghydffurfiol, y dylid galluogi y Brifysgol i arholi mewn Duwinyddiaeth ac i gyfrannu graddau Duwinyddol. Teimlid fod amgylchiadau neillduol Cymru yn rhoddi grym i'r wrthddadl hon; ac ar ol cryn ystyriaeth, gollyngwyd Duwinyddiaeth i mewn bron, os nad yn hollol ddiwrthwynebiad, fel testyn arholiad a graddoliad. Nid yw yn gofyn craffder goruwchnaturiol i ganfod fod y cyfnewidiad hwn yn golygu o leiaf ddau anghysondeb: sef yn gyntaf, fod y Brifysgol yn ymgymeryd âg arholi mewn pwnc nad yw Colegau y Brifysgol yn ei addysgu, ac felly mewn Duwinyddiaeth nad yw y Brifysgol ond *Examining Board* wedi'r cwbl; ac yn ail, fod addysg enwadol yn cael ei llusgo i mewn, a'r addysg enwadol honno yn cael ei dwyn at faen-prawf arholiad *an*enwadol. Nis gellir amddiffyn hyn, hwyrach, ar dir rhesymeg noeth; ond dywedai Beaconsfield unwaith nad oedd Prydain Fawr dan rwymau i gydnabod penarglwyddiaeth Rhesymeg yn holl agweddau ei bywyd aml-ochrog; ac ond odid nad allai y Gynhadledd gyflawni gwaeth pechod na gwneyd i'r damcaniaethol blygu weithiau i'r posibl a'r ymarferol. Yr oedd yn werth achub yr egwyddor o gydraddoldeb ar draul anafu tipyn ar y cywreinwaith; ac yr oedd pob cynllun arall a awgrymwyd i gydnabod Duwinyddiaeth yn debyg o daflu'r symudiad i drobwll peryglus enwadaeth, ac yn bygwth gwneyd llongddrylliad o'r Brifysgol ar greigiau cynnen ac ymbleidiaeth. Yn ol pob argoel, yr oedd barn oleuedig Cymru yn galw am ryw drefniant rhesymol i gydnabod Duwinyddiaeth fel cangen o wybodaeth; ac y mae Cymru, cyn heddyw, wedi ennill ei hawl i hunan-lywodraeth yng nglyn â'i chyfundrefn o Addysg Uwchraddol. Gall culni, neu ragfarn, neu raib enwadol wneyd y trefniant hwn yn oferedd a ffolineb; nid oes ond ymddiried a chydoddefiad, a rhyddfrydigrwydd gwladgarwch a'i gwna yn iechyd i Dduwinyddiaeth ac yn fendith i Gymru.

Ni chaniatâ terfynau y TRAETHODYDD ond bron grybwyll un neu ddau o neillduolion ereill yng nghyfansoddiad y Brifysgol. Prifysgol Cymru yw y gyntaf o'r holl brifysgolion i ddileu yn llwyr ganolfur y gwahaniaeth rhwng Meibion a Merched gyda golwg ar ei haddysg, ei graddau, a hyd yn oed ei swyddau. Dyma farc uchaf ymchwydd y don o blaid cydraddoldeb y ddau ryw ym myd y meddwl. Athrylith Gymreig sydd wedi rhoddi ffurf a sylwedd i'r gwirionedd fod y wraig fel y gŵr wedi ei chreu ar ddelw y Goruchaf, ac yn anadlu ffûn anadl einioes y Duwdod. Mae insel rhyddhad Benywol Cymru, dan law Benywdeyrn Prydain Fawr, i'w gael yn erthygl gyntaf y Freinlen, yn yr adran ganlynol:

Women shall be eligible equally with men for admittance to any Degree which the University is by this Our Charter authorised to confer. Every office hereby created in the University and the membership of every authority hereby constituted shall be open to women equally with men.

Dylid mynegi fod y ddarpariaeth hon ym mras-gynllun Dr. Isambard Owen, a gymerodd y Gynhadledd fel sylfaen ei gweithrediadau, ac na chodwyd yr un sill o wrthwynebiad iddi o'r dechreu i'r diwedd.* Tybed a yw Rhïanod têg Cymru mor fyw i bwysigrwydd y breintiau hyn, ac i werth Addysg Uwchraddol, ag aelodau'r Gynhadledd (gwrywod gydag un eithriad) sydd wedi dangos y fath awydd i ddwyn bendithion a rhagorfreintiau addysg uchel - athrofäol o fewn eu cyrraedd?

Dr. Isambard Owen hefyd a gynlluniodd, a ymladdodd dros, ac a fynnodd sicrhau Urdd y Graddogion sydd yn ffurfio elfen nodweddiadol arall ym Mhrifysgol Cymru. Nid gwiw i feibion a merched Cymru dybied fod eu cysylltiad â'r Brifysgol i derfynu mewn urdd neu deitl yn unig. I'r gwrthwyneb, nid yw y teitl ond mynedfa iddynt o ddosbarth y disgyblion i ddosbarth y llywodraethwyr; a theg yw disgwyl Urdd y Graddogion,—pigion ieuenctid Cymru,—i ddwyn ynni, a gobeithion, ac ysbrydiaeth Cymru Fydd i waith y Brifysgol. Gallant hwy daflu trydan ieuenctid i holl lysoedd y Brifysgol, ac achub y Sefydliad rhag tynged llawer prif-athrofa mewn gwledydd ereill, o syrthio yn aberth i lesgedd a musgrellni, neu yn nythle i ddiogi a segurdod.

Amcanai Cynhadledd yr Amwythig wneyd y Brifysgol, nid yn unig yn goron cyfundrefn Addysg Cymru, ond yn ddrych o'r bywyd Cymreig. Yn groes i bob Prifysgol arall yn Ewrop a'r Amerig, mae mantol gallu wedi ei dodi nid yn llaw y Goron, na hyd yn oed athrawon y Colegau, ond yn llaw corff y Bobl. Mewn gwirionedd, mae Llys y Brifysgol yn Senedd Gymreig, i drafod achosion ynglyn ag Addysg. Mae y Llys Llywodraethol i gynnwys ychydig dros gant o bersonau, a phenodir hwynt oll, oddigerth rhyw ddeunaw, gan gyrff cyhoeddus, fel Llysoedd a Chynghorau y Colegau, y Cynghorau Sirol, Bwrdd Canolog Addysg Ganolraddol, athrawon yr Ysgolion Elfennol a Chanolraddol, ac Urdd y Graddogion. Dylai y cyfansoddiad llydan hwn agor y drws

* Cyfnewidiwyd llawer ar gynllun Dr. Owen cyn i'r Gynhadledd orffen ei gwaith, ond y mae y Freinlen fel y saif yn dwyn delw ei gynllun gwreiddiol ef yn ei phrif ddarpariadau, ac y mae Cymru dan fwy o rwymau i Dr. Isambard Owen am hanfod a ffurf Cyfansoddiad y Brifysgol nag i unrhyw aelod o'r Gynhadledd. Llafuriodd aelodau'r Gynhadledd gyda ffyddlondeb a sêl digyffelyb, ond efe yn ddiau a ragorodd arnynt oll,

i'r hyn sydd yn oreu ym mywyd Cymru, a sicrhau profiad, a deall-twriaeth, a barn yng ngweinyddwyr y Brifysgol. Ar Gymru ei hun y teflir y cyfrifoldeb o wneyd y Brifysgol yn llwyddiant neu yn fethiant,—yn offeryn i ddyrchafu bywyd, neu yn rhwystr i dyfiant a dadblygiad. Mae dydd prawf Cymru gerllaw, oblegid yn ystod yr ychydig ddyddiau nesaf, os nid cyn i'r llinellau hyn ddyfod allan o'r wasg, bydd y Llywodraeth yn anfon gwys a gwahawdd i'r holl awdurdodau a nodir uchod i ethol eu cynrychiolwyr; a rhywbryd o hyn i'r dydd cyntaf o Fai, cynhelir y cyfarfod cyntaf o'r Llys Llywodraethol. "Gwell Dysg na Golud," a rhag i gyfoeth gael un fantais mae y Freinlen yn darparu y gall y Brifysgol dalu costau teithio aelodau y Llys. Mae y ddarpariaeth hon wedi ei llunio gyda'r amcan o sicrhau gwŷr doeth, yn hytrach na gwŷr goludog fel aelodau o'r Llys; ond y mae ambell i swydd-chwenychwr yn debyg o gymeryd mantais arni er ymwthio i anrhydedd, a dywedir fod y clefyd o swydd-geisiadaeth wedi torri allan yn barod mewn rhai cylchoedd. Ar yr 11eg o fis Ionawr, bu ychydig o aelodau Pwyllgor y Gynhadledd o flaen Mr. Acland i gael ei gyfarwyddyd ac i ddiolch iddo am ei ymdrechion gwerthfawr dros y Brifysgol ac Addysg Ganolraddol. Yr oedd yn amlwg fod y bonheddwr gwir anrhydeddus yn teimlo yn bryderus gyda golwg ar sicrhau personau cymhwys i wasanaethu ar Lys y Brifysgol, a gwasgodd yn ddifrifol ar feddyliau y ddirprwyaeth y pwysigrwydd o ddwyn y ddyledswydd hon dan sylw y byrddau cyhoeddus. Y perygl yw i gyfeillgarwch personol neu bleid-garwch sectol, neu raib anniwall swydd-geiswyr uchelgeisiol lithro i mewn i andwyo yr etholiadau, ac i wŷr cymwys i'r gwaith gael eu gwthio o'r neilldu, i wneyd lle i bersonau nad allant fod o nemor wasanaeth, ond a geisiant y swydd â'u llygad ar ei hanrhydedd yn hytrach nag ar ei dyledswyddau. Gwrandawer o leiaf ar eiriau rhybuddiol y gŵr sydd yn meddu y fath hawl i'n cyfarwyddo: "Gyda golwg ar y byrddau hynny sydd i ethol aelodau i Lys y Brifysgol," meddai Mr. Acland, "ni raid ond dangos iddynt mor fawr yw eu cyfrifoldeb a'u dyledswydd. Mae y ffurf neillduol o Brifysgol a luniwyd gennych yn y Siarter hon yn rhoddi gallu anarferol yn nwylaw y rhai sydd i fod yn gyfrifol am ddygiad y gwaith ymlaen. Y mae anhawsterau, anhawsterau daearyddol yn enwedig, yn eich gwynebu; ac fe garwn i gael cyfleustra i wasgu ar y Cynghorau Sirol yn enwedig, y pwysigrwydd o ddewis, nid y dyn y byddai y swydd yn anrhydedd iddo, ond y dyn a fyddai, o herwydd gwahanol resymau, yn abl i wneyd y gwaith, a'r hwn a gymerai y gwaith neillduol hwn yn waith iddo ei hun, a gyflawnai y gwaith trwy ddilyn yr holl gyfarfodydd, ac a'i cyflawnai yn y dull goreu sydd yn bosibl."

A yw yn ormod gofyn i bob Cymro wylio yn eiddigus na byddo ei gynrychiolwyr yn gwarthruddo ei genedl trwy ymddwyn yn groes i rybudd Mr. Acland yn y cyfwng presennol? Cofier fod Llys y Brifysgol, nid yn unig i lywodraethu y Brifysgol, ond mewn gwirionedd i roddi cyfeiriad i gyfundrefn addysg a bywyd cyhoeddus Cymru. Y Brifysgol yw y gallu sydd i wneyd Cymru yn Un, ac y mae y gwaith hwn yn gofyn craffder, a gwybodaeth, a difrifoldeb.

Corff cyfansawdd yw y Llys, ac y mae llwyddiant y Brifysgol yn dibynnu ar gydgordiad a chydweithrediad y gwahanol elfennau a ddygir ynghyd yn ei gyfansoddiad. Gall Llys y Brifysgol wneyd mwy i hyrwyddo addysg Cymru nag a allai unrhyw Lywodraeth; ond nis

gall wneyd hynny hyd nes y dygir cynrychiolwyr y dysgawdwyr, a gwŷr y Cynghorau Sirol, cenhadon y Llywodraeth, yr ysgolfeistriaid a'r graddogion, nid yn unig i gyd-oddef eu gilydd, ond i gyd-weithredu er cyrraedd amcanion sydd yn rhwym o fod yn newydd a dieithr i lawer o honynt. Anhawdd i rai fydd sylweddoli yr ysbrydiaeth cenedlaethol sydd wedi rhoddi bod, ac sydd i barhau i roddi bywyd i'r Brifysgol. Bydd yn llawn mor anhawdd i ereill ymddiosg o'r hen draddodiadau a laddodd ddefnyddioldeb ein Hysgolion Gramadegol, ac i sylweddoli fod y gyfundrefn newydd yn cynrychioli dadblygiad naturiol y bywyd Cymreig, yn hytrach na dynwarediad egwan o neillduolion a sefydliadau cenhedloedd ereill.

Os yw pob rhagorfraint, fel y dywed Mazzini, yn rhagdybied rhyw ddyledswydd gyferbyniol, y mae yn llawn bryd i Gymru ymwregysu i gyflawni y dyledswyddau sydd wedi crynhoi o'i hamgylch yn ystod yr ychydig flynyddoedd diweddaf. Mae y Colegau a'r Ysgolion Canolraddol, y Brifysgol, y Cynghorau Sirol, a'r Cynghorau Plwyfol sydd i ddilyn ar eu lledol, yn agor drws defnyddioldeb i bob Cymro a Chymraes, heb wahaniaeth plaid na chrêd na safle gymdeithasol. Bernir ni bellach yn ol yr hyn a gyflawnir gennym, a hynny yn ol y safon uchaf; oblegid nis gallwn ymesgusodi o hyn allan rhag cystadlu ag unrhyw genedl am y rheswm ein bod ar dir anghyfartal. Yr ydym yn cychwyn ar ein gyrfa newydd gyda thraddodiadau sydd yn ffafriol i lwyddiant. Y mae gennym werin sydd ar hyd y blynyddoedd a'r oesoedd, wedi meithrin awen a chân, ac ni wiw i'r Brifysgol gau ei llygaid i'r ffaith mai y bobl gyffredin yw y dosbarth llenyddol yng Nghymru. Rhaid agor drysau y Cynghorau Addysg, yn gystal â'r Cynghorau Gwladol i'r dosbarth hwn. Mae yr Ysgol Sul a'r Eglwysi hunan-lywodraethol wedi disgyblu a pharatoi yr amaethwr a'r gweithiwr at y gwaith o drafod materion cyhoeddus gyda phwyll a doethineb, fel nad oes un rhwystr ar y ffordd i wreng a bonheddig ymuno yn nygiad ymlaen amgylchiadau Cymru yn y blynyddoedd sydd i ddyfod. Mae sefydliad y Brifysgol yn sicrhau y posibilrwydd am y tro cyntaf i'r Colegau wneyd astudiaeth o Iaith a Llenyddiaeth Cymru yn rhan hanfodol o'u maes llafur, a gellir bod yn sicr y dilynir esiampl y Colegau gan yr Ysgolion. Yn y cyfeiriad hwn, sef yn ymddanghosiad tô o Gymry wedi eu trwytho yn hanes a thraddodiadau llenyddol ein cenedl, y rhaid edrych am yr ysbrydoliaeth sydd i ddadblygu yr athrylith Gymreig. Heb hynny, prin y gellir disgwyl pethau mawrion fel ffrwyth yr oruchwyliaeth newydd. Gall yr addysg sydd yn gyffredin i bob cenedl alluogi ein bechgyn a'n merched i ennill clod mewn arholiadau, neu i gyrraedd sefyllfaoedd o ddylanwad mewn byd ac eglwys; gall oleuo y deall, puro y chwaeth, a dadblygu y meddwl. Ond gall wneyd hyn oll heb gael un effaith ar fywyd y genedl fel cenedl,—heb ddylanwadu ar galon Gymru, heb gyrraedd cydwybod Cymru, heb ail-eni sefydliadau Cymru. Nid yw y Brifysgol, wedi'r cwbl, ond offeryn i gyrraedd y dibenion mawrion hyn; a gellir eu cyrraedd, nid yn ddisymwth a thrwy drais, ond yn araf a phwyllog, os caniateir i ddoethineb a gwybodaeth, yn hytrach na chulni a rhagfarn, lywodraethu yn newisiad aelodau Llys y Brifysgol.

W. CADWALADR DAVIES.

# NODIADAU LLENYDDOL.

Present Day Tracts. *Duwinyddiaeth a'r Beibl.* Gan JOSEPH ANGUS, M.A., D.D. Gyda Rhagarweiniad gan y Parch. T. CHARLES EDWARDS, D.D., Prifathraw Coleg Duwinyddol y Bala. Wedi ei gyfieithu gan T. L., Aberystwyth. Llundain: Cymdeithas y Traethodau.

NI nodir pris y llyfr hwn, ond yr ydym yn meddwl mai grôt yr un ydyw y *Present Day Tracts*, a gellid meddwl oddiwrth y geiriau "Welsh Present Day Tracts, No. 1." a geir yn ei ddiwedd, y bwriedir dwyn allan at wasanaeth y Cymry ychwaneg o'r gyfres ragorol hon, at ba un yr ydym amryw weithiau wedi galw sylw ein darllenwyr. Mae mater y traethawd yma, sef fod duwinyddiaeth i'w thynnu yn gwbl o'r Beibl, ac y gellid, o astudiaeth ddofn a duwiolfrydig o'r Ysgrythyrau, obeithio ychwanegu yn barhaus at ei therfynau, yn cael y dyddiau hyn, lawer o sylw y meddyliau goreu, a diameu y daw o hynny ddaioni mawr. Prin y mae eisieu dweyd ei fod yn cael ei osod ger bron yn y llyfr hwn yn oleu a meistrolgar, ac y mae miloedd o'n cydwladwyr ag y byddai darllen y llyfr iddynt yn addysgiaeth ac yn ddirfawr fwynhad. Da gennym weled hefyd y gellir ei gael, gyda chyhoeddiadau ereill Cymdeithas dda y Tracthodau, oddiwrth Mr. O'Brien Owen, Caernarfon. Dylasai fod wedi ei argraffu yn gywirach. Mae y gwallau sydd wedi dianc yn anesgusodol. Am yr orgraff, fe welir yma, fel yn wir y gwelir yn barhaus, y fath dryblith ydyw yr hyn a ystyrrir fel y drefn briodol o ysgrifennu Cymraeg. Cawn eangder a deongli, ond hefyd dehongliadau; cymwysiad a chymhwysiad; enghraifft, cyrhaedd, anghen, ond hefyd cynwysiad a cenedlu; a thra y dyblir yn attynu, etto, atteb (er y ceir hefyd ateb a chytuno), gadewir yr n ar r, a than holl bwys yr acen (megis yn cynwys a gyru), i ymdaro fel y gallant. Os nad yw hyn yn wneuthur yr hyn na ddylid ei wneuthur, ac yn adael heb ei wneuthur yr hyn a ddylid, nid hawdd gwybod beth allai fod felly.

*Amddiffyniad i'r Methodistiaid Cymreig, mewn atebiad i gyhuddiadau yn eu herbyn, mewn dau Draethodyn dienw, a gyhoeddwyd ac a ledaenwyd yn ddiweddar yng Nghymru, un yn Saesneg, dan y teitl,* "Hints to the Heads of Familes," *a'r llall yn Gymraeg dan y teitl,* "Cyngor Difrifol Periglor i'w Blwyfolion." Gan y Parch. THOMAS CHARLES, B.A., o'r Bala. Wedi ei gyfieithu gan HENRY HUGHES, Brynkir.

DA iawn gennym fod y *Vindication of the Welsh Methodists*, oedd bellach wedi myned yn dra anhawdd cael gafael arno, wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan y Parch. Henry Hughes, ac i'w gael yn llyfryn destlus am chwe cheiniog. Diameu y bydd llawer iawn a ddarllenasant am dano, neu a glywsant yr hen bobl yn siarad yn ei gylch, yn falch o'r cyfleustra i'w wneyd yn eiddo iddynt ac i'w fwynhau. Fe'i "harwyddwyd dros a thrwy orchymyn y Gymdeithasfa a gynhaliwyd yn Llanrwst, Chwefror 25, 1802," gan "Thomas Charles." Yr oedd y "ddau draethodyn" yr ysgrifennwyd ef fel atebiad iddynt, wedi eu cyhoeddi gan ddau berson, person Llandyfrydog a pherson Aber—gwŷr a gyrhaeddasant enwogrwydd yng nghân fawr Twm o'r Nant, bardd ag yr oedd ei watwareg finiog yn y dyddiau hynny yn fwy o ddychryn i wŷr Eglwysig llygredig Cymru na dim neith arall yn yr holl greadigaeth. Am y gwr a ysgrifennai gyda'r fath falais brwnt ei "Hints to the Heads of Families," canai Bardd y Nant,—

A'r blaener byw elyniaeth, yn ail i lwynog bach,
Ni chafodd ef ryw Sulgwaith, mewn triniaeth ond dwy wrach;
Os na chaiff ar y Suliau fawr sylw gwyr ei blwy,
Caiff ladi wen trwy'r wythnos yn agos at ei nwy. . . .

Sgrifennodd lyfr Seisnigaidd sy'n agos iawn i gyd
Yn gelwydd melldigedig, wrth byblig farn y byd,
I daeru mai bradwriaeth yw'r Ymdeillduaeth sydd
Yn nghrefydd Methodistied mewn daliad nos a dydd. . . .

Mae'r gwr wrth bob crefyddau, rhaid adde'n ddigon dig,
Ond crefydd Methodistied sydd dostaf dan ei big.

Drachefn,—

Bydd 'ffeiriad Aber debyg yn ddig na chawsai ddarn,
Ni thalsai hwn mo'i ateb, cysondeb careg sarn.

Oni bai ein bod yn gweled gwyr urddasol yn barhaus yn cyhoeddi athrod o gyffelyb ysbryd yn ein dyddiau ninnau, fe fuasai yn anhawdd gennym gredu y gallasai y ddau hyn ysgrifennu camdystiolaethau mor fileinig, os nad mor wallgof o enllibaidd ag a osodasant ger bron yn eu traethodau, a hynny am bobl bur a diniwed nad allasent gymaint a dychmygu am gyflawni y mawr ddrygau a osodid yn eu siars. Y mae atebiad Mr. Charles, fel y gallesid disgwyl, yn gryf ac urddasol, ac yn llawn o'r boneddigeiddrwydd Cristionogol oedd mor amlwg yn ei nodweddu. Yr un pryd, yr oedd yn ormod hyd yn oed i ràs Mr. Charles beidio coegi tipyn ar y gweilch diegwyddor a maleisddrwg oedd yn ceisio gwneyd y fath fràd. "Gall y boneddwr hwn," meddai, "haeru y peth a fynno, canys nis gall fod arno byth ball am brawfion; y fath ag ydynt gall eu cynhyrchu mewn cyflawnder gydag ychydig ysgogiadau ar ei ysgrifell; gyda holl fedrusrwydd y rhesymegydd cywreiniaf gall brofi yr hyn fynno oddiwrth y peth a fynno; ac a'i alluoedd rhyfeddol i ymresymu, fe all brofi pethau hollol *wrthwynebol* i'w gilydd gyda'r un a'r unrhyw ddadleuon."

Llyfrau Ysgol Cymru Fydd, yn Orgraff a than Nawdd Cymdeithas yr Iaith Gymraeg. *Llyfr Cyntaf Hanes.* Gan JOHN EDWARD LLOYD, M.A., Athraw ar Hanes Cymru yng Ngholeg y Gogledd, Bangor. 1s. 3c.

*Y Llyfr Bach.* Rhan I. Wedi ei gyfaddasu at ofynion y *Code.* Gan L. D. JONES, Ysgol y Garth, Bangor. 3c.—Caernarfon: Cwmni'r Wasg Genedlaethol Gymreig.

MAE yn dra boddhaol gennym weled y llyfrau hyn yn y farchnad, a diameu, dan y drefn newydd dda sydd bellach wedi ei sefydlu ynglyn â'n hysgolion elfennol, y gwneir defnydd gwych o honynt. Mae *Y Llyfr Bach*, gan Mr. L. D. Jones, yn em. Y mae wedi ei baratoi gan un sydd mewn cymundeb parhaus â meddyliau y rhai ieuainc, ac yn gwybod trwy brofiad maith a llwyddiannus pa fodd i'w cyrraedd a'u dwyn ymlaen. Fe'i bwriedir i ddysgu llythrennau'r wyddor, a daw pob llythyren ymlaen fel y gyntaf yn enw gwrthrych hollol adnabyddus i bob plentyn, o ba un y ceir darlun prydferth, yr hyn a rydd iddo, nid yn unig ei henw, ond hefyd ei grym yn ffurfiad geiriau. Fe roddir y llythrennau hefyd, i ddechreu, nid yn ol y drefn arferol, ond yn ol yr hawster i'w seinio a'u cofio; ac erbyn y deuir atynt yn nhrefn y wyddor, bydd y plant wedi dysgu llawer yn eu cylch, a hynny mewn ffordd mor ddifyr â phe na byddai ond chwareu. Rhoddir y wyddor hefyd yn y diwedd ar gân, a hyfryd iawn fydd dyhewyd y rhai bychain wrth ganu

dyna'r llythrennau, a dyna eu llûn,
medraf eu darllen a'u canu bob un.

Ni fydd dysgu y wyddor gyda'r *Llyfr Bach* ond gwaith hyfryd iawn, ac fe'i gwneir yn drwyadl ac yn fuan.

Buasai yn dda gennym weled rhai o'r Llyfrau Darllen yn ymddangos o flaen y *Llyfr Hanes*, canys fe ddylid gweithio am gryn amser gyda'r rheiny cyn y gellir gwneyd nemawr o hwn. Ond fel Llyfr Cyntaf Hanes y mae, fel y gallesid disgwyl oddiwrth ei awdwr, yn bopeth ellid ddymuno. Mae

yr hen chwedloniaeth fu yn ein difyrru am gymaint o amser, yn cael ei gadael o'r neilldu, ac ymfoddlonir bellach ar yr hyn y gellir dibynnu arno fel hanes. Detholir a threfnir y mater gyda barn dda, a gosodir ef ger bron mewn Cymraeg goeth, lithrig, a naturiol. Mae yr oll o'r Gyfres i fod yn ddwy-ieithog, ac fe geir y tudalen Saesneg yma ar gyfer y tudalen Cymraeg, yr hyn a gyferfydd â syniad yr addysgydd gwych, y diweddar Ddeon Cotton, yr hwn a ddaliai y dylai fod llyfrau pob ysgolion Cymreig felly, fel y gallo y plant, tra bo un o honynt yn darllen yn y naill iaith, ei ddilyn yn yr iaith arall, ac felly, nid yn unig ddysgu y gwybyddus trwy yr anwybyddus, ond dyfod eu hunain yn ddwy-ieithog. Wedi tudalen 76, newidir y drefn yma, ac ni cheir y bennod Saesneg ond ar ddiwedd yr un Gymraeg. Nid ydyw hyn yn welliant. Mae y fantais o gyferbynnu mor fawr, fel y dylid, yn enwedig mewn llyfr elfennol, gael pob hwylustod i wneyd hynny yn barhaus. Hyderwn y gwneir yn fuan ddefnydd helaeth a deallus o'r llyfrau hyn yn ein hysgolion, a bydd hynny, yn sicr, yn ddirfawr fantais i'n haddysgiaeth. Ni feddylia neb am i hynny fod ar ffordd dysgu Saesneg i'r plant; ond fe ellid teimlo yn gwbl hyderus y bydd o ddirfawr help iddynt i feistroli y Saesneg, tra y rhydd iddynt hefyd gyfleustra gwych i ennill cydnabyddiaeth ddeallus â'r iaith sydd i filoedd lawer o honynt yn debyg o fod yn iaith eu bywyd.

Am orgraff y llyfrau, nid rhyfedd fod rhai eto yn ei hangymeradwyo, os nad hefyd yn ei chondemnio. Yn araf y treiddia'r goleuni i gilfachau lle y mae tywyllwch wedi bod yn hir deyrnasu. Ond i rai sydd wedi rhoddi ychydig ystyriaeth ddeallus i'r ma*tt*er, fe fyddai yn di*pp*yn o orchwyl eu hargyhoeddi y dylid dal a*tt*i hi i ddyblu y cydseiniaid cryfion mewn sillau di-acen, a gadael y rhai gweiniaid i ymdaro fel y gallont dan bwys acen, neu ddibynnu ar drugaredd damwain y nodau acennol, yn lle dilyn arfer yr holl genhedloedd o ddyblu mewn achosion o'r fath; ac yn ddia*mmh*eu, neu os yn gryfach, fel yr ysgrifenna ac yr argraffa un o'n cydwladwyr doniol a diddan, yn ddia*nmh*eu, ni fydd i neb o honom yn hir e*tt*o dd*y*sgwyl neu dd*y*sgyblu neu dd*y*ddanu neu dd*y*bennu mewn ysgrifen, tra y mae yr holl genedl, ar lafar, yn disgwyl, ac yn disgyblu, ac yn diddanu, ac yn dibennu. Ar yr un pryd, y mae yn dra phwysig fod ein cyfeillion sydd ymlaen y gâd gyda'r diwygiad, yn dangos synwyr a phwyll, ac nid yn ysgwyd cadach coch i ddeffro rhagfarnau nad yw ond ofer ceisio ymresymu â hwynt. Os y canon mawr, fel y myn Dr. Rhys, ydyw ysgrifennu Cymraeg fel y mae Cymry deallus yn ei siarad, pam y gelwir arnom, am fod meddiant yn mynd yn feddiannau, i gymeryd "amrannau" fel lliosog am amrant, pan nad oes un Cymro yn anadlu awyr a fentrai son am ei amra*nn*au? A pham y mynnir "santaidd" y cyndadau, yn lle sanctaidd yr holl genedl Gymreig? Nid oes fwy o reswm dros hynny nag a fyddai mewn galw arnom i gymeryd yr un modd Testafen, Selyf, Suddas, a Phawl y tadau, yn lle Testament, Solomon, Judas, a Phaul. Er yr adferir yr *i* i lawer o eiriau, o'r rhai y gyrasid hi allan, eto fe'i balltudir o "megys" ac "oblegyd," a "cherryg." Pam hefyd y ceir y yn dweyd, tra y gyrrir hi allan yn gwneud? Y mae y Llyfr Hanes yn mursennu ei "ogystal," pan y mae *cystal* y Cymry oll, bob dydd, yn llawn cystal ag yntau, heb son am fod yn llawer gwell. Yr un modd ceir "o'r bron" ynddo yn fynych am *bron*, er fod y cyntaf, yn enwedig yn y Deheudir, o ystyr cwbl wahanol i'r olaf. Mae Williams am i'r Efengyl fynd "Trwy barthau'r byd o'r bron"; ac yn gweddio, "Tor fy ofnau i lawr o'r bron:" nid o fewn ychydig yn sicr, ond yn gwbl oll. Nid Cymraeg y genedl chwaith ydyw "Aeth Dr. Isambard Owen i drafferth nid bychan, gydnabyddir yn gynnes yma;" "y brodyr adawsant ar eu hol;" ac "o ba le oedd yn dod." Ac nid yw hyd yn oed yr orgraff newydd yn cael ei dilyn fel y gallesid disgwyl. Cawn "cychwynnodd,"—cychwyn yr ydym, gyda'r w fel llafariad, fel achwyn, ac olwyn; am hynny dylai cychwynodd fod fel achwynodd ac olwynodd. Ond os dyblir yr n yn cychwynnodd, gadewir hi yn sengl yn amddiffynwr a gwageni, Ceir hefyd cospwyd ac esbonio; anawdd

a mam y dywededig Robert Gruffydd, y swm o £50 y flwyddyn, ar wyliau Saint Phylip a Iago, a gwyl yr Holl Saint, mewn cyfrannau cyfartal, sef £25 bob gwyl; neu o fewn mis wedi hynny, dros ei hoes;—yr ydwyf yn cymunroddi yr holl diroedd, y tyddynod, a'r etifeddiaethau hynny, a'u perthynolion, i'm hanwyl gâr, Mr. Rhisiard Gwynne, Archddiacon Bangor, a Mr. Gruffydd Hughes, Canghellwr Bangor, i osod a meddiannu yr unrhyw, dros ysbaid einioes y dywededig Jane Gruffydd, fel y talont iddi hi y flwydd-dal o £50 yn y flwyddyn. Ac megis o'r bluen, yr ydwyf yn deisyf arnynt, er mwyn yr holl anwyldeb a fu rhyngom, na phallont gyflawni hynny o fewn yr amser gosodedig. Ac yr ydwyf o galon yn dymuno ar i'm câr bedydd, Dafydd Owen, ofalu am fod yr ardreth hon yn cael ei thalu, fel nas dirwyer fy meddiant; ond, yr ydwyf yn hyderu na fydd fy nghâr teilwng mor esgeulus. Ac wedi ei marwolaeth, pan derfyno yr ardreth-dâl neu y flwydd-dâl uchod, yr ydwyf trwy fy Ewyllys a'm Testament diweddaf hwn, yn cymun-roddi fy nhiroedd hyn a nodwyd ddiweddaf, i'm câr crybwylledig, Dafydd Owen, boneddwr, ac i Dorothy Owen, ei wraig, a'u cynrychiolwyr, at wasanaeth eu plant, i godi stoc iddynt, dros yr ysbaid o saith mlynedd heb fwy o ardreth neu draul arnynt na dwyn i fyny Henry Rowlands, y bachgen bach sydd gyda mi (mab fy nai Rowlands, diweddar Eurych yn Llundain), a'i gadw mewn ysgol, trwy ofalu am ddillad gweddus iddo, yr hwn y gwn y bydd i fy ngwraig ei gadw dros ei hamser hi; a phan ddelo y saith mlynedd hynny i ben, yr ydwyf yn cymunroddi yr unrhyw i'm mab bedydd Rowland Owen, dros dair blynedd yn hwy, i godi stoc iddo ef trwy y ddarpariaeth ragddywededig; ac ar derfyn y deng mlynedd hynny, yr ydwyf yn cymunroddi yr holl dyddynod a'r tiroedd crybwylledig, a'r oll a berthyn iddynt i'r bachgen crybwylledig, Henry Rowlands, i fod yn feddiant iddo ef, ac i'w etifeddion cyfreithlawn, cenedledig o'i gorff ef, am byth; ac yn niffyg y cyfryw hiliogaeth, yna fy ewyllys ydyw fod y meddiannau rhagddywededig yn dyfod yn eiddo i Henry Maurice, fy nai, ac i'w etifeddion cyfreithlawn, cenedledig o'i gorff ef, am byth; ac yn niffyg y cyfryw hiliogaeth, yr ydwyf yn cymun-roddi y meddiannau rhagddywededig i William Gruffydd, mab hynaf Edmund Gruffydd, Deon Bangor yn bresennol, ac i'r etifeddion a genhedlir yn gyfreithlon o'i gorff ef, am byth.

A'm hewyllys ydyw, os y bydd i'r dywededig Ddafydd Owen, a'i wraig, hoffi y bachgen crybwylledig, Henry Rowlands, a rhoddi un o'u dwy ferch iddo, bod iddo briodi, a chymeryd yn wraig un o'u dwy ferch ieuengaf; ac oni bydd i'r dywededig Ddafydd Owen a'i wraig ewyllysio a dyroddi un o'u dwy ferch ieuengaf yn wraig i'r dywededig Henry Rowlands, neu oni bydd i'r dywededig Henry Rowlands ewyllysio a chymeryd yn wraig un o'r merched crybwylledig, yna yn niffyg y cyfryw briodas, yr ydwyf yn dodi ar y cyfryw diroedd a meddiannau £20 yn y flwyddyn i'w talu fel ardreth i dad y dywededig Henry Rowlands, fy nai; i'w talu iddo ef a'i ddirprwywyr yn flynyddol ar wyl yr Holl Saint, a gwyl St. Phylip, dros ystod einioes naturiol tad y dywededig Henry Rowlands; ac ymhellach, fy ewyllys yw, os y bydd i'r dywededig Dafydd a'i wraig, omedd rhoddi un o'u merched yn wraig i Henry Rowlands, fel y dywedwyd, bod i'r dywededig Edmund Gruffydd, mab ieuengaf Cefnamwlch, Deon Bangor, roddi un o'i ferched ieuengaf yn wraig iddo, ar yr amod fod i'r blwydd-dal, neu yr ardreth dywededig o £20 yn y flwyddyn gael eu talu allan o'r meddiannau rhag-grybwylledig; ond na byddont i'w talu os bydd i Henry Rowlands briodi merch y dywededig Dafydd Owen.

Drachefn, yr ydwyf yn cymunroddi i'm hanwyl wraig, Frances Rowlands, hanner fy holl dda, stoc, a phob arian a fyddant yn eiddo i mi ar fy marwolaeth, heb unrhyw dwyll; a'r drydedd ran allan o'm holl diroedd, er ei gwneyd yn fwy cysurus; ac er trefniad rhwyddach o hynny, yr ydwyf yn ewyllysio iddi gymeryd fy nhir yn Pertheyrn a'r Bryn Eryr, gan ei fod yn un darn cydiol, a maenol fawr, a gyfrifir yn werth £50 yn y flwyddyn, ac nid yn ddim llai; yr hyn y bydd i'w mab-yngbyfraith, Dafydd

Owen, a'i mherch, ofalu am dano. Ac heblaw hynny, yn lle ei thraian, fy holl dyddynod a elwir Namporth, a'u perthynolion, y rhai ydynt o fewn trefgordd Gwyr Rhydion, o fewn Cwmwd Is-Gwyrfai, sir Gaerynarfon, ac ydynt yn werth can marc, neu £66 13s 4c, yn agos i hanner gwerth y tiroedd a brynais; yn yr hyn y mae Duw yn dyst, fy mod yn ewyllysio yn dda iddi, yn ol ei theilyngdod; ond o ganlyniad, yn cau allan ei hawl o draian fy nhiroedd mewn unrhyw fan arall: ond oni bydd hyn yn rhyngu ei bodd, cymered ei thraian fel y disgyno iddi yn ol y gyfraith, yr hyn a fydd iddi yn llawer mwy trafferthus. Ond am y tiroedd a brynais gan Syr Edward Herbert, a'r Arglwyddes Mary, ei wraig, ac na buont yn fy mherchenogaeth erioed, ond a ddyroddwyd allan o law at Goleg yr Iesu ym Mhrifysgol Rhydychain, yr ydwyf yn dymuno ac yn atolwg arni, er ei chariad ataf fi, na byddo iddi hawlio traian o'r tir hwnnw, ar gyfrif y defnydd da ei dyroddais erddo, ac yr ydwyf yn rhwym i'w ryddhau oddi wrth bob rhyw etifeddiaethau; ac am hynny yr ydwyf yn credu na bydd i fy ngwraig ei geisio, gan nad yw namyn o ychydig werth pe byddai iddi ei gael; ond yn y cynhygiad arall yr ydwyf yn ei wneyd iddi, rhoddir iddi lawn mwy nag a gyrhaeddai ei thraian, fel y gall gael ei hysbysu gan ei chyfeillion goreu. Ac am dŷ annedd, yr ydwyf yn rhoddi tŷ George Steel iddi. Ac am y tŷ a'r tyddyn yn Namporth, a'i berthynolion, yr ydwyf yn ei roddi, wedi marwolaeth fy ngwraig, i'm hanwyl gâr, Edmwnd Gruffydd, yn awr Deon Bangor, ac i'w aerod dros byth, at wasanaeth ac ar ran ei fab John Gruffydd, fy mab bedydd, a'r aerod a genhedlir yn gyfreithlawn o'i gorff ef dros byth; ac o bydd efe farw heb epil cyfreithlawn, at wasanaeth mab hynaf Edmwnd Gruffydd, a'i aerod dros byth, yn ardrethol dros byth i Ddeon a Glwysgor Bangor, a'r blwydd-dal o £6 at gynnal dau ysgolor tlawd, sef £3 yr un yn flynyddol, i'w talu yn rheolaidd iddynt o farwolaeth y ddywededig Frances, fy ngwraig, ar wyliau Sant Phylip, Sant Iago, a'r Holl Saint, yn gyfrannau cyfartal; a'r ysgolorion i'w dewis o blwyfi Mellteyrn, Aberdaron, Penllech, Bryncroes, a Phenmynydd yn bennaf, os ceir ynddynt rai cymwys gan y Deon a'r Glwysgor; a'm dymuniad ydyw, bod iddynt gael eu galw "Ysgolorion Hutchines," ar ol enw brawd fy ngwraig,—un Mr. William Hutchines, boneddwr o sir Gaerloew, yr hwn a gymun-roddodd £100 i'm llaw at wasanaeth yr ysgol; trwy yr hyn y cyflawnir yn gydwybodol y rhwymedigaeth a ymddiriedwyd i mi. Gan hynny, yr ydwyf yn gosod ar fy nhir y flwydd-dal o £6. Ac ymhellach, yr ydwyf trwy fy Ewyllys a'm Testament diweddaf hwn yn awdurdodi y Deon a'r Glwysgor i atafaelu am y cyfryw ardreth, oni bydd yn cael ei dalu yn ddyledus; ond fy ngobaith yw, y bydd i'r Deon presennol, Edmund Gruffydd, ofalu i ochel hynny, yn gymaint a bod y tir, heblaw ei gyfleustra, yn ddau cymaint o werth a hynny. Ond yr ydwyf yn rhoddi y gocheliad yma fel y byddo i'm hewyllys a'm cymunrodd hon gael ei chyflawni yn ddiesgeulus, er gweini yr ymddiried a roddwyd ynof gan y boneddwr da a chrefyddol hwnnw, yr hwn a berchir gennyf uwchlaw fy serch naturiol at fy ngheraint. Ac er trefnu y parhad a'r etifeddiaeth wedi marwolaeth fy ngwraig o'r holl aneddau, tiroedd, tyddynod, a'u perthynolion, a brynais i gan Thomas Bold, boneddwr, y rhai ydynt o fewn trefgyrdd Castellor, Pertheyrn, Bryn Eryr, a Rhos Owen, yng Nghwmwd Tindaethwy, sir Fon, yr ydwyf yn gadael hawl i mi fy hunan i drefnu yn ol llaw, trwy ol-ewyllys; neu, trwy weithred o rodd ddiamodol i amcanion daionus. Ond rhag y lluddir fi gan farwolaeth, er y gallaf newid fy meddwl, yr ydwyf yn apwyntio ac yn gosod fy anwyl gyfaill Edmund Gruffydd, Deon presennol Bangor, y Parch. Gwynne, Archddiacon Bangor, Gruffydd Hughes, Canghellydd Bangor, Arthur Williams, un o Brebenduriaid Bangor, Huw Lewis, un arall o'r cyfryw Brebenduriaid, John Martin, clerigwr, un o Ficeriaid Bangor, David Owen, boneddwr, William Gruffydd o Ben y Bryn, boneddwr, a John Moythey, o Fangor, boneddwr, i fod fy ymddiriedolwyr, ac ysgutorion ymddiriedol; ac iddynt hwy oddiar feddylfryd

crefyddol, yr ydwyf yn cymun-roddi fy holl diroedd ac etifeddiaethau dywededig, yng Nghastellor, Pertheyrn, Bryn Eryr, a Rhos Owen, y rhai a brynais gan y dywededig Thomas Bold, i'w meddu a'u dal, iddynt eu hunain a'u hetifeddion, i'r amcan neu y bwriad o'u bod i ddefnyddio yr ardrethion oddiwrthynt er synnal chwech o elusenogion oedrannus, tlodion, ac analluog, o gymeriad gonest a da, i roddi eu presenoldeb yn y Gwasanaeth Dwyfol yn Eglwys Gadeiriol Bangor, dros byth, ar ddyddiau Mercher a Gwener, ac ar y Sabothau; gan roddi tuag at eu cynhaliaeth ddau swllt yr wythnos bob un, i'w talu trwy ddwylaw fy ymddiriedolwyr dywededig fel y trefner yn eu mysg eu hunain, am byth; un o Ficeriaid Bangor, o cheir ei fod yn ddyn o ymddiried, i'w osod i wneyd hynny yn wastadol; ac heblaw y tâl wythnosol uchod o ddau swllt yr un, i roddi chwe llath o frethyn tewban gwyn, o ansawdd da, i wneyd huganau iddynt erbyn y gauaf bob blwyddyn; a'm hewyllys a'm bryd ydyw, bod i'r tiroedd dywededig aros mewn ymddiriedaeth parhaus i'r perwyl hynny, a bod i'r ymddiriedolwyr rhagenwedig, i'r rhai y gwneir fy ewyllysged fel y dywedwyd uchod, a'u hetifeddion, i fod yn ymddiriedolwyr ac ysgutorion yn ol yr ymddiried a adroddwyd uchod; gan drefnu yn wastadol, bod ar farwolaeth rhai o'm hymddiriedolwyr neu ysgutorion, i'r gweddill a fyddo yn aros o bryd i bryd ofalu am fod pedwar, o leiaf, yn fyw ar yr un pryd yn yr ymddiriedaeth; a bod yr Esgob a'r Deon, pa bryd bynnag yr adnewyddir yr ymddiredaeth i fod yn ddau o'r cyfryw ymddiriedolwyr i'r amcanion rhagddywededig. Ac o barth i'r elusenogion, fy ewyllys a'm meddwl ydyw iddynt fod dan lywodraethiad yr Esgob, y Deon, a'r Glwysgor yn bennaf, a'u bod i gael eu derbyn ganddynt hwy ac ereill o'm hymddiriedolwyr, a'u troi allan pan ganfyddir eu bod yn euog o ryw gamwedd cyhoeddus, megis meddwdod, neu odineb, neu ynte pan ganfyddir eu bod yn esgeuluso dyfod i'r Eglwys ar yr adegau gosodedig; a'm gofal yw ar iddynt fod yn wyr dibrïod, a bod i un o honynt gael ei ethol o blwyf Penmynydd, os bydd un i'w gael yno yn gymwys i'r lle, ac ymofyn am ei gael, a dau o blwyfi Aberdaron a Mellteyrn; a'r gweddill allan o dref Bangor, a plwyfi Bangor, Llangristiolus, ac Amlwch, gwyr adnabyddus am eu crefyddolder, ac yn ofni Duw; ac er gogoniant Duw, yr ydwyf yn deisyf ac yn atolwg i'r Deon am y pryd, ar gyfrif ei le yn yr Eglwys, i ofalu am eu bod yn mynychu yr Eglwys fel y dylent, a bod y penodiad a'r etholiad o honynt i fod yn y rhan fwyaf o'm hymddiriedolwyr, ynghyd a'r Esgob a'r Deon ar y pryd, hyd byth; ond os bydd y pleidebau yn gyfartal, yr ochr yn yr hon y bydd yr Esgob, neu yn ei absenoldeb ef, y Deon, a benoda i unrhyw wagle, fel y delo yn agored; ac am dŷ cyfleus iddynt myfi a ofalaf drachefn yn fy Ewyllys hon. Ond nid yw yr holl ewyllysged hon i ddyfod i rym a gweithrediad hyd ben dwy flynedd wedi marwolaeth fy ngwraig, i'r hon y mae wedi ei phenodi yn lle ei thraian; ac yr ydwyf yn rhoddi cynnyrch dwy flynedd i godi cyllid os bydd angen, at gwblhau fy Ewyllys; ac oni bydd angen, yr ydwyf yn rhoddi cynnyrch un flwyddyn o'r cyfryw i'm mab-bedydd, Rowland Owen, mab Mr. David Owen a'i etifedd; ac yna yn ddioed i gael ei ddefnyddio i'r amcan a ddarluniwyd yma, er anrhydedd a gogoniant Duw. Ac ymhellach, yr ydwyf yn dymuno fod i'r dywededig David Owen, a'i fab ar ei ol ef, ddal y gyfran honno o'r cyfryw diroedd yn Pertheyrn, Bryn Eryr, a Rhos Owen ag sydd yn nesaf i dŷ y dywededig David Owen, yn nwylaw Humphrey Reynolds, yr hyn yr ydwyf yn credu a fydd yn ddigon ganddo ef; ac yr ydwyf yn dymuno i'm câr, John Jones, gael yr hanner arall, sydd yn agosaf ato ef; a bod i bob un o honynt dalu yr hyn a fyddo o werth; canys ni fynnwn i'm helusendy gael cyfyngu arno i ryngu bodd unrhyw gâr neu gyfaill; ac y mae y cyfryw hanner yn cael ei chyfrif yn werth £25 yn y flwyddyn, a chynnygiwyd hynny am dano. Ond os bydd i'r elusendy sefyll, a rhai o'r ardrethion a gyfrennir i'r gwasanaeth hwnnw, bydd yn dda gennyf iddynt fyned i'r cyfryw gyfeillion da ag ydynt hwy dros amser; os amgen

nad elont. A bydded i'm Hymddiriedolwyr bob amser â'r hyn a fyddo yngweddill o'r ardrethion, ddarpar gynnau i'r elusenogion, a chadw eu tai mewn cywair dda.

Hefyd yr ydwyf yn ordeinio bod y tŷ lle y mae George Steel y Cofrestrydd yn cyfaneddu yn awr, ynghyd a'r ardd sydd gydiol ag ef, gael eu rhoddi i'm helusenogion tlodion, i'w rhannu yn ol barn ystyrbwyll fy Ymddiriedolwyr, i ba rai, ac i'w hetifeddion, i'r perwyl rhagddywededig, yr ydwyf yn cymunroddi y cyfryw dros byth, gan atolygu arnynt eu cadw rhag eu myned yn adfeiliedig, gan ei wneyd yn gyfaddas ac yn gryf i'm helusenogion, â'r gweddill o'r ardrethion o bryd i bryd; ac felly i osod y tiroedd am yr ardrethion a gyrhaeddant, er talu i'm helusenogion ddau swllt yn wythnosol, yr hyn ni bydd namyn rhyw £3 12s. yn y flwyddyn. Ond cynhygiwyd i mi £50 y flwyddyn am y tiroedd; sef £25 ar bob taliad; gan hynny yr ydwyf yn gobeithio y bydd swm da yng ngweddill at yr adgyweiriad, ac at brynu gynnau iddynt yn flynyddol; prennau gwelyau, a gwelyau, a dau bâr o gyniasau i bob un, yr hyn yr ydwyf yn dymuno i'm Hysgutorion eu darpar â'r arian a fydd ganddynt i'w hepgor. Drachefn, yr ydwyf yn cymunroddi i Simon Williams, boneddwr, ac i fy nith, Mary, ei wraig ef, fy nysgl arian fwyaf, fel *heirloom* i'w dŷ ef, cyhyd ag y byddo yr etifeddiaeth yn llinell a gwaedoliaeth Rowland ap Robert, fy nhâd, gan ddeisyf na byddo iddi gael ei harwystlo oddieithr ar ryw achos tra phwysig. Hefyd, yr ydwyf yn cymunroddi i Richard Jones, fy ngwasanaethwr, ac un o Broctoriaid yr eglwys-lys ym Mangor, y tŷ sydd weithian yn hen, a'r gerddi, a'r perthynolion ereill, lle y cyfanedda Richard Martin, ym Mangor, a'r ddwy ystafell fechan ar y tu dwyreiniol iddo, ac yn gydiol âg ef, lle yn awr y cyfanedda Margaret, ferch John Ednyfed, a'i chwaer Alice, a John Gruffydd,—y rhai a brynais gan Thomas Martin, i feddu a dal y cyfryw, dros y dywededig Richard Jones, ac i'w etifeddion hyd byth, i wneuthur iddo ystafell neu dŷ annedd, er cof am danaf. Ac ymhellach, yr ydwyf yn cymunroddi iddo ugain *noble* mewn arian, £6 13s. 4c., i'w talu gan fy Ysgutorion.

Hefyd, yn gymaint a bod John Trygarn, fy nai, a fu farw yn ddiweddar, wedi gadael o'i ol eneth amddifad, yr hon sydd yn ddigymorth, o'r enw Ellen Trygarn, yr ydwyf yn cymun-roddi mewn elusen iddi hi, £20, buwch laethog, bustach ieuanc, a gwely plu, tuag at ei phriodas, gan atolygu ar i Ddeon Bangor, Mr. Edmund Gruffydd, i ofalu am weled eu bod yn cael eu rhoddi allan er cynnydd a lles iddi hi, ac i gael ei chyfarwyddo ganddo ef yn ei phriodas; ac na byddo iddi briodi heb ei gydsyniad ef; os amgen, nid ydyw i gael ceiniog o hyn.

Hefyd, i'm gwas H. Roberts, £4. Hefyd, i William Thomas, fy meili, £4. A'r un modd, i'm gwâs, Richard Thomas, £4. Hefyd, i'm llawforwyn Isabel, os bydd hi gyda mi ar fy marwolaeth, £4. Hefyd, i'm cogydd, Simon Grime, £2. Hefyd, i John Brewer, £2. Hefyd, i John Roberts, fy nghludwas, £1 10s. Hefyd, i'r lleill oll o'm gwasanaethyddion, £1 6s. 8c. yr un; sef y rhai a fyddant yn aros gyda mi ar adeg fy ymadawiad. Hefyd, yr ydwyf yn cymunroddi i Morgan Harry, clochydd yr Eglwys hon, £1 6s. 8c.; ac i Richard Martin, ddau swllt. Hefyd, i fy nith, gwraig y Parch. Robert Wynne, o Lanfairfechan, y swm o £2, i'w talu iddi trwy ddwylaw fy ngwasanaethwr Henry Roberts, fel y barno yn addas, yn ol ei hangen. Yr ydwyf yn cymun-roddi i'm hanwyl gâr, Rowland White, Ysw., y swm o £10 iddo ei hunan, a £10 at wasanaeth ei fab ieuanc, Gilbert. Hefyd, i Rowland ap Robert a Henry Vaughan, o'r Beaumaris, £2 10s. bob un, i brynu iddynt fodrwyau i'w gwisgo mewn coffadwriaeth am danaf. Hefyd, i'r Parchedig foneddwr, Dr. Yale, Canghellwr Caerlleon, ac i'w wraig, y swm o £10, fel arwydd bychan o'm cariad atynt, gan ddymuno eu hanfon mewn aur. Hefyd, i'm câr a'm goruchwyliwr, D. Roberts, £13 6s. 8c., heblaw ei gyflog o £10 y flwyddyn, os y bydd heb ei dalu am yr amser mynedol. Hefyd, i'm gwâs, William Pritchard, anifail ieuanc tair blwydd oed. Trachefn, yr ydwyf yn cymunroddi holl weithiau St. Awstin,

o'r argraffiad diweddaf sydd yn fy meddiant, i'm câr, Ifan Lloyd, gan ddeisyf arno eu darllen yn fanwl, y rhai ydynt gennyf yn hollol newydd. Hefyd, fy Meibl Hebraeg, yr hwn sydd gennyf mewn pump neu chwech o gyfrolau. Hefyd, i'm câr, William Brynkir, ddwy gyfrol o Bellarmine, a'm Beibl Hebraeg rhwng-linellawg, ynghyda Beibl arall o gyfieithiad Tremelius. Hefyd, i Mr. Hugh Lewis, Pregethwr, un gyfrol o Groan ar yr Efengylau, ac un arall ar yr Epistolau. Hefyd, i Dafydd Owen, fy Meibl newydd yn Saesneg, a argraffwyd yn amser y Brenin. Y rhelyw o'm llyfrau, oddieithr y rhai y digwydd i mi eu rhoddi eto, yr ydwyf yn eu cymun-roddi i'w cadw gan Mr. Deon, a Mr. Canghellwr, at wasanaeth John Deynant, a Henry Bold, yn ol eu barn ystyrbwyll; ac ymhellach, yr ydwyf yn rhoddi i'r dywededig John Deynant, gan obeithio y try ef allan yn ysgolor, y swm o £10, i'w talu gan Mr Deon, yn ol £5 y flwyddyn, at ei gynhaliaeth yn Rhydychain.

Yn Ysgutorion o'm Hewyllys diweddaf hon a'm Testament o ymddiriedolaeth, yr ydwyf yn enwi ac yn penodi fy anwyl gyfaill a'm carennydd, Mr. Edmund Gruffydd, yn awr Deon Bangor, Mr. Richard Gwynne, Archddiacon, a Mr. Gruffydd Hughes, Canghellydd Bangor, y rhai, er eu bod yn dri mewn nifer, a thrwy groes-dyniad a allent wrthweithio eu gilydd er gwneyd cam â'm meddwl a'm hamcan; eto yr ydwyf yn gwybod na byddant mewn serchogrwydd i gyflawni fy ewyllys ond megis un; ac felly yr ydwyf yn atolygu hynny ar eu dwylaw, er mwyn Duw, ac er ei ogoniant. Yr ydwyf yn eu hapwyntio hwy eu tri, nid i fod o honynt yn gyfoethocach trwof fi, ond i ddangos gwasanaeth eu cariad olaf tuag ataf; ac yr ydwyf yn dymuno, er pob cariad, ar iddynt gytuno o barth fy nghyfrifon, a chaffaeliad i fewn yr hyn sydd ddyledus i mi. Ac yr ydwyf yn dymuno arnoch chwi, Richard Gwynne, i gadw yr holl arian a adewir gennyf, y rhai a ganfyddwch yn fy nghist, ac o honynt yr ydwyf yn gadael i'm gwraig ei rhan gywir ac uniawn; canys nid ydyw hi wraig i ymryson, a gobeithiaf na raid iddi, ond derbyn yr eiddo ei hun yn dawel; ac i'r diben hwnnw yr ydwyf yn rhoddi y gofal arnoch chwi.

Yr ydwyf yn atolygu arnoch ar iddynt dalu fy nghymun-roddion a thraul fy nghladdedigaeth, a chadw cyfrif manwl o'r cwbl; ac fel cydnabyddiaeth am eu llafur, yr ydwyf yn cymun-roddi i Edmund Gruffydd, y Deon, heblaw y tair blynedd a roddais iddo ef a'i blentyn o'm tyddyn yn Llanfaglan wedi fy marwolaeth, a hefyd deiliadaeth barhaol Namporth am yr ardreth o £6 yn y flwyddyn, yr hwn y gŵyr ei fod yn fwy gwerth na £12 yn flynyddol; yr ydwyf, meddaf, yn cymun-roddi iddo ef fy nwy gyfrol o Lyfr y Merthyron; holl weithiau Jewell, yn un gyfrol; a £10 mewn arian; i'w wraig, un cawg arian o'r rhai a ddeuant ar ran fy Ysgutorion; ac i'm cares, ei ferch hynaf, £5. Ac i'm câr, Richard Gwynne, yr Archddiacon, yr hwn y gwn nad yw yn disgwyl bod yn gyfoethocach trwy fy ewyllys, ond yr ydwyf yn disgwyl hyn o wasanaeth da ar ei law ef, yn ol ei addewid ers talm, gan wybod am dano ei fod yn foneddwr gwir onest, ewyllysgar, a galluog i'w gyflawni fel y prawf olaf o'i gariad tuag ataf,—fod iddo ofalu am fod fy Ewyllys hon yn cael ei gweinyddu yn gyflawn, fel yr ydwyf yn credu mewn gwirionedd y gwna hefyd; ac fel arwydd o'm cariad ato ef drachefn, yr ydwyf yn cymun-roddi i'r dywededig Richard Gwynne, ac i'w etifeddion a'i ddirprwywyr dros byth, yr holl dy hwnnw a'i berthynolion, lle y mae Simon Grime, fy nghogydd, yn trigiannu yn awr, a'r tu ol, a'r ardd berthynol iddo, ynghyda'r darn tir cydiedig wrtho, i feddiannu a dal y cyfryw, efe, a'i etifeddion a'i ddirprwywyr am byth. Ond, yr ydwyf yn cymun-roddi i'r dywededig Simon Grime, hawl i breswylio yn y ty a'i berthynolion am bum mlynedd, gan dalu i'r dywededig Richard Gwynne £3 10s. yn y flwyddyn, fel y mae yn talu i mi y pryd hwn; ac atolygaf i Mr. Richard Gwynne ganiatau y ffafr hon iddo, a'i dderbyn yn denant er fy mwyn i, gan ei fod yn weithiwr da, i wneuthur gwasanaeth iddo. Ymhellach, yr ydwyf yn rhoddi i'm câr, Mr. Richard Gwynne, fy saf-lestryn

goreuredig newydd a hardd, ynghyd a'r cariad sydd arno, fel arwydd o'm serch ato ef; a'r siars yr ydwyf yn ei roddi arno ef o barth i'm Hewyllys, fel fy mhrif Ysgutor; yr hon gymun-rodd yr ydwyf yn dymuno arno ei derbyn, er nad yw ond bechan; canys y mae Duw wedi ei fendithio ef yn helaeth mewn modd arall. Ymhellach, er rhyngu bodd fy ngwraig, caffed hi ei boddloni am ei rhan â rhyw lestr arall. Ac am fy nghâr, Mr. Gruffydd Hughes, fy nhrydydd Ysgutor, yr ydwyf yn cymun-roddi iddo ef, ac i'w etifeddion, cenedledig yn gyfreithlawn o'i gorff ef, ac o gorff ei wraig Mari, yr holl dy a gardd, a elwir Gwda Mêl, a'r tu cefn perthynol iddo, lle y mae ef yn byw yn awr, i feddu a dal yr unrhyw iddo ef, ac i'w etifeddion, cenedledig o'i wraig bresennol, dros byth; ac yn niffyg y cyfryw hiliogaeth, bod y cyfryw feddiannau i aros i'r etifeddion cenedledig yn gyfreithlawn o gorff y dywedig Gruffydd Hughes, i wneyd y goreu o honynt. Costiodd yr adeiladau £40 i mi, heblaw arian y pryniad. Hefyd, yr ydwyf yn cymun-roddi i'r dywededig Gruffydd Hughes, £10, tuag at waddoli ei ferch Alis; £5 i'w wraig, a £5 iddo ei hunan. Yr ydwyf yn cyfrif yr hyn yr ydwyf yn ei roddi i'w deulu yn rhoddion iddo ef, ac o barth i'm caredigrwydd yn wastadol iddo ef; am fod gweinyddiad y gyfraith yn ei ddwylaw ef, yr ydwyf yn atolwg iddo fod yn gywir a ffyddlawn yn nhrefniad fy eiddo a gweinyddiad fy Ewyllys ddiweddaf hon, rhag troseddu o hono yn erbyn Duw a'i ddigio Ef, oherwydd yr ymddiried yr ydwyf yn ei roddi ynddo ef. Yr ydwyf yn gadael fy nghladdedigaeth i farn ystyrbwyll fy Ysgutoriaid, gan erfyn arnynt ofalu am fy nghladdu er gogoniant Duw ac anrhydedd fy lle a'm galwedigaeth, tuag at yr hyn yr ydwyf yn gobeithio y cewch yn fy nhy a'i gyffiniau bob darpariaeth angenrheidiol i hynny. Ymhellach, yr ydwyf yn caniatau yn arian tuag at hynny, gant o farciau, i'w dyroddi fel y barnoch yn gymwys; ond yn neillduol fod deuddeg llaeswisg, o frethyn tewban cynes, i ddeuddeg o ddynion tlodion, a chymaint o frethyn tewban ag a wna ddeuddeg o laeswisgoedd i ddeuddeg o ferched tlodion, a gerddant o flaen fy nghorff. Nid y wlanen wen wael, neu y cotwm du ffôl yr ydwyf yn ei feddwl, ond brethyn tewban da, beth bynnag a gostio, 20c. neu 24c. y llath, dyweder, fel y byddo o ryw gynhesrwydd iddynt; ac am *ddu*, yr ydwyf yn gadael y cwbl at farn fy Ysgutorion. Yr ydwyf yn enwi ac yn awdurdodi fy nghâr gwir hoffus, Mr. William Jones, gan ddeisyf arno er yr ewyllys da a ddygais iddo er yn blentyn, i ofalu am a chynhorthwyo yng ngweinyddiad fy Ewyllys hon yn ei holl adrannau, a gofalu am ei bod yn cael ei chario allan yn uniawn; ac os cyfyd unrhyw ddadl yn ei chylch (yr hyn gobeithiaf na fydd), i ofalu am dano fel pe buasai ei fab yngnghyfraith Richard Gwynne; ac fel cydnabyddiaeth am ei drafferth, yr ydwyf yn rhoddi iddo ef £10, a £10 i'w ferch, Frances, yr hon hefyd sy ferch fedydd i mi. A'm dymuniad yw, fy nghar y Deon, ar gadw o honoch fy ngwasanaethyddion ynghyd am un mis o leiaf wedi fy marwolaeth, ar y ddarpariaeth a adawaf at hynny; a'ch bod chwi a'ch gwraig yn oruchwylwyr drostynt, er cynorthwyo fy ngwraig druan, eich modryb, yr hon (da y gŵyr Duw), a fydd yn athrist iawn, ac nid erys yn hir ar fy ol, yr wyf yn credu. Hefyd, yr ydwyf yn gadael i'm holynydd, Esgob Bangor, yr holl ragbyrth a pharedwaith coed, perthynol i'r ty, a pha ychwanegiad mewn adeiladaeth newydd, ereill a wyddant.

Drachefn, yn gymaint a'm bod wedi pwrcasu, trwy ddirwy a chaffaeliad, &c., dir o werth £2 yn y flwyddyn ym mhlwyf Llandegai, gan Pierce Gruffydd, Ysw., mewn atafaeliaeth o £410, yr hon a ddirwyir onis rhyddheir ar ddydd gwyl yr Holl Saint, neu ddydd gwyl Sant Andreas nesaf, ond os ei rhyddheir, a hynny mewn un taliad cyflawn, yr ydwyf yn dymuno ar i'm Hysgutor faddeu iddo £20 o'r arian; a'r gweddill, wedi tynnu allan ran fy ngwraig, yr ydwyf yn ei gymun-roddi i'm Hysgutorion, i dalu fy nghymun-roddion, ac at amcanion elusennol ereill, megis adeiladu fy ysgoldy a'i ddodrefnu, ac adgyweirio fy nhy i'r elusenogion; ond os fforffedir y tiroedd, yna yr ydwyf yn cymun-roddi

y cyfryw diroedd a'u perthynolion i ysgutorion ac ymddiriedolwyr fy ysgol ddywededig, ac i'w hetifeddion dros byth, i sefydlu a chynnal is-athraw yn fy ysgol, a thalu cyflog o £8 yn y flwyddyn iddo, ynghyda churad Llaniestyn, Bryncroes, neu Langïan, am eu bod yn agos; ac yr ydwyf yn eidduno ffafr fy Arglwyddi Esgobion, fy olynwyr, ar ofalu o honynt fod un o guradiaid yr Eglwysi uchod yn ysgolor cymwys i weini y ddwy swydd grybwylledig. Y tir mewn ymddiriedaeth i'r ysgol i gynnal y prifathraw, sydd yn llawn gwerth £30 yn y flwyddyn, ac yn awr yn cael ei osod am lai, fel y gellir codi cyflog y prifathraw, a chadw y gweddill at adgyweirio yr ysgol.

Ac yn gymaint a bod fy nai, Thomas Dafydd Rhys, a'm Cefnder, Robert Gruffydd o Neugwl, wedi gadael o'u hol amryw amddifaid, yr ydwyf yn dymuno i'm Hysgutorion roddi y gweddill a fyddo yn eu dwylaw, os bydd dim, fel yr ydwyf yn credu y bydd, at eu cynorthwyo hwy; yr hyn a adawaf at eu barn hwy yn hollol. Am y tyddyn yn Llanfaglan, yr hwn yr ydwyf yn ei gymunroddi i Margaret, gwraig y Dr, John Lloyd, a'i hepil, os y bydd y dywededig Dr John Lloyd, ei gwr, yn anfoddlawn arno, yr ydwyf yn cymun-roddi y cyfryw, a'i berthynolion, i Mr. Edmund Gruffydd, Deon Bangor, ac i'w etifeddion dros byth, i dalu am dano i'r Doctor, o'i arian ei hun, £200 fewn ysbaid dwy flynedd, ar yr amod fod yr arian i'w cadw a'u defnyddio at wasanaeth ei wraig, fel fy nghymun-rodd i iddi; ond os mwy dewisol ganddo y tir; a gwneled yr Arglwydd ef yn ddiolchgar. Ac yn gymaint a bod tad y Doctor Lloyd, John Lloyd, Ysw., o'r Faenol gynt, yn rhwymedig i mi am y swm o £600 o arian cyfreithlawn, i'w talu ar y trydydd dydd o Dachwedd nesaf, am yr hwn daliad y mae Peter Mutton, Ysw., yn rhwym gydag ef, yr ydwyf yma yn tystiolaethu nad i mi y mae y fond hon yn perthyn, ond mewn ymddiried at ei wasanaeth ef trwy ei ymbriodiad â fy nith, ei wraig; gan hynny, yr ydwyf yn trosglwyddo fy holl hawl a'm cyfran ynddi iddo ef; ac yn dymuno ymhellach am i'm Hysgutorion ei gynorthwyo i godi a derbyn yr arian hyn trwy gyfraith, oni thelir hwynt heb ymgyfreithio; ac yr ydwyf yn atolwg arnynt wneuthur hyn, er mwyn Duw, ac na phallont am fy mharch i gyfathrach, caredigrwydd, neu waedoliaeth, i Mr. Peter Mutton, neu neb arall yn yr achos; ac yr ydwyf yn gobeithio y gwnant hyn yn ol fy ymddiried ynddynt. Ac yn gymaint a'u bod hwy yn dri, ac y gall un Ysgutor, fel y dywedir, faddeu unrhyw ddyled i unrhyw blaid, yr ydwyf drachefn a thrachefn yn atolygu ac yn dymuno nas gwnelo yr un o honoch chwi felly. Ond yr ydwyf yn gobeithio, gan ei fod yn ysgutor i'w dâd, y bydd iddo dalu ei hunan, fel na byddo angen ymyrraeth yn yr achos. Drachefn, yn gymaint a fy mod wedi gadael etifeddiaeth yn fy nhiroedd dros rai blynyddoedd i Dafydd Owen, er cynorthwyo ei ferch, iddo ef ac i'w wraig, at eu gwasanaeth, hyd werth £300 o leiaf, a hefyd rai blynyddoedd i'w fab, Rowland Owen, a'r tiroedd fyth wedi hynny, os bydd i'r dywededig D. Owen roddi ei ferch mewn priodas i Henry Rowlands, y bachgennyn sydd gyda mi; a'm bod hefyd wedi rhoddi i'r dywededig Rowland Owen, ei fab a'i etifedd, un flwyddyn gyfan yn fy holl diroedd yn Pertheyrn a Bryn Eryr, ar ol marw ei nain, uwchlaw, a heblaw hyny, yr ydwyf yn rhoddi i'r hoffus D. Owen a'i wraig £20 yn arian, yr hyn yr ydwyf yn atolwg iddynt dderbyn; ac am yr hyn yr ydwyf yn ei roddi i'w plant, gwybyddant mai iddynt hwy yr ydwyf yn eu rhoddi. Ac ymhellach, yr ydwyf yn cymun-roddi i Rowland Owen, fy mab bedydd, eu mab a'u hetifedd hwy, £10 yn ychwaneg, a dwsin o lwyau arian, i'w cadw gan ei rieni hyd oni chyrhaeddo efe i'w gyflawn oed.

Drachefn, yr ydwyf yn rhoddi £3 i Mr. Richard Prydderch, y Counsellor, i brynu modrwy i'w gwisgo er cof am danaf. Hefyd, i'm ceraint Wmphre Jones, a John Jones, ddau swllt ar hugain yr un, i brynu iddynt fodrwyau er cof am danaf. Hefyd, tri ugain i'm nai anffodus Henry Rowlands, diweddar ddinesydd o Lundain, i'w talu i D. Owen at ei wasanaeth, gan fy

Ysgutorion, a chan D. Owen iddo ef. Hefyd yn gymaint a bod Ap Hugh ap Robert, fy nghâr, yn ddyledus i mi yn ol ei gyfrifon o tua £9, yr hwn swm sydd yn awr yng nghadw gyda Mr. Evan Lloyd, yr ydwyf yma yn ei ryddhau oddiwrth y cyfryw ddyled o £9, ac i fod yn gyfrifol am y gweddill, y rhai nis derbyniodd; a hefyd, cnydau y flwyddyn ddiweddaf o'r tiroedd yn Aberdaron i'm Hysgutorion. Hefyd, yn gymaint a bod fy nghâr, Huw Morus, wedi byw buchedd oedd yn dra phell o ryngu fy modd i, er hynny, heblaw ei gymun-rodd, y swm o £10, yr ydwyf yn rhoddi iddo ddau eidion ieuanc, dwy fuwch, dwy aner-fuwch ddwyflwydd, a gwely plu, ynghyd a'i obennydd, a'i ddillad gwely. Eto, gan fy mod wedi arfaethu cymwynasu Evan Roberts, Llên, Person Llanystumdwy, yr hwn a briododd nith i mi, ond i mi gael fy lluddias gan farwolaeth; yn fy hoffder ato yr ydwyf yn dymuno i'm Hysgutorion dalu 20 *marc* o arian iddo, mor fuan ag y gallant, a dymunaf ar iddo foddloni ar hynny.

Hefyd yr ydwyf yn cymmunroddi i Gwen Rowlands, chwaer dlawd i mi, sydd yn byw yn rhywle tua Phenmon, y swm o £3. Hefyd i wraig fy ngoruchwyliwr, Richard ap Harri, £2; ac i chwaer dlawd i wraig Harri, yr hwn sydd yn byw tua Llanddaniel-fab, £1. Hefyd, i fy nghâr, Rowland Owen, Pencraig, £2, ac i chwaer dlawd iddo, y swm o £1. Hefyd, at wellhau y ffordd o Gefn Leisiog i'r Rhos-ddu, a elwir "Lôn Nyffryn" (ffordd ddrwg a pheryglus iawn), £5; ac yr ydwyf yn atolwg i'm cyfeillion a'm caredigion, John Gruffydd, Ysw., o Gefn Amwlch, a Robert Gruffydd, o Frynodol, boneddwr, i ofalu am eu bod yn cael eu rhoddi, a bod y ffordd yn cael ei thrwsio â cherrig a grafel, lle y mae mwyaf o angen er hwylustod i bobl a dramwyant y ffordd honno; ac yr ydwyf yn rhoddi y siars yma arnynt hwy, am fod y ffordd grybwylledig yn gorwedd o fewn eu tiroedd. Hefyd, £5 at wneuthur pont o goed, neu gerrig, dros afon y Rhyd Hir, ar ffordd Pwllheli, yr hon sydd beryglus i deithwyr y ffordd honno; ac yr ydwyf yn dymuno ar fy nghâr, Gruffydd Hughes, Cefn Llanfair, yr hwn sydd yn byw yn y gymdogaeth honno, ofalu am fod yr arian yn cael eu defnyddio i'r amcan crybwylledig.

Hefyd i'm nai John Owen, Owen ap John, ei fab ef, yr hwn sydd yn aros gyda mi, £8. Hefyd i'm câr, William Gruffydd, o'r Bryn, deg swllt, i wneuthur modrwy iddo, er cof am danaf. Hefyd i George Steel, fy Nghofrestrydd presennol, ac i bob un o'i blant, y swm o ddeg swllt. Hefyd i Thomas Boulton, deg swllt; ac i Gabriel Fychan, ei fab, £2. Hefyd i bob mab bedydd sydd gennyf, yn nhref a phlwyf Bangor, deg swllt yr un. Ac i bob un o Ficeriaid presennol Bangor, £1 yr un. Hefyd, i Mari y Garth, fy hen lawforwyn, at wasanaeth ei mab, yr hwn sydd fab bedydd i mi, fuwch laethog. I Mr. Arthur Williams, pedwar marc i brynu modrwy iddo i'w gwisgo fel arwydd o'm cariad, a'r diod-lestr arian. Ac i'm hen was, William Gruffydd ap Howel ap Ithel, £2. A'r pregethwr a draddoda fy mhregeth angladdol, yr ydwyf yn dymuno ar i'm Hysgutorion ei wobrwyo fel y barnont yn gymwys. Ac i Mr. Henry Parry, yr ydwyf yn cymunroddi un o'm *cassocks* newyddion, a wnaed yn ddiweddar i mi; a'm gŵn du, yr ydwyf yn ei roddi i Mr. Hugh Lewis. Hefyd, i Syr William, o Benmynydd, a Syr Reinallt, o Langristiolus, a Syr Robert o Lanoc, fy ngweinidogion a'm curadiaid, £3 yr un.

Pe buasai Duw wedi gwysio fy ngwraig o'm blaen i, buaswn yn gwneyd yn garedig a haelfrydig â'i phlant; ond yn awr rhaid i mi eu gadael i'w gofal hi. Yn gymaint a bod ei merch Marian wedi benthyca £30 gennyf, a'i bod yn rhwym mewn bond i'w talu wyl Mihangel, yr ydwyf yn cymunroddi £10 iddi hi, a £10 i'm mab-bedydd, ei mab Rowland; ac am y £10 ereill, yr ydwyf yn atolwg iddi eu talu i'w chwaer dlawd Joan, a hynny yn ddiball, tua'r gwyl Mihangel cyntaf wedi fy marwolaeth, fel y mae fy ymddiried ynddi.

Hefyd, yn gymaint a bod John Cottesford yn fy nyled o £40 ar fond, y rhai a roddais yn echwyn iddo yn dra ddiweddar, yr ydwyf trwy hyn yn

maddeu £20 iddo; ac ugain *noble* hefyd o'r swm uchod; yr ydwyf yn ei roddi i'w chwaer dlawd, Joan, y rhai yr ydwyf yn erfyn arno eu talu yn onest iddi hi, neu i'w phlant; ac am yr ugain marc sydd yngweddill, yr ydwyf yn rhoddi £2 i'm mab bedydd sydd ymhlwyf Lanton, neu Launton; a'r gweddill at stoc i'r eglwys, neu at gynorthwyo y tlodion, yn ol barn y gweinidog, a'r Wardeniaid eglwysig yno; ac yr ydwyf yn atolwg i'm mab bedydd, John Cottesford dalu yr unrhyw, a rhoddi ei fond i fyny i'w frawd Dafydd Owen neu ei chwaer.

Drachefn, yr ydwyf yn rhoddi i'm câr William Carreg, £2. Hefyd, yr ydwyf yn rhoddi i'm mab bedydd, Dafydd Owen, Feibl Saesneg hardd, ac yr ydwyf yn gadael Beibl arall cyffelyb i'm gwraig; ond am fy Meibl sydd ganddo eisoes, yr ydwyf yn dymuno ei ddodi o'r neilldu, at wasanaeth un o'm hysgolorion yn Rhydychen, o'r enw John Deynant. Y Beibl yn fy myfyrgell, yr hwn yr arferwn i ei ddarllen yn gyffredin, am ei fod mewn llythyren fras, ac yn meddu rhai nodiadau, yr ydwyf yn ei roddi i Evan ap Eliza, fy nhennant; a'm Beibl newydd, yr hwn sydd gydag ef, mewn llythyren fanach, yr hwn a fenthyciodd efe gennyf, yr wyf yn ei roddi i Mr. Jasper Price, o Fodowyr. A'r Beibl newydd hardd sydd yn fy nhy, o argraffiad y Brenin, yr hwn a roddais o'r blaen yn fy Ewyllys hon i Dafydd Owen, yr ydwyf yn galw hynny yn ol, trwy gyfnewidiad, ac yn dymuno fod i hwn gael ei gyflwyno i Syr Richard Bulkeley, Marchog, fel yr arwydd goreu o'm hoffter ato, yr hyn y gwn a gymeradwyir ganddo. Hefyd, i ddau fab fy nghâr hoff, Henry Jones (fy Arglwydd Ganghellydd, a fu farw yn ddiweddar), sef Thomas Jones a Henry Jones, £5 bob un, er coffadwriaeth o'm hoffter o'u tad da, nad yw eto wedi ei anghofio yn fy mynwes. Hefyd, gan fod gennyf ddodrefn tŷ yn Llandyrnog, ynghadwraeth, neu yn hytrach dan ofal fy nghâr Dafydd Roberts, yr ydwyf yn cymunroddi o honynt y gwely da, sydd yn sefyll yr ydwyf yn meddwl, yn y parlwr, i'm nith, Elizabeth Wynne, gwraig Mr. Robert Wynne, person Llanfairfechan. Hefyd, un o'r cistiau mawrion, ac un cadew Gwyddelig, sydd yno, a dau neu dri o farilau, a choffr, od oes yno rai a brynais, ac y telais am danynt iddi, a hi yn weddw. Yr ydwyf yn rhoddi y gist arall i'm câr Dafydd Roberts, ac yn gadael i fy ngwraig roddi iddo unrhyw beth sydd yno, angenrheidiol iddo; a'm cwpwrdd sydd yn un o'r ystafelloedd, yr hwn a roddwyd i mi gan fy ngweinidog Mr. Roberts, yr ydwyf yn ei roddi iddo ef drachefn. Hefyd, i Mary Johnson, gwraig fy ngwasanaethwr Richard Jones, yr ydwyf yn rhoddi buwch laethog, a bustach ieuanc, dwy neu dair blwydd oed.

Nid wyf yn ameu os gwneir yn gyfiawn â mi, na bydd fy meddiannau yn ddigon i gwblhau fy Ewyllys; ac os amgen, yr ydwyf yn gadael y cyfan i farn bwyllog fy Ysgutorion i leihau fy nghymun-roddion, ac i godi stoc o ardrethion fy nhiroedd, er cyflawni fy Ewyllys. I'r un amcan, i atal taliad ardrethion Pertheyrn a Bryn Eryr, ar ol marwolaeth fy ngwraig, er cyfarfod y diben hwnnw, yn ol eu barn bwyllog hwy, cyn sefydlu yr elusendy. Ond mewn gwirionedd yr ydwyf yn credu fy mod yn gadael digon, er mor liosog fy nghymun-roddion. Ac os anghofiais rywbeth, ymdrechaf ei nodi drachefn mewn ffurf o Ol-ewyllys i'm Testament hwn, wedi ystyriaeth bwyllog o'm hetifeddiaeth. Ac yn awr, yr ydwyf yn cadarnhau hon fel fy Ewyllys a'm Testament diweddaf, dan fy llaw a'm sêl, a thrwy hyn yr ydwyf yn galw yn ol ac yn dirymu pob Ewyllysiau a Chymun-roddion a wnaethpwyd gennyf yn flaenorol. Ac wedi trefnu fy meddiannau bydol fel hyn, ac mewn meddiant cyflawn o'm synhwyrau, yng nghariad Duw a'i ofn, yr ydwyf yn credu na byddaf marw yn gynt; ond yn gwybod y byddaf yn dawelach fy meddwl i farw, am yr hyn yr ydwyf yn gofalu yn bennaf, fel y gweddai i Gristion drefnu ei eiddo, er torri ymaith bob achlysur o ymryson rhwng cyfeillion a cheraint.

Ac er tystiolaeth mai hon yw fy Ewyllys a'm Testament diweddaf, dodais fy llaw wrth fy Ewyllys yma, a'm sêl hefyd a ddodwyd ar labed sydd yn

myned trwy ei holl ddalennau, y rhai mewn nifer ydynt dair ar ddeg o rai ysgrifenedig, a dwy ddalen wen.

Dyddiwyd ym Mangor, yn fy Mhalas, y dydd a'r flwyddyn a nodwyd uchod, sef Gorffenaf 1af, o.c. 1616.

Yr Ewyllys hon a ddarllennwyd ac a gyhoeddwyd i'r Testamentwr crybwylledig, ac a gydnabyddwyd ganddo ef, a gadarnhawyd, a seliwyd, ac a arwyddnodwyd, y dydd a'r flwyddyn a nodwyd uchod, yn ein presenoldeb ni, —William Jones; Gruffydd Jones; Evan Lloyd; John Martin, Clerigwr; John Moythey; Henry Roberts; John Owen; William Lloyd; George Steel, Nodiadur Cyhoeddus; Benjamin Meyrig; a Richard Jones, Nodiadur Cyhoeddus.

---

# PAM Y BU I'R DIWYGWYR PROTESTANAIDD WRTHOD ESGOBYDDIAETH?

MYNYCH yr ydym wedi clywed a darllen yn ystod y blynyddoedd diweddaf gan rai o'n hanwyl gariadus frodyr o'r Eglwys Sefydledig, eiriau yn amlygu dymuniad am weled yr Ymneillduwyr yn dyfod, cyn hir, i fynwes yr Hen Fam. Gobeithir hyn yn bennaf gyda golwg ar y ddau gorff o Fethodistiaid sydd yn y Dywysogaeth, fel pe mai dyna a fyddai eu cartref naturiol. Ond y mae y gwyr hyn naill ai yn cau eu llygaid, neu heb erioed eu hagor, ar rai o brif ffeithiau yr oesoedd a aethant heibio; neu ynte, yn tybied ein bod ni fel Ymneillduwyr yn hollol anwybodus gyda golwg ar y pethau yma. Ac ni raid i neb o honom fod yn ddysgedig iawn i wybod, o'r holl eglwysi Protestanaidd a gyfodasant dros wyneb Ewrop bedwar can mlynedd yn ol trwy y Diwygiad hwnnw, mai Eglwys Loegr oedd yr unig un a ddewisodd Esgobyddiaeth fel ei ffurflywodraeth. Yr oedd mwy nag un peth yn achos o hyn. Mae yn eglur na wybu Lloegr am rym y Diwygiad fel y gwybu yr Almaen a Ffrainc. Gosododd Harri VIII. ei hunan yn lle y Pab, a gosododd yntau y rhai oedd wedi bod yn benaethiaid yn yr eglwys Babaidd yn benaethiaid eto yn hon. Gwir i nerth y Diwygiad fod yn ddigon i beri i'r arweinwyr yn Lloegr fwrw ymaith, nid yn unig iau y Babaeth, ond y rhan fwyaf o'i holl athrawiaethau. Ond cadwasant ddigon ynddi, fel y gwelir ers amser maith, o weddillion Pabyddiaeth, fel y mae yn awr, meddir, un ran o dair o'i gweinidogion yn Babyddion o ran syniadau.

Ond yr hyn y dymunwn gyfeirio ato, ar hyn o bryd, yw y ffordd ryfedd sydd gan weinidogion y Sefydliad Gwladol o amddiffyn eu ffurflywodraeth, sef trwy ddweyd ei bod yr Eglwys hynaf—y Fam Eglwys —ac yn cynnwys y rhan fwyaf o Gristionogion. Y mae hyn yn wir os cyfrifir deiliaid Eglwysi Groeg a Rhufain yn Gristionogion. Dywed y clerigwyr yn y wlad hon eu bod hwy yn weinidogion am eu bod wedi derbyn y swydd trwy olyniaeth ddidor o'r Apostolion i lawr. Ac eto y mae yn rhyfedd meddwl, yn ol addefiad clerigwyr Eglwys Loegr eu hunain, nad oes neb mor euog o sism ag ydynt hwy. O'u genau hwy eu hunain yr ydym yn eu barnu. Pwy ond hwy sydd yn ymogoneddu yn yr olyniaeth, ac eto wele hwy wedi gadael yr Eglwys y derbyniasant eu hurddau oddiwrthi. Hyn nis gellir ei ddywedyd am neb o weinidogion yr Ymneillduwyr. Os yw haeriadau clerigwyr Eglwys Loegr yn wir am eu hordeiniad hwy eu hunain, y mae yn rhaid mai Eglwys Loegr yn sicr yw yr unig Eglwys ag sydd heb gymaint ag un o'i

gweinidogion yn meddu ordeiniad gwirioneddol a rheolaidd oddiwrth Ben yr Eglwys. Oblegid os ymadawsant hwy â'r Eglwys oedd yn meddu gweinidogaeth reolaidd, y mae yn rhaid felly eu bod wedi colli pob olion o hawl i weinidogaeth, oblegid diarddelwyd hwy gan yr Eglwys a'u hordeiniodd. Nid yn unig nid yw athrawiaeth yr olyniaeth yn eu helpu i'w cynnal yn eu huchafiaeth dybiedig, eithr hyn mewn gwirionedd yw eu dinystr. Gyda golwg ar holl weinidogion cymwys y Testament Newydd, ni raid i neb o honynt ymboeni mewn oferedd celwydd i chwilio i mewn i'r hyn a elwir yn olyniaeth Apostolaidd. Yr unig ddymuniad ganddynt yw cael rhyw brofion fod y Pen Mawr yn eu hanfon. Oddiwrtho Ef, ac Ef yn unig, y maent yn derbyn eu comisiwn. Ond i ddychwelyd. Y mae yn ffaith mai yn Lloegr yn unig y ceir fod clerigwyr wedi derbyn y Diwygiad Protestanaidd. Ni newidiasant ddim, y rhai goreu o honynt, ond eu golygiadau. Felly yr oedd yn arbennig yn achos Ridley a Latimer, y rhai oeddynt yn ddynion Duw. Mewn trefn i amddiffyn Esgobyddiaeth, y mae y rhai craffaf o'i phleidwyr, fel y crybwyllwyd, yn dwyn ymlaen yr haeriad mai hi yw yr hyn a elwir y Fam Eglwys. A hysbys yw i bawb fod yr enw hwn yn hynod o amhenodol ei ystyr, os yn wir, y gellir dywedyd fod iddo ystyr o gwbl. Ffordd arall sydd gan rai o'i phleidwyr yw cymeryd yn ganiataol fod hynafiaeth yn unfarn o blaid Esgobyddiaeth.

Y mae eu hanhawster pennaf yn cyfodi o'r ffaith nad ydys yn cael fod y Diwygwyr ar y Cyfandir, nac yn yr Alban, o gwbl wedi mabwysiadu Esgobyddiaeth fel ffurflywodraeth eglwysig iddynt eu hunain.

Mewn ffordd o ddyfod dros yr anhawster hwn, dywedant nad oedd gan y Diwygwyr yr un gwrthwynebiad i Esgobyddiaeth ynddi ei hun, ond eu bod oherwydd amgylchiadau anorfod, wedi dewis y ffurf Bresbyteraidd. Nad oedd ganddynt unrhyw duedd at gydnabod pob gweinidog ar yr un tir o ran swydd. Y mae y rhai sydd yn gydnabyddus â gweithiau Luther, Calvin, Zwinglius, Melanchthon, a Knox, yn gwybod fod pethau yn hollol wahanol. Cyfarfyddir yn wastadol gan ysgrifenwyr Esgobyddol â dywediadau i'r un cyfeiriad am y Diwygwyr. Wele engraifft o Charles Leslie, awdwr y llyfr "A short and easy method with Deists:"— "Rhoddodd Calvin ei hun, a Beza, a'r gweddill o'r Diwygwyr dysgedig, eu tystiolaeth yn gymaint a neb pwy bynnag ymlhaid Esgobyddiaeth. Ystyrient ei fod yn gyhuddiad annheilwng arnynt i dybied eu bod yn condemnio Esgobyddiaeth, yr hyn ni thaflwyd ymaith ganddynt, ond yr hyn nis gallasent ei gael yn Geneva heb ddyfod o dan lywodraeth yr Esgobion Pabaidd; yr oeddynt yn mawr ganmol ac yn llongyfarch clerigwyr esgobawl Eglwys Loegr, fel yn eu hamrywiol lythyrau at y Frenhines Elizabeth, at Archesgob Caergrawnt, ac ereill o Esgobion Seisnig; gweddïent yn galonnog am ei pharhad a'i hamddiffyniad, a gofidient nas gallent, oherwydd eu hamgylchiadau annedwydd, gael ei thebyg, am nad oedd ganddynt yr un ynad i'w hamddiffyn; a dymunent am Esgobyddiaeth yn eu heglwysi, yr angen o ba un a gydnabyddent yn ddiffyg mawr."

Yn gyffelyb y dywedai y diweddar Dr. Reichel, Esgob Gwyddelig enwog, ychydig flynyddau yn ol pan yn pregethu ar neillduad Arglwydd Plunket fel Esgob Meath, yr hwn a haerai fod Presbyteriaeth fel ffurflywodraeth eglwysig, mor bell ag y mae yn dal hollol gydraddoldeb ymhlith gweinidogion ac yn cyhoeddi Esgobyddiaeth yn llygriad, yn osodiad heb un sail iddo "yng ngweithiau Luther, Melanchthon,

Calvin, Knox, ynghydag enwogion y Diwygiad." Dywedir peth cyffelyb gan Esgob Wordsworth. Dyma yr adlais diweddaf o'r hyn a ysgrifennwyd lawer gwaith drosodd, heb neb yn meddwl am wneuthur ymchwiliad diduedd ac annibynnol drosto ei hun; yn gymaint felly, yn wir, fel y cawn y fath un a Dr. Schaff yn ei waith diweddar ar "Gredoau yr Eglwys Gristionogol" yn dal yn sylweddol yr un golygiad. Dyma yr hyn a ddywed :—"Y Diwygwyr Almaenaidd a Swissaidd, nad oeddynt ond henuriaid a lleygwyr, ac yn cael eu gwrthwynebu gan eu hesgobion, a syrthiasant yn ol yn fwy o angenrheidrwydd yn hytrach nag o ddewisiad ar gydraddoldeb gweinidogion, heb drwy hynny wadu hawl ddynol a phwysigrwydd perthynasol, neu fuddioldeb Esgobyddiaeth, fel arolygiaeth dros rai cydradd mewn swydd."

Nid oes eisieu i ni aros i edrych pa un a ydyw golygiad Dr. Schaff yr un ag eiddo penaethiaid yr Eglwys Sefydledig am yr hyn yw Esgobyddiaeth, sef "arolygiaeth dros rai cydradd mewn swydd." Yr hyn sydd yn bwysig i'w brofi ydyw, Pa mor bell y mae yn wir fod y Diwygwyr wedi derbyn Presbyteriaeth o raid, yn hytrach nag o ddewis. Ni pherthyn i ni, yn uniongyrchol, i'w brofi. Ond gellir gosod rhai ffeithiau ger bron y darllennydd a ddengys pa mor groes i ffeithiau yw yr awgrymiadau gan rai, a'r haeriadau diddiwedd gan ereill, fod y Diwygwyr yn cymeradwyo Preladaeth. Y mae yn ffaith, fel y cyfeiriwyd yn barod, mai yn Lloegr yn unig y ceir fod Esgobion Eglwys Rhufain yn gyffredinol wedi cofleidio y Diwygiad; ac y mae yn syn meddwl mai o law y gwŷr oeddynt yn elyniou i'r Efengyl y derbyniasant eu hurddau fel gweinidogion; ac yr oedd y Diwygwyr yn gwybod pa fath ddynion oedd yr Esgobion hyn yn llawer gwell nag y gŵyr neb sydd yn fyw yn awr. Dywed Zwinglius fod yr holl genhedlaeth oedd yn gwisgo meitr yn "ffugwyr," ac y dylai yr holl urdd gael ei diddymu. "Y mae rhywbeth," medd Luther, "yn swydd Esgob sydd yn ddychrynllyd o ddiraddiol. Y mae hyd yn oed ddynion da yn newid eu natur ar eu cysegriad; y mae Satan yn myned i mewn iddynt fel yr aeth i Judas mor fuan ag y cymerant y tamaid gwlych." "Yr ydym yn dal," medd Calvin, "am y rhai y sydd yn y dyddiau hyn dan yr enw Esgobion yn arolygu eglwysi, nid yn unig nad ydynt yn weinidogion ffyddlon ac yn oruchwylwyr athrawiaeth iach, ond ei gelynion mwyaf chwerw. Eu hunig amcan yw alltudio Crist a gwirionedd yr Efengyl, a noddi annuwioldeb ac eilunaddoliaeth,—y cyfeiliornadau mwyaf dinystriol a marwol. Yr ydym yn dal eu bod nid yn unig yn gwrthwynebu yn gyndyn mewn gair y wir athrawiaeth o dduwioldeb, ond y maent yn gynddeiriog yn erbyn pawb sydd yn ei gwaredu o ddinodedd. Yn erbyn yr aml rwystrau a daflant ar y ffordd yr ydym yn astud yn dal i lafurio ar ran yr eglwys, ac oblegid hyn y maent yn ymliw â ni, fel pe byddem yn gwneuthur ymgyrch anghyfreithlawn i'w tiriogaeth hwy." A dyma yr hyn a ddywed John Knox am danynt:—"Nid toriad eu coronau, a chroesiad eu bysedd, nac udiad y cwn mudion a elwir yn Esgobion, ac nid ychwaith arddodiad dwylaw, sydd yn eu gwneuthur yn wir aelodau o Iesu Grist."

Os dyma ydoedd barn y Diwygwyr am Esgobion eu dyddiau hwy, nid yw yn un rhyfeddod na cheisiasant ganddynt ganiatad nac un math o awdurdod i bregethu. Yr oedd holl arweinwyr y Diwygiad, heb eithriad, yn sefyll yn gryf dros gydraddoldeb gweinidogion yr Efengyl o ran swydd.

Ac ni raid aros ar yr uchod fel prawf: y mae mwy nag un datganiad sydd yn llawn mor bendant i'w cael yng Nghyffesion y Diwygwyr, ac hefyd yn eu gweithiau duwinyddol.

Yn yr Atodiad i Erthyglau Smalcald, ceir nid yn unig olygiadau Luther, eithr y mae enwau Melanchthon, Martin Bucer, Amsdorf, Osiander, a'r prif arweinwyr Lutheraidd wrtho, ac yn dal yn bendant, fel y dywedant, Pe byddai y fath amgylchiad yn digwydd ag na byddo cymaint ag un gweinidog i'w gael i weinyddu yr ordeiniadau, fod y ddyledswydd yn aros i'r eglwys, wedi ymgynull yn enw yr Arglwydd Iesu, i ordeinio gweinidog, ac y byddai yr ordeiniad yn berffaith reolaidd, os wedi ei sancteiddio trwy air Duw a gweddi.

Yr oedd y Diwygwyr yn Switzerland yr un mor bendant yn ymwrthod â phreladaeth yn Ail Gyffes Helvetia, 1562, a dynnwyd allan gan Bullinger, yr hon hefyd a gadarnhawyd gan eglwysi Diwygiedig Switzerland, Hungari, Poland, Ffrainc, ac Ysgotland, yn yr hon y mae yr un cyfarwyddyd o ran ystyr yn cael ei roddi. A dywed Jerom yr un mor eglur yn ei esboniad ar Titus, nad yw yr ymgais i osod esgob yn uwch o ran swydd na henuriad ond dyfais ddynol yn unig. Yn gyffelyb y datgana Cyffes Eglwys Ddiwygiedig Ffrainc, yr hon a fabwysiadwyd yn Paris yn 1559, ac yn Rochelle yn 1571:—"Credwn fod gan bob gwir fugeiliaid, pa le bynnag y maent, yr un awdurdod a'r un gallu o dan un Pen, yr unig Deyrn ac Esgob cyffredinol, Iesu Grist, ac felly nas gall un eglwys hawlio awdurdod neu lywodraeth dros unrhyw eglwys arall."

Deil y Gyffes Belgiaidd, 1561, yr un egwyddor:—"Gyda golwg ar weinidogion y gair, y mae ganddynt yr un gallu ac awdurdod, pa le bynnag y maent, gan eu bod oll yn weinidogion i Grist, yr unig Esgob cyffredinol, ac unig Ben yr eglwys."

A phe na buasai gennym gymaint â gair yn eu cyffesion nac yn eu hysgrifeniadau duwinyddol yn crybwyll am eu golygiadau ar hyn, y mae fod ffurf Brestyteraidd ar yr holl eglwysi a gofleidiodd y Diwygiad Protestanaidd, ag eithrio Eglwys Loegr yn unig, yn brawf nad oes eisieu ei well beth ydoedd barn y Diwygwyr. Ond tybiaf tra yr ydwyf fi yn dweyd hyn, fod rhywun yn barod i ddweyd mai o orfod y dewisasant y ffurflywodraeth honno; eu bod yn gwybod nad allent godi urdd gyffelyb i'r un oedd yn yr Eglwys Babaidd oedd o flaen eu llygaid, yn yr Eglwys Brotestanaidd, heb beryglu eu hunain. Y mae yr hwn a freuddwydio beth fel hyn yn eglur heb ddarllen nac ystyried ffeithiau mawr ac eglur y Diwygiad, a safle y prif Ddiwygwyr yn eu gwahanol wledydd. Pe dewisasai Luther gael ei urddo yn Esgob, neu ynte yn Archesgob, buasai Elector Saxony yn ddiau yn caniatau hynny iddo yn rhwydd, o herwydd ei fod yn blaid iddo eisoes mewn pethau mwy. Ni fuasai raid i Calvin yn Geneva ond dweyd y gair, na chawsai ei ordeinio yn Brelad gan yr eglwys honno. A chyda golwg ar ofn y Babaeth, nid oedd ar y naill na'r llall ddim o'i hofn, oblegid yr oedd plaid y Diwygiad wedi cael y llaw uchaf ar eu gwrthwynebwyr. Heblaw hyn oll, y mae yn hysbys fod y swyddogion gwladol yn y gwahanol wledydd yn fwy pleidiol i'r ffurf Esgobyddol ar yr eglwys Brotestanaidd nag unrhyw ffurf arall, a diameu, gan fod y Diwygwyr yn feistriaid hollol ar y sefyllfa, y buasent wedi mabwysiadu y dull Esgobyddol pe barnasent mai hynny a fuasai y ffurf oreu er dwyn yr achos mawr ymlaen.

Ffaith arall i'w choffa mewn perthynas i hyn yw, fod amryw o urddasolion yr Eglwys Babaidd wedi eu dychwelyd i'r ffydd. Yn 1536 darfu i Herman, Archesgob Cologne, gofleidio Protestaniaeth, a dygodd y Diwygiad ymlaen yn ei esgobaeth dan arweiniad Melanchthon. Un arall ydoedd Vergerius, a ddychwelwyd ar ol Herman. Fel hyn gallasai Luther gael dau Esgob i weinyddu iddo gysegriad canonaidd, fel ei gelwir, pe yn ewyllysio hynny. Yr oedd y Calviniaid yn Ffrainc yn myned ymhellach, gyda thri o glerigwyr Pabaidd—Archesgob Aix, Esgob Troyes, ac Esgob Usey: ymunodd y tri â'r Eglwys Ddiwygiedig yn foreu. Ni chydnabyddwyd eu hurddau o gwbl. Yr oedd yn rhaid iddynt ill tri, mewn trefn i gael rhyddid i bregethu, roddi prawf o'u hedifeirwch am eu pechodau, a chymeryd eu derbyn fel aelodau cyffredin, ac yna gael eu dewis i'r weinidogaeth yn y dull arferol trwy lais yr eglwys yn y dull Presbyteraidd.

A phe na buasai Preladiaid dychweledig i'w cael ar y Cyfandir, nid oedd dim yn hawddach na chael cyflawnder o honynt drosodd o Loegr. Ac fel y dengys Llythyrau Zurick, yr oedd gohebiaeth helaeth rhwng Diwygwyr y Cyfandir a'u brodyr yn Lloegr; ond ni cheir gair, heb son am lythyr, yn dangos eu bod yn cymeradwyo Preladiaeth; ac nid ydynt yn yngan gair eu bod dan unrhyw orfodaeth i fabwysiadu y ffurf-lywodraeth Bresbyteraidd. Yn wir y mae y ffaith fod cynifer o'r Diwygwyr o Loegr yn dianc i'r Cyfandir am nodded yn ystod teyrnasiad y Tuduriaid, yn brawf sicr o nerth y Diwygiad yn y gwledydd hynny; ac felly fod arweinwyr y Diwygiad yno wrth lyw y gallu gwladol, pe mynasent ddefnyddio yr awdurdod honno er sefydlu Esgobyddiaeth yn eu tiriogaethau. A phe byddai yn aros ym meddwl rhywun amheuaeth am gywirdeb y sylwadau hyn, y mae yn deilwng o sylw fod y rhai o'r Esgobaethwyr ag sydd ganddynt barch i onestrwydd, yn addef yn rhwydd mai Presbyteriaid ydoedd y Diwygwyr ar y Cyfandir, yr hyn yng ngolwg Esgobaethwyr oedd eu trosedd pennaf. Y mae Dr. Thomas Brett, yn ei lyfr ar *The Divine Right of Episcopacy*, yn addef hynyma; ac oblegid y ffaith y mae yn ymliw yn chwerw â hwynt, gan fod ganddynt Esgobion nid ychydig wedi dychwelyd oddiwrth Babyddiaeth, ac eto ni wnaeth y Lutheriaid na'r Calviniaid un defnydd o honynt fel y cyfryw, nac ychwaith un gydnabyddiaeth o'u hordeiniad. Y mae gan eglwysi Lutheraidd Sweden a Norway yn bresennol Esgobion, ond y maent ollo ddyddiau Luther hyd yn awr wedi eu hordeinio gan Henuriaeth.

Hwyrach mai nid hollol anfuddiol fyddai gair ymhellach er rhoddi cyfrif pa fodd y daeth y chwedl hon i gael ei chredu yn lle gwir am olygiadau y Diwygwyr Protestanaidd ar ffurf-lywodraeth Eglwysig. Y gwr sydd yn gyfrifol am ledaenu y syniad cyfeiliornus hwn ydoedd un o'r enw Durel, mewn llyfr o'i eiddo yn dwyn yr enw "View of the Government and Public Worship of God in the Reformed Church Beyond the Seas." Brodor ydoedd y gwr hwn o Jersey, ac wedi cilio yn ystod y Weriniaeth yn Lloegr i Ffrainc. Yno bu yn weinidog i'r Eglwys Ddiwygiedig ac yn gaplan i uchelwr. Yn adeg yr Adferiad dychwelodd i Loegr, ac fel ad-daliad, fel yr ymddengys, am ysgrifennu ymhlaid Preladaeth, penodwyd ef gan Siarl II. yn weinidog yr Eglwys Ffrengig yn y Savoy. Trwy orchymyn y Brenin, cyfieithodd y Llyfr Gweddi Gyffredin i'r Ffrancaeg, er budd y Ffrancod a drigiannent yn Lloegr, a chyda'r amcan o ennill y Ffrancod i ymuno â'r Eglwys Sefydledig. Gwna hyn yn ei lyfr trwy geisio dangos fod yr holl eglwysi

Protestanaidd ar y Cyfandir yn bleidiol i Esgobyddiaeth, gan eu bod bob amser wrth gyfeirio at eu gweinidogion, yn eu cydnabod yn eu teitlau a roddid iddynt gan eu brodyr eu hunain yn y Sefydliad Gwladol; ac mai Esgobaethwyr ydoedd Protestaniaid Prydain, oddieithr ychydig o Anghydffurfwyr anfoddog; ac fod gweinidogion yr Eglwys Ddiwygiedig yn Ffrainc yn ysgrifennu ac yn llefaru yn garedig a pharchus am Eglwys Loegr. Ac nid rhyfedd, canys y mae ffurf o weddïau wedi eu cyhoeddi gan Calvin ei hun! Heblaw hyn, ceir fod rhai o'r Diwygwyr ar y Cyfandir yn cyfarch yr Esgobion fel "Preladiaid parchedig." Llawenychai un arall o honynt nad yw yr Esgobion "yn gaethion trwy lw i'r Pab." Eithr yr hyn a ddygai ymlaen fel rheswm a ddylai fod yn ddigon i benderfynu y ddadl hon unwaith am byth, ydyw yr haeriad mai o orfodaeth ac nid o ddewis,—ymddengys mai efe oedd y cyntaf i ddefnyddio y cyfryw eiriau,—y mabwysiadwyd Henaduriaeth yn hytrach nag Esgobyddiaeth gan y Diwygwyr ar y Cyfandir. Diameu y barna pob un fod y pethau blaenaf a nodwyd fel cynnwys rhan fawr o'r llyfr, yn sylwadau llipa eu gwala i'w dwyn ymlaen yn lle rhesymau dros yr hyn a ddylasid ei brofi. A chyda golwg ar y peth diweddaf, mai o angenrheidrwydd ac nid o ddewis y gwrthodasant Esgobyddiaeth, nis gellir meddwl, fel y dywedwyd yn barod, am ddim ag sydd yn fwy croes i ffeithiau. Cymer Durel arno ddwyn ymlaen lythyr cyfrinachol a ysgrifennwyd, meddir, gan weinidog dinod o'r enw Du Box o Cannes yn Ffrainc, yn ceisio awgrymu hyn. Yr hyn sydd yn difetha tystiolaeth hwnnw, a chaniatau ei fod yn dweyd yn gywir yr hyn a gredai, yw ei fod yn ysgrifennu ei lythyr gan mlynedd ar ol y Diwygiad. A'r hyn sydd waeth na'r cwbl, y mae y gam-dystiolaeth hon wedi cael ei derbyn yn lle gwir gan ddarllenwyr hanesiaeth eglwysig am oddeutu tri chan mlynedd bellach. Pe byddai angen ychwanegu eto un prawf o beth oedd syniadau y Diwygwyr ar hyn yn gyffredin, gellid dodi i lawr yr hyn a ysgrifennodd un o'r rhai mwyaf ei bwyll a chymodlawn o'r Diwygwyr, a hwnnw oedd Melanchthon. Dyma yr hyn a ysgrifenna mewn olysgrif i Erthyglau Smalcald:—"Gyda golwg ar y Pab, yr wyf yn dal, pe byddai iddo dderbyn yr Efengyl, y gallem hefyd ganiatau iddo, er mwyn heddwch a chydgord cyffredinol yr eglwys trwy y byd, i arfer, trwy hawl *ddynol*, ei oruwchlywodraeth bresennol dros yr Esgobion, y rhai ydynt yn awr, neu a allant fod eto dan ei awdurdod." A'r hyn sydd yn syndod yw fod y geiriau rhyddfrydig a lefarodd Calvin tuag at Esgobaethwyr,—y buasent yn goddef hyd yn nod Breladiaeth pe buasai ei swyddogion yn pregethu yr Efengyl, yn awr yn cael eu defnyddio yn ddadl er profi eu bod o blaid Esgobyddiaeth. Y cam mwyaf dybryd â'r hyn a ysgrifennodd y Diwygwyr! A buasai y gwyrdröad digywilydd hwn ar eu geiriau yn sicr o ddwyn ar eu pen gondemniad buan ganddynt pe buasent yn gwybod am dano.

Pan y sefydlwyd eglwysi yn Denmark, Sweden, a Norway, gofynnwyd i Luther benodi Esgobion iddynt,—yr hyn a wnaeth, a hynny a wneir eto yno. Ac fel y dywed Luther ei hun, gofalwyd rhag rhoddi ond cyn lleied o'r gwir beth, fel y tybia Esgobaethwyr, ag oedd yn bosibl. Yr hyn sydd yn anhepgor i Brelad Eglwys Loegr yw ei fod yn derbyn ei awdurdod trwy yr hud-lewyn hwnnw a elwir yn olyniaeth Apostolaidd. Nid oedd Luther yn prisio dim ar hyn; ac ordeiniodd Esgobion gyda'i frodyr yn yr eglwysi y cyfeiriwyd atynt. Yr Henuriaeth sydd gan y Lutheriaid eto yn penodi ac yn ordeinio Esgobion. Y

mae y Pabyddion ac Eglwys Loegr yn un yn hyn, sef mewn gwadu fod gan eglwys i Grist yn un man, nac mewn unrhyw oes, hawl na chymhwyster i ddewis ei swyddogion trwy gyfarwyddyd ei hunig Ben.

Dywedai y Diwygwyr gynt, a dywed yr holl Brotestaniaid yn yr Eglwysi Rhyddion, fod pob swydd sanctaidd i gael ei llenwi o'r eglwys a chan yr eglwys. Ond y mae Eglwys Loegr a'r Pabyddion yn gwadu hyn yn bendant. A phe gofynnid i ni brofi pa un o'r ddwy sydd ddyfnafyn y camwedd hwn, gallem brofi mai Eglwys Sefydledig Lloegr sydd yn gwadu hyn yn fwyaf pendant. Ni raid ond edrych i ganfod pa fodd y penodir swyddogion gan y naill a'r llall na ddel hyn yn amlwg i bawb a fynno weled.

Od oes rhywun heb ganfod y niwed a wnaed trwy sefydlu Preladaeth yn yr eglwys, ni raid iddo ond dyfod adref at hanes yr hyn a elwir y Diwygiad Protestanaidd yn Lloegr, fel y darfu i Breladiaid Lloegr erlid mor fuan ag amser Elizabeth y gwir Ddiwygwyr yn yr Eglwys, gan eu galw yn Buritaniaid, a'u merthyru. Nid ydym wrth ysgrifennu fel hyn yn meddwl awgrymu na fu, ac nad oes eto, aml i ŵr i Dduw yn perthyn i'r Sefydliad Gwladol o grefydd yn ein gwlad; ond meiddiwn ddweyd eu bod yn ychydig o rifedi, ac yn llai eu nifer o lawer nag mewn un gangen o'r Eglwys Brotestanaidd. Ac y maent yn wŷr da er gwaethaf eu trefn Eglwysig.

A phan y mae Ymneillduwyr y deyrnas yn gwybod y pethau hyn am Breladaeth, onid yw yn syn fod rhai Esgobion yn ceisio perswadio eu hunain a'u brodyr y daw yr Ymneillduwyr i'r Eglwys Wladol yn ol yn fuan. Os nad yw rhai o honynt ar hyn o bryd yn byw yn eu palasau, y maent yn byw mewn math o baradwys wrth freuddwydio y fath beth.

Y mae yn ddirgelwch i aml un pa beth sydd yn cyfrif am yr ysbryd trahaus a ffroenuchel sydd yn meddiannu clerigwyr yr Eglwys Sefydledig, o'r Archesgobion hyd at yr ebrwyad mwyaf diddysg a diddawn o'i mewn. Nid ydym yn barnu mai athrawiaeth yr olyniaeth apostolaidd, fel ei gelwir, yw y rheswm pennaf am dano; eithr yn hytrach yr hen syniad paganaidd ydoedd yn hen ymerawdwyr Rhufain gynt wedi ymweithio i'r Babaeth, ac oddiyno i glerigwyr yr Eglwys Sefydledig. Nid oes dim yn dyfod mor amlwg i olwg pawb a ddarllenno hanes Rhufain o dan yr ymerawdwyr, na bod eu deiliaid oll i gael eu trin fel anifeiliaid y maes, o ran dim llais oedd iddynt yn llywodraeth eu gwlad. Gwelir yr un a'r unrhyw ysbryd yng nghlerigwyr Eglwys Loegr, o hil gerdd. Gwir fod rhai eithriadau anrhydeddus i'w cael y naill oes ar ol y llall. Ond y rhyfeddod yw nad oes cymaint ag un o'r eithriadau hyn, yn ystod eu hoes, wedi rhoddi bod i un math o ddiwygiad a roddai derfyn ar y traha hwn yn eu gweinidogion. Ac y mae yn anhawdd i un mewn gwaed oer wybod terfyn ar ei ddirmyg tuag at ambell i Ymneillduwr coegfalch, anwybodus, a chynffonllyd yng Nghymru, a fynnai ddangos rhyw barch a chwrtais tuag at drefn eglwysig ag sydd o oes i oes wedi bod yn wely brwd i bob gormes wladol a chrefyddol. Y mae yr un peth â phe gwelid dynion a fynnent ddangos fod yr arfau oedd yn Chwilys yr Hispaen yn offerynau cysegredig. Gobeithiwn gan hynny y bydd meibion Cymru yn un yn yr ymdrech agoshaol gyda Dadsefydliad a Dadwaddoliad, a diau y bydd hynny sydd o weinidogion yr Eglwys Sefydledig ag ydynt yn weithwyr difefl, er maint y llygredigaeth y maent yn ei ganol, ar eu mantais yn fawr mewn mwy nag un ystyr. A'r hyn sydd fwy, bydd yr eglwysi a fydd dan eu gofal yn medi nid ychydig o fanteision ysbrydol. A Duw yn rhwydd iddynt, yw gwir ewyllys ein calon. SAMUEL OWEN.

# YR ATHRAWIAETH O YSBRYDOLIAETH AC UCHFEIRNIADAETH.

PA faint bynnag o ddaioni a wneir gan Uchfeirniadaeth, y mae yn eithaf amlwg ei bod, wreiddyn a changen, yn dyfod i wrthdarawiad ag athrawiaeth y Beibl am ei ysbrydoliaeth ei hun. Addefir y ffaith hon yn rhwydd gan yr Uchfeirniaid eu hunain, fel y cawn weled. Bwr-iwyd y Testament Newydd i ffwrn feirniadol y gwr dysgedig a galluog — Baur, sylfaenydd yr Ysgol Dübingennaidd; ond y mae y Testament Newydd wedi dyfod allan heb sawyr tân arno,—y ffwrn wedi diffodd, ei meini wedi eu chwalu, a'r Ysgol Dübingennaidd wedi myned o fod oddieithr yn unig fel ffaith hanesyddol. Yn fuan wedyn bu i Wellhausen adeiladu ffwrn ar yr un cynllun ac yn ol yr un rheolau â'r eiddo Baur, i fwrw iddi yr Hen Destament. Nid ydyw Wellhausen yn wr mor rymus ei feddwl â Baur, ond y mae wedi llwyddo i gasglu ato lïaws o ddysgedigion yn Germani ac yn y byd Seisnig, y rhai a gynorthwyant yn y gwaith hwn. Tra y mae yr Hen Testament yn y ffwrn, a honno wedi ei thwymmo yn saith boethach, a hyd yn hyn heb un arwydd amlwg fod y tân yn dechreu colli ei nerth,—gadawer i ni sefyll mewn ysbryd barn wrth enau y ffwrn. Ymofynnwn beth ydyw y rhagolygon, yn ol "y dull casgliadol," am ei ddyfodiad allan. Beth ydyw ei bosibilrwydd? A ydyw yn debyg o ddyfod allan mor fuddugoliaethus o'i brawf tanllyd ag y daeth y Testament Newydd? Y mae un peth yn addawol iawn o'i blaid, sef fod yr athrawiaeth fawr o Ddwyfol Ysbrydoliaeth, fel dull y Pedwerydd, gydag ef yn y ffwrn. Heblaw hyn, y mae y Testament Newydd, yr hwn a brofwyd eisoes, yn sefyll i ofalu am fod pob darn o'r Hen Destament yn cael chwareu teg. Nid ydym yn honni un hawl yn yr erthygl hon, ond yn unig hawl gyfreithlawn pob dyn i sefyll yng ngoleuni synwyr cyffredin ar berthynas Uchfeirniadaeth ag athrawiaeth yr Hen Lyfr ei hun am ei Ysbrydoliaeth. Os gwelir fod Uchfeirniadaeth yn dyfod i wrth-darawiad a thystiolaeth y Beibl am dano ei hun, ar ei chyfeillion y syrth pwys y prawf o chwilio am gysondeb.

1. Byddai yn fanteisiol i ni roddi amlinelliad byr o'u dull o feirniadu. Bydd hynny yn ddigon. Pan y mae cerflunydd yn dechreu cymhwyso ei arfau at ddarn o farmor, gan feddwl gwneyd delw o ddyn o honno, gwelir yn fuan, oddiwrth ei fraslinelliad, yr hyn a fwriadai gyflawni. Nis gallwn ddilyn yr Uchfeirniaid i bob man, neu at bob casgliad a dynnant. Rhaid i ni foddloni ar amlinelliad, a pha mor amherffaith bynnag, bydd yn ddigon i ddangos yr hyn yr amcanant ato, ynghyd a'u dull o weithio.

Cipir ymaith oddiar Moses yr anrhydedd o fod yn awdwr y Pum-llyfr. Yn ol Wellhausen, cyfansoddwyd y *Hexateuch*, hynny yw, y Pumllyfr gyda llyfr Josua, gan dri neu bedwar o wahanol awdwyr, sef y Jehofiad (Genesis, Exodus), y Deuteronomiad (Deuteronomium), yr Offeiriad (Lefiticus, Numeri). Nid ydyw yr Uchfeirniaid yn hollol yr un farn am enwau yr awdwyr, na'u nifer; dywed rhai tri, ac ereill pedwar; ond cydolygant nad ysgrifennodd Moses ond ychydig iawn o honno. Dadleuir fod Deuteronomium yn cynnwys

profion mewnol o'i fod wedi ei gyfansoddi yn ddiweddarach na Genesis ac Exodus, ond ei fod yn llawer hŷn na Lefiticus a Numeri, y rhai a elwir yn Ddeddflyfr yr Offeiriad. Dygir ymlaen ddwy engraifft i brofi hyn. Un ydyw gorchymyn Duw i godi "allor ganolog" (Deuteronomium xii. 5), yr hyn sydd yn dangos, meddir, fod y llyfr yn ddiweddarach na Genesis ac Exodus, o herwydd ni cheir y cyfryw reolau yn Exodus xx. 24. Y llall ydyw y gwahaniaeth a geir yn nhrefn gwasanaeth yr Offeiriaid a'r Lefiaid yn Deuteronomium ac yn Lefiticus a Numeri. Yn y cyntaf, ni wneir gwahaniaeth rhwng gwaith yr Offeiriaid a'r Lefiaid fel yn y ddau lyfr olaf; yr hyn sydd eto, meddir, yn dangos ei fod yn gyfansoddiad boreuach. Ond y mae y dybiaeth ar yr hon y seilir y feirniadaeth hon wedi ei gwrthbrofi yn foddhaol lawer gwaith drosodd.* Yn ol y beirniaid, rhaid fod y disgrifiad yn Deuteronomium xii. o'r allor ganolog, yn llawer diweddarach nag Exodus xx. 24, lle ceir cyfeiriad at fwy nag un allor. Peth arall; nid oedd yr allor ganolog hon yn adnabyddus yn nyddiau Samuel, na'r deddfau perthynol iddi yn bod yn nyddiau Elias, onide rhaid i ni gasglu eu bod yn cael eu hanymwybyddu. Felly, medd y beirniaid, rhaid fod Deuteronomium wedi ei ysgrifennu tuag wyth gant o flynyddoedd cyn Crist. Yn nyddiau y brenin Josiah, darganfyddwyd Llyfr y Gyfraith yn Nhy yr Arglwydd, a hawdd gweled, meddir, mai yr un un oedd hwnnw a Deuteronomium. Nid yw Kuenen yn petruso dweyd nad oedd hwnnw ond "twyll," ac nad all neb ond Cristion gredu yn wahanol. Pa bryd yr ysgrifennwyd Lefiticus a Numeri? Rhaid eu bod wedi cael eu cyfansoddi ymhell ar ol Deuteronomium, a'r rheswm a roddir dros hynny ydyw, am eu bod yn cynnys mynegiad llawer cyflawnach o'r trefniadau aberthol ac offeiriadol. A'r ddolen gydiol rhwng Deuteronomium ydyw y bedwaredd bennod a deugain o Ezeciel. Yno y ceir hanes dirywiad y Lefiaid, a dechreuad y gyfundrefn newydd, yr hon yn ei ffurf ddadblygedig a ddaeth i berffeithrwydd yn nyddiau Ezra. Felly, y casgliad teg ydyw, meddir, nad oedd Lefiticus a Numeri mewn bod, o leiaf yn eu ffurf bresennol, cyn caethiwed Babilon.

Yn awr, os na chyfansoddwyd y Pumllyfr, neu o leiaf rannau helaeth o honno, hyd ymhen chwech neu wyth cant o flynyddoedd ar ol marwolaeth Moses, gwelir ar unwaith nas gall fod yn gofnodiad ymddiriedol o ffeithiau hanesyddol. O ganlyniad, y mae y dybiaeth hon, ynddi ei hun, yn myned dan sail cywirdeb hanesyddol llyfrau Moses, ac yn dinystrio yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth. Ond beth yw yr anhawsterau sydd yn codi yn llwybr beirniadaeth ddiweddar; a ellir dweyd am danynt eu bod yn rhywbeth heblaw ffeithiau yr amcenir rhoddi cyfrif am danynt mewn un ffordd, tra y gellir gwneyd hyny mewn ffordd arall? Os ydyw yr uchfeirniad yn credu mewn dadblygiad materolaidd,—nad ydyw gwyrth yn bosibl na phroffwydoliaeth ond ynfydrwydd, a bod cyfundrefn grefyddol Israel yn fath o dyfiant o dan ddylanwadau naturiol, yna y mae yn cael ei orfodi i ddyfod i'r casgliad a dynnir gan yr ysgol uchfeirniadol am y Pumllyfr. Yn fyr, oddiar safle faterolaidd, ymddengys damcaniaeth yr uchfeirniaid yn dra thêg. Ond y safle Oruwchnaturiol, "y ddamcaniaeth Eglwysig," fel y gelwir hi gan Kuenen, ydyw yr unig un sydd yn deg a thebygol.

* Gwel Dr Curtis's *Levitical Priests*; Lange *Com. Deuteronomy*; Schroder's *Introduction*; Gosman's *Appendix*

2. Bydd yn fanteisiol i ni eto sefyll uwch ben gwreiddyn cychwynol uchfeirniadaeth. Dibynna ein damcaniaethau am y Beibl ar pa un a ydyw yn taraw yn erbyn ei Ysbrydoliaeth neu beidio, i raddau helaeth, ar natur y gwreiddyn y cychwynnir oddiarno. Y cwestiwn mawr i'w benderfynu ydyw, Beth sydd i gael ei ystyried yn awdurdod? A ydyw y Beibl yn *Ddwyfol Ysbrydoledig?* Cyfansoddodd y Proffeswr Delitzsch lyfryn bychan cyn marw i ddangos y gwahaniaeth sydd rhwng y ddwy ysgol, yr hen a'r newydd, o feirniaid Beiblaidd yn yr oes hon, a mynega fod "gagendor mawr" rhyngddynt. Yn sicr dyna y gwirionedd. Yn egwyddor gychwynol y ddwy ysgol y dechreua y gagendor hon ymagor. Tra y mae y naill yn Anianolwyr Rhesymolaidd, yn gwrthod yr elfen ddwyfol a goruwchnaturiol, y mae y lleill yn credu yn arweiniad neillduol Rhagluniaeth Duw, ac yn ei ymwneyd uniongyrchol Ef ag Israel a'r Ysgrythyrau a ymddiriedwyd iddynt. Nid ynghylch ffeithiau yr Hen Destament y mae y ddadl, ond ynghylch y modd yr esbonnir y ffeithiau hynny. Nid ydyw y dosraniadau a wneir ar y Pumllyfr yn cynhyrfu dim ar yr Almaenwr; ond pan y dywedir nad ydyw llyfrau y Beibl ond math o dyfiant naturiol o feddwl Israel, ac nad oedd gwreiddyn eu crefydd yn Ddwyfol, y mae yn cyffroi. Nid oes llawer o wahaniaeth rhwng golygiadau y Rhesymolwr Wellhausen, a Delitzsch ar rannau o'r Pumllyfr; ond y mae gagendor ddofn rhwng eu golygiadau am ei ddechreuad. Derbynia Delitzsch yr Hen Destament fel prawf o ymyriad uniongyrchol Duw er paratoi y byd i dderbyn y Messiah, yr hwn yn amser apwyntiedig Duw oedd i ymddangos ym Methlehem. Ond edrycha Wellhausen ar y Beibl fel dadblygiad naturiol o gyfundrefn grefyddol a dyfodd allan o athrylith ac anianawd yr Hebreaid. Y mae y cyntaf yn gweled Duw yn yr hanes, a'r llall heb weled dim ond dyn. Pan restrir ysgolheigion fel Delitzsch, Strock, Zöcker, ac ereill, gyda Wellhausen, gwneir hynny naill ai yn fwriadol, neu mewn anwybodaeth am eu hegwyddorion cychwynol. Heblaw hyn, nid ydyw ond ynfydrwydd i feirniaid fel Baur, Wellhausen, a'u cyffelyb, haeru yn barhaus eu bod yn ymchwilwyr amhleidiol hollol am y gwirionedd yn ei symledd a'i burdeb, tra y mae yn eu meddyliau gyfundrefn o athrawiaeth sydd yn gwrthod posibilrwydd gwyrth. Hyd yn oed pe buasai hynny yn feddyliol yn bosibl, nid ydyw yn bod yn y cysylltiad hwn. Lliwir a llychwinir eu holl feirniadaeth Feiblaidd gan eu credo. Yr ydym yn teimlo yn fwy diolchgar i Kuenen am ei onestrwydd pan yn datgan yn nechreu un o'i brif weithiau ei fod ef yn cychwyn gyda'r syniad fod crefydd y Beibl yn un bwysig ymysg crefyddau ereill,—dim llai, *na dim mwy.* Ni ellid disgwyl addefiad mwy rhydd ac agored o'i Resymoliaeth. Yr un pryd y mae y cyfryw addefiad yn dinystrio ei hawl honiadol i'r "*scientific method.*" Pa fodd y gall ddilyn y cyfryw wrth archwilio llenyddiaeth llyfr Dwyfol-Ddynol, tra yr un pryd yn credu mewn damcaniaeth athronyddol sydd yn gwrthod y grediniaeth mewn gwyrth? Gyda chrediniaeth yn yr amhosibilrwydd o ymyriad goruwchnaturiol y dechreua yr ysgol hon gymhwyso ei chanonau beirniadol at lyfrau a roddwyd trwy Ddwyfol Ysbrydoliaeth. A fuasem ni yn ystyried y gallasai rhai fel hyn fod yn rheithwyr amhleidiol mewn llys barn? Y mae hyn yn wirionedd nid yn unig am yr uchfeirniaid yn yr Almaen, ond hefyd yn y byd Seisnig. O'r rhai ag y mae eu henwau yn boblogaidd fel uchfeirniaid, nid oes cymaint ag un yn iach yn y ffydd ar un pwnc mewn duwinyddiaeth.

Nid ydym yn awgrymu nad oes rhai o honynt yn credu fod y Beibl yn ysbrydoledig; ond y mae yn gwestiwn ag y buasem yn teimlo yn ddiolchgar hyd yn oed i'r boneddigion hynny am ddweyd wrthym pa beth a olygant wrth Ysbrydoliaeth y Beibl.

3. Addefir gan yr Uchfeirniaid eu hunain fod eu beirniadaeth yn dinystrio yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth. Sylwn ar leferydd rhai o honynt fel engraifft deg o syniad yr ysgol hon yn gyffredinol ar Ysbrydoliaeth. "Amlwg yw nas gall y dybiaeth o Ysbrydoliaeth eiriol, na'r dybiaeth o Ysbrydoliaeth gyflawn, gytuno â'r ffeithiau a ddygir ger ein bron trwy astudiaeth fanol o'r llyfrau eu hunain. Nid ydyw yr ysgrifeniadau hyn yn Ysbrydoledig, yn ol yr ystyr a roddir yn gyffredin i'r gair. O ganlyniad, argymhellir ni i addef, dan bwysau y 'trefniad newydd' a roddir ganddo ef ar lyfrau y Beibl, nid yn unig fod yr Hen Lyfr yn 'ddiffygiol yn ei ddeddfau' ac yn 'foesol feius,' ond fod ei anymddiriedolrwydd fel dysgawdwr crefyddol mor fawr fel y cyflwyna i ni mewn rhai mannau syniadau tywyll am Dduw ac am y gwirionedd."* "Gorfodir ni yn awr gan ffeithiau adnabyddus i wrthod yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth yn ol yr hen syniad, am un fwy Catholig, yr hon a dderbynia yr hanes a gofnodir yn y Beibl fel prin yn ymddiriedol, ac na ddisgwylir i ddynion deallus a darllengar ystyried fod esboniad ysgrifenwyr y Testament Newydd yn foddhaol."† "Mi ddwedaf i chwi yr hyn a wnaed gan feirniadaeth; dinystriodd hen ddamcaniaethau cyfeiliornus am y Beibl. Dinystriodd yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth eiriol y Beibl; dinystriodd yr athrawiaeth o ddilysrwydd y Beibl; dinystriodd yr athrawiaeth sydd yn cysylltu Ysbrydoliaeth â dynion sanctaidd." "Y feirniadaeth hon sydd wrth wraidd y galw sydd am ddiwygio y Cyffes Ffydd [Presbyteraidd], a'r galw sydd am ddiwygio credöau, a newid gwaith a dull addoliad Cristionogol."‡ Os ydyw y brawddegau hyn yn meddwl yr hyn a fynegant ar eu gwyneb, yr ydym yn myned i golli, nid yn unig yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, ond i bob amcan ymarferol yr ydym yn myned i golli y Beibl ei hun. Y mae yn wir fod Dr. Driver yn ceisio ein cysuro trwy fynegi "nad ydyw beirniadaeth yn nwylaw dysgedigion Cristionogol yn dinystrio Ysbrydoliaeth y Beibl, *ond y mae yn rhagdybio hynny.*"§ Nid yn unig "y mae yn rhagdybio hynny," ond llyfr Dr. Driver ei hun ydyw y mwyaf chwyldroadol a gyhoeddwyd hyd yn hyn yn Saesneg ar yr hen athrawiaeth o Ysbrydoliaeth. Ar ei wyneb nid ydyw yn myned mor bell a Kuenen pan y datgana "nad oes dim yn fwy Dwyfol yn Ysgrythyrau yr Hebreaid a'r Cristionogion nag yng nghynhyrchion meddyliol Mahomed a Zarathustra, ac nad oes gwahaniaeth yng nghrefydd y Beibl ragor crefyddau ereill y byd." Eto nid ydyw yr eiddo yntau ond gwialen o'r un cyff. Maes y frwydr ydyw hyn,—Pa beth a ystyrir gennym yn safon,—y Beibl ynte Rheswm? Pa beth sydd i fod yn awdurdod?

Hyd nes y gall uchfeirniadaeth daflu i fyny y sylfaen ddeublyg ar yr hon y gorffwys yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, nid oes perygl. Ei dwy rês o feini sylfaen yw y rhai hyn: yn gyntaf, y prawf esboniadol fod ysgrifenwyr y Beibl eu hunain yn dysgu eu bod yn ysbrydoledig;

* *Who wrote the Bible? A Book for the People*, by Washington Gladden, pp. 57, 61, 92.

† *The Change of Attitude toward the Bible*, by Joseph Thayer, Prof. in Harvard University, pp. 9, 10, 22, 52, 65.

‡ *Article* in the "Christian Union," by Prof. Briggs.

§ *Introduction to the Literature of the Old Testament*, by Dr. Driver.

yn ail, yr holl gorff o brawf, yn fewnol ac yn allanol, yn hanesyddol ac yn athronyddol, yn ddwyfol ac yn ddynol, sydd yn dangos fod ysgrifenwyr y Beibl yn ymddiriedol fel dysgawdwyr athrawiaethol. Os ydynt yn ddysgawdwyr ymddiriedol mewn athrawiaeth, ac os ydynt yn dysgu yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, yna rhaid fod yr athrawiaeth yn wir, ac nid oes gennym ond ei derbyn. O ganlyniad, rhaid ystyried y gwrthddadleuon a ddygir yn ei herbyn yn aneffeithiol. Yr egwyddor resymegol sefydlog ydyw, fod prawf cywir trwy yr hwn y cadarnheir gosodiad, i sefyll yn ddiamheuol, fel y mae gwrthddadleuon yn peidio a bod yn wrthddadleuon ac yn dyfod yn anhawsterau. Cyn y gall uchfeirniadaeth ddinystrio yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, rhaid iddi daflu i fyny y sylfeini hyn. Fel hyn, os mynnwn ddilyn dull rhesymegol cywir, rhaid i ni fabwysiadu y ddwy ffordd uchod. Rhaid i ni gymeryd gafael yn gyntaf yn yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth fel y mae y Beibl ei hun yn ei dysgu, ac yna profi yr athrawiaeth â'r ffeithiau gyda golwg ar y Beibl a beirniadaeth ac esboniadaeth Feiblaidd.

Y mae y Beibl ei hun yn hawlio ei fod yn ysbrydoledig. Camgymerodd y Proffeswr Jowett pan y dywedodd "nad yw y gair [Ysbrydoliaeth] ond er doe." Nid ydyw y syniad o Ysbrydoliaeth na'r gair yn ddiweddar, ond y mae wedi dyfod o'r Ysgrythyrau eu hunain. Gyda'r Arglwydd Iesu a'i Apostolion, ac nid gyda duwinyddion ac uchanianwyr, y rhoddwyd arbenigrwydd i'r syniad fod yr Hen Destament yn Ysbrydoledig. O, y fath barchedigaeth ddofn oedd ym meddwl Iesu Grist a'i Apostolion i'r Hen Destament! At ba ran bynnag o'r Ysgrythyrau y cyfeirient,id dynt hwy yr ydoedd yn "Air Duw," "Gorchymyn Duw," "Oraclau Duw," "a lefarwyd wrthynt gan Dduw;" "dywedodd Dafydd trwy yr Ysbryd Glan;" "da y dywedodd yr Ysbryd Glan trwy Esaias;" "a ddanghoswyd gan Dduw trwy enau ei holl broffwydi;" "Duw wedi iddo lefaru trwy enau ei holl broffwydi er dechreuad y byd;" "dynion sanctaidd Duw a lefarasant, megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan;" yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw;" a'r Ysgrythyr nis gellir ei thorri;" "rhaid ei chyflawni." Gan hynny, rhaid fod gan y rhai hynny a wrthodant bob hawl o'r natur yma i'r Hen Destament, rywbeth i'w benderfynu gyda Sylfaenydd Cristionogaeth ei Hun. Crediniaeth yr Eglwys Iuddewig trwy yr oesau, crediniaeth Iesu Grist ac ysgrifenwyr y Testament Newydd, oedd, fod Ysgrythyrau yr Hen Destament, ac yn eu mysg y Pumllyfr, yn Air uniongyrchol Duw. Pa faint bynnag o wasanaeth a gyflawnwyd gan ddynion yn ei roddiad a'i drefniad, edrychid arnynt yn "Ymadroddion Duw:" Ioan vii. 38; x. 35; xix. 36,'37; xx. 9; Actau i. 16; Iago ii. 8; Rhuf. ix. 17; Galatiaid iii. 8—22. Cyfiwynir i'n sylw yr Hen Destament fel wedi ei lefaru gan Dduw: Math. i. 22; ii. 15; Actau iv. 25; xiii. 34; Rhuf. i. 2. Brydiau ereill gan yr Ysbryd Glan: Actau i. 16; xxviii. 25; Heb. iii. 7; ix. 8; x. 15. Yn Ail Timotheus, iii. 16, dywedir, "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw." Pa esboniad bynnag a roddir ar y frawddeg hon, a pha syniad bynnag a dynnir oddiwrth osodiad mor gyffredinol am Ysbrydol iaeth y Beibl, y mae un gwirionedd yn amlwg iawn ynddi, sef fod Paul ei hun yn credu fod Ysgrythyrau yr Hen Destament—"yr holl Ysgrythyr"—wedi eu rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw.

Gellir gofyn, Pa beth yw barn yr Uchfeirniaid ar hyn, ynghyd a beirniaid diweddar ereill nad ydynt yn derbyn yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth gyflawn y Beibl? Nid oes ond un atebiad, hyd y gwyddom, i'r cwestiwn hwn, sef eu bod yn addef mai hyn oedd credo Iesu o Nazareth, a holl ysgrifenwyr y Testament Newydd. "Yr athrawiaeth," medd Kuenen am syniad Paul am Ysbrydoliaeth, "oedd yn gwneyd yr Hen Destament iddo ef yn Air Dwyfol, a'r ymadrodd 'ysgrifennwyd,' yn gyfartal â 'Duw a ddywedodd.'"* Yn yr un modd, addefa Otto Pfleiderer fod Paul yn cyfranogi yn llawn yn nhybiaeth ei wrthwynebwyr "fod y Beibl yn Air datguddiedig ac uniongyrchol Duw."† Drachefn, "Y mae yn amlwg ddigon fod awdwr y llythyr at yr Hebreaid, fel ysgrifenwyr ereill y Testament Newydd, yn golygu fod yr oll o'r Hen Destament wedi ei roddi gan yr Ysbryd Glan." Y mae y cymhwysiad a wneir o'r Hen Destament gan awdwr yr Epistol at yr Hebreaid yn gorffwys ar y syniad manylaf am Ysbrydoliaeth, oherwydd yn y rhannau hynny nad yw Duw yn llefaru, dywed yr awdwr eu bod yn Air Duw, neu eu bod wedi eu llefaru gan yr Ysbryd Glan. Heb. i. 6; vii. 8; iv. 4, 7; vii. 21; x. 15. Nid yw yn angenrheidiol ychwanegu dyfyniadau er dangos fod beirniaid o ysgolion gwahanol yn addef fod ysgrifenwyr y Testament Newydd yn credu, yr un modd â'r Iuddewon oll yn eu hoes—Ysgolion Tanaim ac Amoraim—fod eu hysgrythyrau yn ysbrydoledig.

Er fod y Beibl yn dysgu ei fod yn ysbrydoledig, y mae y gwyn a glywir gan y beirniaid hyn yn fynych yn wirionedd, sef nad ydyw mewn un man yn datguddio i ni y dirgelwch am natur a helaethrwydd Ysbrydoliaeth. "Er i ni fanwl chwilio yr holl Feibl," meddant, "nid ydym yn cael atebiad i'r cwestiwn, Beth yw Ysbrydoliaeth? Dywedir mai dylanwad dwyfol ydoedd yn gorffwys ar feddwl a chalon yr ysgrifenwyr, a mynegir eu bod yn llefaru 'megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan.' Ond beth oedd ei nerth? Beth a olygir wrth hynny? Beth a ddisgwylid oddiwrtho?" Rhaid cydnabod fod hyn yn wirionedd. Tra mae y Beibl yn hawlio ei fod yn ysbrydoledig, nid ydyw yn egluro natur y dirgelwch, neu y dylanwad Dwyfol a weithredai ar feddwl a chalon yr ysgrifenwyr. Nid oeddynt hwy eu hunain yn ei ddeall; eto yr oeddynt yn deall eu bod yn ysgrifennu o dan ddylanwad Dwyfol, a galwant yr hyn a ysgrifennent yn Air Duw, yn "Oraclau Dwyfol." Dysgir yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth gan y Beibl yn hollol yn yr un dull ag y dysgir athrawiaeth y Drindod; yr athrawiaeth am Berson Crist; yr athrawiaeth am ailenedigaeth; yr athrawiaeth am yr adgyfodiad a'r sefyllfa ddyfodol; a hyny nid trwy ddarnodiadau gwyddoregol, eithr yn hytrach trwy ddatganiadau parhaus,—yn llin ar lin, yn ychydig yma ac ychydig acw, a hynny fel ffeithiau datguddiedig a diamheuol. Nid oes angen am ddarnodi ffaith, pa faint bynnag fydd dyfnder y dirgelwch a orwedd yn ei mynwes, mwy nag y mae angen am i lygad dyst i ymresymu. Mae y cyfeiriad parhaus a wneir at yr Hen Destament gan ysgrifennwyr y Testament Newydd yn gyfryw fel nad oes y lle lleiaf i amheuaeth am eu barn am ei *Ddilysrwydd*, ei *Awdurdod*, a'i *Ysbrydoliaeth*.

* Kuenen, *Prophets*, p. 449. Reuss, *History of the Christian Theology in the Apostolic Age*, i, p. 352.

† "The Old Testament in the New." *Bibliotheca Sacra*, xi. 612.

Gellir dweyd ymhellach, fod addefiad cyffredinol pob ysgol o feirniaid fod hon yn athrawiaeth a ddysgir yn y Beibl, yn awgrymu posibilrwydd o wyddor newydd mewn astudiaeth o dduwinyddiaeth Feiblaidd; hynny yw, megis trwy astudio Plato a Howe, a thynnu oddiwrthynt hwy eu hunain eu golygiadau ar wahanol bynciau. Os gwrthodwn, neu os amheuwn, awdurdod y Testament Newydd ar Ysbrydoliaeth yr Hen Destament, yr ydym nid yn unig yn dinystrio yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, ond yn dinystrio yr athrawiaeth fod Crist ei hun, a'i apostolion, yn ddysgawdwyr ymddiriedol ac yn arweinwyr diogel mewn athrawiaeth. Yr unig ffordd sydd gan rai o'r uchfeirniaid i dorri nerth yr wrthddadl hon ydyw, dweyd na wyddai Iesu Grist ddim nad Moses oedd awdwr y Pumllyfr! Peth hollol naturiol ydyw y casgliad fod hyd yn oed y cyfweddiad lleiaf ar yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, yn ysgwyd ein hymddiried yng Nghrist ac ysgrifennwyr y Testament Newydd fel dysgawdwr ymddiriedol.

Edrychai Iesu Grist ar y Pumllyfr, prif faes y frwydr bresennol, nid yn unig fel awdurdod tu hwnt i ddadleuaeth, ond fel Llyfrau Moses. Yr oedd canon yr Hen Destament mor gyflawn ganddo ef ag y mae gennym ninnau. Dengys ei ddyfyniadau o'r Pumllyfr ei fod yn meddu y ddirnadaeth ddyfnaf o'i ystyr. Rhaid i bob esboniwr, os yn rhydd oddiwrth ragfarn athrawiaethol neu athronyddol, ganfod ynddo ef enaid mawr a gwreiddiol mewn dirnadaeth o'r gwirionedd,—un oedd yn annhraethol uwchlaw ei oes. Pe buasai Wellhausen yr oes bresennol yn y synagog yn Nazareth yn agor yr Hen Destament i'w ddarllen ar y gwasanaeth Sabothol, mor wahanol y buasai ei ddysgeidiaeth ef i ddysgeidiaeth yr Iesu. Yn lle dweyd, fel Iesu Grist, "fel yr ysgrifennodd Moses a'r proffwydi," buasai yn dweyd, "fel yr ysgrifennodd y Jehofiad, yr Elohimiad, y Deuteromoniad, a'r Offeiriad." Ond nid oedd Samuel, Dafydd, Solomon, Ezra, Crist, yr Apostolion, Josephus, na Philo, yn gwybod dim am yr awduron hyn. Tyfiant y meddwl diweddar ydynt. Fel y canlyn y dywed Crist am y Pumllyfr, "Ac offryma y rhodd a orchymynodd Moses," Math. ix. 4; Lef. xiv. 1—12; "Pa ham gan hynny y gorchymynodd Moses?" Math. xix. 7, 8; Deut. xxiv. 1. "Oni ddarllenosoch yn llyfr Moses?" Marc xii. 26; Exod. xx. 10. "Oni roddodd Moses i chwi y gyfraith?" "Moses, gan hynny, a roddodd i chwi yr enwaediad . . . cyfraith Moses," Ioan vii. 19, 22, 23; Lef. xii. 13. Y "gyfraith," yn ol tystiolaeth Iesu Grist, "a roddwyd trwy Moses."

Oddiwrth y dyfniadau uchod, ynghyd a lliaws o gyfeiriadau ereill a wneir gan Iesu Grist at lyfrau Moses, gwelwn ei fod Ef, a hynny heb y petruster lleiaf, yn priodoli awduriaeth y Pumllyfr i Moses. Yn awr, gwelir fod safle uchfeirniadaeth yn ei pherthynas â thystiolaeth Crist—heb son am dystiolaeth yr Hen Destament, a thystiolaeth ysgrifenwyr y Testament Newydd—yn dyfod i hyn: yn gyntaf, rhaid fod Crist yn anwybodus am wir awdwyr yr hen ysgrifau hynny, ac mewn anwybod yn dysgu cyfeiliornad; neu ynte, yn ail, ei fod yn gwybod, ac o'i wirfodd yn dysgu ac yn cefnogi cyfeiliornad. Ar dir beirniadaeth, ac yn berffaith unol â'r canonau a ddefnyddir fel rheolau beirniadol gan yr uchfeirniaid eu hunain, nid oes gennym ddim i'w wneyd ond derbyn un o'r ddau gasgliad uchod, os nad Moses ydyw awdwr y Pumllyfr. Ai tybed fod yr Arglwydd Iesu mor anwybodus ag i wneyd y fath gamgymeriad pan yn dweyd, "Cyfraith Moses" (Ioan vii. 19), tra y dyfynnai o waith rhyw

offeiriad yr hwn a gyfansoddodd gyfraith Moses ym mhen wyth gant o flynyddoedd ar ol ei ddyddiau ef? Ac os gallasai fod yn anwybodus am hyn, oni allasai fod yn anwybodus hefyd am ei safle ei Hun fel Gwaredwr y byd? Y mae y dybiaeth a gynhygir gan yr uchfeirniaid i geisio torri asgwrn cefn yr wrthddadl hon,—sef anwybodaeth Crist ar y mater, yn hollol wrthun. Rhaid i gywirdeb yr hen syniad am awduriaeth y Pumllyfr, a chywirdeb Crist fel dysgawdwr athrawiaethol, gyd-sefyll neu gyd-syrthio. "Y mae pob peth a ddygir ymlaen fel profion yn erbyn yr awduriaeth gan Moses," medd Kiel a Delitzch yn y Rhagarweiniad i Genesis, "yn seiliedig naill ai ar gamddealltwriaeth, neu ar anwybodaeth o'r arddull Semitaidd o ysgrifennu hanes, neu o leiaf, ar ragfarn athrawiaethol; neu, mewn geiriau ereill, ar wrthodiad o holl nodweddion y Datguddiad Dwyfol, naill ai yn ei ffurf wyrthiol neu broffwydoliaethol." Yn y saith pennod ar hugain cyntaf o Lefitucus, y llyfr a briodolir i ryw offeiriad, dywedir unwaith ar bymtheg a deugain fod y gyfraith wedi ei rhoddi trwy Moses. A yw y nifer hwn yn gymaint a hynny o gamgymeriadau! Ydynt, yn ol Dr. Briggs a'r ysgol uchfeirniadol. Nac ydynt, yn ol tystiolaeth Crist ac ysgrifenwyr y Testament Newydd.

Heblaw hyn, nid ydyw uchfeirniaid yn dilyn llwybr gonest, hyd yn oed yn ol eu rheolau beirniadol hwy eu hunain. Dywedant yn barhaus, os darfu i Moses dderbyn rhyw ychydig o ddeddfau, eu bod wedi myned, yn ol athrawiaeth dadblygiad, trwy welliantau ac adgyweiriadau ymhen cannoedd o flynyddoedd, fel yr oedd meddwl y genedl yn ymddadblygu. Ond nid ydym o gwbl yn gwybod beth oedd y gwelliantau hynny. Ac ymhellach, y mae gwaith yr uchfeirniaid yn priodoli awduriaeth y Pumllyfr a'r cyfreithiau a gynhwysa i awduron ereill, y rhai a'u priodolant i Moses, yn groes, yn ol ein syniad ni, i bob gonestrwydd llenyddol, ac yn berffaith annheilwng o lyfr ysbrydoledig.

Cymerwn drem cyn terfynu ein herthygl ar y gwahanol foddau, uniongyrchol neu anuniongyrchol, a ddefnyddir i dorri i lawr nerth tystiolaeth y Beibl am ei ysbrydoliaeth ei hun, a thrwy hynny siglo ein ffydd yn ysgrifenwyr y Testament Newydd yn arbennig fel dysgawdwr athrawiaethol o ymddiried. Amcenir gwneyd hyn:

1. Trwy wahanu dysgeidiaeth Crist oddiwrth ddysgeidiaeth yr Apostolion ar y mater hwn. "Yn ol at Kant," medd athroniaeth yr oes, neu "yn ol at natur;" "Yn ol at Grist," medd beirniadaeth Feiblaidd: yn ol at Grist oddiwrth ddysgeidiaeth ei Apostolion. Y mae y cri, "Yn ol at Grist," oddiwrth ddychmygion dynion, ac oddiwrth ddamcaniaethau a weuwyd yn eu heneidiau hwy eu hunain, yn cytuno yn dda â dymuniad pob Cristion. Ond y mae y cri, "Yn ol at Grist oddiwrth ei Apostolion," yn gwreiddio mewn daear ddrwg. Tynnir llinell o wahaniaeth gan rai, fel Richard Rothe, rhwng dysgeidiaeth Crist a dysgeidiaeth yr Apostolion ar y pwnc hwn. Yr oedd yr Apostolion, meddir, yn credu y syniad traddodiadol, fel yr oedd holl Iuddewon yr oes honno, fod eu Hysgrythyrau yn Ysbrydoledig; ond am Grist, o herwydd ei Ddwyfoldeb, ei fod Ef yn coleddu syniadau llawer rhyddach na hwy ynghylch dilysrwydd yr Ysgrythyrau. "Ar y llaw arall, yr ydym yn casglu gyda llawer o briodoldeb," medd Rothe, "nad oedd y Gwaredwr yn cyfranogi yn syniad ei gydoeswyr gyda golwg ar Ysbrydoliaeth y Beibl, oddiwrth y ffaith ei fod yn amlygu anfoddlonrwydd i'r dull cyffredin yn eu plith o edrych ar a defnyddio yr Ysgrythyrau. Dywed yng ngwyneb

yr Ysgrifenyddion nad oeddynt yn deall yr Ysgrythyrau (Math. xxii. 29; Marc xii. 24), ac nad oedd yn ddim ond twyll iddynt ddisgwyl cael bywyd tragwyddol ynddynt." Ni fwriadwn ddilyn yr awdwr hwn yn ei esboniad ar y cyfeiriadau a wneir gan Grist at yr Ysgrythyrau; digon yw i ni fod y llinell o wahaniaeth a wneir ganddo rhwng dysgeidiaeth Crist a'i Apostolion yn hollol ddisail, ac yn myned o dan wraidd ein hymddiried yn ysgrifenwyr y Testament Newydd fel dysgawdwyr athrawiaethol. I'r Apostolion yr ymddiredodd Crist gofnodi hanes ei fywyd a'i ddysgeidiaeth. Iddynt hwy yr ydym yn ddyledus am ein gwybodaeth am y Gwaredwr. Oddiar ddwylaw ysgrifenwyr y Testament Newydd y derbynnir ef gan y byd. Os nad ellir ymddiried yn eu cywirdeb hwy fel ysgrifenwyr, pa fodd y gellir ymddired fod yr hyn a dderbyniwn fel lleferydd a dysgeidiaeth Crist yn gywir ac yn ymddiredol? Y mae Crist yn unoli ei ddysgeidiaeth ei hun, dysgeidiaeth yr Ysbryd Glan, a dysgeidiaeth yr Apostolion â'u gilydd, fel rhannau o'r un ddysgeidiaeth (Ioan xvi. 12—18). Os ydyw Crist yn ein cyfeirio at yr Apostolion fel dysgawdwyr y Gwirionedd ag y myn i ni ei wybod, yn sicr nid ydyw eu dysgeidiaeth ar Ysbrydoliaeth y Beibl yn eithriad. Fel hyn, nid ydyw y llinell a amcenir dynnu rhwng dysgeidiaeth Crist ac ysgrifenwyr y Testament Newydd yn ddim amgen nag ymgais i fyned o dan sylfeini hanesyddol yr holl Ddatguddiad yn a thrwy Grist.

2. Y llwybr arall a gymerir i geisio ymryddhau oddiwrth nerth dysgeidiaeth y Testament Newydd am Ysbrydoliaeth gyflawn yr Ysgrythyrau, ydyw trwy dynnu llinell rhwng credo a dysgeidiaeth yr ysgrifenwyr. Addefir eu bod yn credu, fel y gwnai holl Iuddewon eu hoes, yn Ysbrydoliaeth gyflawn yr Ysgrythyrau; ond haerir nad ydynt yn dysgu hynny yn eglur yn eu hysgrifeniadau; o ganlyniad nad ydym yn rhwym i dderbyn eu credo personol, ond yn unig eu dysgeidiaeth. Synnem wrth weled gwr fel Farrar yn ei waith ar "Fywyd a Gwaith Paul," yn dadleu dros y syniad tlawd hwn. "Yr oedd Paul yn cyfranogi yn ddiamheuol," meddai, "yn syniadau yr Ysgolion Iuddewig diweddar —y Tanaim a'r Amoraim, am natur Ysbrydoliaeth. Yr oedd ei olygiadau, y rhai hefyd a geir yn Philo, yn gwneyd geiriau yr Ysgrythyr yn ogyfled ac yn unedig â Gair Duw, ac yn nwylaw gwannach a mwy anfedrus y Talmudiaid penboeth, cysylltid yn fynych â'r llythyren farw bwysigrwydd a ffosylai neu a ddinystriai y syniad byw. Gyda golwg ar y llythreniaeth fud-beiriannol ac eithafol hon, yr hawl hon i anffaeledigrwydd hollol hyd yn oed mewn manylion digwyddiadol ac awgrymiadau wrth fyned heibio,—yr addurn ofergoelus o lythrennau a geiriau yr Ysgrythyr fel pe buasent yn Air Duw ac yn Ysgrif Duw, nid yw yr Ysgrythyr yn ei gefnogi, eithr anghymeradwyir ef fwy nag unwaith gan Iesu Grist, ac ni cheir un adnod yn llythyrau Paul yn dysgu y syniad hwn yn athrawiaethol." Oddiwrth y brawddegau hyn gwelwn fod Farrar yn addef fod Paul (1) yn credu syniadau y Tanaim, yr Amoraim, a Philo, am natur Ysbrydoliaeth. (2.) Addefa eu bod yn credu fod yr Ysgrythyrau yn anffaeledig hyd yn oed "mewn manylion digwyddiadol," ac "mewn awgrymiadau." (3.) Er hynny ni fyn dderbyn ei athrawiaeth, am y rheswm, er fod Paul yn ei chredu, nad yw yn rhoddi gosodiad athrawiaethol o honi *(dogmatically stated)*. "Yn wir," meddai am fynegiad Paul am Ysbrydoliaeth, "ni buasai Agiba ei hun yn defnyddio iaith gryfach ar y pwnc—Agiba, y mwyaf o'r Tanaintiaid." Ar yr un pryd, rhaid iddo gael mynegi fod yr athrawiaeth

hon a gredai Paul yn "annealladwy," yn "ddifudd," yn "eilun," yn "gabledd," yn "sibboleth beryglus," ac yn "ysgwyd ffydd miloedd."

Gyda golwg ar y syniad hwn sydd yn tynnu llinell rhwng credo Paul a'i ddysgeidiaeth am Ysbrydoliaeth, digon yw dweyd ei fod yn berffaith ddychymygol. Y mae holl ddysgeidiaeth Paul ar y pwnc hwn, a phob pwnc arall, yn ei Epistolau. Heblaw hyn, dylasai Farrar wybod fod cymaint o wahaniaeth rhwng syniad Paul a syniad Philo ar Ysbrydoliaeth ag oedd rhwng syniad yr Hebreaid a syniad yr hen Aifftiaid am anfarwoldeb yr enaid a sefyllfa ddyfodol. Drachefn, mor annheg ydyw y gosodiad na cheir yn nysgeidiaeth Paul fynegiad "athrawiaethol" o syniad ar Ysbrydoliaeth! Pa beth a ddywedir am y mynegiad, "A'r holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw" (2 Timotheus iii. 16)? A ellir trwy esboniadaeth deg ymryddhau oddiwrth y gosodiad sydd yn y gair *theopneustic* yn yr adnod? Trwy y dybiaeth ddychmygol fod gwahaniaeth rhwng credo personol ysgrifenwyr y Testament Newydd a'u dysgeidiaeth, cloddir o dan wraidd eu hawdurdod fel dysgawdwyr ymddiriedol mewn athrawiaeth. Ac ymhellach, pa fodd y gallasent fod yn onest tra yn dysgu i ereill yr hyn na chredent eu hunain?

3. Y dull arall a ddefnyddir i leihau nerth dysgeidiaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth ei hun, ydyw trwy lunio athrawiaeth ddynol am ei Ysbrydoliaeth, yn sylfaenedig ar ymchwiliad beirniadol i gyfansoddiad a natur yr Ysgrythyr, ac ar draul gwrthod yr athrawiaeth Feiblaidd. Ceir meddylwyr fel Dr. M. R. Vincent, Patterson Smith, a Mr. Horton yn ei lyfr ar "Ysbrydoliaeth a'r Beibl," at yr hwn yr ydym wedi cyfeirio o'r blaen, yn dysgu felly. "Ein hunig egwyddor ddiogel ydyw fod Ysbrydoliaeth yn gyson â chyfansoddiad y Beibl," medd Dr. Vincent; neu fel y dywed Mr. Horton, "Y mae Ysbrydoliaeth yn golygu synwyr cyffredin Cristionogion ymhob gwlad ac oes am natur yr Ysgrythyr:" hynny yw, yr hyn yw y Beibl yn ol barn Cristionogion am dano, ac nid yr hyn ydyw ar sail ei dystiolaeth am dano ei hun. Pan ddywed Paul fod "yr holl Ysgrythyr wedi ei rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw," nid oes angen i ni chwilio beth a olyga wrth Ysbrydoliaeth, dim ond yn unig deall fod Paul yn cadarnhau fod yr Ysgrythyr yr hyn y meddylia ereill ei bod.

Dyfais gywrain yw hon eto i osod ein syniadau ni am y Beibl, trwy chwilio i'w natur, yn lle dysgeidiaeth y Beibl am dano ei hun. Y mae y dull hwn yn hollol yr un fath a phe meddylid fod gwyddonwyr yn derbyn damcaniaeth Mr. Darwin am darddiad dyn, nid ar sail yr hyn a ddywed ef ar y pwnc, ond trwy ymchwiliad annibynnol o'r eiddynt eu hunain i natur a chyfansoddiad dyn. Neu ynte, ein bod yn credu yr athrawiaeth am greadigaeth dyn, nid ar dystiolaeth y Beibl, ond trwy ymchwiliad i'w natur ef ei hun. Y pwnc yw, nid beth a ddywed yr Hen Lyfr am ei Ysbrydoliaeth ei hun, ond beth yw ein barn ni am dano ar ol ymchwiliad manwl i'w gyfansoddiad. Nid yn unig y mae y ddamcaniaeth hon yn gwrthod tystiolaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth ei hun, ond yn amcanu cymedroli a chywiro ei ddysgeidiaeth ar hyn. Y mae y dosbarth hwn o feddylwyr yn ein hadgofio am La Place pan yn ceisio profi fod y Creawdwr wedi methu yn ei amcan pan y gosododd y lleuad i lywodraethu y nos; a bu mor garedig a dangos pa fodd y gallesid cywiro y gwall hwn yn y gyfundrefn, a rhoddi i ni lawn lleuad bob nos drwy y flwyddyn. Ei gynllun ef oedd ei symud ymhellach oddiwrth y ddaear, fel ag i fod yn weledig bob nos; ond buasai y cywiriad hwn yn gosod y lleuad mor bell fel y buasai ei goleuni yn wannach na Seren yr

Hwyr, a'i dylanwad yn diflannu ar lanw a thrai y mor. Nid peth hawdd ydyw gwellhau gwaith Duw mewn natur. Yr un modd am athrawiaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth. Y mae pob ymgais at ei chywiro, ei chymedroli, neu at greu damcaniaeth newydd i'w gweithio i'w lle, yn gwanhau ac yn dinystrio tystiolaeth y Beibl am dano ei hun. Nid oes gennym hawl i gywiro athrawiaeth y Beibl ar hyn, mwy nag y mae gennym hawl i gywiro ei athrawiaeth am Berson Crist. Ein gwaith cyfreithlon ni ydyw gwrthbrofi gwirionedd yr athrawiaeth, os gallwn; ac nid ffurfio dyfais i'w chywiro ac i'w chymedroli.

Un o'r camgymeriadau rhesymegol mwyaf ydyw meddwl y gellir cywiro athrawiaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth yn y dull hwn neu arall, trwy ddangos nad ydyw yn gyson â ffeithiau. Wrth ddweyd hyn, na feddylier ein bod yn lleihau gwerth y dull casgliadol (*inductive*) yn ein hymchwiliad i'r athrawiaeth hon; yn hytrach, gwel y cyfarwydd ein bod wedi ei ddilyn yn fanwl hyd yn hyn. Nid ydym wedi cychwyn gyda darnodiad o'r athrawiaeth, eithr gyda ffaith. Yr ydym yn hawlio ein bod, pan yn myned at y Beibl ei hun i chwilio i'w dystiolaeth ef ei hun ar yr athrawiaeth hon, tra yn casglu ei ffeithiau amlwg ynghyd, yn dilyn y dull casgliadol. Onid yw dysgeidiaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth yn ffaith amlwg? Onid yw pob gosodiad a geir ynddo ar yr athrawiaeth yn wirionedd amlwg? Pan yn myned at y Beibl ei hun i gasglu ynddo ei honiadau, ei fynegiadau, ei osodiadau, a'i gyfeiriadau at ei Ysbrydoliaeth, onid ydym yn dilyn yr *inductive method?* Tra yn dal pob pelydr o oleuni a dderbyniwn o bob cyfeiriad—mewn daeareg, mewn hen hanesiaeth, yn nhystiolaethau a cherfiadau hynafol—i esbonio y Beibl, onid ydym yn dilyn y dull gwyddonol? Ydym. Ac y mae yr esboniwr Beiblaidd gonest yn canfod hyd yn oed yng ngoleuni tystiolaeth y ddaear ei hun am ei chyfnodau daearegol, ei fod nid yn unig yn gallu deall y bennod gyntaf o Genesis yn well, ond fod y cysondeb a geir rhyngddi â thystiolaeth daeareg yn gyfryw fel y mae yn dyfod i'r casgliad y rhaid fod Duw ei hun wedi datguddio ei ddysgeidiaeth i ryw un. Ceir ynddi adnod yn ateb ymron i bob dwy filiwn o flynyddoedd yn hanes y ddaear. Pa feddwl meidrol a allasai ddarllen hanes y ddaear cyn geni daeareg fel y datguddiad a geir yn y bennod hon ei hun? Yr ydym yn rhwym o dderbyn athrawiaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth ei hun, fel y mae yr uchfeirniaid yn rhwym, hyd yn oed ar dir natur pethau, a hynny er gwaethaf eu Materolaeth, o dderbyn y bennod gyntaf o Genesis fel datguddiad Dwyfol. Un peth ydyw cymedroli a chywiro ein hesboniad ein hunain ar yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth ar sail goleuni ychwanegol, ond peth arall hollol wahanol ydyw ceisio cywiro dysgeidiaeth y Beibl ei hun ar hyn.

Am nerth y prawf dros yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth, yr ydym yn derbyn yr athrawiaeth a ddysgir gan y Beibl am ei Ysbrydoliaeth ei hun ar yr un tir ag yr ydym yn derbyn Cristionogaeth. Beth bynnag ydyw, nerth y prawf sydd o'r tu cefn i ryw athrawiaeth a ddysgir gan y Beibl, y mae yr un prawf o'r tu cefn i hon. Os ydyw nerth y prawf o ymddiriedaeth yn ysgrifenwyr y Testament Newydd o'r tu ol i'r athrawiaeth am Berson yr Emanuel, y mae holl bwysau yr un prawf o'r tu ol i'r athrawiaeth o Ysbrydoliaeth gyflawn. Nid ar syniad *a priori* o'r hyn a ddylai Ysbrydoliaeth fod; nid ar "draddodiad" yr Eglwys,—er ein bod yn taflu yr holl bethau hyn i ben y glorian o blaid ac nid yn erbyn yr athrawiaeth—ond ar ein hymddiried yn ysgrifenwyr y Testament Newydd

fel dysgawdwyr athrawiaethol, ac ar bob ffaith a phrawf a dderbyniwn i gefnogi ein hymddiried. Ar y tir hwn yr ydym yn derbyn Cristionogaeth. Yr ydym yn derbyn Cristionogaeth, nid ar sail Ysbrydoliaeth, ond ar sail ein crediniaeth yng nghywirdeb ysgrifenwyr y Testament Newydd; ac ar yr un sail yn hollol y rhaid i ni dderbyn eu dysgeidiaeth am Ysbrydoliaeth. Os na dderbyniwn ddysgeidiaeth y Beibl ei hun ar hyn, paham y gofalwn am dderbyn ei ddysgeidiaeth ar ddim arall? Nid ydyw Cristionogaeth yn gorffwys ar yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau. Pe na buasai Pum llyfr Moses yn ysbrydoledig —dim ond yn hanes cywir o ymwneyd Duw â'r Hebreaid; pe na buasai yn gywirach na'r hanes a rydd Xenophon o Socrates, neu Tacitus o Agricola,—buasem o dan rwymau i wirionedd i dderbyn holl drefniad, holl gorff unol yr Hen Oruchwyliaeth, fel sefydliad Dwyfol. Os oedd ysgrifenwyr y Beibl yn rhoddi mynegiad o'r datguddiad a dderbynient gan Dduw, pa un bynnag ai mewn ffurf o hanes o'r hyn yr oeddynt yn dystion, ai o'r dirgeledigaethau a ddatguddid iddynt, buasai eu hysgrifeniadau yn haeddu pob derbyniad fel rhai cywir, pe na buasent o dan Ddwyfol arweiniad neu Ysbrydoliaeth, pan yn ysgrifennu y gwirioneddau hyn. *Nid ar Feibl anffaeledig y gorffwys ein ffydd mewn Cristionogaeth, ond ar ddilysrwydd, ar gywirdeb hanesyddol, ac ar ymddiriedaeth lwyr yn ysgrifenwyr y Gyfrol Sanctaidd.* O ganlyniad, nid Ysbrydoliaeth ydyw yr athrawiaeth fwyaf hanfodol i grefydd, na'r athrawiaeth gyntaf a brofir gennym. Buasai gennym Gristionogaeth gyflawn heb Ysbrydoliaeth, tra y gallasem ymddiried yng nghywirdeb ysgrifenwyr y Testament Newydd. Yr un pryd, os nad yw yr athrawiaeth o Ysbrydoliaeth gyflawn yn sail ein ffydd Gristionogol, y mae yn elfen bwysig ynddi Os ydym yn ymddiried yn ysgrifenwyr y Testament Newydd am hanes bywyd a dysgeidiaeth, marwolaeth ac adgyfodiad Crist, ar yr un sail rhaid i ni dderbyn eu dysgeidiaeth am Ysbrydoliaeth y Beibl. Y mae gennym sêl y Gair Ymgnawdoledig ar Ddwyfoldeb ac awduraeth y Pumllyfr. Yr oedd y Gair Ymgnawdoledig yn Dduw; gan hynny nid yw pwysau tystiolaeth y Beibl am ei Ysbrydoliaeth ei hun yn ddim llai na phwysau tystiolaeth Duw yn y cnawd.

*Minneapolis, Minnesota.* JOSEPH ROBERTS.

---

# A MI MEWN MYFYR, FEL MEWN HUN.

Deffroes
Ymofyniadau dieithr yn fy mryd:—
O ba le daethum—i ba le yr af;
Ac wedi cychwyn, wyf fi i sefyll byth?
Paham y mae trigolion byd a nef,
Ymlusgiaid llwch, ac engyl mŷg, yn bod?
Pa fodd dechreuodd gwastadeddau ìr,
Mynyddoedd cedyrn, moroedd maith a sêr
Pellennig? Ddechreuasant hwy o gwbl;
A fu erioed ddiddymdra tywyll, oer?
Mor anghredadwy yw y dybiaeth hurt!

Gan nad pa un,—ai nid oferedd yw
I ddyn, mewn oes ddysgedig megis hon,
Ofalu llawer am wirionedd *hen*,
Neu feddwl yn rhesymol, pan y mae
Gwallgofrwydd yn teyrnasu gyda rhwysg,
A rhodres fall yn derbyn moliant gwlad,—
Neu gredu dim ar sail Datguddiad Duw
Ymlidir odd ei grëad Ef ei Hun!

Fath gyfnod bendigedig ydyw hwn
Ag sydd yn gwneuthur cyfeiliorni call
Yn ffordd ddiwyrni i sylw ac i barch
Cymdeithas goeth! Cymdeithas goeth neu goeg,—
Ni raid manylu llawer; canys mae
Y ddau yn iaith gwareiddiad bron yn un.
Wrth siarad gwreichion am ein daear syn,—
Am henaint hybarch ac am hanes uthr
Pob byd, a phrofi drwy resymau gwellt
Fod Bywyd yma yn ei swyn erioed,—
Fod pob cymundeb hyfryd welwn ni
Rhwng lloer ac aig, rhwng gwlith a llysiau ir,
Rhwng gwên yr haul ac aeron pêr, mor hen
A thragwyddoldeb; ac fod dynolryw
A milod Anian yn gyfoedion Duw;
Wrth ledawgrymu fod yr Ysgrythyrau
I gyd yn frithion o amryfuseddau,—
Neu fwrw ar y Groes waradwydd newydd,
A gwneuthur pob athroniaeth falch yn grefydd,—
Y fath ogoniant gaiff dysgawdwyr hyfion,
A chymaint yw mwynhad gwrandawyr ffolion!

Bu dynion syml yn credu yn y Dwyfol,—
Mai dïanwadal ydyw y Tragwyddol,
Na ddichon haf na gauaf ei niweidio,
Na chlod na dirmyg ddylanwadu arno:—
All syniad hen fel hyn fod yn wirionedd?
Os yw, mympwyon, llawnion o oferedd,
Yw tybiau disglaer rhai o feibion mawredd:—
Oblegid holl wrthrychau Anian sydd
Yn dyfod ac yn myned nos a dydd,
Fel cenedlaethau neu awelon rhydd;
Yn marw i fyw, yn byw i farw i gyd,—
Cysgodion yw prydferthion llwfr eu pryd.
Agored ynt i heulwen ac ystormydd,
I gwsg a llafur, tristwch a llawenydd
Effeithio arnynt; ac ymnewid beunydd;
Fel gwedd y wybren, mae eu hymddanghosiad.
Os felly, wylwn mewn cywilydd irad—
Dechreuodd popeth fyr am gyfnewidiad.

Y bydoedd mawrion, disglaer, acw sydd
Mor agos—wrthyf fi—at orsedd IOR,—
Caraswn ddarllen cronicl uthr eu bod.

Pa bryd y cychwynasant ar eu taith,
Pa beth brofasant yn eu heinioes hir?
Syrthiasant hwy o ffurfafennau uwch—
A fuont yn ddisgleiriach nag y maent?
Oes cofion pruddaidd am wynfäoedd hen
A diflanedig, neu freuddwydion pêr
Am rai newyddion, yn eu hanes hwy!

Dymunwn allu olrhain Bywyd hyd
Ei ffynnon ddofn. Ymha diriogaeth iach
Blagurai gynt? Ai disgyn wnaeth ei hâd
Yng nghol rhyw faen awyrol, megis grawn
Yn cael ei gludo dros deyrnasoedd maith
Mewn llaw berarogledig, o ryw fyd
Dwyfolach, hyd y ddaear! Dichon hyn,
Neu rywbeth tebyg,—unrhyw gredo gwrâch,
Mewn oes synhwyrol, wefus-fêl, ddi-ffydd—
Mor fydol ac mor bell oddiwrth y Nef,
Mor fyw i Amser ac mor farw i Dduw
A thragwyddoldeb, fel y ganrif hon,—
Ymddangos yn ddoethineb erch.

Gan nad
Pa le preswyliai Bywyd gynt, pa fodd
Yr ymddadblygodd yma fel y gwnaeth?
Ai tybed nad trwy ddymuniadau tost,
Anghenion croch, cydymgais lawn o fâr,
Meithrinid drwy y ddaear ymladdfeydd;
Ac ynddynt hwy yr oedd y gwan a llwfr
Yn cael eu difa gan y cryf a glew,
Yr hwn drwy hynny brofai hawl i fyw.
Fel hyn diflannai milod llesg o fod,
Ac ymddyrchafu wnai y gweddill byth.
Mor syml ac mor naturiol yw y cwbl!
Mae mor gredadwy ag fod awyr bur
A phridd, yn troi yn enaid ynom ni.

Mor hawdd fel yma oedd i Fywyd iach,
Yn anibynnol ar goleddiad Bod
O nerth diderfyn ac o gariad doeth—
Trwy ddetholiadau anffaeledig greddf,
A gweithrediadau hollalluog deddf—
Amrywio ac ymwella yn ein byd!
Ymnewid wnelai grûg yn winwydd pêr;
Brithylliaid ffrwd genhedlent forfeirch uthr;
Cynhesai dryw pryderus, yn ei nyth,
Hynafiaid yr eryrod beilchion sydd
Yn ymddyrchafu heddyw hyd yr haul;
Cryfhai gorwyrion dafad wâr a blaidd
Yn ychain cryfion ac yn llewod gwrdd;
Cymerai mŷn yn araf agwedd ddynol;
Ymddygai gafr o hyd yn fwy synhwyrol,
A daeth ryw ddydd yn fam i fod ysbrydol!

Cynhyrchai pob petruster am wirionedd
Y fath syniadau llawnion o arddunedd,
Dosturi oer yng nghalon rhai duwiolion,
A gwên sarhaus ar wyneb dysgedigion.
Derbyniwn hwynt er mwyn eiu rhesymoldeb,
A pharchwn hwynt er mwyn ein hanfarwoldeb.
Gan mai Dadblygiad yw ein hiachawdwriaeth,
Gwallgofrwydd fyddai gwrthod ei hathrawiaeth,
A rhyfyg fyddai gofyn yn grynedig,
A oes yn awr anifail dyrchafedig
Yn magu enaid yn ein gwlad fynyddig?
A ydyw rheswm asyn yn cryfhau?
Yw march at ddyn neu gerub yn neshau?
A oes mewn unrhyw epa wrthun awydd
Am fod yn fardd coronog neu athronydd?

Gan mai ymgodi ydyw tuedd Bywyd,
Fel niwl mawnogydd, tua bri a gwynfyd,
Ac nid dirywio, fel y credai dynion
Diniwed unwaith, yn barhaus fel aeron,
I lygredigaeth, newyn, ac ymryson,—
Mawrhawn ein braint o wrando ar angylion
Ein gwlad yn traethu anwireddau gwynion.
Ni raid gweddïo mwyach am gynhaliaeth,
Na diolch byth am unrhyw waredigaeth.
O herwydd mai galluoedd mawrion natur,
Y rhai ddeallant eisieu pob creadur,
Ac ydynt oll mor ffyddlon ac mor dyner,
A lywodraethant amgylchiadau Amser,—
Oleuant sêr, a ddofant raib cigfranod,
A dorrant syched meillion a gwylltfilod,
Gynhyrchant wres yng ngwythi ychain bannog,
A wisgant adar gyda phlu sidanog,
A ddysgant bysg i nofio drwy yr eigion,
Ddarparant foethau i ddedwyddoli dynion,—
Ymgrymwn mewn cywilydd ar ein gliniau,
Oblegid i ni goledd hen syniadau
Gorffwyllog mewn paradwys lawn o dduwiau.
Gochelwn feddwl; gwadwn ein heneidiau;
A gwyliwn dybied, yn ein llaith bellderau
Oddiwrth yr Heuliau, fod athrawon enwog,
Fel dylluanod yn y dydd pelydrog,
Yn myned, mewn gormodedd o oleuni,
Yn ddeillion, nac fod ysbryd cyfeiliorni
Yn ddiafol gloewddu, fel yr ydoedd unwaith,—
Mewn oes wyddonol mae yn angel perffaith.

IOLO CARNARVON.

## YMSON AM Y DYFODOL.

WEDI croesi'r tonnau geirwon,
  Gaf fi gyrraedd hafan glyd?
Ar y lan fydd cennad ffyddlon
  Gyd a chroesaw nefol fyd?
Wedi cyrraedd porth y ddinas,
  A fydd drws agored draw,—
Gaf fi uno a'r gymdeithas,
  Ddedwydd, yn y byd a ddaw?

Pan y llwyr ddinystrir efrau
  Hir oddefwyd ar y llawr,
Pan y cesglir tywysennau
  Addfed, i'r cynhauaf mawr;
Ar y dydd didoliad rhyfedd
  Faint o'r grawn fydd ynwy'n stôr,
Gaf fi gyfran o'r gorfoledd
  Foreu gwyl cynhauaf IOR?

Sut y teimla i 'r awr ryfeddol
  Pan ddaw canu'r Nef i'm clyw,
Minnau'n ddeiliad byd ysbrydol
  Ac yng ngwyddfod llawn fy NUW?
Gaf fi edrych yn ei wyneb
  Heb euogrwydd, heb un llen?
Fedra i ddal tanbeidrwydd purdeb
  Sydd o gylch yr orsedd wen?

Hawdd yw gofyn, ond mae'r ateb
  O dan sêl dyfodol DUW,—
Dan guddlenni tragwyddoldeb
  Draw o olwg pawb o'r byw:
Llusern Ffydd fo'n cynneu'n llachar
  Gan oleuo'r daith i dref,
Nes y bo i adfyd daear
  Imi droi yn wynfyd Nêf.

*Corwen.* H. CERNYW WILLIAMS.

# AMDDIFFYNIAD Y METHODISTIAID, GAN MR. CHARLES.

*Amddiffyniad i'r Methodistiaid Cymreig, mewn Atebiad i Gyhuddiadau yn eu herbyn mewn dau Draethodyn di-enw, a gyhoeddwyd ac a ledaenwyd yn ddiweddar yn Nghymru, un yn Saesneg, o dan y teitl* "Hints to the Heads of Families," *a'r llall yn Gymraeg, dan y teitl,* "Cyngor Difrifol Periglor i'w Blwyfolion." Gan y Parch. THOMAS CHARLES, o'r Bala. Wedi ei gyfieithu gan HENRY HUGHES, Brynkir. 6c.

Y MAE llawer, yma ac acw, ar hyd y wlad, oedd yn cadw Canmlwyddiant yr Ysgol Sabothol, yn y Bala, ym mis Hydref, 1885. Ac fe gofia pawb o'r rheiny am y rhan olaf o gyfarfod y nos olaf. Darllennai y Parch Owen Thomas, D.D., bapur ar "Ddylanwad Mr Charles ar Addysg Grefyddol a Duwinyddiaeth Cymru." I amryw yn y gynulleidfa, os nad yn wir i'r rhan fwyaf neu bawb oedd yn bresenol, fe roddai cyfran o'r papur olwg ar Mr Charles oedd i raddau yn lled newydd, a syniad am dano nad oedd ganddynt o'r blaen, sef yr olwg arno fel dadleuwr. Gwir nas dadleuodd nemawr mewn cymhariaeth, er ei fod yn byw yng nghanol dadleuon a dadleuwyr. Ond nid oedd hynny o ddiffyg gallu. I'r gwrthwyneb, fe brofwyd, os deuai gwir achos, ei fod yn un a fedrai "ddyfod allan yn gryf, ac yn benderfynol, ïe, yn llym, ym mhlaid yr hyn a olygid ganddo ef yn wirionedd,—gyda'r fath lymder, yn wir ag na allesid o gwbl ei ddisgwyl oddiwrtho, ac a ymddanghosai braidd yn amhosibl i un o'i dymer gyffredin ef." A dïau fod cof pur fyw ym meddyliau llawer am y teimlad a'i meddiannent pan aeth Dr. Thomas ymlaen i roi "rhai engreifftiau neillduol o hynny yn ei hanes." I ddarllenwyr cyffredin llyfrau adnabyddus a chynhwysfawr Mr. Charles, yr ydoedd nid yn unig yn newydd, ond ronyn yn chwithig, a difyr o chwithig, i feddwl am wr llednais, mwynaidd, ac o ysbryd mor nawsaidd a thirion ag ydoedd efe, yn "gwneuthur, pan y dewisai, gryn wawd" o neb pwy bynnag, hyd yn oed "o'i wrthwynebwr." Ond y gwir yw mai felly yr ydoedd; ac fe ddanghosodd Dr. Thomas y pryd hwnnw, ac fe ddengys ei bapur argraffedig eto, bod mewn gwirionedd ochr felly i feddwl a doniau Mr Charles,—megis, er esiampl, yn achos yr ymresymwr hwnnw a allai yn hawdd brofi mai "yr un peth yw y lleuad a chaws newydd." A'r llyfr, o'r hwn y tynnai Dr. Thomas ei esiamplau yn y Bala, llyfr a aethai "yn hynod o brin ac yn dra anadnabyddus yn y wlad"—y llyfr hwnnw sydd o'n blaen yn awr, gyda'i Atodiadau, wedi ei gyfieithu a'i gyhoeddi gan y Parch. Henry Hughes. Ac nid y darlun gwawdus o ddull Person Llandyfrydog o ymresymu yw yr unig beth gwerth ei ddarllen geir ynddo. Hwnnw, hwyrach, yw un o'r pethau difyrraf; ac y mae yn un o liaws o bethau a ddanghosant yn bur glir gymaint trech oedd yr amddiffynnydd, nid yn unig ar Berson Llandyfrydog, ond ar Berson Aber hefyd.

Ond y mae swm y cyfansoddiad drwyddo yn haeddu ei ddarllen a'i ystyried; ac achos o lawenydd yw ddarfod i Mr. Hughes ddwyn allan y cwbl o hono yn Gymraeg. Cymerodd fantais ar amser cyfaddas iawn i

wneyd hynny. Pe na bai dim arall, mae rhyw weddusrwydd mewn cael y gwaith hwn i lawn olwg ar derfyn adeg cyfarfodydd y Trydydd Jiwbili, ac agos yn gyfamserol a therfyn y trydydd hanner can mlynedd o oes y Corff y gwnaeth yr awdwr gymaint erddo. Oblegid, "ar amser ymuniad Mr. Charles â'r Cyfundeb y rhoddwyd iddo ysgogiad anarferol yn ei flaen; ac o'r pryd hwnnw hyd yn awr, y mae i ni gyfrif *tymor arbennig ei gynnydd.* Hwn ydoedd wanwyn teg ei dyfiant." Ac fe welir mai wrth orchymyn y Corff a wasanaethai efe fel hyn, ac er ateb y rhai oedd yn gwrthddywedyd, y cyfansoddwyd ar y cychwyn yr hyn a gyflwynir i ni yn awr wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg.

Ar yr un pryd, ystyriaeth enwadol yn unig fyddai yr hyn ydys newydd grybwyll; a raid yma aros dim chwaneg ar hynny. Y mae ystyriaethau ereill. Apelia y rheiny at gylch llawer ehangach nag unrhyw un Cyfundeb, a pharant mai nid dibris gan un Cymro fydd y cyfle i weled a darllen unpeth a ddwg ei feddwl i berthynas newydd â meddwl y gwr ysgrifennodd y llyfryn yma. Amddiffyniad i'r Methodistiaid yw yr hyn a ysgrifennwyd. Ac eto, nid Methodist Calfinaidd yn unig oedd Mr. Charles o'r Bala; yr oedd yn llawer mwy; ac fel un oedd yn llawer mwy yr haeddai gael meddwl am dano a'i gofio. Y mae, neu fe ddylai fod, ei enw, ei waith, a'i goffadwriaeth, yn feddiant y genedl, ac yr oedd yn un o gymwyneswyr pennaf ei wlad i gyd oll. Ac y mae rhai o amgylchiadau y dyddiau hyn yn gyfryw ag sy'n peri mai nid anfuddiol fyddai fod y pethau a berthynent i Mr. Charles yn lled fyw ym meddyliau pawb o honom.

Er esiampl, a dim ond esiampl,—meddylier am addysg Cymru. Ynglŷn â hyn, ynghanol pob cyffröadau, ac wrth lawenychu pan yn gweled mor freision y camrau a gymerir, ni byddai yn unrhyw niwed meddwl am y blaenoriaid, a chadw mewn cof y gwŷr arloesodd y tir, ac a roisant i bethau y cychwyn cyntaf oll; y rhai a gawsant Gymru heb fedru darllen Cymraeg, ac a'i deffroisant hi, gan ei gosod i gerdded ar lwybr ac mewn cyfeiriad a'i gwnelai, maes o law, yn barod i Golegau Cenedlaethol ac i Brifysgol. Pwnc bywyd Mr. Charles oedd addysg: pwnc pennaf ein dyddiau ninnau yw yr un peth. Dyma y gwirionedd presennol; nid oes odid un peth yn cael mwy o sylw. Pan ydys yn ysgrifennu hyn o eiriau, y mae Llywodraeth y wlad yn rhoddi addewid sydd agos a mwy nag agos cystal a sicrwydd na chaiff Prifysgol i Gymru, ar ol ei chael, mo'i gadael heb yr hyn a'i caria ymlaen. Ac wrth osod y cais am hynny o flaen y Gweinidog, geiriau un o'r gwŷr a wnaeth hynny oedd y rhain:—"Nid oes un tudalen yn eu hanes ag y mae y Cymry yn falchach o honi na'r tudalen sy'n adrodd ymdrech y bobl am addysg ganolraddol." Y dystiolaeth hon yn ddiau, sydd wir,—er, hwyrach, na byddai eisieu i ddyn fod mewn ysbryd cecrus i beri iddo ddweyd mai purion fyddai cymeryd yr ymadroddion yna gyda gronyn bach, bach, o halen. Ar yr un pryd, hawdd iawn yw cyd-ddwyn â, ac yn wir, myned i mewn i ysbryd y neb a'u dywedai. Testyn llawenydd yn ymyl bod heb ei gymar yw yr olwg geir heddyw ar addysg Cymru; ïe, llawenydd mwy na hwn nid oes, ac nis dichon fod, ond un; ac od oes rhywun heb wybod pa un yw hwnnw, ni thycia nemawr iddo pe dywedid wrtho. Mae y Dywysogaeth wedi trafaelu ymhell, ac weithiau, yn bur brysur, ers ychydig mwy na chan mlynedd yn ol. Mewn clod y mae addysg heddyw; ond fe fu amser pan yr ydoedd mewn cryn anghlod ac anfri; ac y mae nid yn unig

barch dauddyblyg yn ddyledus i'r rhai yn fore fore, a than lawer o anfanteision, a ddechreuasant ar y gwaith. Ond hefyd y mae i ninnau ddefnydd bendith ym mhopeth a ddyry help i ni gadw mewn cof y rhai yr ydym heddyw yn myned i mewn i'w llafur hwynt. Ac am hynny, er mor hysbys yw llythyrau Mr. Charles, fe ellir yma, o ddiffyg lle i ddyfynnu mwy, ysgrifennu brawddeg neu ddwy sy'n gynhorthwy i ni ddeall pa fodd o ran addysg y gwelodd ef Ogledd Cymru; pa fodd y teimlodd wrth ei gweled; a pha beth a wnaeth ar ol teimlo. Fel hyn y dywed ar bob un o'r cwestiynau hyn:—

> Yn fy nheithiau trwy amryw rannau o Ogledd Cymru, oddeutu tair blynedd ar hugain yn ol, mi a welais fod cyflwr tlodion y wlad yn gyffrediu mor isel o ran gwybodaeth grefyddol, nad oedd ond prin un o ugain, mewn amryw fanau, yn medru darllen yr Ysgrythyrau; ac mewn ambell barth, ar ol ymofyniad penodol, anhawdd oedd cael cymaint ag un wedi ei ddysgu i ddarllen. Cefais y pryd hynny, ac yr wyf eto yn cael, brofion beunyddiol o anwybodaeth y trueiniaid sydd heb fedru darllen, ac heb erioed gael eu dysgu yn egwyddorol; ïe, er nad oes yn y lleoedd ddiffyg pregethu yn barhaol.

Yr oedd nyna dan y dyddiad Medi 12, 1808. Drachefn, mewn llythyr dyddiedig Awst y 5ed, 1797—y ddau yn y *Cofiant* gan Thomas Jones, td. 168-172, fe ddywed fel hyn:—

> Er ys mwy na naw mlynedd yn ol, wrth ymdaith trwy amryw barthau o'r wlad, mi a welais fod ardaloedd helaeth yn mynydd-dir Gwynedd wedi soddi mewn anwybodaeth dyfnaf o bethau Duw; nifer y bobl fedrent ddarllen yn fychan iawn; ac yn gyffelyb o ran Beiblau yn eu tai.

Felly y gwelodd; a pha fodd y teimlodd?

> Gweled hyn a'm gwnaeth yn fwy poenus nag y medraf adrodd, ac a barodd i mi chwilio mewn dwys fyfyr am ryw feddyginiaeth ebrwydd ac effeithiol at symud yr aflwydd hwn. Mewn dwysder dechreuais feddwl pa fodd yr oedd yn bosibl symud aflwydd mor drwm.

"Ac ni fedrais," meddai ymhellach, "ni fedrais ddirnad am un ddyfais a allwn i ei defnyddio ond honno o roi ysgol-feistriaid ar waith, yn ol y cynorthwyon a gawn, a'u danfon i'r lleoedd tywyll, i addysgu yn rhad bawb oll a ddeuai i'r lle, i ddarllen y Beibl yn eu hiaith eu hunain, ac i'w hyfforddi yn egwyddorion Cristionogaeth." Dyna geisiodd, a dyna a lwyddodd i'w wneuthur. Ond ysgrifennu ymhellach yn y ffordd yna fyddai ysgrifennu hanes yr Ysgolion Cylchynol a'r Ysgolion Sabothol, trwy ba rai y dysgwyd rhai cannoedd o filoedd i ddarllen Cymraeg. A thyna, yr ydys yn credu y gellir anturio dweyd, amser cyntaf gwir ddeffroad meddwl gwerin ein gwlad o ran corff y bobl gyffredin, oblegid nid dysgu darllen yn unig a ddilynodd hyn, ond cyffrôad ac ymddadebrfiad meddyliau lliaws mawr. Ar hyn, y mae paragraff yn *Hanes Methodistiaeth* sydd yn bortreäd mor dda o ganlyniadau y gwaith a gychwynodd Mr. Charles, fel y gellir yn ddi-dramgwydd ei ddyfynnu yma:—

> Gan mai Cymraeg a ddysgid iddynt (ebai Mr. Hughes), yr oedd y plant yn ennill drychfeddyliau drwy y geiriau; derbyniai galluoedd y meddwl ysgogiad o newydd; a deallid y pregethau a glywid yn well, wedi ymgynefino â swn ac ystyr yr ymadroddion a ddefnyddid. Parai yr ychydig wybodaeth a enillid yn y modd yma fod hiraeth am fwy yn cael ei gyfodi; sychedai y gŵr ieuanc, bellach, am lyfrau i'w darllen; a pharai y medr i ddarllen Cymraeg awydd i ddysgu yr iaith Seisoneg hefyd; a daeth lliaws mawr o breswylwyr Cymru, drwy yr ysgolion Cymraeg hyn, i gychwyn ar lwybr ag a'u dygodd i feddiannu graddau helaeth o wybodaeth gyffredinol a defnyddioldeb yn eu hoes; a hefyd i feddu gwybodaeth gadwedigol o Dduw yng Nghrist.

Ers ychydig amser yn ol, yr oeddid yn ymddiddan â gwr o flaenor yn sir Gaernarfon sydd yn ymyl ei bedwar ugain oed, Mr. Richard Lloyd, Douglas Hill. Am Mr. Charles yr oedd y siarad. Adrodd a wnelai Mr. Lloyd air a ddywedasai y gwr parchedig unwaith wrth ei daid ef, yr hwn, yntau, oedd flaenor yn yr oes honno yn ardal Llanllyfni, a'i enw William Williams. Ymwelai Mr. Charles unwaith neu ddwy bob blwyddyn âg ardal Llanllyfni. Ac wedi un o'r ymweliadau hynny, hebryngid ef gan William Williams encyd o ffordd oddiyno. "Beth y mae y bobl yn ei ddweyd am danom, William Williams, wedi i ni ymadael, oddi yma?' ebai wrth ei gydymaith: "yr ydych chwi yn eu clywed: beth y maent yn ddweyd?" "Wel, Mr. Charles," oedd yr ateb, "os rhaid i chwi gael y gwir, dweyd y maent nad ydynt yn medru eich deall; mae eich pregethau tu hwnt i'w deall." "Wel, William Williams," oedd yr ateb yn ol, "eisieu eu dysgu sydd arnynt; a rhaid i ninnau i gyd, ymhob modd, ymroddi i wneyd hynny: eisieu dysgu y bobl sydd." Fe ddengys yr hanes yma mai ar addysg y bobl yr oedd bryd Mr. Charles gartref ac oddi cartref; am hynny y meddyliai ac am hynny yr ymddiddanai; ac er, o drugaredd, erbyn heddyw, mai am brifysgol y mae y son, ac am golegau, ac am ysgolion o amryw raddau sy'n tywys tua'r colegau, mae lle cynnes yn ein calonnau yn ddyledus i'r rhai a deimlasant gyntaf i'r byw fod raid meddwl am ddysgu corff gwerin Cymru yn egwyddorion dechreuad gwybodaeth. Heb hynny bychan fuasai y galw am goleg byth.

Nid cwbl ddiaddysg, hwyrach, fuasai aros ychydig ar lafur llenyddol Mr. Charles, er cymaint sydd wedi ei ddywedyd ar hynny. Ond y mae yn gwbl ddiobaith cael lle i amcanu at hynny yn y fan yma. Y cwbl a wneir fydd cyflwyno i sylw y beirniaid ddywediad Mr. Robert Jones, Rhoslan, am y *Geiriadur Ysgrythyrol*, gan ddeisyf arnynt ystyried a ddywedodd, ai ni ddywedodd yr hen batriarch synhwyrol hwnw ormod pan ddywedodd am y llyfr, mai "hwn yw y ganwyll oleuaf ymddangosodd erioed yng Nghymru i egluro ardderchowrwydd a chysondeb athrawiaethau yr Efengyl, ac a fydd yn amgen trysor i'n gwlad na holl drysorau yr India, ac yn helaethach esboniad ar yr Ysgrythyrau sanctaidd nag un ddaeth eto yn ein iaith ni i'n mysg."

Mae y lle terfynedig i'r ysgrifen yma yn prysur brinhau, os nad, yn wir, wedi darfod yn barod; onide, fe ddylsid, yn sicr, ddweyd rhywbeth am gariad Mr. Charles at Gymru. Un o nodau arbennig ei fywyd oedd hyn—ei hoffder o wlad ei enedigaeth; ei lwyr ymlyniad wrthi, a'i gwbl ymgysegriad i wasanaethu ei genedl. Fe ddylai y rhagoriaeth yma beri i Mr. Charles hawddgarwch yng ngolwg yr oes hon; pob oes, yn wir, o ran hynny; ond yn enwedig hon, pan y mae Cymru yn fyw gan ddeffroad ac adnewyddiad ysbryd cenedlaethol. Ni charodd neb Gymru â chariad cryfach a dyfnach nag y carodd Charles o'r Bala hi. Ar gyfer Cymru yr ymofynnai efe am Gymdeithas Beiblau, pryd y gwelwyd, wedyn, mai da fyddai sefydlu un ar gyfer yr holl fyd. Dywediad byw iawn i galon Cymro yw ei ateb i John Newton, pan gymhellai ei gyfaill ef i ddyfod drosodd i fywiolaethu yn Lloegr, gan ddianc oddiwrth y croeswyntoedd a gurai arno yn ei wlad ei hun. Yr oedd hynny cyn iddo ddechreu ymroddi i drefnu ffordd i ddysgu pobl a phlant Cymru i ddysgu darllen Cymraeg. Mae yr hanes yn gwbl hysbys fel na raid ei lawn adrodd yma. Digon yw dywedyd ei bod yn adeg o gyfyng-gynghor caled arno. Yr oedd yn berffaith argyhoeddedig o'i alwad i waith

yr Arglwydd; ond methai gael lle i weinidogaethu yn yr Eglwys Sefydl, edig. Troisid ef allan o dair o eglwysi; parod oedd, a mwy na pharod-oblegid rhoes gynnyg i weinyddu am ddim i Eglwyswyr ei gymdogaeth; eto ei wrthod gafodd. "Y mae y bobl yn gwaeddi arnaf dan wylo am eu porthi â bara y bywyd. Pa beth a wnaf?" Mewn llythyr ato, "y mae Mr. Newton," meddai Mr. Jones o Ddinbych, "yn ymddangos yn lled gryf yn y dyb mai dyledswydd Mr. Charles fyddai gadael y Bala, Gwynedd, a Chymru oll, yn hytrach na rhoddi i fyny y meddwl am weinidogaethu o fewn cylch neu furiau Eglwys Loegr." "Ond nis gallai wneyd hynny," fel y dywed *Llyfr y Jiwbili*, megis ei dyfynnir gan Dr. Edwards,—"nis gallai wneyd hynny am ei fod, meddai, mor dueddol i gymeryd Cymru fel y cymerodd ei wraig, 'er gwell ac er gwaeth,' hyd oni wahanai angeu hwynt." Dywediad yw hwn yna a ddylai fod ar gof a chadw, a iawn yw ei goffa yma. Mae mwy rhaid am hynny hefyd am fod un o olygwyr *Yr Haul* am fis Ionawr diweddaf yn dysgu mai rheswm defnyddioldeb Mr. Charles i'w genedl oedd ei gariad, nid at Gymru, ond at Mrs. Charles. Ei eiriau ef yw y rhai hyn: "Dygodd ei gariad, nid at ei wlad, hyd y gwelais, ond at ei wraig, ef i'r Bala. A'r hyn a'i dygodd a'i cadwodd yno." Ystyrier y ddau ymadrodd yna. Caniataer mai gwir y cyntaf, a raid, oblegid hynny, mai gwir yr olaf? Ac hyd yn oed am y cyntaf, mae yn yr ysgrifennydd ryw naws o betruster a gwylder gweddus a hawddgar iawn; oblegid, "hyd y gwelais," meddai. Arwydd er daioni yn ddiau yw bod Golygydd *Yr Haul* yn mentro taflu i mewn yr ymadrodd yna. Dengys hyn bod rhyw derfynau, debygid, wedi y cwbl, i haeriad gwyr go gryfion mewn dweyd pethau ar eu cyfer. Oes, y mae rhinwedd nid bychan yn yr ymadrodd, "hyd y gwelais." Dwg ar gof i un gymŵedd Gwilym Caledfryn, yn achos Robert ap Gwilym Ddu, ym mherthynas i gredo Jones o Jones o Ramoth:—

Gair Duw oedd ei gredo ef,
Hyd a wyddai, rhaid addef,

ebai Robert Williams, Bettws Fawr, am ffydd ei gyfaill; a buasai yr hyn a ysgrifennodd Caledfryn ar hynny yn gweddu yn dda i'r achos presennol. Ond fe gofia y cyfarwydd am dano, heb ei ddyfynu yma. Yn unig, fe ellir dywedyd felly—diolch i olygydd *Yr Haul* am ei addefiad ewyllysgar hwn: fel mai hyd y gwyddai yr oedd Jones o Ramoth yn credu, felly "hyd y gwel" y mae Golygydd yr *Haul* yn ysgrifennu. Ac eto, y mae y Golygydd yn ymyfhau; ni phery yn ei ysbryd cynnil, cymedrol hwn: oblegid yn y frawddeg nesaf oll fe ddywed mai "yr hyn a ddygodd" Mr. Charles o'r Bala, hynny hefyd "a'i *cadwodd* yno." Nid "hyd y gwelodd" y mae yn dywedyd hyn. Pe buasai yn edrych, dichon y gwelsai yn amgen; a diameu yw y cyd-ddwg y gŵr parchedig â'r neb a wrthyd gymeryd ei air ef ar hyn, gan ddewis yn hytrach dderbyn gair Mr. Charles ei hun, yr hwn nas gallai "adael y Bala, Gwynedd, a Chymru oll," am "ei fod mor dueddol i gymeryd Cymru fel y cymerodd ei wraig, er gwell ac er gwaeth, hyd oni wahanai angeu hwynt." Ac yn sicr nid yw cymeryd Cymru fel y cymerasai ei wraig, yn hollol yr un peth a chymeryd ei wraig fel y dylasai gymeryd Cymru. A sicrach na hynny ydyw mai hollol annheilwng o du Golygydd *Yr Haul* yw yr hyn y mae yn ei ddywedyd mewn man arall am "garwriaeth" Mr. Charles.

Mewn gwirionedd, y mae yn ddrwg dros ben gan un weled gwr eglwysig yn ysgrifennu yn yr ysbryd a deimlir yn erthygl y Parch. R.

Williams, M.A., Dolyddelen. Dywed fod Mr. Charles yn wr o "ysbryd uchelgeisiol," yn euog o "anfoddogrwydd;" un a "ddisgwyliai am ddyrchafiad uniongyrchol" yn yr Eglwys, a chyffelyb bethau â'r rhai hyn. Ac o ba le? fe ddywed rhywun, y tynnir y pethau a ystyrir, mae'n debyg, yn brawfion o hyn? Fe'i cymerir o'r man anhebycaf o bob man, a'r man olaf ag y dylasid gŵyrdroi yr hyn a geir ynddo; sef o Ddyddlyfr Mr. Charles sydd wedi ei argraffu yn ei "Gofiant" gan Mr. Jones o Ddinbych. Onid yw Mr. Williams yn deall ystyr ac ysbryd y llyfr yma yn well na hyn? Ynddo adroddir gan Mr. Charles hanes helbul ei enaid mewn brwydr boeth â'i lygredigaeth oddi mewn, a chynni ei galon wrth ymdrechu, a methu, marweiddio fel y mynnai egwyddorion cyndyn natur bechadurus. Cwyna yn fawr oblegid ei anysbrydolrwydd; mae yn achwyn yn dost arno ei hun; a chondemnia ei hunan yn aml yn bur drwm; oblegid y dynion sancteiddiaf yw y dynion, o bawb, a brofant eu hunain lymaf. Ac eto o'i gwynfan a'i gyffes bersonol yma y cymerir achlysur i'w waradwyddo, a'i ddangos, neu geisio ei ddangos, yn "uchelgeisiol," yn "anfoddog," mewn gorfrys yn "dechreu codi ei ben am ddyrchafiad" "cyn *pen dau fis* wedi dechreu ar ei waith yn ei guradiaeth gyntaf," a hynny—dalier yn dda ar goethder a symlrwydd nodedig yr ymadrodd yma,—a hynny "cyn bron ymgynefino o'i gledrau â chyrn yr aradr." A ddichon un dyn beidio gofyn, â pha eiriau cymesur y dylid son am ymddygiad fel hyn—serch i Olygydd *Yr Haul* ddweyd mai pethau "cymysg a duwiolfrydedd diamheuol" oedd y pethau uchod? Ar yr 20fed o Fai, 1799, ysgrifennai Mr. Charles yn ei ddyddlyfr fel hyn:—

> Mor anhawdd yw bod "heb ofalu am ddim," *Phil.* iv. 6, a bwrw ein holl ofal ar Dduw, yr Hwn sydd yn gofalu dros ei bobl. Mae yr anhawstra hwn yn tarddu oddiwrth gariad at y byd Mae arnom ni chwant bod yn fwy a chyfoethocach nag y mae Duw yn gweled yn addas i ni fod; ac yna yr ydym yn anesmwyth am nas medrwn gyrraedd yn ol uchder ein hymgais. O Dduw, tyn di i lawr fwy fwy, y dychmygion uchel hyn yn fy nghalon. Dewis di trosof fi bob amser; a gwna fi yn foddlawn ar yr hyn a gyfrenni di arnaf o bob peth. Dwg fy nghalon at fy sefyllfa, ac yna yr wyf yn ddedwydd.

Beth a wna Golygydd yr *Haul* â'r gyfran yma o'r dyddlyfr? Yn gyntaf, y mae yn *dyfynnu* mewn ffordd nas gellir dal yn rhy graff arni. Dechreua ddyfynnu gyda'r geiriau, "Mae arnom ni chwant," &c., a diwedda gyda'r geiriau, "ein hymgais." Gedy allan y dechreu; gedy allan hefyd y diwedd. Y *canol* yn unig a argreffir yn yr *Haul;* a chymerir gofal bod distawrwydd am bob peth cysylltiedig, ol a blaen. Ac am y cyfryw ffordd o ddyfynnu, ni raid dywedyd ychwaneg. Y hi ei hun yn ei noethder ei hun, yw y dystiolaeth oreu yn ei herbyn ei hun. Ond ar ol cymeryd ei bwnc o'r canol, beth a ddywed awdwr yr erthygl am dano? Hynyma:—"Er ffurfio barn deg am dano,"—sef, bid sicr, am Mr. Charles, oblegid nis gellir gwneyd pethau fel hyn yn rhy blaen,—"cofier mai croniclad meddyliau curad yw y rhai hyn, o fewn y naw mis cyntaf wedi iddo ddechreu ar ei waith." Ni a anturiwn ddweyd yn barchus wrth Mr. Williams na byddai gwaeth i'r Eglwys Wladol yng Nghymru pe byddai "meddyliau" pob curad o'i mewn yr un a'r unrhyw a "meddyliau" y "curad" "naw mis" yma ag y mae efe yn trin ei goffadwriaeth yn bur unochrog, ac yn wir, yn anghyfiawn.

Drachefn, pan oedd Mr. Charles yn gynorthwywr i Mr. Simon Llwyd, a chyn iddo ymuno â'r Methodistiaid, mae yn ymddangos i bobl y Bala warafun iddo bregethu mwy yn eu heglwys, gan ddywedyd,—"Yr

ydych wedi melldithio digon arnom eisioes." "Pa ham y rhwystrid Charles?" ebai Golygydd yr *Haul*. Ac ar ol gofyn, fe etyb:—

Mae dwy ffordd i wneyd pob peth; a dau ysbryd i bregethu—ysbryd Elias ac ysbryd yr Iesu. A gellir casglu mai ysbryd y tân o'r nef, heb ei dymheru âg ysbryd cariad, yn nghyda'r "ysbryd sarug, anioddefgar," y cwynai gynt o'i blegid, achosai y gwrthwynebiad.

Felly, dyna "ellir gasglu." Ysbryd Mr. Charles oedd o'i le; yr oedd pobl y Bala yn iawn. Yn ysbryd Mr. Charles yr ydoedd y bai. Argoel sicr o wyrni eisieu ei gywiro ynddo ef ydoedd gwaith pobl y Bala yn gwgu arno, ac yn llefaru yn arw iawn wrtho. Ac eto, mae lle teg o leiaf i ameu y "casgliad" yma. Fe "*ellir* casglu" fel arall. Nid yw yn annichon bod pobl y Bala o'u lle, a Mr. Charles yn iawn. Fe gawd esiamplau cyn hyn, a chyn hynny, o'r bobl yn dywedyd yn galed yn erbyn y proffwyd, pryd mai cam âg ef fuasai ei gondemnio oblegid hynny. Mae lle i ddirnad, pe buasai golygydd *Yr Haul* yn esbonio y seithfed bennod o Lyfr yr Actau i bobl heb wybod nemawr am y mater, y dywedasai y "gellid casglu" nad oedd Stephan ferthyr yn yr ysbryd goreu, oblegid "pan glywsant hwy, hwy a ffromasant yn eu calonnau, ac a ysgyrnygasant ddannedd arno." Yr un modd, Apostol y Cenedloedd, "gellir casglu" nad oedd yntau heb achos i ddiwygio yn ei ysbryd, o herwydd y rhai a'i gwrandawsant ef a godasant eu llef ac a ddywedasant, "Ymaith â'r cyfryw un oddiar y ddaear: canys nid cymwys ei fod ef yn fyw." Ac nid ydym heb wybod am Bregethwr, pe gellid ond ei enwi Ef gyda digon o wylder a pharchedigaeth, am wrandawyr yr Hwn yr ydym yn darllen eu bod weithiau "wedi eu llanw o ddigofaint," ac weithiau wedi "eu llanw o ynfydrwydd."

Yr ateb goreu i lawer o bethau ddywed golygydd *Yr Haul* fyddai argraffu yn gyfan yr adranau o'r Dyddlyfr ochr yn ochr â'r mân ddarnau dynnodd ef allan o ganol aml adran i bwrpas ag y rhaid maddeu i un am ei ystyried a'i alw yn bwrpas pur amheus. Amlwg ydyw nas gellir gwneuthur hyny yma. Caniataer dywedyd mai gwell gan un farn Dr. Lewis Edwards o'r Bala am Ddyddlyfr Mr. Charles na r defnydd a wnaeth Golygydd *Yr Haul* o ddarnau ohono. Y farn honno, fe ŵyr llawer, os nad pawb, yw hon:—

Ond o'i holl gyfansoddiadau, efallai nad oes yr un yn dangos mwy o wreiddiolder a mawredd meddwl na'i ddyddlyfr, yr hwn a argraffwyd yn hanes ei fywyd. Y mae hwn yn chwilio dirgeledigaethau y galon ddynol, ac yn plymio dyfnderoedd profiad ysbrydol. Yn lle aros yn yr ymddangosiadau arwynebol, y mae yn eu holrhain i lawr yn barhaus at yr achosion cyffredinol yn eigion yr enaid, lle y mae pob amrywiaethau personol yn cydgyfarfod, ac yn diflannu o'r golwg mewn egwyddorion tragwyddol; ac, o ganlyniad, y mae ei ddyddlyfr yn gyflawn o'r addysgiadau dyfnaf i bob dyn yn mhob oes.

Eithr yr ydys wedi gweled, mewn rhan fechan, pa ryw "addysgiadau" y dichon ambell feddwl ei dynnu o'r llyfr hwn, ac yn yr oes hon.

Ond y mae yn rhaid cofio ei bod yn bryd bellach i arfer un arall o ymadroddion Golygydd *Yr Haul*—sef, "gofod a orfydd." Tipyn o wendid mewn dyn yn ddiau yw y peth, ond rhaid addef bod rhyw swyn hudol i feddwl un yn yr ymadrodd yna—"gofod o orfydd." Mae hwn yn Gymraeg agos mor ddirodres ag yw y llall o chwaethus a chaeth—sef hwnw am ymgynnefindod "cledrau" Mr Charles â'r

"cyrn." Ond mater o deimlad yn ddiameu yw pethau fel hyn: mae gan bob gŵr ei briod ffordd ei hun; ac ni ddylai neb wneuthur dyn yn droseddwr o herwydd gair. Mae gan Olygydd *Yr Haul* lawn digon o gyfrifoldeb arno, heb ei ddal yn euog o ran geiriau—er bod dyn weithiau wrth ddarllen mewn temtasiwn gref i ofyn yn o uchel—Ai dyma dy Gymraeg di o hen Eglwys y Wlad, yr hon bïa ymadroddion ardderchog y Llyfr Gweddi? Modd bynnag, "gofod a orfydd" i'r ysgrifen yma ddod i ben. Er mai nid cwbl amherthynasol i Amddiffyniad Mr. Charles yw camgyhuddiadau gwŷr Eglwysig, eto, fe ddylesid, cyn hyn, hwyrach, fod wedi troi at y llyfr ei hun; ond y mae yn awr yn rhy hwyr i hynny. Goddefer, gan hynny, ei gyflwyno i'r Cymry, gyda'r deisyfiad ar iddo gael ei ystyried drwyddo. Ymysg llawer o bethau ereill, darllenner, er esampl, beth ysgrifennodd Mr. Charles yma ar yr "Olyniaeth." Mae yn ddigon hawdd i'w ddeall gan unrhyw un, ond y mae er hynny yn gryf iawn, a'i gryfdwr wedi ei ategu gan wyr yr Eglwys ei hunan. O ran sylwedd, mae sylwadau Mr. Charles o gyfathrach yr hyn sydd ysgrifenedig ar y mater yn y bennod olaf o *Athrawiaeth yr Iawn*. Nid ydys yn dywedyd eu bod wedi achub y blaen ar yr hyn sydd yno. I'r gwrthwyneb, y mae ar sylwadau y llyfr olaf ol meddwl cryfach yn ddiameu, a mwy *subtle* hefyd. Eto, y mae y naill a'r llall yn rhedeg yn yr un cyfeiriad, ac o ran hanfod, y maent yn cytuno. A phwy bynag sydd wedi gwneuthur iddo ei hun lwyr feddiant ar yr ystyriaethau osodir allan mewn ychydig le yn y ddau lyfr, ynghyd, hefyd, â'r hyn y mae yr ystyriaethau hynny yn deg yn arwain iddo, mae llawer o swm y mater mewn gafael gref gan y meddwl hwnnw.

Rhodder priodol ystyriaeth hefyd i'r hyn a ddywedir yn y llyfr am alwad ac ordeiniad pregethwyr y Methodistiaid. Ordeiniad gan Esgob fuasai y mwyaf dewisol gan Mr. Charles. Mae hynny yn amlwg am dano pan ysgrifennodd yr "Amddiffyniad" hwn, yn 1802. Gwell ganddo fuasai ordeiniad gan Esgob. Nid ydys yn adwaen neb sydd yn chwennychu ameu hyn. Pam, ynte, na chymmerasid yr ordeiniad hwnnw gan y Methodistiaid? Ateb Mr. Charles ydyw, mai am nad oedd bosibl ei gael. "Cha neb o'n pregethwyr ni ef, pa mor gymwys bynnag y bônt o ran dysg, neu ynte o ran doniau." Pa ddanghosiad sydd o hynny? Y danghosiad yma:—"Yn gyntaf: Mae amryw wyr Eglwysig sydd yn llafurio yn ein plith ni, y Methodistiaid, wedi eu troi yn hollol allan o'u gwahanol fywiolaethau am ddal egwyddorion a dysgu athrawiaethau a fernir gennym ni fel gwir a sylweddol athrawiaethau yr Eglwys ei hunan. Yn ail: Yr anghefnogaeth—yn wir, y casineb a'r anfoddlonrwydd a roes eu huchelradd i'r rhai o honom ni sydd eisioes ac yn barod yn yr Eglwys. Yn drydydd: Aflwyddiant ereill a wnaethant gais am urddau Eglwysig. A pha effaith a fu i'r pethau hyn? Gwan-galonni a llwfrhau llawer rhag cynnyg eu hunain o gwbl, a pheri iddynt ddewis yn hytrach fyned a llafurio yng ngwinllan eu Harglwydd, a gwneuthur cymaint o ddaioni ag a allent yn y ffordd bresennol a elwir gan rai yn afreolaidd." Mae y geiriau yna yn fwy o gyfieithiad nag o aralleiriad o'r hyn ddywed Mr. Charles ei hunan, ac yn siwr, fe wyddai efe, o bawb, beth yr oedd yn ei ysgrifennu. Adwaenai *amryw* Eglwyswyr oedd wedi "eu troi allan yn hollol o'u bywiolaethau." Pwy oeddynt? "Eithaf ffiloreg," medd Golygydd *Yr Haul*, yn ol y boneddigeiddrwydd llednais a

roddwyd iddo ef—"eithaf ffiloreg yw son am dröad allan Rowlands: mwy fyth tröad allan Charles." Beth ddichon fod yn "fwy fyth" nag "eithaf ffiloreg?" Ond y mae gwr mwy na'r Parch. R. Williams, M.A., Ficer Dolyddelen, wrth ysgrifennu am "yr Eglwys Sefydledig, yn tynnu arni ei hun yr anfri o droi Daniel Rowlands allan," er "fod Rowlands yn paratoi i ymadael," yn dywedyd mai "difyr yw darllen ym *Methodistiaeth Cymru* am y dull y llwyddodd yr hen ddiacon craffus o Dolau Bach i gael allan brofion fod Rowlands yn Ymneillduwr ewyllysgar. *Nid oes un ymresymiad cadarnach yn Euclid.*" Felly y dywedai Dr Lewis Edwards, o'r Bala. Ond beth yw Dr. Edwards, a pheth yw Euclid, a pheth, hefyd, yw cadernid ymresymiadau Euclid? Gwan yw cadernid o'r fath yna er perswâd i feddyliau na fynnant eu perswadio. Ond beth bynnag fyddo crediniaeth dyn ar unrhyw bwnc, a pha mor gryfed bynnag y glŷn wrthi, fel all o leiaf ei hamddiffyn mewn ysbryd gweddus. A phe gwyddid y goddefai y Parch. R. Williams, M.A., air y cyngor, fe ellid hwyrach anturio deisyf arno ddarllen y llyfryn hwn, er mwyn yr ysbryd efengylaidd sydd yn rhedeg trwy yr holl gyfansoddiad. A'r hyn yr ydys yn ei ddywedyd wrth Mr. Williams, yr ydys, os caniateir, yn ei ddywedyd wrth bawb: darllenner a dyfal ystyrier y cwbl o fater yr "Amddiffyniad" hwn o eiddo Thomas Charles.

*Bethesda.* THOMAS ROBERTS.

---

# RHAI O SYNIADAU COUNT TOLSTOI.

LLYFR ag sydd wedi cael cryn lawer o sylw er dechreu y flwyddyn hon yn Lloegr ydyw yr un a ysgrifennwyd gan Tolstoi, gyda'r teitl, *Teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae.* Pendefig Rwsiaidd ydyw Count Tolstoi. Yn ei syniadau a'i ysbryd gwahaniaetha yn ddirfawr oddiwrth bendefigion yn gyffredin. Ysbryd y bendefigaeth ymhob gwlad ydyw sangu ar y bobl; edrych ar y werin fel creaduriaid is-raddol, yn bod yn unig i wasanaethu arnynt hwy, ac i gael eu llywodraethu ganddynt. Ysbryd tra gwahanol i hwn sydd yn meddiannu Tolstoi. Y mae efe yn teimlo i'r byw dros werin ei wlad. Gŵyr am y gorthrwm a ddioddefant, clyw eu griddfan, gwel eu trueni, ac y mae ei galon yn gwaedu o'r herwydd. Ac nid teimlad diffrwyth ydyw hwn, ond y mae y pendefig dyngarol yn ymroddi ac yn ymaberthu ymhob ffordd gyfreithlawn yn y wlad gaethiwus honno i ddyrchafu a gwella y bobl. Ychydig o'i ddosbarth sydd mewn cydymdeimlad ag ef, er hynny nid yw efe yn digaloni ac yn rhoddi i fyny yr ymdrech. Y mae y llyfr y cyfeiriwyd ato yn ein harwain at syniadau y gwr rhyfedd hwn. Y mae yn eu traethu mewn dull hyf a beiddgar. Teimlwn wrth ei ddarllen fod yr ysgrifennydd yn ddyn o ddifrif. Ymosoda yn ddiarbed ar bob ffug ac ymddanghosiad, pob ymgais i dwyllo a hud-ddenu y bobl, a phob anghyfiawnder a gormes yn yr eglwys a'r wladwriaeth. Nid yw y llyfr yn dangos dyn sydd wedi meddwl yn ddwfn, ond yn hytrach ysbryd tanllyd wedi ei gynhyrfu ac yn traethu ei argyhoeddiadau. Ac yn hollol naturiol, gwna hynny mewn dull sydd weithiau yn dramgwyddus ac yn sarhaus i'r rhai sydd yn barnu yn wahanol iddo ef. Cyhudda ddynion o fod yn dysgu ac yn pregethu athrawiaethau nad ydynt yn eu

credu, tra y gwyddom fod y dynion hynny mor onest ag yntau. Y mae llawer o esgobion a gweinidogion yn perthyn i bob cangen o'r eglwys Gristnogol heddyw y byddai yn well ganddynt gael eu llosgi yn lludw na rhoddi i fyny y ffydd. Y mae Tolstoi yn cyfeiliorni yn bell pan y gwrthoda ganiatau i ereill y gonestrwydd y mae yn ei hawlio iddo ei hun.

Y pwynt oddiwrth ba un y mae Tolstoi yn cychwyn yn y llyfr hwn ydyw y geiriau hynny o eiddo yr Arglwydd Iesu: "Na wrthwynebwch ddrwg; ond pwy bynnag a'th darawo ar dy rudd ddehau, tro y llall iddo hefyd." Prif bwynt y llyfr ydyw y geiriau hyn. Dysgeidiaeth Crist, yn ol syniad Tolstoi, ydyw na ddylid gwrthwynebu drwg gyda gallu gorthrechol o dan unrhyw amgylchiadau; fod arfer gallu gorfodol yn bechod, ac nad yw hynny ond ceisio darostwng un drwg trwy gyflawni drwg arall. Gan hynny y mae gorchymyn Crist, yn ol yr esboniad hwn, yn hollol wrthwynebol i ddefnyddiad arfau a deddfau, ynghyd ag awdurdod o bob math er darostwng drwg. Yr unig ddylanwadau sydd at ein gwasanaeth yn yr ymdrech yn erbyn pechod ydyw dylanwadau moesol. Dylanwad esiampl, egwyddorion pur, bywyd o hunan-aberthiad, ynghyd a pherswadio dynion. Y mae hwn yn dir uchel iawn, ac yn cynnwys syniad ardderchog am fywyd. Cariad at Dduw a chariad at ddyn yn brif ysgogydd i'r cyflawniad o bob dyledswydd. Y mae golygiadau Tolstoi yn taraw yn gyntaf oll yn erbyn y fyddin. Gwrthwynebu y drwg ag arfau sydd droseddiad amlwg ar y gorchymyn. Pechod ydyw rhyfel, ac nid oes dim gwahaniaeth rhwng y milwr a'r llofrudd. Pe byddai i ddyn godi yn erbyn ei gymydog a'i ladd, ystyrrid ef yn llofrudd, a chosbid ef fel y cyfryw. Pe byddai i ddau o ddynion, neu ddeg, neu ynte gant, gyflawni gweithred felly, condemnid hwy fel llofruddion. Ond pe byddai i nifer o ddynion ladd eu cyd-ddynion, a gwneyd hynny yn enw llywodraeth neu genedl, edrychid arni fel gweithred rinweddol a chanmoladwy. Dirmygir llofruddion, ond adeiledir cof-golofnau heirdd i gadfridogion a fuont yn marchogaeth trwy waed a thros gyrff eu cyd-ddynion. Pa wahaniaeth sydd rhyngddynt? Yr oedd y cadfridog, fel y llofrudd, yn troseddu gorchymyn Crist. Melldith y byd o'i ddechreu ydyw rhyfel, ac un o ddrygau pennaf yr oes hon ydyw y gyfundrefn filwrol a gynhelir ar draul mor fawr. Nid yn unig y mae rhyfel yn bechadurus, ond hefyd y mae y gelfyddyd sydd yn dysgu dynion i drin arfau gyda'r amcan o ladd eu gilydd, yn bechadurus i'r eithaf.

Ymhellach, yn ol esboniad Tolstoi, y mae y gorchymyn hwn o eiddo Crist yn wrthwyneb i bob sefydliad sydd yn defnyddio gallu gorthrechol i gario allan ei benderfyniadau. Nid yw y llys gwladol a'r carchar yn gyson ag ysbryd Cristionogaeth. Sefydliadau ydynt wedi eu codi i gario allan ddeddfau gorthrymus trwy orthrech. Nis gall y gwan ymladd yn eu herbyn, am fod y gallu sydd at wasanaeth y llys yn rhy gryf iddo ef. Pa hawl sydd gan ddyn i rwymo ei gyd-ddyn â chadwynau a'i gau i fyny mewn cell dywell? Onid yw cyfraith gwlad pan yn hawlio bywyd dyn yn sengi ar hawliau Duw? Y mae bywyd dynol yn gysegredig. Duw yn unig sydd yn meddu hawl i roddi terfyn ar einioes dyn. Nid yw y llysoedd a'r carchardai ond rhan o drefniant mawr, sef llywodraeth y wlad. Y mae Tolstoi yn myned ymlaen ac yn condemnio pob ffurf ar lywodraeth. Nid yw llywodraeth ond corfforiad o awdurdod, ac nid oes awdurdod i fod gan y naill ddyn ar y llall. Rhaid fod pob

awdurdod o'r fath yn anghyfiawn, oblegid trwy rym arfau yn unig y gellir ei chynnal i fyny. Nid yw pob cyfundrefn o'r fath ond trefniant i gadw y bobl i lawr; trefniant i osod rhai ar esmwyth-feinciau, ac i suddo ereill mewn tlodi a thrueni. Dyma hanes teyrnasoedd Ewrop. Y cyfreithiau sydd yn cael eu ffurfio, y maent yn tueddu yn uniongyrchol i sicrhau goruchafiaeth y bendefigaeth ar y werin. "Er holl honiadau y dosbarth uchaf, a'u hymdrechion ffuantus i ddyrchafu a gwella y gweithwyr, eto y mae gweithwyr y dyddiau hyn yn cael eu cadw i lawr gan yr un deddfau haiarnaidd ac amhlygadwy; nid ydynt yn cael prin ddigon i dorri eu hangen; gorfodir hwy i weithio yn ddibaid cyhyd ag y bydd ynddynt nerth i lafurio i'w cyflogwyr, y rhai mewn gwirionedd ydynt wedi eu gorchfygu a'u gwneyd yn gaethion." Dyna fel yr oedd pethau o dan yr ymerawdwyr Rhufeinig, ac felly y maent heddyw. Nid yw o fawr wahaniaeth pa ffurf fyddo ar y llywodraeth, pa un ai unbennaeth ai ynte gwerinlywodraeth: y mae y canlyniadau yn sicr o fod yr un. Yn Ffrainc ac America, yn gystal ag yn Rwsia, clywir y gweithwyr yn griddfan. Mewn llywodraeth unbenaethol ceir yr awdurdod wedi ei chyd-grynhoi i nifer bychan, ac feallai fod yr ormes oblegid hynny yn fwy llym ac annioddefol. Sut y mae y drefn hon ar bethau yn cael ei goddef? Os ydyw llywodraeth ymhob ffurf mor niweidiol, pa fodd y mae y deiliaid yn ei goddef? Paham na dymchwelant y llywodraeth, ac na ddiddymant yr awdurdod? Am nas gallant. Y mae y fyddin o'r tu cefn i'r llywodraeth, ac yn amddiffyn yr awdurdod. Tybir yn gyffredin mai amcan llywodraethau yn cryfhau eu byddinoedd ydyw amddiffyn y wladwriaeth rhag ymosodiad gelynion oddi allan, ac anghofio fod y fyddin yn bod ac yn cael ei chryfhau yn bennaf oll er amddiffyn y llywodraeth rhag ymosodiad ei deiliaid gorthrymedig a chaethiwus hi ei hunan. Syniad Tolstoi ydyw fod pob ffurf ar lywodraeth, erbyn hyn, yn atalfa i wareiddiad; fod carchardai a sefydliadau cosbawl, ynghyd a'r dulliau creulawn sydd gan lywodraethau i boenydio troseddwyr, yn tueddu i lygru a darostwng dynion. Ac eto y rhai hyn ydynt golofnau yr awdurdod; nis gall sefyll yn annibynnol arnynt, a cheisir perswadio y bobl i gredu eu bod yn hanfodol i'w diogelwch a'u cysur hwythau.

Cynhwysa y ddysgeidiaeth hon lawer o wirionedd,—gwirionedd hallt ac anhawdd ei ddysgu; rhaid cael proffwyd a'i ysbryd wedi tanio ac yn feddiannol ar gydwybodolrwydd a beiddgarwch i'w gyhoeddi. Yr ydym yn cytuno â Tolstoi i raddau pell yn ei ymosodiad ar y gyfundrefn filwrol a gynhelir i fyny gan deyrnasoedd Ewrop. Cyfrifir fod yn awr dros 9,000,000 o ddynion dan arfau yn Ewrop. Dyma y fyddin sefydlog; ond yn ychwanegol ceir fod oddeutu 17,000,000 yn ffurfio ol-fyddin. Gwŷr yw y rhai hyn sydd yn dilyn gwahanol alwedigaethau, ond yn gwisgo yr arfogaeth ar amserau er mwyn disgyblaeth. Mewn adeg o ryfel, gelwid arnynt ar unwaith i ddyfod i'r maes. Fel hyn cyfrifir fod holl fyddinoedd Ewrop yn cynnwys uwchlaw chwe miliwn ar hugain o ddynion. Beth raid fod y draul aruthrol o gynnal y byddinoedd hyn! Meddylier am y segur-swyddau a'r blwydd-daliadau, y llongau mawrion a'r arfau drudfawr, a'r cyfnewidiadau parhaus a wneir mewn canlyniad i ddarganfyddiadau a dyfeisiadau newyddion. Y mae y fyddin yn tlodi y gwledydd ac yn bwyta nerth teyrnasoedd Ewrop. Ar yr un pryd, dweyd fod rhyfel o dan bob amgylchiadau yn bechod ysgeler ac yn ddrwg digymysg, sydd yn sicr o fod yn eithafol, Rhaid i ni gydnabod fod rhyfel bob amser wedi achosi difrod a galanastr.

ond nis gallwn edrych yn ol ar hanes heb weled fod rhyfeloedd y byd wedi bod yn rhan bwysig yn nadblygiad a dyrchafiad y ddynoliaeth. Y diwygiadau mwyaf gafwyd, yr oeddynt yn ganlyniad llawer iawn o dywallt gwaed. Trwy dywallt gwaed y sicrhawyd iachawdwriaeth dyn, a thrwy frwydrau gwaedlyd y meddiannodd aml i genedl y breintiau mwyaf cysegredig a gwerthfawr a fedd. Ac mewn byd fel hwn, sydd a'i holl hanes yn cael ei wneyd i fyny o ymdrech barhaus rhwng drwg a da, braidd na feddyliem fod rhyfel yn anocheladwy. Tra byddo pechod yn y byd, bydd rhyfel ynddo. Ond pan fyddo "Teyrnas Dduw" wedi dyfod i mewn a meddiannu calonnau y mwyafrif o ddynion, gellir disgwyl heddwch. Yna, ac nid cynt, y bydd heddwch y teyrnasoedd fel yr afon, a'u cyfiawnder fel tonnau y môr.

Diameu fod ynglyn â phob ffurf ar lywodraeth wladol lawer o ddrygau, oblegid gall dynion drwg droi y sefydliadau goreu i amcanion hunanol ac uchelgeisiol. Llywodraeth Prydain Fawr, yn ol ein tyb ni, ydyw yr oreu ar y ddaear. Ac eto, y mae gennym lawer o gwynion yn ei herbyn. Nid yw pob sefydliad sydd ynglyn â hi yn gorffwys yn esmwyth ar y deiliaid. Y mae ambell i ddeddf yn sicrhau breintiau i ddosbarth bychan ar draul gwasgu ar y lliaws. Mae llygredigaeth ac anghyfiawnder yn ymwthio weithiau i'r cylchoedd uchaf. Er fod ein llysoedd barn y rhai goreu yn y byd, eto nid ydynt yn berffaith. Ond er achwyn ar y llywodraeth a chwyno yn erbyn yr awdurdod, ni fynnem er dim eu diddymu. Pe diddymid yr awdurdod, beth a ddeuai o honom wedyn? Gwlad heb un lywodraeth, pob cyfraith wedi ei llwyr-ddiddymu, y llysoedd oll wedi eu cau, pob carchar wedi ei chwalu hyd ei sylfeini,—sut y byddem byw? Beth a ddeuai o honom? Nis gallem gysgu noswaith yn dawel, wedi rhoddi y byd i fyny i drugaredd lladron a llofruddion. Y mae Tolstoi yn edrych ar y ffurf bresennol ar gymdeithas fel drwg digymysg. Gwaethygu hefyd a wna pethau bob dydd, nes y mae y sefyllfa wedi dyfod bron yn annioddefol. Y llywodraeth, y fyddin, a'r eglwys, ydyw y tri gallu mawr sydd wedi rhoddi bod i'r ffurf bresennol ar gymdeithas, a'r galluoedd hyn hefyd sydd yn cadw y ffurf hon i fyny. Dyna paham y mae Tolstoi yn ymosod mor ddi-arbed arnynt.

Ceisiwn nodi yn fyr y mannau gweiniaid yn nysgeidiaeth Tolstoi. Camgymera yn ddirfawr, yn ol ein tyb ni, yn yr esboniad a rydd a'r cagliad a dynn oddiwrth ddau o wirioneddau mawrion Cristionogaeth.

1. Gwirionedd Cristionogol ydyw brawdoliaeth dynolryw. Gwnaeth yr Arglwydd o un gwaed bob cenedl o ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear. Ni thywynnodd y gwirionedd hwn i feddwl dyn hyd nes y dysgwyd ef gan y Duw-ddyn. Y mae dynion o bob lliw ac iaith yn frodyr, ac felly dylent garu eu gilydd a chynorthwyo y naill y llall fel brodyr. Ond y mae Tolstoi yn camgymeryd pan yn dysgu fod y frawdoliaeth hon yn dileu pob gwahaniaeth rhwng dynion a'u gilydd. Yn ol ei athrawiaeth ef, ni ddylai neb feddu cyfoeth; nid yw y tir i fod yn eiddo personol ond cyffredinol. Y mae gan bob dyn cystal hawl yn y tir a'u gilydd. Ni ddylid rhoddi lle i'r hyn a elwir yn genedlgarwch a gwladgarwch, am eu bod yn hollol groes i ysbryd Cristionogaeth. Un teulu ydyw dynolryw, ac un cartref sydd iddynt. Dylem garu pob aelod o'r teulu fel eu gilydd, a meithrin hoffder at yr holl gartref yn ddiwahaniaeth. Yn ol y ddysgeidiaeth hon, y mae brawdoliaeth yn gyfystr â chydraddoldeb.

Ond ni chyd-saif yr athrawiaeth hon a'r hyn a ddysgir i ni gan natur a phrofiad. Er fod dynolryw wrth natur yn frodyr, eto nid ydynt yn cychwyn ar yr un lefel. Gwahaniaethant yn eu cyrff mewn llunieidd-dra a phrydferthwch, mewn maintioli a thaldra, ac mewn iechyd a nerth. Gwahaniaethant yn ddirfawr hefyd mewn tymer a thueddfryd, mewn talentau a galluoedd meddwl, ac mewn chwaeth a syniadau. Nid yw natur yn ein gosod ar yr un tir i gychwyn. Rhoddir gwell cynysgaeth i un brawd nag a roddir i'r llall. Y mae ei natur ddynol yn gyfoethocach, a chanddo fwy o adnoddau at ei wasanaeth. Drachefn, y mae y gwahaniaeth sydd rhwng dynion a'u gilydd mewn amgylchiadau yn gyfryw nad oes un gallu a fedr ei reoleiddio. Oblegid y mae y gwahaniaeth hwn, y rhan fynychaf, yn cyfodi o wahaniaeth arall dyfnach yn eu dull o fyw. Llafur, diwydrwydd, a darbodaeth, sydd yn arwain i gyfoeth; o'r ochr arall, canlyniad anocheladwy diogi, afradlonedd, ac oferedd, ydyw tlodi a thrueni. Pe rhennid cyfoeth y byd yn gyfartal rhwng yr oll o ddynolryw heddyw, ac i bawb gael eu gosod yn gydwastad o ran eu hamgylchiadau, y mae yn amheus a fyddent yn parhau yn y sefyllfa honno hyd nos yforu. Rhoddodd yr Arglwydd Iesu fod i frawdoliaeth arall. Nid perthynas faterol a daearol ydyw honno. Nid cig a gwaed yw ei sail. Perthynas ysbrydol a nefol ydyw. Hanfod y berthynas ydyw undeb â Christ. Yng Nghrist y maent yn cael eu geni o Dduw, yn dyfod yn blant yr un Tad, ac o ganlyniad yn frodyr i, ac yn gydetifeddion â Christ. Trwy y frawdoliaeth hon, codir dynion uwchlaw pob gwahaniaeth. Nid oes mwyach nac Iuddew na Groegwr, caeth na rhydd, tlawd na chyfoethog. Pob gwahaniaeth wedi colli o'r golwg, dim ond brodyr yn y cydgordiad a'r cydymdeimlad mwyaf trwyadl â'u gilydd. Y mae y frawdoliaeth hon yn cael ei sylweddoli yn awr mewn eglwys bur. Feallai y gwelir adeg pan y bydd eglwys Dduw wedi llenwi yr holl ddaear, a dynolryw oll wedi dyfod yn frodyr yng Nghrist. Dyna y pryd y bydd drychfeddwl Tolstoi wedi ei sylweddoli.

2. Rhyddid dyn. Y mae yr athrawiaeth hon yn ganlyniad naturiol yr athrawiaeth flaenorol. Gan fod dynolryw yn frodyr, nid oes gan y naill ddyn hawl i gaethiwo y llall. Hawlfraint dyn fel creadur rhesymol a chyfrifol ydyw rhyddid. O un gwaed yr ydym wedi hanu oll; am hynny dylem barchu ein gilydd a charu ein cymdogion fel ni ein hunain. Haera Tolstoi fod llywodraeth a chyfreithiau, llysoedd barn a charchardai, heddgeidwaid a milwyr, yn hollol wrthwyneb i'r rhyddid a ddysgir gan Gristionogaeth. Sefydliadau ydyw y rhai hyn, yn ei dyb ef, wedi eu dyfeisio i ddinystrio rhyddid dyn, a'i osod dan gaethiwed. Ond yn hyn y mae yn ddiau yn cyfeiliorni. Nid ydyw yn cydnabod fod gwahaniaeth rhwng rhyddid a phenrhyddid. Y mae rhwymau hefyd yn perthyn i wir ryddid. Rhwymau rhyddid ydyw cyfreithiau a sefydliadau da. Y mae y gyfraith sydd yn sicrhau rhyddid i'r gonest, yn caethiwo y lleidr. Pe diddymid pob cyfraith ac awdurdod, a phe gosodid pawb ar yr un tir, nid rhyddid a fyddai hynny, ond yr ormes fwyaf eithafol. Byddai gwlad o bobl onest at drugaredd lladron, ysbeilwyr, a llofruddion. Arweinia y ddysgeidiaeth hon yn uniongyrchol i aflywodraeth, neu *anarchy*,—teyrnasiad annhrefn a dychryn.

Haera Tolstoi nad oes neb wedi deall Cristionogaeth yn iawn ond efe. Haeriad go fawr ydyw hwn, pan gofiom fod y grefydd hon wedi

bod yn brif destyn astudiaeth dysgedigion ers deunaw canrif. Cristionogaeth o'i greadigaeth ef ei hunan ydyw yr eiddo Tolstoi. Nid ydyw yn cydnabod ysbrydoliaeth ddwyfol yr Hen Destament. Gwada y gwyrthiol a'r goruwchnaturiol yn y Testament Newydd. Ei Gristionogaeth ydyw y bregeth ar y mynydd, ac ambell adnod oddi yma ac oddi draw sydd yn ymddangos yn cyd-daro â'i syniadau neillduol ef. Pan yn ymosod ar gamwri a gormes, rhagrith a thwyll, yn y wladwriaeth a'r eglwys, teimlwn fod y pendefig yn anwrthwynebol. Ond pan y try at y feddyginiaeth, teimlwn ei fod yn hynod o wan. Y mae ei gynlluniau yn hunan-ddinystriol, oblegid y maent yn groes i bob trefn, yn troi hanesyddiaeth yn ol, ac yn hollol wrthwyneb i'r dadblygiad mawr trwy ba un y mae dynoliaeth wedi cyrhaedd i'w hystad bresennol. Gesyd ei fwyell gyda medr a grym mawr ar wreiddyn y prennau gwenwynig sydd yn llygru y wladwriaeth a'r eglwys, ond y mae yr eithafion i ba rai y caria ei syniadau yn arwain i gomiwnistiaeth a sosialaeth, os nad i rywbeth gwaeth na hynny. Eto hawdd ydyw cydddwyn âg ef, pan gofiom am y wlad y mae yn byw ynddi. Rwsia ydyw prif gastell gormes heddyw. Yma y clywir y bobl yn griddfan o dan orthrwm a thra-arglwyddiaeth y llywodraeth a'r bendefigaeth. Nid oes gennym ni ond syniad gwan am gyflwr gwerin Rwsia; y tywyllwch a'r tlodi, y trueni a'r dioddefaint sydd yn bod yn eu plith. Ond wele Rwsiad, a hwnnw yn bendefig, wedi deffro i anghenion ei genedl. Teimla i'r byw dros y bobl. A diameu fod y syniadau a ddysgir ganddo yn gweithio trwy gymdeithas fel lefain, ac y byddant ryw ddiwrnod heb fod ymhell, yn arwain y genedl o'i chaethiwed hir a thywyll, i ryddid gogoneddus gwareiddiad Cristionogol. Nis gallwn lai na theimlo parch dwfn i Count Tolstoi. Ei galon fawr haelfrydig, ei amcanion gonest ac unplyg, ei gydwybodolrwydd dwfn, a'i ysbryd tanllyd, y maent oll yn gyfryw ag sydd yn ennill cydymdeimlad dyfnaf pob dyn difrifol. Dywedwn o galon, Duw yn rhwydd i Count Tolstoi i ddatod rhwymau caethiwed ei wlad.

*Pwllheli.* WILLIAM THOMAS.

---

# PETER WILLIAMS.

## IV.

WEDI ymddanghosiad yr ysgrif ddiweddaf ar y testyn hwn, darfu i gyfaill caredig a chraff alw ein sylw at rai camgymeriadau, fel y tybiai ef, a wnaed yn yr ysgrif honno ynglyn â diarddeliad Mr. Nathaniel Rowland. Dywed na chafodd efe ei dderbyn yn ol i'r Cyfundeb, fel yr awgrymir yn yr erthygl; ac na chlywodd erioed gan rai oeddynt yn ei adwaen yn dda, ac yn gydnabyddus â holl amgylchiadau ei ddiarddeliad, ddarfod iddo wneyd un cais am adferiad. Ychwanega fod y syniad mai am anghymedroldeb y cafodd ei ddiarddel, yn beth hollol newydd iddo ef; na chlywodd y tadau y cyfeiria atynt yn son am y trosedd hwnnw; ond yr un pryd barna nad oedd anghymedroldeb ond un o'r pethau a roddid yn ei erbyn.

Pan yn cyfeirio at ddiarddeliad N. Rowland nid oeddym yn deall fod amheuaeth ym meddwl neb am y trosedd y cyhuddid ef o hono, gan ein bod wedi gweled y syniad fwy nag unwaith, a chlywed gan liaws

o hen frodyr mai anghymedroldeb oedd y cyhuddiad a ddygid yn ei erbyn.

Dywed ein cyfaill ymhellach mai yn Nadolig 1806, ac nid yn 1807, fel y dywedir yng Nghofiant John Jones, Talysarn, a mannau ereill, y cafodd Nathaniel Rowland ei ddiarddel; ac mai mewn cyfarfod wedi ei alw yn neillduol i'r amcan, ac nid mewn Cymdeithasfa,—gan ein cyfeirio at hanes manwl o'r cyfarfod hwnnw, a welir ym "Mywgraffiad y Parch. Thomas Richard, Abergwaen," yr hwn oedd yn bresennol. Rhan o Ddyddlyfr Mr. Richard ydyw yr hanes hwn, lle y gwneir sylwadau ganddo ar daith o'i eiddo trwy sir Gaerfyrddin a sir Fynwy, i Bristol, ac yn ol trwy siroedd Mynwy, Morgannwg, a Chaerfyrddin, ynghyda rhannau o Benfro. Cychwynodd i'r daith ddydd Mercher, Tachwedd 12fed, 1806, a dychwelodd adref ddydd Mercher, Rhagfyr 26ain, sef drannoeth ar ol y "cyfarfod mawr" yn y Castell Newydd, yr hwn a gynhelid Rhagfyr 24, 25, 1806. A ganlyn ydyw yr hyn a ddywed Mr. Richard:—

Rhagfyr 23, 1806. Aethum boreu Saboth i Woodstock. Ni chefais yma gymaint o rwyddineb ysbryd, er cael hynny mewn geiriau. Aethum oddiyno at odfa dau i Dreamlod. Profais yma lawer o serch at eneidiau; llewyrchodd yr Arglwydd ar fy mhabell. Aethum oddiyno i Lantyddewi. Teimlais lawer o sychder; ond gwawriodd cyn y diwedd. Aethum oddiyno i Gastell y Blaidd, i gael myned i Gastell Newydd i'r cyfarfod mawr fu rhwng y tair sir, Caerfyrdddin, Aberteifi, a Phenfro, ar achos brawd oedd yn rhodio yn afreolus. Soniwyd ar ei achos y prydnawn cyntaf yn ddiymryson. Dibennwyd y cyfarfod trwy weddi gan y brawd Dafydd Evans. Daeth amser yr odfeuon cyhoeddus. Gweddiodd y brawd Dafydd Dvans eilwaith. Pregethodd y brawd Thomas Morgan, Llanddewi, a minnau. Ni'm gadawyd yn ddilewyrch. Clod iddo am hyn. Boreu drannoeth cyfarfuwyd am wyth. Gweddïodd y brawd Evan Harris, o Dreamlod;* pregethodd Mr. Lloyd a John Evans† gyda graddau o arddeliad. Cyfarfyddodd y *society* ar ol yr odfeuon cyhoeddus. Gweddïodd y brawd Mr. Griffiths o Nefern. Cawsom le i feddwl i'r Arglwydd dywallt ysbryd gras a gweddi ar y *society*. Triniwyd achos y brawd afreolus yn ei bresenoldeb yn ddidderbyn wyneb, gyda *concern* mawr, a serch at ei adferiad. Cafwyd lle i gredu o'r newydd fod yr Arglwydd yn wrandawr gweddïau, a'i fod yn trigo gyda'i bobl. Eisteddodd gras mawr ar y cyngor, fel y tybiwyd na bu y fath gyfarfod yng Nghymru erioed. Ymadawsom bawb yn llon ei feddwl, wedi cael achos dywedyd, Da oedd bod yma, canys yr oedd Duw yma. Daethum y noswaith hono i Gastell y Blaidd, ac adref boreu drannoeth.

Fel y gwelir, nid yw Mr. Richard yn enwi y "brawd oedd yn rhodio yn afreolus;" ond sicrha ein hysbysydd ei fod yn ddealledig, lawer o flynyddoedd yn ol, ymysg hen bobl Llangeitho a Thregaron, mai Nathaniel Rowland ydoedd. Ni ddywedir chwaith fod y brawd "afreolus," pwy bynnag ydoedd, wedi ei ddiarddel. Cyfeiria Mr. Richard at gyfarfod o'r "tair Sir," ac nid at Gymdeithasfa; ond prin y gellir, ar ol cymaint o amser, ystyried y pethau hyn fel profion *nad* N. Rowland oedd y gŵr y cyfeiria yr hanes hwn ato. Mae y ddau adroddiad yn cytuno mewn amryw bethau. Dywed y naill a'r llall mai yn Nghastell Newydd y cymerodd yr amgylchiad le; a bod Mr. Griffiths, Nefern, a John Evans, New Inn, yn bresennol ar y pryd. Sut bynnag, barnasom mai gwell oedd rhoddi y ddau adroddiad i mewn, gan adael i'r darllennydd dynnu y casgliad a farno yn fwyaf cyson â'r amgylchiadau.

* Mab yr hen gynghorwr John Harris, Treamlod, oedd y gwr hwn, ac nid y Parch. Evan Harris, Merthyr.
† William Lloyd, Henllan, neu Gaio, a John Evans, New Inn, oedd y rhai hyn.

Yr ydym yn awr yn dychwelyd i wneyd ychydig o sylwadau pellach ar Peter Williams.

Yr ydym eisoes wedi cyfeirio fwy nag unwaith at y golled ariannol drom, fel ein hysbysir, a gafodd ynglyn â chyhoeddiad Beibl Canne. Myn rhai briodoli hynny i waith y Corff yn tynnu yn ol y gefnogaeth a addawsai i ledaeniad y Beibl; ond y mae dwy ochr i'r mater hwn. Dywedir fod llawer o'r Methodistiaid, yn ychwanegol at y gefnogaeth a addawsai y Gymdeithasfa fel y cyfryw, wedi rhoddi eu henwau fel tanysgrifwyr am y llyfr; ond pan ddaeth yr argraffiad allan, ddarfod i'r tanysgrifwyr dynnu yn ol, a'r un modd y Gymdeithasfa, ar gyfrif y cyfnewidiad a wnelsid yn y testyn. Mae pob sicrwydd, debygid, fod yr anturiaeth wedi troi allan yn golled i'r cyhoeddwr; ond gwaith anhawdd ydyw penderfynu pwy oedd yn gyfrifol am y golled. Dywed amddiffynwyr Peter Williams mai dyledswydd y rhai oedd wedi addaw cefnogi y gwaith oedd cyflawni eu haddewidion; barnai ereill fod y cyfnewidiad a wnaed yn y testyn, ynghyda "Sylwadau Eglurhaol" y golygydd, yn eu rhyddhau yn hollol oddiwrth y rhwymedigaeth i wneyd hynny. Mae yn dra thebyg mai yr hyn yr addawyd ei gefnogi, ymha wedd bynnag y gwnaed hynny, oedd argraffiad Cymraeg o Feibl John Canne, heb dybied fod yn angenrheidiol cysylltu unrhyw amodau â'r addewid honno. Ofer ydyw dweyd nad oedd y cyfnewidiad a wnaed yn y cyfieithiad Cymraeg yn rheswm digonol dros i'r Gymdeithasfa wrthod y cynhorthwy a addawsai i ledaeniad y llyfr; gwaith y Gymdeithasfa ei hun oedd barnu hynny. Nid oes un sail i dybied, o'r ochr arall, fod P. Williams yn bwriadu twyllo ei frodyr; ond ddarfod iddo, mewn amryfusedd, fel y credwn, wneuthur y cyfnewidiadau gyda'r amcanion goreu. Dyma yr hyn a ddywed awdwr "Methodistiaeth Cymru" ar y mater hwn:—

Nid yw yn ymddangos i mi yn un toriad amod ag ef dynnu eu dwylaw yn ol oddiwrth ledaeniad y Beibl hwn, oddieithr fod yr addewid wedi ei gwneuthur iddo gan ddeall ei fod yn bwriadu newid y cyfieithiad; a hyn, mi feddyliwn, ni wnaed. Yr oedd hi yn fwy esgusodol fyth i'r Gymdeithasfa wrthod cymeradwyaeth i'r Beibl hwn, os oedd syniadau neillduol y cyhoeddwr ar athrawiaeth y Drindod wedi ymlithro i'r nodiadau ynddo, yn ychwanegol at y newidiad yn y cyfieithiad. O'm rhan i, yr wyf yn synnu yn fwy at Mr. P. Williams, pan y gwyddai fod anfoddlonrwydd eisoes i'r syniadau hynny gan wyr da a dysgedig yn y Cyfundeb, ei fod yn anturio eu traethu yma drachefn; yn enwedig, os oedd yn disgwyl, ar yr un pryd, am gynhorthwy i'w ledaenu: yr wyf yn synnu at hyn, meddaf, yn fwy nag at y gwrthwynebrwydd a brofodd. Weithiau, wedi i'r Gymdeithasfa wrthod ei chymeradwyaeth i'r Beibl bychan, ac i ddynion uchel eu cyfrif ac eang eu dylanwad osod eu hwynebau yn erbyn ei ledaeniad, arafodd ei werthiad yn fawr, safodd llawer o'r argraffiad ar law y cyhoeddwr, a pharodd iddo, yn ddiamheuol, golled fawr.

Er dangos y teimladau caredig a goleddai ei frodyr goreu tuag ato, er yr anghydwelediad poenus oedd wedi cyfodi rhyngddynt, mae yn hyfrydwch gennym osod ger bron ddyfyniad o lythyr a ysgrifennodd yr Hybarch John Jones, Ceinewydd:—"Yr wyf yn cofio pan oeddwn yn y Coleg yn y Bala, fod y diweddar Barch. John Elias yn un o'i ymweliadau â'r Efrydwyr, wrth ein cynghori, yn dweyd ei fod ef wedi bod yn pregethu am flynyddoedd lawer, heb ganddo un esboniad ar y Beibl yn ei feddiant, ond Esboniad Peter Williams. 'Yr ydwyf yn meddwl,' meddai, 'y cadwodd fy Nhad nefol fi rhag cyfeiliorni y pryd hynny;' ac ychwanegai, 'Esboniad byr a da ydyw; a dyn da a defnyddiol yn ei oes a fu efe.' Gwyddoch nad oedd gan Mr. Elias un gair da i'w ddweyd am y rhai oeddynt yn gwyro oddiwrth y wir athrawiaeth."

Clywsom yr arferai hen bobl yn sir Drefaldwyn ddweyd iddynt weled P. Williams ar daith trwy rannau o'r sir hono ar ol ei ymadawiad â'r Methodistiaid, gan nodi Cemaes, ger Machynlleth, fel un o'r mannau y bu ynddynt. Dywedir hefyd ei fod, yn ystod yr amser hwnnw, mewn Cymdeithasfa yn y Bala, ac yn pregethu ganol dydd ar yr heol. Wrth son am yr amgylchiad diweddaf, dywed Owen Williams: "Yr oedd llawer enaid yn galaru wrth yr olwg arno, ac yn dywedyd ei fod yn llawer mwy teilwng o'r areithle na neb a bregethodd y boreu na'r prydnawn." Heblaw hynny, yr ydym yn deall ddarfod i'r Annibynwyr a'r Bedyddwyr agor eu capelau i Mr. Williams ar ol y troad allan, ac yr arferai yntau bregethu ynddynt yn achlysurol. Yr oedd yn ddiameu yn wrthrych neillduol o gydymdeimlad a thosturi pawb a'i hadwaenai; ac nid oes ynom un awydd i ddrwgdybio amcanion y brodyr y dywedir iddynt agor eu capelau iddo dan yr amgylchiadau; ond gellir esbonio pethau felly mewn mwy nag un ffordd. Mae pleidiau crefyddol wedi bod yn llawer rhy brysur,—a gwynfyd na buasai hyn wedi darfod o'r tir yn yr oes hon,—i ymgaredigo a brodyr wedi eu disgyblu gan blaid arall, ac i'w derbyn i'w corlannau. Mae ymddygiadau o'r fath yn gyfystyr â chondemniad hollol ar geryddon eglwysig; a dyma yn ddiddadl ydyw un rheswm paham y mae disgyblaeth eglwysig mor isel ac mor anhawdd ei gweinyddu yn y blynyddau hyn, pan y mae yn yr eglwysi gynifer o broffeswyr yn rhoddi mwy o bwys ar allu dianc yn ddigosb nag ar ymddygiad teilwng o'u proffes.

Yr oedd Mr. P. Williams, flynyddau cyn ei doriad allan, wedi adeiladu capel yn Heol y dwr, Caerfyrddin, bron yn gwbl ar ei draul ei hun, fel y dywedir; a chadwodd feddiant o'r capel ar ol ymadael â'r Cyfundeb; ac yn y capel hwn y pregethai hyd ddiwedd ei oes, heb fod mewn undeb âg un blaid. Mewn atebiad i'r gofyniad a glywir weithiau, Pa fodd yr ydoedd yn gallu cadw meddiant o'r capel hwn, pan yr oedd wedi ei fwrw allan o'r Cyfundeb, da gennym allu rhoddi yr eglurhad canlynol o eiddo y Parch. J. Wyndam Lewis, Caerfyrddin, yr hwn, trwy ddyfod i gysylltiad â hen flaenoriaid y lle, a gafodd fantais i wybod y manylion am yr adeilad dan sylw:—

Adeiladwyd y capel cyntaf i'r Methodistiaid yng Nghaerfyrddin gan y Parchedig Peter Williams ar ei dir ei hun yn Heol y dwr, ac agos yn gwbl ar ei draul ei hun. Gosodwyd y garreg sylfaen i lawr Mehefin, 1771. Ac er i'r esboniwr enwog gael ei ddiarddel, a'i "fwrw allan o'r synagog" Fethodistaidd, o herwydd ei sylwadau ar y bennod gyntaf o Efengyl Ioan ar y Drindod Sanctaidd, y rhai a ystyrrid yn gyfeiliornus, am eu bod yn sawrio o Sabeliaeth, eto, am nad oedd y Weithred Gyfansoddiadol—*Constitutional Deed* y Corff—wedi ei gwneyd (canys hysbys yw mai yn y flwyddyn 1826 y gwnaed honno), nid allai y Gymdeithasfa gymeryd y Capel oddi arno. Cadwodd Mr. Williams feddiant o'r Capel hyd ddydd ei farwolaeth. Ond yn ei ewyllys gosododd adran i fewn i'r perwyl, mai y Methodistiaid Calfinaidd oedd i gael y Capel, ond iddynt dalu tri chant o bunnau i'w Ymddiriedolwyr ef. Cododd Mr. Charles a Mr. Harris yr arian ar unwaith, a throsglwyddwyd hwynt i ymddiriedolwyr Mr. Peter Williams, a daeth y Capel mewn canlyniad yn eiddo i'r Methodistiaid Calfinaidd. Cymerodd hynny le yn Awst, 1797. Yr Ymddiriedolwyr oeddynt, y Parchn. D. Jones, Llangan; D. Griffiths, Nevern; J. Davies, Abernant; a Mri. D. Charles, W. Lloyd, Henllan, a J. Bowen, Ty gwyn, Llangunnor.

Gan fod rhai galluocach yn teimlo anhawster i benderfynu pa un ai cam ai cymwys oedd ymddygiad y Methodistiaid at Peter Williams, nis gellir disgwyl i ysgrifennydd yr erthyglau hyn ymgymeryd â gwneyd

hynny. Ond mewn trefn i allu ffurfio dirnadaeth gywir am yr achos, tybiwn y dylid rhoddi ystyriaeth bwyllog i'r pethau canlynol:—

1. Yr oedd y Methodistiaid, i bob amcan, yn Gorff er's blynyddoedd, yn meddu trefniadau neillduol, ynghyda daliadau ar byncian crefydd; ac er nad oedd ganddynt ar y pryd Gyffes Ffydd o'r eiddynt eu hunain, eto yr oedd yn ddealledig eu bod yn cymeradwyo ac yn derbyn erthyglau Eglwys Loegr fel eu credo athrawiaethol.

2. Yr oedd crefyddwyr Cymru, a'r Methodistiaid yn eu plith, yn dra eiddigus yn yr oes honno dros yr athrawiaeth iachus, ac edrychid gydag amheuaeth ar unrhyw un y tybid ei fod yn gyfeiliornus ei farn ar rai o brif byncian y grefydd Gristionogol.

3. Mae yn amlwg nad oedd mwyafrif y Methodistiaid yn ystyried y syniadau a goleddid ac a gyhoeddid gan Peter Williams ar y Drindod yn uniongred.

4. Yr oedd Mr. Williams yn parhau i amddiffyn ei olygiadau ymysg ei frodyr ac yn ei ysgrifeniadau, er gwybod fod y Corff y perthynai iddo yn eu condemnio fel cyfeiliornad; a hyd y mae yn ymddangos, nid oedd yn addaw peidio gwneyd hynny yn y dyfodol.

5. Dylid cydnabod fod pob lle i gredu fod Peter Williams yn hollol gydwybodol yn ei amddiffyniad i'w ddaliadau, oblegid nis gellir meddwl y buasai yn parhau i'w hachlesu dan y fath amgylchiadau pe heb fod yn argyhoeddedig ei fod yn amddiffyn y gwirionedd.

6. Yr oedd llawer o wyr blaenaf y Corff y pryd hwn yn dystion o ganlyniadau alaethus yr ymraniad a gymerasai le rhwng Harris a Rowland ddeugain mlynedd yn flaenorol; a diameu eu bod yn arswydo wrth feddwl am i ddim cyffelyb gymeryd lle drachefn yn eu hanes.

7. Yn ol pob peth oedd yn ymddangos ar y pryd, nid oedd ond ymraniad arall i'w ddisgwyl, oni ddygid yr ymddadleu yn achos Peter Williams i ryw derfyniad buan.

8. Yr oedd ymadroddion chwerwon, fel y dywedir, wedi eu defnyddio gan y naill ochr a'r llall yn ystod y ddadl, a theimladau mewn canlyniad wedi dyfod i mewn i'r helynt, fel yr oedd pob gobaith am heddwch wedi llwyr ddiflannu.

9. Nid oes sail i dybied fod gan y Gymdeithasfa un amcan i ddrygu yr hen weinidog yn ei gymeriad na'i amgylchiadau. Yr oedd wedi bod yn aelod ffyddlawn a gweithgar o'r Cyfundeb am 46 mlynedd, ac wedi gwneyd ymdrechion tu hwnt i neb o'i frodyr er lleshau ei wlad a'i genedl; ac erbyn hyn yr oedd ei ddiwrnod gweithio ar derfynu. Ac os oedd rhai personau, fel Nathaniel Rowland, yn analluog i werthfawrogi y pethau hyn, mae pob lle i gasglu nad oeddynt ond ychydig nifer; a bod y gweddill yn awyddus, pe yn bosibl, i'w gadw yn y Cyfundeb.

10. Wrth geisio ffurfio barn am y drafodaeth anniddan hon, a'r modd y terfynodd, dylid cofio beth oedd cymeriad a dylanwad y rhai oedd yn bresennol ac yn cymeryd rhan ynddi: dynion fel Mr. Jones, o Langan, a Mr. Charles, o'r Bala, ynghyda lliaws o hen gyfeillion Mr. Williams, a'i frodyr yn y weinidogaeth; a chyn belled ag y gellir barnu, nid oedd gan y gwyr hyn ddim i'w wneuthur ond edrych ar yr oruchwyliaeth a ddefnyddiwyd fel mater o angenrheidrwydd poenus.

Dan yr amgylchiadau hyn, nid yw yn hawdd gweled beth oedd gan y Methodistiaid i'w wneyd yn achos Peter Williams amgen nag a wnaethant. Ar yr un pryd, mae lle i ofni fod llymder afreidiol

wedi ei arfer ynglyn a'r amgylchiad; megis gwahardd i neb o'r aelodau gymdeithasu ag ef yn bersonol, na myned i'w wrando yn pregethu dan boen diarddeliad. Canlyniad pethau afresymol o'r natur yma oedd chwanegu tristwch ar dristwch iddo ef yn ei hen ddyddiau, a chwerwi teimladau ei gyfeillion, a dwyn y Gymdeithasfa i ddirmyg.

Bu Peter Williams fyw bump neu chwe blynedd ar ol ei ddiarddeliad. Ymddengys ddarfod i'r amgylchiad hwnnw effeithio yn fawr ar ei iechyd. Traddododd ei bregeth ddiweddaf i gynulleidfa liosog yng Nghapel Heol y dwr, Caerfyrddin, ar ddydd Saboth; a chyda chyfeiriad at yr amgylchiad dywedir :—"Dygodd ei bregeth y dydd hwnnw y fath syndod i feddyliau y gwrandawyr, wrth mor wael yr olwg arno, ac wrth mor beraidd a bywiog yr oedd efe yn dyrchafu baner Iesu; yn enwedig pan y dywedodd ar goedd y dyrfa, ei fod yn credu mai dyma y bregeth olaf a gai ef lefaru, cyn cartrefu gyda'r angylaidd lu ar ddeheulaw y Tad."

Pan oedd ei fab, y Parch. Peter Bayley Williams, Llanrug, fel yr adnabyddid ef mewn blynyddoedd diweddarach, ar ymweliad â'i Dad, ychydig cyn ei farwolaeth, ysgrifennodd y llythyr canlynol at ei frawd, yn cynnwys hanes am ei hybarch Dad ychydig ddyddiau cyn ei ymddatodiad.

Gelli, nos Wener, Awst 5, 1796.

Fy anwyl frawd,

Yn ol pob ymddanghosiad, bydd y post nesaf yn dwyn i chwi hanes marwolaeth fy anwyl dad.

Pan ddaethum yma bythefnos i ddoe, gwelwn er fy ngalar ei fod wedi newid yn fawr er gwaeth; ac ymgynghorais yn union â Dr. Davies, y meddyg enwocaf yn y rhan yma o'r wlad. Dywedodd wrthyf ei ofnau ar unwaith; ei fod yn ofni fod cyfansoddiad fy nhad yn tori i fyny, fel y dywedai; ond y gwnai ef bopeth yn ei allu ar ei ran. Drannoeth aeth fy nhad a minnau at y Doctor drachefn, a chawsom gyfarwyddiadau ganddo; ond oblegid gwrthwynebiad fy nhad i gyfferi meddygol, gwrthododd gymeryd dim; o'r hyn lleiaf, ni ddarfu iddo gydymffurfio â chyfarwyddiadau y meddyg. Ei anhwylderau ydynt pesychu, diffyg anadl, poeri swm mawr o sylwedd gwyn, ac y mae ei goesau yn chwyddo yn fawr. Yr unig gynhaliaeth y mae wedi ei gymeryd er pan ydwyf yma ydyw cocoa, tê, cawl, gwin a dwfr, &c. Pregethodd yng Nghaerfyrddin bythefnos i'r Sul diweddaf, ac yn Llanlluan y Saboth dilynol. Yn y lle cyntaf, pregethodd yn rymus ac effeithiol i gynulleidfa fawr; ac yn y diweddaf, yr oedd yn amhosibl i'r mwyaf anystyriol ddal dan ei apeliadau difrifol; ond yr hyn a chwanegai at brudd-der yr olygfa oedd, ei fod yn siarad ac yn edrych fel dyn yn marw; ac yr oedd yr holl gynulleidfa yn wylo yn hidl wrth feddwl na chaent ei weled byth mwy.

Y mae yn parhau i godi yn foreu, - neu gwnai hynny hyd o fewn ychydig ddyddiau yn ol, - ac yn dilyn ei efrydiau arferol. Mae yn hynod o dduwiolfrydig ei ysbryd, ac yn hollol dawel dan ei holl flinderau. Parhaodd y weddi deuluaidd tra y gallodd dorri geiriau. Y Saboth diweddaf gofynodd i Bowen, yr hwn oedd yn bresennol, fyned i weddi, gyda dweyd, "Ei fod ef yn analluog oherwydd diffyg anadl." "Tra yr oeddwn yn gallu," meddai, "fy hyfryd waith oedd neshau at orseddfainc y gras."

Ddoe, pan ddygodd fy mam iddo ychydig o lymru a gwin, safodd i fyny i ofyn bendith, er yn gwegian gan wendid, ac heb fod yn ddealladwy iawn cyn hynny, a dywedodd y geiriau canlynol mor eglur ag y clywais ef erioed :—"Anwyl Arglwydd, a gaf fi'r fraint unwaith yn ychwaneg o neshau o dy flaen, a llefaru wrthyt, a deisyf dy fendith? Beth a ddywedaf? Rhyfedd wyt ti ymhob peth, tu yma i golledigaeth ac uffern. Dysg i mi ymostwng i dy ewyllys, a dywedyd gyda'r hen Eli, 'Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg.'"

Mae fy mam druan yn drallodedig iawn, ac ymhell o fod yn iach; ofnaf na bydd iddi fod yn hir ar ei ol.

Yr wyf wedi cynnyg gwerthu y Capel yn Heol y dwr, mewn trefn i dalu ei ddyledion. A oes gennych rhyw wrthwynebiad? Mae y Methodistiaid wedi

cynnyg £250 am dano. Bydd yr elw oddiwrth y Beiblau mawr yn ddigon i gyfarfod y draul ynglyn â'r Beiblau bychain: a bydd £200 arall, feallai, yn ddigon i glirio yr oll. Mae wedi gwneyd ei ewyllys yn ffafr fy mam, wrth gwrs; ac wedi gadael y cwbl iddi hi tra y bydd byw, a'r gweddill, ar ei marwolaeth hi, i fyned i David Humphreys a'i blant.*

Yr wyf wedi gwylied fy nhad nos a dydd er pan ddaethum adref, ac ni chanfyddais erioed agwedd meddwl mwy nefolaidd. "Aethum ar fy ngliniau i weddio ar fy anwyl Iachawdwr," meddai un diwrnod, "ond yr oeddwn mor wan fel mai prin y gallwn godi oddiar fy ngliniau."

Ddiwrnod neu ddau yn ol, ymwelodd offeiriad o'r gymdogaeth âg ef, a'r unig ran ddifrifol o'r ymddiddan oedd cyngor i fy nhad i beidio bod yn isel ei feddwl; neu fel y dywedai ef, "peidio gadael i'w galon fynd i lawr." "Nis gall fynd ymhell, syr, canys y mae craig o dani," oedd ateb cyrhaeddgar ac effeithiol fy nhad.

Mae fy mhapur yn fy ngorfodi i derfynu. Bydd fy llythyr nesaf, yr wyf yn ofni, yn dwyn newydd drwg.—Yr eiddoch yn serchog,

PETER WILLIAMS.

Parch. Mr. Williams,
213, Oxford-street, London.

Bu Mr. Peter Williams farw yn dangnefeddus ddydd Llun, Awst 8fed, 1796, yn 76 mlwydd oed, a chladdwyd ef ym mynwent Llandyfaelog, gerllaw Caerfyrddin. A ganlyn ydyw ei feddargraff:—"Yma y gorwedd gweddillion y Parchedig Peter Williams, yn ddiweddar o'r Gelli Lednais, yn y plwyf hwn. Cysegrodd ei holl fywyd er dyrchafu ei gydwladwyr yn dymhorol ac yn ysbrydol. I'r amcan hwn cyhoeddodd dri argraffiad o'r Beibl Pedwar-plyg yn Gymraeg, gyda Sylwadau ar bob pennod. Cyhoeddodd hefyd argraffiad o Feibl Wyth-plyg, a Mynegair Cymraeg, ynghyda nifer o draethodau bychain, gan mwyaf yn Gymraeg; am hyn oll gellir dywedyd yn gywir, na dderbyniodd ond anniolchgarwch ac erledigaeth. Parhaodd i lafurio gyda ffyddlondeb a diwydrwydd fel Gweinidog yr Efengyl am 53 mlynedd; a bu farw yn gorfoleddu yn Nuw ei Iachawdwr, Awst 8fed, 1796, yn 76 mlwydd oed. 'Canys nid gelyn a'm difenwodd; yna y dioddefaswn: nid fy nghasddyn a ymfawrygodd i'm herbyn; eithr chwi, y rhai oedd felus gennym gyd-gyfrinachu, ac a rodiasom i dŷ Dduw ynghyd.'"

Yr oedd Peter Williams, o du ei fam, yn hanu o deulu Dr. Lewis Bayley, Esgob Bangor, awdwr hyglod "Yr Ymarfer o Dduwioldeb." Dywedir ei fod o ymddanghosiad boneddigaidd ac urddasol; yn gogwyddo at fod yn dal, ei wynepryd braidd yn hir, ac o liw gwelw; a phob amser yn drefnus a glanwaith yn ei wisg a'i berson. Yr oedd hefyd o gyfansoddiad corfforol cryf, ac yn meddu ysbryd eofn a phenderfynol, fel pe wedi ei gymhwyso i ymgymeryd â theithiau blinion a pheryglus.

Enw morwynol ei wraig oedd Mary Jenkins, merch Morgan Jenkins, Llanlluan, sir Gaerfyrddin. Cafodd addysg dda pan yn ieuanc; ac wedi tyfu i oedran perchid hi gan bawb o'i chydnabod oblegid ei synwyr da a'i chywirdeb, ac fel un oedd yn feddiannol ar dymer heddychlon a duwioldeb diamheuol. Dywedir yr arferai, pan wedi myned mewn gwth o oedran, a'i golygon i fesur wedi pallu, ofyn i'w hwyrion ddarllen pennod iddi o'r Beibl gyda Sylwadau ei phriod arni. Bu farw Mawrth 8fed, 1822, yn yr oedran teg o 97; wedi goroesi ei phriod 26 mlynedd.

* Mab ynghyfraith Peter Williams, a thad, fel y tybiwn, y Parch. David Humphreys, Llandyfaelog, a fu yn pregethu am 44 mlynedd, ac a fu farw Mawrth 23, 1860, yn 69 mlwydd oed.

Bu iddynt chwech o blant, tri mab a thair merch. Dygwyd dau'r o meibion i fyny yn offeiriaid yn yr Eglwys Sefydledig; sef, Eliezer Williams, Periglor Llanbedr Pont Stephan, Ceredigion, a fu farw Ionawr 20fed, 1820, yn 66 mlwydd oed; a Peter Bayley Williams, Periglor Llanberis a Llanrug am 44 mlynedd, ac a fu farw Tachwedd 22ain, 1836, yn 72 mlwydd oed. Dywed y Cofiant fod y mab arall, John Williams, wedi marw Mawrth 17eg, 1793, yn 32 mlwydd oed.

Cyfansoddwyd nifer o farwnadau am Peter Williams gan frodyr,—gweinidogion perthynol i enwadau ereill gan mwyaf, oedd wedi cyfeillachu a chydlafurio âg ef am flynyddau; ac y mae yn amlwg fod ganddynt feddyliau uchel am dano fel gwr cywir, llafurus yn ei oes, a gweinidog cymwys y Testament Newydd. Y maent oll yn cyfeirio at brofedigaethau Mr. P. Williams; rhai o honynt yn amddiffyn ei olygiadau, ac ereill yn fwy cymhedrol, ond yn beio y Methodistiaid oblegid y driniaeth a gafodd ganddynt. Rhaid i ni foddloni ar roddi ychydig o benniIlion fel esiamplau o'r marwnadau hyn. Fel yma y canai Thomas Williams, Bethesda, Morgannwg:—

Fe chwedleuodd yn dy erbyn
  Ddynion rai o ddoniau mawr,
Dynion ereill isel raddau
  Geisiodd dynnu d' enw lawr;
Ti gest wawd oddiwrth bob enw,
  Ti gest wawd oddiwrth bob dawn,
Plant dy fam edrychodd arnat
  Megis estron dieithr iawn.

Cadd ei guro, nid mewn cariad,
  Gan y cyfiawn is y nen;
Waith eu holew pennaf dorrodd
  Glwyfau dyfnion ar ei ben;
Ond mae'r clwyfau dyfnion hynny,
  Heddyw'n holliach yn y nef,
Gadd e'n nhŷ ei garedigion
  Ym mhrydnawn ei fywyd ef.

'Cymryd ôg i ddyrnu ffacbys
  Wnaeth dy frodyr (gwyro 'mhell),
Troisant olwyn men ar gwmin,
  Pan oedd gwïail lawer gwell;
Geiriau llym, fel brath cleddyfau,
  Leflwyd atat heb ddim rhi,
Saethau tân, ac arfau marwol
  Gymrwyd i'th geryddu di.

Gwelais ef ar amser hyfryd,
  Megis Job ym moreu 'i oed,
Llewyrch parch yn twnnu arno,
  Heb un cwmwl ar ei glod;
Ienctid iddo yn ymgrymu,
  Henaint iddo yn rhoi lle,
Pawb atalient eu madroddion,
  Tawent pan lefarai efe.

Gwelais wedyn rai oedd iengach
  Nag efe o lawer iawn,
Llai mewn dysg a llai mewn profiad,
  Llai mewn deall, llai mewn dawn;
Rhai anenwog yn ei watwar,
  Fe eu testyn, fe eu cân,
Yn lle'r parch, yn lle'r anrhydedd,
  Yn lle'r enw gas e o'r blaen.

Na chondemnied neb fy nghanu,
Cariad cryf a hiraeth mawr,
Wnaeth i'm hawen gysglyd ddeffro,
A rhoi'r pin sgrifennu lawr:
Does gen' innau ond dyddiau byrion,
Cyn rhoi 'm hana'l ola' i ma's,
A chael gorwedd fel mae yntau,
Obry tan y ddaear las.

A dyma fel y canai Ioan Thomas, Rhaiadr :—

Mab y daran oedd ei enw,
I argyhoeddi cadd ei alw;
Codi ei fwyell yn y goedwig,
Rhybuddio pechaduriaid styfnig;
Rhai a'i rhoddent dan ei glwyfau,
Nes rhedai 'i waed i lawr ar brydiau;
Nid llwfrhau yna wnai,
Ond ymgryfhau o'r newydd;
Yn addfwyn fe ddioddefai gystudd,
Fel milwr da i Grist yr Arglwydd.

Mae'n dyfod allan dri argraffiad,
O'r Beibl mawr dan ei olygiad,
Nodau a sylwiadau hynod,
Wedi gwneuthur ar bob pennod;
Trysor na bu 'n iaith y Cymry
Erioed o'r blaen ei fath hyd heddy';
Perl a gawn, gwerthfawr iawn,
Ag sydd yn llawn meluster;
'Nawr trwy Gymru maent heb brinder,
Yn nheiau ac yn nwylaw llawer.

Daeth dydd i feibion Duw ymddangos
Ger ei fron ef, ar ryw achos,
Ac yn eu plith daeth Satan yntau,
Fel llew rhuadwy 'n disgwyl gwallau;
Beunydd mae'n ymdroi o ddcutu,
Gan geisio'r neb a allo lyncu.
Y ddraig goch fawr sydd yn awr,
Am guro i lawr weiniaid;
O na bae 'n llygaid yn agored
I weld mwy o'i ddichellion tanbaid.

Fe gafodd groes cyn mynd oddiyma,
Ac nid llai nag un o'r tryma';
Gweled brodyr yn dieithrio,
Ac yn oer yn edrych arno;
Och, pwy roddai 'i bwys ar ddynion?
Cans cyfnewid mae cyfeillion.
Diangodd e, aeth i dre,
I'r Ganaan le tawel,
Lle nad oes byth ddim son am ryfel
Rhwng y plant, na dim ymrafel.

Gwell fuasai ymdrin yn fwy tirion,
A dwyn beichiau Pedr ffyddlon;
Gormod sydd o rodio'n ddynol,
A rhy fach o gariad brawdol;
Fe wnaeth balchder a chenfigen
Ryw rwygiadau cas aflawen;
'Rhyn fu 'n loes, ymhob oes,
I'r werinos bercrinion,
Sydd yn teithio tua Seion,
Trwy ganol byd sy'n llawn gelynion.

Tebygwn fod y nef yn gwenu,
Weld Pedr wedi dod i fyny;
Myrdd myrddiwn gydag ef mewn undeb
Yn moli'r Oen fu yn y preseb;
Nid ydym ni sydd yma isod,
Ond fel breuddwydio am ei Dduwdod;
    Duw a dyn, yno'n un,
    Rhyfeddod diddarfod:
'Nol mynd oddiyma i'r wlad uchod,
Cawn weld dirgelwch mawr y Duwdod.

Cyn ymddatod efe a ddwedai,
"Mi wela'r ffordd yn rhydd trwy angau,
Y rhwystrau oll sydd wedi eu symud,
Mi wn i bwy y credais hefyd;
Y Graig, y Graig, sydd oddi tanaf,
Ac am hynny mwy ni soddaf:
    Gorffonnwyd, do, boed mewn co',
    Rhyfeddol iachawdwriaeth;
Pob peth sydd barod, rhad a helaeth,
Dim ond eu derbyn heb amheuaeth.

"'Rwyf bron gorffen ar fy ngyrfa,
Rhaid inni oll ymadael yma;
Ar fyrder cawn gyfarfod eto
Tu draw i angeu heb ymado;
'Rwyf wedi darfod yn dragwyddol
A'r byd, a'i bethau gwag daearol;
    'Does genny'n hwy, dan fy nghlwy,
    Un achos mwy i amau
I bwy credais, gwn yn ddïau,
Mae'n ffyddlawn i'w addewid olau."

Un mil saith cant, naw deg hefyd,
Chwech yn rhagor yr un ffunud,
Ydoedd oedran y Messiah,
Pan aeth Pedr i'w orffwysfa;
Yn un ar bymtheg mlwydd a thriugain,
Rhowd ef i orwedd yn y ddaearen;
    Yr wythfed dydd o Awst yn brudd,
    Fe aeth yn rhydd o'i ofid,
Ei gorff a rowd mewn bedd dros enyd,
Nes dêl yr adgyfodiad hyfryd.

**Ei *Weithiau Llenyddol*.**—Y mwyaf adnabyddus ydyw y Beibl Teuluaidd, yn cynnwys Sylwadau neu Esboniad ar bob pennod, Salmau Cân Edmund Prys, ynghyda lliaws o Dablau. Dywedir mai hwn oedd y Beibl cyntaf a argraffwyd yng Nghymru, a'r Esboniad cyntaf ar yr holl Feibl a gyhoeddwyd yn yr iaith Gymraeg. Fel y mae'n hysbys, daeth yr argraffiad cyntaf allan yn 1770; a chyhoeddwyd agos i ugain mil o gopïau yn ystod bywyd yr awdwr. Daeth yn fuan mor boblogaidd fel nad oedd odid deulu crefyddol yn y Dywysogaeth na welid "Beibl Peter Williams" ar y bwrdd amser y Ddyledswydd Deuluaidd. Daeth allan liaws o argraffiadau o hono yn y ganrif bresennol; a dichon nad annyddorol fydd y rhestr ganlynol, er nas gallwn sicrhau ei bod yn gyflawn.

1770. Caerfyrddin: Argraffwyd dros y Parchedig Mr. Peter Williams, gan Ioan Ross. 4 plyg. Cynnwysai y Beibl hwn ddwy barthlen *(maps)*, "Teithiau Israel yn yr Anialwch," a "Teithiau yr Apostolion;" ac yn argraffedig arnynt, "Rhodd Rhist. Morys, Esr., L.L.C.C. i'r Cymry."

1781. Caerfyrddin: Argraffwyd dros y Parchedig Mr. Peter Williams, gan Ioan Ross. 4 plyg. Gan mai 1779 sydd ar wyneb-ddalen yr Hen Destament, dywedir weithiau mai yn y flwyddyn honno y daeth yr argraffiad hwn allan; ond

1781 sydd ar wyneb-ddalen y Testament Newydd, a Salmau Edmund Prys ar y diwedd.

1788. Argraffwyd yn Nhrefecca. Gadewir yr argraffiad yma allan gan amryw ysgrifenwyr; a chan na welsom gopi o hono, nid ydym yn sicr a ydyw yn gywir; ond rhoddir ef i mewn ar awdurdod "Llyfryddiaeth y Cymry."

1797. Caerfyrddin: Argraffwyd dros y Parchedig Mr. Peter Williams, gan Ioan Ross. 4 plyg. Yr amseriad ar y wyneb-ddalen ydyw 1786; ond 1797 sydd o flaen y Salmau Cân yn niwedd y gyfrol. Dywedir fod yr awdwr wedi paratoi llawer o'r gwaith cyn marw, ac iddo gael ei orffen gan ei fab.

1805. Caerlleon: Argraffwyd gan W. C. Jones. 4 plyg.

1807. Caerfyrddin: Argraffwyd dros Mr. David Humphreys, gan John Evans. 4 plyg.

1811. Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Evans. 4 plyg.

1815. Merthyr Tydfil: Argraffwyd gan William Williams. 4 plyg.

1822. Caernarfon: Argraffwyd gan Lewis Evan Jones. 4 plyg.

Mae darlun o Peter Williams gyda'r argraffiad hwn, ac yn argraffedig ar y ddalen, "*From an Engraving in the Gospel Magazine*, 1777." Mae y darlun o ran celfyddyd yn rhagorol; ond a ydyw yn ddanghosiad cywir o P. Williams sydd fwy nag y gallwn ei sicrhau. Ymhen amryw flynyddoedd ar ol cyhoeddiad yr argraffiad, mae y Parch. Peter Bayley Williams, mewn llythyr at "Mr. Gwyliedydd," yn achwyn yn dost ar y darlun a'r cyhoeddwr. Dywed: "Nid yw y darlun *(portrait)* a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn y Beibl Cymraeg, a argraffwyd yng Nghaernarfon, yn debyg i fy mharchedig dad, mewn pryd, na gwedd, na lliw, na llun, na chorffolaeth. Gwelais gynt ddarlun o honno wedi ei dynnu yng Nghaer Odor (*Bristol*), yr hwn oedd yn hollol annhebyg i'r un rhagflaenol; ac yno yr oedd yn ymddangos mewn gown du a band, a'i wallt yn rhanedig, yn lled debyg i lun Mr. John Wesley, a'i law ddeheu ar y pulpud, a'i aswy ar ochr ei wyneb, fel y byddai arferol wrth bregethu, ac o danodd yr oedd y geiriau hyn—'*The Rev. Peter Williams, of Carmarthen, Chaplain to the Countess of Huntington.*'" Tueddir ni i dybied y gellir tynnu cryn lawer oddiwrth y cymeriad a rydd y gwr parchedig i ddarlun ei dad gan y cyhoeddwr o Gaernarfon; oblegid yr oedd Mr. Bayley Williams, fel y dywed ef ei hun, wedi anfon "rhybudd ysgrifenedig," rai blynyddau yn flaenorol, at L. E. Jones, i beidio cyhoeddi Beibl ei dad, am ei fod ef a'i frawd hynaf wedi rhoddi eu hawl, fel ysgutorion eu tad, i Mr. D. Humphreys, eu brawd ynghyfraith; ac yntau yn bwriadu rhoddi y gwaith i Jonathan Harris, argraffydd, Caerfyrddin. "Ac eto, er hyn oll," medd Mr. Bayley Williams, "tybiodd y gwr uchod yn dda i ddiystyru y rhybudd, a myned ymlaen a'r gorchwyl."

1823. Caerfyrddin: Argraffwyd gan Jonathan Harris. 4plyg.

1823. Llundain: Argraffwyd gan Henry Fisher and Co. 2plyg.

Mae darlun o'r Parch. Peter Bayley Williams, "Rector of Llanrug and Llanberis." gyda'r argraffiad hwn. Ar ddalen ynglyn âg un copi, yn cynnwys hysbysiad, fel y tybiwn, am yr argraffiad hwn gan Fisher, gwelsom yr hyn a ganlyn:—"Mae yr argraffiad hwn yn cael ei argraffu oddiwrth Copy Teulu'r Awdwr; pa un sydd wedi cael ei profedig a diwygedig gan yr enwog Bardd ac ardderchog Ysgolhaig, y Parch. Evan Evans (Ieuan Brydydd Hir), a mai hefyd wedi myned dan ail olygiad gan mab yr Awdwr, y Parch. P. B. Williams. Yn y terfyn o'r gwaith fe tydd COFIANT YR AWDWR wedi ysgrifenu gan ei hun, a dan olygiad ei fab." Gyda'r argraffiad hwn y cyhoeddwyd Cofiant yr awdwr am y waith gyntaf.

1829. Caernarfon: Argraffwyd gan L. E. Jones. 4plyg.

1831. Llundain: Argraffwyd gan Henry Fisher and Co. 2plyg.

1832. Caerfyrddin: Argraffwyd gan Jonathan Harris. 4plyg.

1835. Caerfyrddin: Argraffwyd gan Edward Morris. 4plyg.

1836. Llundain: Argraffwyd gan y London Printing and Publishing Co. 2plyg.

1837. Caernarfon: Argraffwyd gan L. E. Jones. 4plyg.

1838. Llundain: Argraffwyd yn Argraffwasg Caxton, gan Henry Fisher (Argraffydd yn Gyffredin i'r Brenin). Cyhoeddedig yn 38, Heol Newgate, a chan holl Gwerthwyr Llyfrau y Deyrnas.

1846. Llundain: Argraffwyd gan Henry Fisher and Co. 2plyg.

1863. Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan y London Printing and Publishing Company. 2plyg.

1868. Llundain: Cyhoeddwyd gan William Mackenzie. 4plyg.

1770. Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg. Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Ross. 8plyg.

Cyhoeddiad pythefnosol oedd yr "Eurgrawn Cymraeg," pris tair ceiniog y rhifyn; ac yn cael ei olygu gan Peter Williams, ac Ifan Thomas, argraffydd, a "Bardd Cymreig o Sir Drefaldwyn." Daeth y rhifyn cyntaf allan ddydd Sadwrn, Mawrth 3, 1770, a'r olaf ddydd Sadwrn, Medi 15, o'r un flwyddyn, yn gwneyd pymtheg rhifyn. Hwn oedd y cyhoeddiad cyfnodol cyntaf yn yr iaith Gymraeg.

1773. Mynegair Ysgrythyrol. Caerfyrddin: Argraffwyd, dros yr Awdwr, gan J. Ross. 4plyg.

1790. Y Bibl Sanctaidd (Beibl Canne). Trefecca: Argraffwyd dros y Parchedig gyhoeddwyr, P. Williams, a D. Jones. 8plyg.

Yr uchod ydynt brif weithiau Mr. P. Williams, ond cyfansoddodd a chyfieithodd nifer o draethodau bychain ereill: megis y rhai canlynol:— "Myfyrdod y Claf." Caerfyrddin, Argraffwyd gan Evan Powell (1759). "Traethawd defnyddiol am Benarglwyddiaeth Duw, gan Eliseus Cole" (cyf.). Bristo, Argraffwyd gan John Graham a William Pine (1760). "Gweinidog wedi marw yn llefaru eto; sef dwy Bregeth ar Farwolaeth George Whitfield" (cyf.). Caerfyrdddin, Argraffwyd dros y Cyfieithydd gan J. Ross (1771). "Galwad gan wyr Eglwysig at bawb ffyddlon, i gydsynio mewn Gweddi, yn enwedig tra parhao'r rhyfel presenol." Caerfyrddin, Argraffwyd gan John Ross (1781).. "Cydymaith mewn Cystudd." Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross (1782). "Ffordd anffaeledig i Foddlonrwydd" (cyf.). Caerfyrddin (1783). "Y Briodas Ysbrydol" (pregeth). Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross (1784). "Ymddygiad Cristianogol" (cyf.). Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. dros P. Williams (1784). "Cyfoeth i'r Cymry" (cyf. o Toplady). Caerfyrddin (1788). "Marwnad y Parch. Daniel Rowlands" (1791). "Goruchwyliaeth Crist" (cyf.). Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel (1792). "Tafol Gywir i bwyso Sociniaeth." Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel (1792). "Dirgelwch Duwioldeb.' Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel (1792). "Gwreiddyn y Mater" (1791).

*Bangor.* EDWARD JONES.

---

# DADBLYGIAD.

*Traethawd ar Ddatblygiad yn ei berthynas â'r Cwymp, yr Ymgnawdoliad, a'r Adgyfodiad.* Gan y Parch. D. ADAMS, B.A., Bethesda. Caernarfon: Cwmni'r Wasg Genedlaethol Gymreig. 2s.

Y MAE Dadblygiad yn yr awyr. Wedi gweled fod mater yn ymffurfio i wahanol agweddau, a ffurfiau ar fywyd yn ymgodi o raddau is i raddau uwch, fe dybiwyd y ceid yn hynny esboniad llawn ar ddameg y greadigaeth, ac nad oedd mwyach un angen i son am Dduw personol yn Greawdwr iddi, ond fod bodolaeth *mater a nerth* yn ddigon i gyfrif am yr holl ddirgelwch. Fe dybid fod rhyw nwyon ac elfennau nifwlaidd yn bod, a'r rhai hynny, trwy ryw ynni cynhennid, yn ymwthio ymysg eu gilydd, a than weithrediad nerth, nad oes a all ei esbonio, yn ymgrynhoi ac yn dyfod yn fater. Darfu i hwnnw, rywfodd, gymeryd ffurf fywydol, — yn gyntaf yn y llysieuyn, yna mewn ffurf isel o fywyd anifeilaidd. Yn ol [illegible] yn ymgodi, yn nhreigliad anfeidrol barhad, o ffurfiau is i rai uwch, nes o'r diwedd

ei gael mewn dyn yn y wedd berffeithiaf ar fywyd sydd eto wedi ymddangos. Ond fel mai yn dra arafaidd,—yn gymaint felly fel nad ellir ffurfio unrhyw syniad am feithder y cyfnodau,—yr oedd y nwyon gwasgaredig yn dyfod yn fater, a hwnnw yn cymeryd ffurf fywydol, ac yn y wedd honno yn ymweithio, na wyddys pa un ai wrth ddeddf ai wrth ddamwain, i'r gwahanol organiaethau o drychfilod ac anifeiliaid, o bysgod ac adar; a'r holl rywogaethau hynny yn ymgodi yn barhaus i berffeithrwydd uwch,—felly isel iawn ar y dechreu oedd y ffurf ddynol, ac yn hynod o araf y daeth i'r wedd sydd arni yn awr. "Brawd," yn llythrennol, ydoedd y dyn i'r pryf. Ond wrth barhau i ymweithio, fe ddadblygodd alluoedd uwch. Trwy weithrediad ei synhwyrau corfforol, fe ddeffrowyd o'i fewn rhyw ymadferth o feddwl; ac yn ei ymwneyd â'i gyd-ddyn, fe ddaeth i allu siarad, a barnu, ac ymresymu. Ac ymhen amser, wrth weled fod ei gryfach yn gallu ei gosbi, fe ddeffrowyd cydwybod o'i fewn, ac fe ddaeth i wahaniaethu rhwng da a drwg,—hynny yw, rhwng yr hyn oedd yn boddhau, a'r hyn oedd yn anfoddhau y neb oedd yn drech nag ef. Ac wedi i'r hwn a lwyddasai felly i osod ei ofn yn gymaint arno farw, eto yr oedd ei ofn yn parhau, ac yn peri iddo ddychmygu fod hwnnw yn bod wedyn, ac yn para i feddu gallu arno; ac o hynny, fe gafwyd y syniad am dduw neu dduwiau, a byd arall, ac anfarwoldeb. Ac wedi dyfod mor bell â hynny, yr oedd yr ysgolor ar ben y ffordd i'r cyraeddiadau mawrion mewn gwybodaeth a doethineb sydd bellach wedi agor o'i flaen yr holl gyfrinion, ac yn peri ei fod yn "gwybod y dirgelion oll, a phob gwybodaeth." Dyma yr allwedd sydd i ddatgloi holl byrth gwybodaeth a doethineb, ac i'n dysgu am bob peth a fu, sydd, ac a ddaw. Mae Duw wedi ei droi allan o'r greadigaeth; nid ydyw crefydd yn beth y gelwir arnom mwyach i gymaint â meddwl am dani; ac nid ydyw gobaith y fuchedd dragwyddol ond breuddwyd gwag. Dadblygiad yw yr Alpha a'r Omega, ac nid oes dim arall yn deilwng i feddwl am dano fel esboniad pob dirgelwch.

Yr oedd hyn oll yn cael ei ddysgu gan ddynion oeddynt, o fewn eu cylch priodol eu hunain fel gwyddonwyr, yn awdurdodau tra uchel; ac er nad oedd eu damcaniaethau ond dyfaliadau, eto fe honnid iddynt awdurdod ag oedd yn hawlio bod yn derfyn ar bob ymofyniad. Nid yw yr honiadau a wneir felly yn awr mor groch ag y buont; eto fe geir rhai y dyddiau hyn yn eu gwneyd yn dra hyderus. Mewn llyfr hanner gini a ddaeth allan y dydd o'r blaen o wasg Llundain, "Evolution and Religion," gan A. J. Dadson, dysgir fod "duwinyddiaeth, gyda'i daliadau isel, truenus, wedi ysgaru y galon oddiwrth y dealltwriaeth, a thrwy beri rhyfel parhaus rhyngddynt, wedi tlodi y naill a'r llall. I'w cymodi, rhaid cau duwinyddiaeth allan, a dyna amcan a thuedd gwaith meddyliol uchaf y ganrif hon." Ychwanega "ei bod yn debygol fod laboratori Natur yn barhaus yn cynhyrchu mater byw;" er fod y gwyddonwyr eu hunain wedi hen ddyfod i'r penderfyniad nad oes un lle i feddwl fod dim bywyd yn dyfod ond o fywyd blaenorol. Myn fod Huxley wedi cael bywyd yn ymffurfio mewn rhywbeth a gafodd yngwaelod y môr, ac a alwai yn briodol, Bathybius, bywyd y dwfn, er fod Huxley ei hun wedi hen gydnabod, gyda gwyddonwyr y llong fawr *Challenger*, nad oedd hynny ond ffurf o *sulphate of lime*. "Lle bynnag," meddai y truan hwn, "y gwelwn bwll o ddwfr llonydd, yno, mae'n debyg, y gwelwn weithdy Natur, ymha un y mae yn dadblygu ac yn perffeithio bywyd o'r defnydd crai, peth o'r hwn a fydd marw yn ei ystad ddi-ffurf, peth a fydd byw ac a ddadblyga i ffurfiau llysieuol; ereill i rai anifeilaidd." Ac nid oes brinder am athrawon a fynnant honni, a hynny gyda'r anffaeledigrwydd mwyaf, fod y ddysg newydd hon yn dymchwelyd ein holl hen syniadau, ac yn rhoddi cyfeiriad cwbl newydd i feddwl y byd.

Ac y mae hyn wedi peri dirfawr bryder i lawer o bobl dda a ofnent eu bod yn myned i gael eu hysbeilio o'u gobeithion gwerthfawrocaf. Ac eto y mae ystori y gorffennol y fath ag a allai beri iddynt deimlo yn hyderus "am arch Duw." Pan fynnai dynion yn y ddadl Ddeistaidd, fod dirgeledigaethau Cristionogaeth yn gwneyd yn ddireswm ei derbyn, ac nad oedd dim i'w gredu

ond a welid ac a ddeallid, fe ddanghosodd Butler, trwy weithio allan sylw Origen. Os oeddym yn credu mai yr un oedd Duw datguddiad ag Awdwr natur,—y gellid yn rhesymol disgwyl anhawsterau cyffelyb yn y naill ag a geir yn y llall,—y ceid, erbyn edrych, nad oedd anhawsterau mewn datguddiad nad oedd rhai cyfatebol iddynt yn y greadigaeth o'n hamgylch, ac yn llywodraethiad y byd; ac os oeddym am wrthod y naill ddosbarth o anhawsterau am nad oeddym yn eu gweled, neu mewn cyffyrddiad parhaus â hwynt, fod yn rhaid i ni hefyd wrthod y lleill, er eu bod bob dydd o flaen ein llygaid, a'n bod yn byw yn eu canol. Pan ddeallwyd fod cynifer â deng mil ar hugain o wahanol ddarlleniadau wedi eu cael allan yn y gwahanol gopïau o'r Testament Groeg, fe honnid nad oedd yn bosibl gwybod beth oedd y llyfr, ac am hynny nad oeddid i feddwl am ei dderbyn; ond erbyn chwilio iddynt, a chael fod yr amrywiadau yn ymffurfio yn deuluoedd, ac y gellid olrhain y lliaws yn y teuluoedd hynny i darddiad cyffredin; ac fod darganfyddiad copïau hŷn a mwy awdurdodedig, yn galluogi dynion i weled yr amryfuseddau a roddasent fod i'r gwahanol ddarlleniadau, ac mewn canlyniad i adfer y testyn i raddau tra helaeth i'w burdeb cysefin, y mae gwrthddadl y gwahanol ddarlleniadau, erbyn hyn, wedi ei hen anghofio. Drachefn pan ddaethpwyd i ddeall perthynas y planedau a'r haul, fod y sêr yn heuliau mawrion eu hunain, ac fod yr ehangder diderfyn yn cael ei boblogi â bydoedd yn ddirifedi, fe feddyliwyd y rhaid fod hynny yn profi yr holl Feibl yn ffug, ac nad oedd Cristionogaeth i feddwl am dani mwy. Ond erbyn ystyried, fe gaed mai nid dysgu gwyddoniaeth oedd amcan y Llyfr, ac nad oedd yn cyfeirio at yr haul, &c., ond fel yr ydoedd yn *ymddangos* i ddynion,—fel yn wir y mae astronomyddion eu hunain eto yn son am yr haul yn codi ac am yr haul yn machlud; fe ddeallwyd hefyd fod yr annherfynol i'w gael yng nghyfeiriad bychandra, yr un modd ag yng nghyfeiriad mawredd; ac er mor ddistadl, ar wyneb un o fydoedd lleiaf y ffurfafen, ydyw y pryfyn dyn,—ac yn enwedig i feddwl fod Creawdwr y bydoedd wedi gwneyd y fath sylw o hono,—eto fe gaed y gallai fod ynddo rywbeth—fel un a wnaed ar ddelw Duw, fel creadur oedd yn gallu meddwl a theimlo, ewyllysio a charu, a nesbau â chalon lân at y Creawdwr mawr fel ei Dad,—ag oedd yn gosod mawredd arno na ellid ei honni gan holl fydoedd y ffurfafen. Yr un modd fe ddarfu i waith dynion yn tyrchio i'r ddaear ac yn ymwrando â chwedl ryfedd ei haenau, ddatguddio iddynt ryw wybodaeth ryfedd am gyfnodau anfesurol feithion yn y gorffennol ymha rai y dygid ymlaen y gweithrediadau a ddanghosid iddynt,—cyfnodau nad yw oes y greadigaeth, fel ei ceir yn Genesis, ond fel doe mewn cymhariaeth iddynt; a thybid y rhaid fod hynny yn profi nad oedd gan y Beibl mwyach unrhyw hawl ar sylw y byd. Cyn pen nemawr, fodd bynnag, fe gaed fod mynwes "yn y dechreuad" y sonia y Llyfr am dano, yn ddigon eang i gynnwys holl gyfnodau mawrion daeareg, a hynny heb beri unrhyw aflonyddwch ar gymaint ag un o'r gwirioneddau mawrion. Yr oedd y pethau a fwriedid felly er drwg, yn troi allan er daioni. Yr oedd cyfatebion Natur yn dyfod yn ddirfawr gadarnhad i wirioneddau datguddiad. Yr oedd astudiaeth ddyfal o'r testyn yn dwyn i Grêd y mawr foddlonrwydd o gael yr Ysgrythyrau bron mor gyflawn ag y gallesid disgwyl yn eu purdeb gwreiddiol; yr oedd darganfyddiadau Seryddiaeth yn ehangu yn ddirfawr ein syniadau am anfeidrol fawredd y Creawdwr; ac yr oedd Daeareg, gyda'i hanfesurol gyfnodau, yn rhoddi i ni syniad nad ydoedd o fewn ein cyrraedd o'r blaen am ei dragwyddoldeb. Ac fe allesid teimlo yn lled dawel nad ydoedd dim yn yr hyn a allasai Dadblygiad ei ddweyd a fuasai yn ddymchweliad ar deml gwirionedd, sydd ynghanol cynifer o ymosodiadau wedi aros yn ansigledig, ac wedi gweled syrthio cynifer lleng o'r rhai a fu yn ymosod arni, sydd yn awr a'i chadernid a'i thegwch yn fwy gogoneddus nag erioed. Ac y mae yn hyfryd gweled, fel y mae pethau yn troi allan, fod ymosodiadau Dadblygiad hefyd yn llawer mwy diniwed nag y gallesid ofni; ie ac fod ganddi hithau dystiolaeth i'w rhoddi a ychwanega yn fawr at ein dirnadaeth o'r tragwyddol wirionedd.

Y mae dau beth y deil eu gafael ynddynt fel sail ei holl ddyfaliadau: Mater a Nerth. Y mae Mater, am ddim a all wybod, yn bod mewn rhyw ffurf neu gilydd erioed, ac nid oes ynddo, sut bynnag y daeth i fod, unrhyw ymadferth i ymffurfio i unrhyw weddau gwahanol i'r hyn oedd arno yn y dechreuad. Ond fe geir hefyd fod y fath beth a Nerth yn gweithredu ynddo, ac fod hwnnw wedi ei drawsnewid i r holl wahanol ffurfiau a geir arno yn awr. Gofynnwch beth ydyw, ac nid oes modd eich ateb. Ni ellir ond dweyd ei fod yn nerth sydd ar waith yn barhaus, yn *persistent;* a rhaid addef hefyd ei fod yn anchwiliadwy, *inscrutable.* Mae y ddau, mater a nerth, yn rhoddi bod i Ddadblygiad. Ni ŵyr Mr. Herbert Spencer, yr athraw uchaf yn yr ysgol hon, beth ydyw y nerth yma. Ni ddywed mai mater ydyw, teimla y rhaid ei fod yn ychwaneg; ni ddywed ychwaith mai ysbryd ydyw, am fod ysbryd yn rhywbeth nad ydyw efe mewn sefyllfa i allu barnu yn ei gylch. Yr oll sydd ganddo i'w ddweyd ydyw, Nid wyf yn gwybod. Ac os gofynnwch i ba ysgol o athronwyr y perthyna, dywed na pherthyna i'r un o honynt, ac nad ydyw efe ond Anwybedydd, *Agnostic.* Ond fel y teimlai Archimedes, yn ei falchder o gael allan allu y trosol, pe cawsai ond lle i osod ei drosol i lawr y gallasai symud y ddaear, felly fe deimla Spencer, er mor anwybodus ydyw, ond i chwi roddi iddo fater a nerth, y gall esbonio yr holl greadigaeth. Nid oes mewn mater ymadferth i ymgrynhoi i unrhyw ffurf; llawer llai y gall bontio y gagendor rhwng marwolaeth a bywyd, ïe, yn y ffurfiau isaf oll, heb son am godi i'r ffurfiau uchaf, a llawer iawn llai y gall ymddyrchafu i ffurf bod a all feddwl a meddu ymwybyddiaeth, barnu a rhesymu, caru ac addoli. Ond ychwanegwch y syniad o nerth,—nerth sydd yn barhaus mewn gweithrediad, a hwnnw yn nerth anchwiliadwy,— ac nid oes unrhyw anhawster na ellir ei gorchfygu. Y mae gennych felly ddigon i ddwyn i fod holl ogoniant y greadigaeth; ïe, digon i esbonio bodolaeth dyn, er mor "ryfedd ac ofnadwy" y mae efe wedi ei wneyd. Mae'n debyg fod y darllennydd tirion yn teimlo yn barod i ofyn, Beth y mae Mr. Herbert Spencer yn gael yn y nerth anchwiliadwy, hollalluog, y mae yn ei fawrhau yn gymaint, nad ydyw yng Nghreawdwr y nefoedd a'r ddaear, a ddatguddir i ni yn y Gair fel Duw personol? Mewn atebiad i'w gwestiwn rhesymol nid oes gennym ninnau ond ateb, Nid ydym yn gwybod. Nid ydyw efe yn adnabod Duw, ac am hynny ni fyn gredu ynddo; ac nid ydyw ychwaith yn adnabod y nerth cyson ac anchwiliadwy y sonia am dano, ac am yr un rheswm fe *ddylai* wrthod credu ynddo yntau. Ond yn ol pob gallu sydd gennym ni ar feddwl, mae yn rhaid i ni olrhain pob nerth, ac yn neillduol pob nerth sydd yn gweithredu i gyrraedd unrhyw beth tebyg i amcan, heb son am yr amcanion mwyaf dyrchafedig y gellir meddwl am danynt, i ryw Fod byw, personol, sydd yn gallu meddwl ac amcanu,—y fath, mewn gair, ag a osodir o'n blaen yn Nuw yr Ysgrythyrau. Felly nid ydyw Dadblygiad, wedi'r cwbl, ond gwedd arall ar ystori y crëad. Rhaid dweyd nad ydyw eto, i fesur helaeth, ond damcaniaeth, er yr holl honiadau mawrion a wnaed ac a wneir ar ei rhan. Ond hyd y mae yn myned, nid ydyw yn ysbeilio Crêd o ddim o'i gwirioneddau. Yn wir, nid all esbonio dim o'r dirgeledigaethau mawrion ond trwy allu a doethineb y Duw Hollalluog, er na fyn eto eu cydnabod felly, ond dweyd, Nad ydyw yn gwybod. Ond am ei darganfyddiad o'r *dull* y dygwyd ymlaen weithrediadau y greadigaeth, y mae hynny yn ychwanegiad tra gwerthfawr at ein hystôr o wybodaeth. Fel y mae Seryddiaeth wedi ein dysgu am ehangder y greadigaeth, a Daeareg wedi helaethu yn ddirfawr ein syniad am ei hanuerfynol barhad, felly y mae Dadblygiad yn ein dysgu am barhausrwydd (*continuity*) y gweithrediadau sydd yn cael eu cario ymlaen ynddi. Ond nid ydynt o herwydd hynny yn llai Dwyfol. Mae nerth yr Hollalluog, neu yn ol iaith Spencer, anchwiliadwy nerth, mor anhepgorol i ddygiad oddiamgylch waith sydd yn ymestyn dros filiynau o flynyddoedd, ag un a gwblheid mewn tarawiad amrant. Yr unig syndod ydyw fod dynion yn dewis meddwl am hwnnw fel damsoddiad nad allant feddwl am ei

gyffelyb, yn hytrach nag fel Bod personol cyffelyb iddynt hwy eu hunain, ond yn anfeidrol fwy, sydd yn gallu ffurfio ei amcanion a'u cario i weithrediad, yn gyffelyb fel y maent hwy yn gwneyd gyda'u hamcanion hwythau.

Ond y mae Dadblygiad hyd yma yn cael ei dal ger bron fel trefn y bydysawd, ac megis yn wrthgyferbyniol i'r drychfeddwl Beiblaidd am greadigaeth, a llywodraethiad y greadigaeth. Ac mae yn debyg mai oddiwrth y syniad am ei huchafiaeth yn y wedd honno y meddyliwyd am gynnyg gwobr yn Eisteddfod Pontypridd am yr ymgais oreu i gysoni rhai o wirioneddau yr Ysgrythyr â'r ddysgeidiaeth newydd. Prin yr ydym ni yn gallu gweled fod angen neillduol am hynny, oblegid y mae y pethau a honna y Beibl i Jehofah fel Creawdwr a Llywodraethwr, yn cael eu honni hefyd gan Mr. Herbert Spencer i'w anchwiliadwy nerth. Ac am amcanion mawrion Duw, yr ydym yn gwybod eu bod oll wedi eu trefnu ganddo Ef mewn arfaeth neu gyngor tragwyddol, ac nad all neb ei luddias i'w cario allan nes y byddant wedi eu llawn gwblhau, a "Duw oll yn oll." O'r wedd a allwn ni gymeryd ar hynny, nid oes niwed galw yr oruchwyliaeth yn ddadblygiad; ond dylem wrth wneyd hynny gofio nad am ymadferth ddall, yn ymweithio ac yn digwydd disgyn ar ganlyniadau hapus, yr ydym i feddwl, ond am "Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd ryfedd yn ei gyngor, ac ardderchog yn ei waith."

Dyma yr olwg y mae Mr. Adams yn gymeryd ar y mater yn y traethawd hwn. Cymer gryn lawer o boen i osod ger bron ei ddarllenwyr y golygiadau a ddysgir mewn perthynas i Ddadblygiad, a dengys mewn dull teg a rhesymol mor ddiffygiol ydynt i gyfarfod â'r anhawsterau yr honnir eu bod yn eu hesbonio. Derbynia yn galonnog y syniad mai yn raddol y mae gweithrediadau natur, a llywodraethiad y byd, ac addysgiaeth er diwylliant dynolryw yn cael eu cario ymlaen. "Canys y ddaear a ddwg ffrwyth o honi ei hun: yn gyntaf yr eginyn, ar ol hynny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen. A phan ymddanghoso y ffrwyth, yn ebrwydd y rhydd efe y cryman ynddo, am ddyfod y cynhauaf." Teimlwn ar yr un pryd ei fod weithiau yn ymollwng yn ormodol dan ddylanwad y ddysgeidiaeth hon, ac yn dysgu gwirioneddau y Datguddiad yn ei goleuni hi, yn fwy nag y mae yn ei barnu hi yng ngoleuni y Datguddiad. Nid ydym yn cwyno am ei fod felly yn dysgu rhai pethau nad ydynt eto wedi eu gwneyd mor wybyddus i'r darllennydd Cymreig. Y maent yn fynych yn cael eu dysgu ymysg ein cymdogion, a rhaid i'r Cymro, yr hwn sydd yntau, bellach, yn ffordd "pob awel dysgeidiaeth," eu barnu drosto ei hunan. Y mae meddylgarwch byw uwch ben y cwestiynau pwysig, yn llawer mwy ei werth nag uniongrededd marw, er iddo fod weithiau yn aflwyddiannus i ennill dirnadaeth glir am y gwirionedd. Nid oes neb a amheuai onestrwydd ein cyfaill, na'i ymdrech i ennill barn gywir am y pethau yr ymofynna yn eu cylch; ac mae yn berffaith sicr na chymerai yntau yn angharedig ar neb o'i frodyr a allo fod yn analluog i dderbyn y golygiadau sydd iddo ef yn ymddangos yn fwyaf rhesymol, er ei fod ambell dro dipyn yn llawdrwm ar rai a honnant fod yn uniongred, ond y digwydda ei fod ef yn gwahaniaethu oddiwrthynt.

Mae yr ymdriniaeth a geir yn y llyfr hwn ar y Cwymp i ni yn anfoddhaol. Yn wir, nid ydym yn gweled fod i hynny le o gwbl mewn Dadblygiad. Cwymp ydoedd; pechod; gwrthryfel. Nid rhan o drefn, ond yr annhrefn gwaethaf. Mae dymchweliadau a chwalfeydd i'w cael mewn natur; gwrthryfel ac aflywodraeth yn hanes teyrnasoedd; a chamgymeriadau llawn o drychineb ym mywydau dynion. Fe all gallu uwch, mae'n ddiameu, ddwyn daioni o honynt; ond nid ydynt hwy ond drygau digymysg. Ond yma fe edrychir ar y Cwymp fel rhan o'r ddisgyblaeth oedd yn angenrheidiol i ddyn mewn trefn iddo gyrraedd ei oreu. A ydyw angylion ac archangylion a holl lu y nef, y creaduriaid glan sydd bob amser yn gweled wyneb ein Tad yr Hwn sydd yn y nefoedd, yn llai perffaith am eu bod heb erioed bechu yn erbyn Duw? Fe gymerir ystori y Cwymp fel chwedl neu ddameg, a chondemnir dynion fel yn amddifad o farddoniaeth am fethu gweled hynny; ond

mae yr ystyr a ddarllennir i'r chwedl, i ni, yn gwbl dywyll; ac y mae pechod yr helynt, hyd yr ydym ni yn gweled, bron yn cael ei esbonio ymaith. Ni chrybwyllir am unrhyw demtasiwn yn yr achos y tu allan i'r dyn ei hunan, ac nid ydym yn cofio fod unrhyw grybwylliad am y Diafol yn yr holl draethawd. Ac eto mae'n amlwg fod i'w demtio ef lawer i'w wneyd ynglyn â dyfodiad pechod i'r byd, yn gystal ag â'i ffyniant ynddo trwy yr oesoedd. "Trwy genfigen y Diafol," medd Doethineb Solomon (ii. 24), "y daeth marwolaeth i'r byd." "Megis y twyllodd y sarff Efa trwy ei chyfrwystra," meddai Paul. Rhag bod unrhyw gamddealltwriaeth am y sarff, cawn yn y Datguddiad, "A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarff, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd." Drachefn, "Ac efe a ddaliodd y ddraig, yr hen sarff, yr hon yw Diafol a Satan, ac a'i rhwymodd ef dros fil o flynyddoedd." Ac fe ddywed Crist, "O'ch tad Diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef." Beth bynnag oedd mewn dyn, ïe dyn sanctaidd, i'r twyllwr weithredu arno, nid ydyw y ddichell (2 Cor. ii. 11) a'r dyfnderau (Dat. ii. 24) a ddanghosid yn ei waith ef yn temtio, i'w hanwybyddu wrth geisio deall dirgelwch y Cwymp. Mae'n amlwg mai mewn cyfeiriad at y felldith a gyhoeddid yn Eden ar y sarff (Gen. iii. 15) y dywed yr Apostol yn y llythyr at y Rhufeiniaid (xvi. 20), "A Duw y tangnefedd a sathr [neu a ysiga] Satan dan eich traed chwi ar frys." Am bechod gwreiddiol, fe gymerir mai rhyw syniad o eiddo Awstin a Calvin ydoedd. Ond fe welir yn rhy amlwg fod pechod yn y byd; ac o herwydd undod organaidd, neu *solidarity* yr hiliogaeth, fe ddeallir ei fod yn dyfod i blant oddiwrth eu rhieni, ac felly, fe ellid meddwl, oddiwrth y dyn cyntaf. Ond amlygir syndod nad ydyw yr Hen Destament yn son am y Cwymp, os ydoedd yn gymaint trychineb ag a dybia y "diwinyddion." Y mae felly; fel y mae yn dra rhyfedd fod llawer o bethau ereill ag oedd yn ddiameu yng nghrêd duwiolion yr Hen Destament—megis y Saboth, a'r fuchedd dragwyddol—mor ddi son am danynt yn y rhan honno o'r Gair. Ond fe fyddai yn rhyfedd cymeryd mantais ar hynny i geisio gwadu, neu esbonio ymaith bethau o'r fath. Fe ddyfynnir Preg. vii. 29: "Wele hyn yn unig a gefais; wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn; ond hwy a chwiliasant allan lawer o ddychmygion." Gallesid hefyd gyda'r un priodoldeb gyfeirio at Hos. vi. 7: "A'r rhai hyn fel Adda a dorasant y cyfamod;" ac at Job xxxi. 33: "Os cuddiais fy nghamweddau fel Adda;" ac at Es. lxiv. 6: "A megis deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megis gwynt, a'n dug ni ymaith;"—heblaw fod yr holl Lyfr yn cymeryd y ffaith o bechod yn ddealledig fel peth oedd wrth wraidd holl drueni y ddynoliaeth, ac fel yr hyn oedd yn galw am yr holl drefn Ddwyfol o adferiad. Nodir hefyd fel peth hynod nad ydyw Crist yn son am y Cwymp. Nid ydyw, yn ffurfiol, neu wrth ei enw; ond onid dyma y ffaith fawr oedd yn galw am ei ymddanghosiad fel Gwaredwr? Pa beth bynnag a all dynion ddamcaniaethu—fel y gwneir hefyd yn y gwaith hwn—am y posibilrwydd neu y tebygolrwydd i'r Ymgnawdoliad gymeryd lle pe na buasai dyn wedi pechu, yr amcan mawr a briodolir i hynny yn y Llyfr ydyw achubiaeth pechaduriaid. A chyda duwinyddu, yr ydym yn sicr, chwedl Bacon, i ymgadw at dystiolaethau y Llyfr, fel, wrth athronyddu, yr ydym i ymgadw yn gwbl at ffeithiau natur. Wrth hysbysu ei ddyfodiad, dywedai yr angel sanctaidd wrth Joseph, "A thi a elwi ei enw ef Iesu, oblegid efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." Proffesa yntau yn barhaus ei fod wedi dyfod i "geisio ac i gadw yr hyn a gollasid." Mae y golledigaeth yr oedd dynion yn ei gafael yn rhywbeth mor ofnadwy fel y mae Efe ymhob ffordd ddifrifol yn ymdrechu eu deffro i ymdeimlo â'r trychineb, ac i dderbyn y waredigaeth a gynhygiai Efe iddynt. Fe ellid meddwl, yn ol fel y dysgir ni weithiau am athrawiaeth Crist, nad oedd ganddo Ef ddim ond geiriau mêl am gariad y Tad, a gwynfyd digymysg rywbryd i holl ddynolryw, pa un bynnag a wrandawent arno ai peidio. Nid

felly yn sicr yr ydym ni wedi "dysgu Crist." Pa mor gryfion bynnag ydyw y geiriau y mae rhai dynion difrifol wedi eu llefaru am ddrwg pechod, ac am ei gosbedigaeth ofnadwy, y mae geirian Crist ei Hun yn anfesurol gryfach. Mae yn rhaid gan hynng fod y cwymp ag y mae dyn, a grewyd ar ddelw Duw, wedi syrthio iddo, yn drychineb mawr. Fe ddywed Efe am dano ei Hun: "Goleuni y byd ydwyf fi." Y mae hynny yn rhoddi ar ddeall i ni nad oes y tu allan iddo Ef ond tywyllwch digymysg. A dyna sefyllfa y byd. "Tywyllwch a orchuddia y ddaear, a'r fagddu y bobloedd." Yr oedd y bobl yn "eistedd mewn tywyllwch, ym mro a chysgod angeu." Fe ddywed hefyd mai Efe yw "y bywyd." Y tu allan iddo nid oedd ond marwolaeth. Ac am yr hwn sydd yn gwrando ei air Ef, ac yn credu i'r Hwn a'i hanfonodd, efe "a gaiff fywyd tragwyddol, ac ni ddaw i farn; eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Os ydyw pechod yn dwyn ar ddyn y fath dynged ofnadwy, a honno yn ganlyniad barn neu ddedfryd gyfiawn nad oes modd dianc o'i gafael ond trwy wrando arno Ef a chredu i'r Hwn a'i hanfonodd, pa fodd y gellir dweyd nad ydyw Efe yn dysgu athrawiaeth y Cwymp? Mae yr un peth yn cael ei ddysgu yn y modd mwyaf amlwg gan yr Apostolion. Fe ddysga Paul fod "yr holl fyd dan farn Duw." "Oblegid pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw." Drachefn, "Cydgauodd yr Ysgrythyr bob peth [bawb] dan bechod." Fe ddywed wrth yr Ephesiaid am eu sefyllfa cyn eu troedigaeth, "Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch;" ie, fe ddywed hefyd eu bod "yn feirw mewn camweddau a phechodau;" "heb obaith gennych, ac heb Dduw yn y byd." Dywed Ioan fod "yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni." Fe addefir fod Paul yn cyfeirio at hanes y Cwymp, a haerir mai efe yw yr unig un o ysgrifenwyr y Testament Newydd sydd yn gwneyd hynny. A dywedir, "Nid oes eisieu i ddyn ond cymharu Diwinyddiaeth Galfinaidd Protestaniaeth â dysgeidiaeth gyffredinol y Beibl, na welir ar unwaith fod yr hyn a elwir y 'Cwymp,' a'r 'Pechod Gwreiddiol,' a'r 'Llwgr Gwreiddiol,' a 'Chyfrifiad o euogrwydd trosedd Adda i'w holl hiliogaeth,' yn cael lle pwysicach gan ddiwinyddion na chan ysgrifenwyr ysbrydoledig, y rhai a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan.'" Ond fe esbonnir ymaith yr hyn a ddywed Paul ar y mater. Cyfeirir at 1 Cor. xv. 22: "Oblegid megis yn Adda y mae pawb yn meirw;" ond ni ddyfynnir y rhan olaf o'r frawddeg, a'r esboniad a roddir ydyw: "Nid o herwydd trosedd Adda, trwy gyfrifiad o hono i'w hiliogaeth yn ddiwahaniaeth, ond *yn* Adda, hynny yw, i'r graddau y bydd pob un fel Adda yn ufuddhau i lais swyn-hudol y pleserau corfforol—yr Efa ynddo—y mae'n pechu, ac, o ganlyniad, yn marw i'r bywyd uwch sydd ynddo." Dengys yr adnod flaenorol, sut bynnag, "fod marwolaeth trwy ddyn," sef fod marwolaeth wedi dyfod trwy Adda; fel y dysgir yn Rhuf. v., "Canys os trwy gamwedd un y bu feirw llawer." "Canys y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad. Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd marwolaeth trwy un." Ond yn ol yr esboniad a roddir, nid ydyw hyn oll ond dilyn esiampl Adda, ac nid ydyw y marw y sonir am dano, ond marw i ryw fywyd uwch sydd yn y dyn ei hunan. Yr ydym yn methu gweled wrth ba ddeddf mewn deongliadaeth y gellir tynnu ystyr mor ddieithr oddiwrth eiriau mor eglur, a theimlwn yn amheus a allesid meddwl am y fath beth ond i wasanaethu damcaniaeth. Fe ddywed yr Apostol, "Ymysg y rhai hefyd y bu ein hymarweddiad ni oll gynt yn chwantau ein cnawd, . . . ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megis ereill." Fel yr oedd efe a Phedr "wrth naturiaeth," neu fel yr oeddynt wedi eu geni, "yn Iuddewon," felly hefyd yr oeddynt oll, "wrth naturiaeth, yn blant digofaint." Dywed Ruckert, esboniwr Rhesymolaidd, ar y geiriau: "Mae yn berffaith amlwg, oddiwrth Rhuf. v. 12—20, fod Paul ymhell o fod yn wrthwynebol i'r golygiad a geir yn Ps. li. 7, fod dynion yn cael eu geni yn bechaduriaid; a chan nad ydym ni yn dehongli er mwyn yr un gyfundrefn, felly ni cheisiwn wadu mai y meddwl, "Yr oeddym ni, wrth naturiaeth, yn blant digofaint," h.y., y fath ag oeddym o'n

genedigaeth yr oeddym yn agored i'r dwyfol ddigofaint,—ydyw gwir ystyr y geiriau." A pha fodd yr ydys i esbonio diwedd yr adnod y cyfeiriwyd ati, "Felly hefyd yng Nghrist y bywheir pawb." A ydym i feddwl na olyga ddim mwy na cheisio dilyn esiampl Crist, ac felly fyw i'r bywyd uwch sydd ynom ni ein hunain? Yr ydym yn tybied y teimla ein darllenwyr fod gofyn y fath gwestiwn yn ddigon o ateb iddo. Os oes ystyr i eiriau, y mae "yn" yn golygu, nid rhyw gysylltiad neu berthynas, ond undeb, a hwnnw o'r fath natur fel y mae y naill beth o fewn y peth arall. Yr oedd ei hiliogaeth felly *yn* Adda. Fe dderbynnir hynny yma cyn belled ag y mae gwyddoniaeth yn dysgu undeb organaidd y ddynoliaeth, a throsglwyddiad ansoddau trwy etifeddiaeth, neu *heredity;* ac eto nid ydyw a genfydd gwyddoniaeth ond rhyw un amlygiad o weithrediad yr Ewyllys Fawr sydd wedi ordeinio marwolaeth fel "cyflog pechod," ac yn "ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant." Yr ydym oll *yn Adda* yn gyfrannog o'i bechod, ac felly yn sefyll dan ei farn, ac wedi ein handwyo gan ei halogrwydd. A'r un modd, *yng Nghrist*, yr ydym yn derbyn ei gyfiawnder ac yn cyfranogi o'i sancteiddrwydd, ac felly, ynddo Ef, yn byw yn dragywydd. Yng ngoleuni yr Ysgrythyrau y cyfeiriasom atynt—ac fe fuasai yn hawdd ychwanegu atynt liaws tra mawr sydd yn gwbl o'r un natur,—yr ydym ni, yn sicr, yn cael "fod yr hyn a elwir 'Y Cwymp,' a'r 'Pechod Gwreiddiol,' a'r 'Llwgr Gwreiddiol,' a 'Chyfrifiad o euogrwydd trosedd Adda i'w holl hiliogaeth,'" mor bell "o gael lle pwysicach gan ddiwinyddion na chan ysgrifenwyr ysbrydoledig," fel y mae unrhyw olwg a all duwinyddion roddi arnynt, oddieithr trwy ddyfynnu y geiriau mawrion eu hunain, yn rhwym o fod yn llawer eiddilach na'r datganiadau pwysig yn eu cylch sydd yn rhedeg trwy yr holl Gyfrol Sanctaidd.

Drachefn, fel y mae yr olwg a roddir i ni ar yr Afiechyd yn ei ddangos yn llawer llai peryglus nag ydyw, felly y mae yr olwg a roddir ar y Feddyginiaeth ymhell o fod yn deilwng o'i mawredd a'i gwerth. Fe edrychir ar yr Ymgnawdoliad yn ormod fel peth oedd i gymeryd lle yng nghwrs cyffredin dadblygiad, er rhoddi amlygiad cyflawnach o Dduw, a helpu dyn i gyrraedd y perffeithrwydd y crewyd ef er ei fwyn. Fe deimlir yn dra sicr hefyd y gallesid disgwyl i hynny gymeryd lle pe na buasai pechod wedi dyfod i'r byd. Dadleuir yn gryf yn erbyn bod ffaith mor fawr yn dibynnu ar beth ag ydoedd i'r fath raddau o natur damwain, â bod dyn wedi pechu. Mae y cwestiwn, beth a fuasai yn cymeryd lle pe na fuasai dyn wedi pechu, yn rhy dywyll in i allu gwneyd dim o hono. Fe wnaeth Duw ddyn "yn uniawn;" ac er iddo, wrth ei wneyd ar ei ddelw ei hun, roddi iddo ewyllys rydd, ac i honno dorri allan mewn gwrthryfel yn ei erbyn, eto gallwn fod yn gwbl sicr nad oedd hynny yn angenrheidiol er i Dduw allu amlygu ei lawn ogoniant i'w greadur, nac ychwaith i ddyn er cyrraedd y perffeithrwydd uchaf oedd yn bosibl iddo. Ond y sefyllfa fel y mae, sydd yn bwysig i ni; ac â'r sefyllfa fel y mae y mae y Gair Sanctaidd yn delio yn gwbl. Ac yn nysgeidiaeth y Gair, y peth drwg, melldigedig, ac ofnadwy ydyw pechod; ac fe ellid meddwl mai yr amcan mawr y crynhôdd y Goruchaf ei ymadferth yn arbennig arno ydoedd symud y drwg hwnnw ymaith, ac adfer yr anhraith a wnelsai ar ei greadur. Fe roddwyd trwy hynny, ïe "i'r tywysogaethau a'r awdurdodau yn y nefolion leoedd," amlygiad nad ydoedd, debygid, yr un ffordd arall yn bosibl, o "fawr amryw ddoethineb Duw." Fel gorchest bennaf yr Anfeidrol Ogoniant, fe ddywedir: "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond cafael o hono fywyd tragwyddol." Yr oedd hynny, bid sicr, yn rhan o'i "arfaeth dragwyddol" Ef ei Hun; ond yr ydoedd yn anfeidrol uwchlaw yr oll a all dynion syniad am dano fel dadblygiad. Ac fel y mae yr Ymgnawdoliad yn eithriad aruthrol, ïe, yn y goruchwyliaethau Dwyfol eu hunain, felly y mae y gwaith a briodolir yn y Gair i'r "Hwn a ymddanghosodd

yn y cnawd," yn llawer mwy nag a ddanghosir yn y llyfr hwn. Yn y drafodaeth ar y Cwymp, fe gwynir o herwydd ein diffyg gallu i ymdeimlo â'r farddoniaeth sydd yn yr hanes, ac felly nad ydym yn deall mai dameg neu alegori a osodir o'n blaen, yr hon sydd yn dysgu fod dyn, —yr hwn y ceir fod rhai hen chwedlau yn dweyd ei fod ar y dechreu yn gyfuniad o'r ddau ryw,—wedi gwrando ar yr Efa oedd o'i fewn, a bwyta rhywbeth ag oedd yn ymddangos iddo yn ddymunol. Ond erbyn dyfod at ddioddefiadau yr Arglwydd Crist, fe geir fod "diwinyddion yn fynych, ond heb yn wybod iddynt eu hunain, yn fawr iawn o dan ddylanwad beirdd. Y maent yn gaethion ddiymadferth i ffigyrau ymadrodd, ac i'r dull gwrthrychol allanol o edrych ar wirioneddau. . . 'Yr Arglwydd a fynnai ei ddryllio ef.' . . . Y mae y geiriau hyn, o'u cymeryd yn llythrennol, wedi arwain lliaws i dybied mai cosb a weinyddid ar Iesu gan Dduw oedd ei ddioddefaint. . . Na, nid cosb a weinyddid yn ddeddfol gyfiawn gan arall oedd dioddefaint Iesu, ond poen ac ing meddwl achosid gan ei gariad cyfiawn at ddynion pechadurus ar un llaw, ac at uniondeb a sancteiddrwydd a amherchid gan y cyfryw ar y llaw arall." Eto: "Y mae'r Testament Newydd o hyd yn son am Iesu yn marw *drosom*, ond nid *yn ein lle* neu *ein deddfle* o gwbl, ond drosom, hynny yw, er ein mwyn, yn ein ffafr, er sicrhau ein hachubiaeth. . . . Y mae effaith achubol marwolaeth Crist yn deilliaw, nid fel canlyniad dirprwyaeth ddeddfol, yn yr ystyr bod un person yn cymeryd ei gosbi yn lle person arall, ac yna ar dir cyfiawnder tybiedig yn sicrhau rhyddhad yr arall hwnnw; ond ar yr egwyddor o ddirprwyaeth cariad, a dylanwad moesol y cyfryw ar y pechadur i'w ddwyn i edifeirwch. Y mae'n ddiameu fod y Testament Newydd yn dysgu i ni fod hunanaberthiad Crist ar y Groes dros ddynion yn foddion effeithiol i alw allan drugaredd faddeugar y Tad tuag at ddynion yn y rhagolwg sicr o ddylanwad y cyfryw gariad hunan-aberthol ar y troseddwyr i'w dwyn i edifeirwch."

Garw fod llyfr ag y mae dynion bob amser wedi bod yn edrych arno fel gwirionedd Duw, wedi ei ysgrifennu mewn iaith mor gamarweiniol fel y mae cynifer o feddylwyr galluocaf a sancteiddiaf yr oesoedd wedi gwneyd y fath gamgymeriadau gyda golwg ar ei gynnwys. Wedi'r cwbl, yr ydym yn gorfod meddwl am ei ysgrifenwyr, nid yn unig fel rhai meddylgar a phur, ond hefyd fel rhai ag yr oedd baich gair yr Arglwydd, a ymddiriedid iddynt i'w gario i'w cyd-ddynion, yn pwyso mor drwm ar eu hysbryd fel y gallwn fod yn sicr nad oeddynt yn cellwair â ni gyda golwg ar y dulliau a ddefnyddient i osod eu pethau mawrion o'n blaen. Ac y mae bellach gryn lawer, fe o'r bobl yr edrychir arnynt yn lled ddibris yn y llyfr yma fel "diwinyddion," wedi darllen ychydig farddoniaeth, ac yn meddu tipyn o amcan ar adnabod teithi barddoniaeth, ac yn abl o leiaf i wahaniaethu yn lled ddiogel rhwng barddoniaeth a rhyddiaith. Ac fe dybia llawer o'r rheiny fod ganddynt gwyn lled ddifrifol yn erbyn awdwr y gwaith hwn. Y mae yn gwadu golygiadau ag y mae goreuon Crêd wedi bod yn gorffwys yn dawel ynddynt fel pethau mawrion Duw; a thra yn cydnabod awdurdod y Beibl, nid ydyw yn cynnyg esbonio y corff o Ysgrythyr y credir sydd yn dysgu y golygiadau hynny, nac ychwaith yn cynnyg profi o'r Ysgrythyr yr athrawiaethau newyddion y mae yn gynnyg i ni yn eu lle. Fe ordeiniodd yr Arglwydd trwy Moses drefn gyflawn o aberthu, amcan arbennig pa un oedd cyflwyno yn feunyddiol ar allor Duw fywyd anifail, mewn ffordd o gydnabod mai bywyd yr aberthwr oedd wedi mynd yn fforffed, dyhuddo digllonedd cyfiawn yr Hwn y pechasid i'w erbyn, a gwneuthur cymod. Yr oedd hyn oll yn baratoad ar gyfer, ac yn cyfeirio at aberth perffaith oedd i gael ei offrymu yn y dyfodol, a fyddai yn ddigon "i ddibennu camwedd ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragwyddol." Fe gyfeirir yn amlwg iawn at hynny yn Esai. liii. Beth bynnag allai fod gofid a dioddefaint y Gwas sanctaidd ar gyfrif drygioni y bobl, ynghyd 'r

dirmyg a fwrient arno Ef, eto fe ddywedir: "Ond efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni. . . A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwireddau ni i gyd. . . Eithr yr Arglwydd a fynnai ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd; pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wêl ei had. . . Ac efe a ddug bechodau llaweroedd." Heb son am y "diwinyddion," gallem gyfeirio yma at Delitzsch, un o'r ysgolheigion Hebreig goreu, yr hwn a ddywedai am un o'r ymadroddion uchod: "Nid ellir rhoddi datganiad mwy manwl o ddioddefaint dirprwyol yn yr Hebraeg na thrwy y geiriau hyn." Heb son am y gweddill o ddysgeidiaeth yr Hen Destament ar y mater, y mae yn amlwg fod y Testament Newydd, drwyddo, yn dangos fod yr oll yr edrychid ymlaen ato yn yr Hen Destament fel perffaith ddyhuddiant a chymod, wedi ei lawn gwblhau yn aberth ac iawn yr Arglwydd Iesu Grist. Geiriau yr herald ffyddlon oedd yn cael y fraint o'i gyflwyno i Israel oedd: "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynnu ymaith bechodau y byd." Y bregeth fawr yn Antiochia ydoedd, "A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau y rhai ni allech trwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddiwrthynt." A dyma faich holl ddysgeidiaeth yr Apostol Paul. "A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yng Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddioddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn; fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu." A beth yw iawn, ond "aberth dyhuddol?" "Y mae yn ddrychfeddwl sylfaenol yr Ysgrythyr," ebe Delitzsch, "y gwneir iawn am bechod trwy gosbedigaeth, fel am lofruddiaeth trwy farwolaeth y llofrudd." Eto, y mae Duw wedi "anfon ei Fab ei hun, yng nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod,"—gair a arwydda yn amlwg offrwm dros bechod, fel yn Heb. x. 6. "Offrymau poeth, a thros bechod, ni buost foddlawn iddynt." Eto, "A rhodiwch mewn cariad, megis y carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun drosom ni yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Y mae Duw "yn canmol ei gariad tuag atom, oblegid, a nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw trosom ni." Mynnir gennym gredu mai nid *yn ein lle*, ydym i ddeall fel ystyr y fath ymadrodd, ond "er ein mwyn, yn ein ffafr, er sicrhau ein hachubiaeth." Er ein mwyn yn sicr, ond felly *yn ein lle*. Yn yr adnod o'r blaen ceir, "Oblegid braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn; oblegid dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd." Pa ystyr allai fod i hynny, os na olygid marw yn lle y cyfiawn, neu yn lle y da? "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe bai Duw yn erfyn arnoch trwom ni." Y maent megis yn sefyll *yn lle* Crist. Cawn "Llygad am [*anti*] lygad, a dant am ddant." Yr oedd "Archelaus yn teyrnasu ar Judea yn lle [yr un gair] ei dad Herod." Ac fe ddywed Crist ei Hun ei fod wedi dyfod "i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros [*anti* eto] lawer,"—drostynt trwy fod yn eu lle. Ac am y gair *huper*, sydd mor amlwg yn y geiriau a grybwyllwyd yn golygu *dros* trwy fod *yn lle*, yr ydym yn ei gael yn gyffelyb mewn lliaws o fannau. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth dros bawb." "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll." Y mae Crist wedi caru yr eglwys, "ac a'i rhoddes ei hun drosti." "Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren." Y mae yr Hwn "nid adnabu bechod, wedi ei wneyd yn bechod drosom ni." "Ysgrifennwyd, Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifennwyd yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt;" ond ychwanegir: "Crist a'n llwyr-brynodd ni oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom." Fe ddywed Ef ei Hun, "Myfi yw y bugail da; y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Ac wrth sefydlu sacrament sanctaidd ei farwolaeth, dywed, "Cymerwch, bwytewch; hwn yw fy nghorff, yr hwn a dorrir trosoch:" drachefn, "Y cwpan hwn yw y

testament newydd yn fy ngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch;" neu, "yr hwn a dywelltir dros lawer, er maddeuant pechodau." Ac eto, yngwyneb yr holl ymadroddion hyn, a lliaws ereill a allesid ychwanegu, ac heb gynnyg cymaint â gair o eglurhad,—fe ddywedir wrthym mai nid cosb a weinyddid ar Iesu gan Dduw oedd ei ddioddefaint a'i farwolaeth: nad oedd y cwbl ond amlygiadau o'i ofid dros ddynion o gariad atynt; nad ydoedd yn y cyfan yn gwneyd dim trosom neu yn ein lle, ac nad oedd yr oll a wnaeth yn sicrhau dim daioni i ddynion ond yn unig fel y gallai alw allan drugaredd faddeuol y Tad yn y rhagolwg o ddylanwad y cariad hunanaberthol ar y troseddwyr i'w dwyn i edifeirwch. Mae ymadroddion wedi disgyn oddiwrth ein Gwaredwr bendigedig ei Hunan am ei ddioddefaint, ag y teimlir eu bod o anfeidrol arwyddocâd. "Y mae gennyf fedydd i'm bedyddio ag ef, ac mor gyfyng yw hi arnaf hyd oni orffenner!" "Y cwpan a roddes y Tad i mi i'w yfed." "A ellwch chwi yfed o'r cwpan yr ydwyf fi ar yfed o hono, a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi?" "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu; arhoswch yma a gwyliwch gyda mi. Ac wedi iddo fyned ychydig ymlaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan weddïo, a dywedyd, Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn oddiwrthyf: eto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." "Ac efe mewn ymdrech meddwl, a weddïodd yn ddyfalach; a'i chwys ef oedd fel defnynnau o waed yn disgyn ar y ddaear." Fe ddarfu iddo, "trwy lefain cryf a dagrau, offrwm gweddïau ac erfyniau at yr hwn oedd abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth."Ië ar y Groes, fe lefodd yr Uniganedig Fab, mewn anfeidrol ing, "Fy Nuw, fy Nuw, paham ym gadewaist?" A chymeryd yr holl eiriau mawrion y cyfeiriasom atynt am amcanion y dioddefaint a'r farwolaeth yn eu hystyr naturiol,—a'r unig ystyr ymha un y cymerid geiriau o'r fath ymhob llenyddiaeth,—yr ydym yn meddwl ein bod yn cael rhyw drem ar eu hanfeidrol ystyr,—digon o leiaf i allu gofyn,

O feiau mawr, beth allsech fwy
Na rhoddi i Frenin Nefoedd glwy!

Ond os disgwylir i ni gredu nad oedd y cwbl a ddioddefodd ond rhyw amlygiad o'i ofid trosom, "truenusaf o'r holl ddynion ydym ni." Mae gennym achos o ddigofaint llidiog yn erbyn ysgrifenwyr

That palter with us in a double sense,

am ein camarwain mor andwyol pan yn brygawthan dychmygion barddonol, a hynny mewn ffordd a barai i ni gredu eu bod yn syml ac o ddifrif yn traethu wrthym wirionedd Duw am ein hiachawdwriaeth. Yn wir, ni allwn fod yn sicr am ddim. Sonir yma nad ydoedd mor ryfedd i'r Apostolion unwaith "dybied" eu bod yn clywed llef o'r nef, "Hwn yw fy anwyl Fab." Os nad oedd dioddefaint a marwolaeth yr Emanuel ond arddanghosiad o dosturi diymadferth at ddynion ag oedd, uwchlaw popeth, mewn angen am gael eu hachub, "yr ydym eto yn ein pechodau." Pa ddiben a allai fod i'r fath arddanghosiad? Ac os arddanghosiad oedd y cwbl, tra yn proffesu bod yn rhywbeth anfesurol fwy, onid yw yr arddanghosiad ei hunan, er mor fawr, yn dyfod yn rhywbeth tebyg i anferth ffug, neu anfeidrol *sham?* Nid yw y Goruchaf yn gwastraffu ei adnoddau mewn dim oll; deddf ei holl lywodraeth fawr ydyw, "Casglwch y briwfwyd gweddill, fel na choller dim." Ac eto fe erchir i ni gredu ei fod, o'i dragwyddol gariad, wedi anfon ei uniganedig Fab i'r byd, ac i'n natur, i ddioddef pob gwaradwydd a dygasedd ac i gael ei groeshoelio ar bren, a'i fod, heblaw y pethau hyn, yn dioddef rhyw ingoedd annhraethadwy o'r byd ysbrydol ac oddiwrth ei Dad, y fath nad oedd yr holl ddioddefiadau ereill ond fel dim mewn cymhariaeth iddynt,—a'r cwbl yn unig i ddangos ei fod yn gofidio dros ddyn! Yr ydym yn ofni mai effaith efengyl o'r fath yna fyddai gyrru dynion ymhellach nag erioed "oddiwrth fuchedd Dduw."

Dywedir yr "effeithid chwyldroad mawr mewn diwinyddiaeth pe y dymchwelid y syniad o Benarglwyddiaeth Duw fel Brenin, ac y gosodid

Angenrheidrwydd moesol Cariad cyfiawn Tad yn ei le. Hyn yn unig a sicrhâ wir ryddid i ddyn." Atolwg, a ydyw "y bendigedig a'r unig Bennaeth, Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi, yr hwn yn unig sydd ganddo anfarwoldeb," yr Un Mawr ag y byddai gwaith hyd yn oed Archangel yn cwestiyno yr un o'i farnau, mor ddireswm ag a fyddai dywedyd o'r "peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham ym gwnaethost fel hyn,"—a ydyw Efe wedi peidio a bod yn Benarglwydd? Mae y dychymyg fod neb yn edrych arno *yn unig* fel Penarglwydd, hyd yr ydym ni yn gwybod, yn gwbl ddisail. O leiaf, yr ydym yn gwybod am yr ysgol o dduwinyddion ag y cymerir hynny yn ganiataol am danynt, nad oes neb yn rhoddi mwy o ogoniant i'r anfeidrol Gariad. Yng ngHariad y Tad y cânt fod yr iachawdwriaeth yn ffynonellu. Nid ydynt byth yn blino canmol cariad y Mab, "yr hwn a'n carodd, ac a'i dodes ei hun drosom." A "chariad yr Ysbryd" ydyw eu holl obaith am gymhwysiad o'r waredigaeth fawr. Yr oedd yn gysur mawr i'r Agostol Paul ei fod yn gallu dweyd wrth henuriaid Ephesus, "Nid ymateliais rhag mynegi i chwi holl gyngor Duw." Gadewch i ninnau gael yr holl gyngor. Nid darnau wedi eu hysgaru oddiwrth y cyfan, ac felly yn dyfod yn aelodau meirwon, am eu bod yn amddifad o fywyd y corff i ba un y perthynant. Mae llawer fel yn credu mai yr unig obaith am y byd ydyw pregethu iddo Dduw o anfeidrol feddalwch. Y mae yn Dad, ac am hynny nid all ddelio yn galed â'i blant, a chyn hir daw popeth yn iawn. Ond y mae *pechod* i'w gymeryd i'r cyfrif; ac fel y dywed Martensen:—"Er fod Duw yn dragwyddol yn caru y byd, nid perthynas cariad ydyw ei berthynas bresennol ag ef, ond yr un o sancteiddrwydd a chyfiawnder, perthynas o wrthwynebiad, oblegid fod unoliaeth ei briodoliaethau yn cael ei atal a'i lesteirio. Y mae hefyd yn bod wrthwynebiad rhwng perthynas weithredol a pherthynas hanfodol Duw â dynolryw; gwrthwynebiad nad ellir ei symud ymaith ond trwy ddinystrio yr egwyddor o bechod a gyfrynga rhyngddynt. Mae yr ymadrodd *digofaint Duw* yn syml yn dynodi y gwirionedd hwn: Fod perthynasau cariad Duw â'r byd yn anfoddhaus ac heb eu cyflawni. Mae yr ymadrodd nid yn unig yn ol dull dyn, ond y mae yn ddisgrifiad priodol o'r gofid dwyfol sydd o angenrheidrwydd yn y syniad o ddatguddiad cariad yn cael ei ddal yn ol, ei lesteirio, a'i atal trwy anghyfiawnder. . . Yn unig pan ganiateir digofaint Duw y gellir son am ei dosturi." Ond mae y feirniadaeth hon yn cael fod rhywrai—ni wyddom ni yn y byd pwy—yn dal fod yn Nuw rhyw ddialgarwch dall, y fath ag a arddanghosai rhyw ffwl o ormesdeyrn; ac wedi gwneyd gwaradwydd o hynny, tybiant eu bod wedi esbonio ymaith yr athrawiaeth o ddwyfol ddigofaint. Os ydyw y bobl hyn yn iawn, fe fu Crist, yn sicr, farw yn ofer.

Nid ydyw yn beth newydd yn hanes y byd fod "pregethu Crist wedi ei groeshoelio, i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb." Ac nid oes dim i'w ennill o ysbeilio yr "ymadrodd am y Groes" o'i nodweddion arbennig ei hun, i geisio ei wneyd yn fwy derbyniol gan yr Iuddew neu y Groegwr. Fe fyn rhagfarnau a balchder anianol ei wrthod wedyn, neu ei dderbyn fel rhywbeth cwbl wahanol, yn "efengyl arall yr hon nid yw arall," nad yw yn efengyl o gwbl. Ac am allu peth felly ar y byd, i ddychwelyd pechaduriaid ac i'w sancteiddio, nid yw ond ofer disgwyl oddiwrtho ddim daioni. O'r ochr arall, y mae "ymresymu am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd," *eto*, a thros y byd, yn peri i ddynion "ddychrynnu," ac yn eu dwyn i ymofyn pa fodd y gallant ddianc rhag barn Duw; ac y mae pregethu yr anfeidrol Gariad a wnaeth y fath ddarpariaeth at eu hachub, a chyhoeddi y Crist sydd "yn derbyn pechaduriaid ac yn bwyta gyda hwynt," Crist yr iawn a Christ yr eiriolwr,—yn profi yn barhaus, ac yn sicr o brofi hyd byth, yn "allu Duw er iachawdwriaeth."

DANIEL ROWLANDS.

CYFROL LI. RHIFYN CCIX.

# Y TRAETHODYDD:

GORFFENNAF, 1894.

CYNHWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF MEDI 1af, 1894.*

PRIS SWLLT.

CAERNARFON:
Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan Gwmni'r Wasg Genedlaethol Gymreig (Cyf.).

# Y TRAETHODYDD.

## YR IESU YN ABERTHU DROSTO EI HUN.

NID wyf yn gwybod fod neb erioed wedi gofyn, A oedd yr Iesu yn aberthu drosto ei Hun hyd yn ddiweddar iawn yn hanes yr eglwys. Gellir symio i fyny syniad yr eglwys ar hyn o'r dechreu hyd yn ddiweddar mewn un frawddeg: pan ddisgrifid gwaith yr Iesu yn iaith yr aberthau, golygid yn unig y wedd feichnïol ar ei waith. Yr unig leoedd y gwelais y cwestiwn yn cael ei ofyn a'i ystyried yn sobr a theg yw yng ngweithiau Hofmann, Delitzsch, Bruce, a Davidson.* Nid wyf wedi gweled cyfeiriad ato mewn un gwaith safonol ar Dduwinyddiaeth yn yr iaith Saesneg. Yr wyf yn deall fod amryw weithiau yn yr Almaen yn cyffwrdd âg ef. Weithiau ymddengys y cwestiwn yn awgrymu ei hun yn gynnil i feddwl esbonwyr diweddar (megis Dr. Westcott ar yr Hebreaid); eithr atebant yn bendant ac yn fyr yn y nacäol, heb ddangos ond ychydig, os dim, arwydd eu bod wedi ei ystyried o gwbl. Mewn effaith ymresymant fel hyn: yr oedd yr Iesu yn ddibechod, ac am hynny nid oedd unrhyw angen arno i roddi aberth drosto ei Hun; heb sylwi fod y dybiaeth sydd wrth sail yr ymresymiad hwn yn amherffaith. Ai yr unig aberth y sonir am dano yn y Beibl yw y pech-aberth? Os felly, mae'r ymresymiad yn gywir; os amgen, mae'n syrthio i'r llawr. Mae'n bleser troi oddiwrth y cyfryw ymresymiad at waith rhagorol Dr. Bruce, lle y ceir engraifft o ddyn yn gwneyd ymdrech neillduol i wneyd cyfiawnder â'r cwestiwn. Nid yw Dr. Bruce yn honni gwreiddiolder yn hyn o beth; cydnebydd gyda diolch mai yng ngwaith Hofmann y gwelodd y cwestiwn a'r ateb gyntaf. Creda yn gryf fod golygiad Hofmann yn gywir; ei unig betruster, fel y dywed ar ol hynny wrth ysgrifennu ar yr un testyn, yw a oedd hyn ym meddwl awdwr y llythyr at yr Hebreaid wrth ysgrifennu v. 1—10†. Wrth esbonio yr adnodau hyn y datganodd Hofmann ei farn. Felly hefyd Dr. Bruce. Dengys hyn mai darllen y Beibl, ac nid rhagfarn dduwinyddol neu sectol, a fu yn foddion i ddwyn y pwnc i sylw. Bu dadl fawr yn yr Almaen ar olygiadau Hofmann ar yr Iawn, wedi cyhoeddi y *Schrift-beweiss;* ond nid wyf yn gwybod am un awdwr sydd wedi rhoddi lle i'r cwestiwn mewn esboniad ar yr Hebreaid, oddigerth Delitzsch, a nodyn Dr. Davidson; wrth gwrs, gan gau allan y rhai Cymreig.

Cyfeiriwyd eisoes at y ffaith mai y rheol yn y Testament Newydd yw, lle bynnag y cyfeirir at aberth yr Iesu, y golygir ei waith meichnïol tros bechaduriaid. Hawdd fuasai dweyd, fel y dywedwyd eisoes ar lawer amgylchiad cyffelyb, mai cais i fod yn ddoeth y tu hwnt i'r hyn a ysgrifennwyd yw ymofyn ynghylch y fath gwestiwn. Profodd y fath wrthddadl yn angheuol i lawer ymchwiliad, a chynhyrcha

* Hofmann: Schrift-beweiss, ii.; Delitzsch ar yr Hebreaid; Bruce, Humiliation of Christ; Davidson: Hebreaid, nodyn ar waelod y ddalen.

† *Expositor*, 1889, i. tudal. 360.

chwerwedd bob amser. Dylai beri gwyleidd-dra ym mhawb; ond y mae terfyn ar wyleidd-dra, ac am y terfyn iddo ceir llwfrdra,—nodwedd nad yw'n addurn i gymeriad un dyn, ac yn enwedigol Cristion. Ymhlith Protestaniaid y clywir yr wrthddadl hon amlaf, a chredwn fod yn hen bryd i ni fod yn fwy gwir ofalus yn ein gofal am y gwir. Mae gofal am y gwir i lawer dyn yn gyfystyr â gofal am ein "gwir ni,"—dau beth sydd ambell dro yn hollol wahanol, a'r rhan amlaf yn hollol wahaniaethol oddiwrth eu gilydd. Gall ein "gwir ni" fod yn rhan, ond nid yr oll o'r gwir, ac felly yn wahaniaethol oddiwrtho. Rhaid i ni gofio hyn bob amser, rhag i ni dwyllo ein hunain, a chyfyngu ar y gwir. Yn enwedig, dylem fod yn ofalus rhag cyfyngu ar waith yr Ysbryd Glan, a cham-esbonio geiriau Iesu Grist ei Hun,* a thrwy hynny wrthddweyd tystiolaeth ddiamwys y Beibl. Gallwn wrthwynebu faint a fynnom ar athrawiaeth Dr. Newman ar "Gynnydd mewn Datguddiad," ac y mae lle i wrthddadleuon lawer yn ei erbyn; er hynny, ymddengys i mi mai peth hollol wahanol yw gwadu fod cynnydd, a rhaid i'r sawl a wnelo hynny ryfygu llawer. Credwn fod llawn cymaint o wrthddadleuon yn erbyn athrawiaeth Dr. Mozley, yn ei ateb i Newman, ar yr un pwnc. Un peth yw gwadu athrawiaeth neillduol ar gynnydd; peth arall yw credu fod cynnydd. Gyda gwyleidd-dra, os yw y cwestiwn yn deg a rhesymol,—heb dynnu unrhyw anfri ar gymeriad yr Athraw mawr, ac os yw ysbryd yr ymofynnydd yn sychedu am y gwir,—ni raid llwfrhau na thynnu'n ol. Hyd yn oed pe'n cymhellid gan gywreinrwydd pur, syml, a gonest, mae'n gysur i ni gofio fod yr Iesu, pan ar y ddaear, wedi estyn i'r cyfryw bob croesaw allasai; ac y mae'n rhan o'n credo mai

Yr un yw Ef o hyd.

Pe buasai angen ychwanegu ar y pen hwn, hawdd fuasai dangos fod llawer o olygiadau ar Berson a Gwaith Crist yng nghredo yr eglwysi, nad oes yr un sicrwydd, nac yn aml ond cysgod tebygolrwydd iddynt erioed fod ym meddwl yr ysgrifenwyr sanctaidd eu hunain; a rhaid cael rhyw athrawiaeth am Gynydd mewn Datguddiad cyn y gellir gydag unrhyw gysondeb eu hamddiffyn. Os yw y cwestiwn sydd dan sylw yn yr erthygl hon yn ddieithr i dduwinyddion yr oesoedd, a bron yn hollol felly i ysgrifenwyr y Testament Newydd, nid yw hynny yn un rheswm dros ei anwybyddu a'i ddiystyru. Ychwaneg: er credu mai un eithriad i'r dieithrwch hwn sydd yn y Testament Newydd, eto myntumiwn fod sail i ateb y cwestiwn yn gadarnhaol i'w gael yn y Beibl.

A oedd yr Iesu yn rhoddi aberth drosto ei hun? Ac os oedd, ymha ystyr? Ceisiaf ddangos fod sail i gredu ei fod: ac yn gyntaf, fod awdwr y llythyr at yr Hebreaid yn awgrymu hynny yn ei ymresymiad (v. 1-10); yn ail, fod hanfod a hanes aberth yn gwneyd fod hynny yn bosibl ac angenrheidiol; yn drydydd, ac yn olaf, fod lle i'r gwirionedd hwn mewn Duwinyddiaeth.

## I.

Cyfeiriwyd eisoes at yr adnodau yn y llythyr at yr Hebreaid, lle yr awgrymir fod yr Iesu yn aberthu drosto ei Hun. Cyn rhoddi elfeniad o'r adnodau, dylwn, ac yr wyf o galon yn cydnabod mai

* Matthew, xxviii. 20; Ioan, xiv. 12, 16—18, 21, 26; xv. 7—14, &c.

yng ngwaith rhagorol Dr. Bruce y gwelais yr atebiad gyntaf. Mewn sylw ar waelod y ddalen (Hebreaid, tud. 110), gwnâ Dr. Davidson berffaith gyfiawnder â'r dosbarth hwnnw o esbonwyr sydd yn mynnu fod y deg adnod hyn (v. 1-10) yn ffurfio y peth a elwir mewn esboniadaeth yn *chiasm*. Ystyr *chiasm* yma yw, fod adn. 5-6 yn ateb i adn. 4; ac adn. 7-10 yn ateb i adn. 1-3. Mae ynddo ormod o gywreinrwydd i fod yn naturiol, a gormod o dybiaeth i fod yn debygol. Haws o lawer derbyn un llawer mwy naturiol. Credwn fod adn. 4-10 yn ateb adn. 1-3. Fel hyn: y pwnc i'w brofi ydoedd fod yr Iesu yn offeiriad. Gwna yr awdwr hynny trwy enwi nodwedd fawr yr offeiriadaeth yn y tair adnod cyntaf; ac yn yr adnodau ereill, trwy ddangos fel y mae yr Iesu yn cyflawni y nodwedd hon. Er hwylustod i'r darllennydd, rhoddaf yma elfeniad o'r ymresymiad; ar un ochr, nodweddion offeiriad, ac ar yr ochor arall eu cyflawniad yng Nghrist.

| *Nodweddion.* | *Cyflawniad.* |
|---|---|
| Pob archoffeiriad a *osodir* dros ddynion. | (1). Nid yw neb yn cymeryd yr anrhydedd iddo ei hun: h.y., pawb yn cael ei alw; felly Aaron.<br>(2). Felly Crist nis gogoneddodd ei hun.<br>(3). Eithr Duw a'i galwodd. |
| Pob offeiriad wedi ei gymeryd o blith dynion. | Felly Crist, yr hwn yn nyddiau ei gnawd |
| Felly, fe ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn anwybodaeth ac amryfusedd. | a ddysgodd ufudd-dod. |
| Oblegid (1) Ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu a gwendid.<br>(2) Ac o achos hyn y dylai offrymu drosto ei hun. | Oblegid (1) Trwy lefain cryf a dagrau fe *offrymodd* weddi drosto ei hun.<br>(2) Ac fe gafodd ei ateb, o herwydd ei dduwiol barch. |

Manyler ar yr adnodau, a gwelir fel y mae yr awdwr yn cydbwyso ei frawddegau, ac felly, mi dybiaf, ei feddyliau. Un prif feddwl ac un prif frawddeg sydd yn adn. 1—3, sef mai prif nod offeiriad yw ei fod wedi ei *osod* yn y swydd. Yn ateb i hon, ceir tair brawddeg gydbwys yn adn. 4—8; tair sydd yn esboniad ar a chymhwysiad o'r nôd a ennwyd yn adn. 1—3. Gosod mewn swydd gan Dduw yw y prif nôd; golyga hynny nad yw neb yn rheibio am y swydd, nac yn ei chymeryd ond yn yr un ffordd ag Aaron, sef trwy "gael ei alw." Felly am Iesu Grist. Nis gogoneddodd Yntau ei Hun trwy gymeryd iddo ei Hun yr offeiriadaeth. Duw a'i gogoneddodd, oblegid Duw a'i galwodd. Duw a ddywedodd, "Tydi yw fy Mab;" felly y danghoswyd yn Heb. i. 5, ac

felly y deallid y Salm. Yr un un ddywedodd hefyd, "Offeiriad wyt ti." Galwyd Iesu Grist yn offeiriad gan Dduw, ac felly cyflawnir ynddo Ef brif nôd offeriad. Beth bynnag arall sydd yn yr adnodau hyn, y mae yn gynwysedig mewn brawddegau dibynnol; ac er nad ydynt bwysicaf, eto y mae iddynt bwysigrwydd. Naturiol iawn i ddyn ymholi ynghylch ffordd Duw o osod yn y swydd hon,—yn neillduol, *pwy* a osododd. Yn wir, mae gan ddyn fuddiant yn y cynllun, oblegid fe osodir offeiriad dros neu ar ran dynion. Mae priodoldeb y gosodiad yn amlwg yn hyn: o blith dynion y cymerwyd yr offeiriad. Beth mae y ffaith hon yn ei gynnwys? Fe gofir fod dyn i agoshau at Dduw trwy yr offeiriad. Ac nid ydyw yn agoshad oddigerth ei fod "yn hyderus" (*parrhêsia*, iv. 16). Rhaid gallu agoshau a thywallt y galon mewn cyffes wrth yr offeiriad, a thrwyddo ef wrth Dduw. Cyn y gellid gwneyd hyn, yr oedd yn rhaid fod sicrwydd yng nghalon yr addolydd y caffai gydymdeimlad yr offeiriad. I gyfarfod â'r angen hwn, dywedir fod yr offeiriad wedi ei gymeryd o blith dynion; a golyga hynny ei fod yn gallu tosturio, neu gyd-ddwyn, â'r rhai mewn anwybodaeth ac amryfusedd. Mae'r tosturi yn seiliedig ar gyffelyb brofiad. Yr oedd yr offeiriad, fel yr addolydd, yn agoshau at Dduw drosto ei hun, fel dros yr addolydd; oblegid, yn gyntaf, ei fod yntau wedi ei amgylchu â gwendid; ac yn ail, ei fod o herwydd hynny yn offrymu drosto ei hun ynglyn â phechod. Yn cyfateb i hyn, fe geir cyflawniad ym mhrofiad yr Iesu,—sef ei brofiad wrth ddysgu ufudd-dod. Nid peth hawdd oedd hyn iddo Ef; awgryma yr ymadrodd "er ei fod yn Fab," mor anhawdd ydoedd, ac eglura "yr hyn a ddioddefodd" natur yr anhawster. Yr oedd yn dysgu ufudd-dod trwy ei brofiad pan wedi ei amgylchu â dioddefiadau.—Pa fodd? Yr oedd yn gallu dioddef am ei fod yn byw. bywyd dyn "yn nyddiau ei gnawd." Bu fyw bywyd dyn, oblegid yr oedd "duwiol barch" yn ei galon, ffydd mewn Duw yn ateb gweddi, ac ymarferiad o weddi pan mewn cyfyngder,—nodau bywyd dyn duwiol. Ychwaneg: dioddefiadau oedd yn peri iddo wylo dagrau; mewn dioddefiadau y byddai yn cael ei demtio (Heb. ii. 18). Yr oedd cyfarfod â phechod mewn ffurf o demtasiwn yn brofedigaeth iddo; ac mewn profedigaeth felly *offrymai* aberth gweddi drosto ei Hun at yr Hwn oedd abl i'w achub allan o'r awr honno; a derbyniodd ateb oddiwrth Dduw oblegid ei "dduwiol barch."

Os yw yr esboniad hwn yn deg a chywir, hawdd gweled fel y mae nodau offeiriad, a enwir yn adn. 2—3, yn cael eu cyflawni, yn ol adn. 7—8, yn yr Offeiriad Mawr. Rhag i neb gamddeall, y mae dau neu dri o bwyntiau yn galw am sylw manylach. "Gwendid;" "o achos hyn;" "ynglyn â phechodau."

1. Arferwn edrych ar ddau fath o *wendid*,—sef gwendid pechadurus, a gwendid heb fod felly, yr hwn a elwir amlaf, er yn anghywir, gwendid naturiol; gwell hwyrach fyddai ei alw yn wendid di-bechod Nid yw y gair yma yn golygu y naill na'r llall.* Y tebyg yw fod yr awdwr yn ei ddefnyddio yn ei ystyr ehangaf, ac feallai nad ystyriai efe un gwendid yn bechadurus. Ar yr un pryd, yn ein gwendid, pa mor bur bynnag y gall fod ynddo ei hun, yr ydym yn dod agosaf at bechod; mae y gwendid yn ffurfio rhan o'r demtasiwn (cm. Iago i. 14). A chan fod gwendid mewn dyn, y mae yn cario gydag ef bob amser y posiblrwydd o bechod. Mae yntau hefyd wedi ei *amgylchu* â gwendid.

* Gwel Davidson, Heb. iv, 15; Westcott, Heb. vii. 28; a xi. 34.

2. *O achos hyn* y dylai efe offrymu drosto ei hun megis dros y bobl. Nid o achos pechodau ddywedir; ond "o achos *hyn*,"—sef o achos "y gwendid" o'r hwn y mae yr offeiriad yn berffaith ymwybodol. Nis gallwn osgoi y ffaith fod gwahaniaeth rhwng gwendid a phechodau. Mae dau ystyr i'r gair pechod yn y Testament Newydd: weithiau golyga egwyddor ddrwg yn llywodraethu y galon, ac yn yr ystyr yma nid yw byth i'w gael yn y rhif lliosog; dro arall, golyga weithred neu weithredoedd sydd yn ganlyniad i, a datguddiad o'r egwyddor ddrwg, ac yn yr ystyr hwn ceir "pechodau." Hawdd gweled nad yw "gwendid" yn yr un o'r ddau ystyr, yn cyfateb i ail ystyr y gair "pechod." Nid yw yn golygu gweithred o gwbl, er y gall, ac fel rheol ei fod yn arwain i gyflawni gweithred bechadurus. Eto credwn fod gwahaniaeth rhwng gwendid ac egwyddor ddrwg, pa mor agos bynnag i'w gilydd y gallont fod. Ystyr y gair gwendid yn y Testament Newydd yw absenoldeb nerth, ac y mae hyn yn bod ynglŷn â'r corff yn gystal â'r enaid. Ynglŷn â'r corff golyga freuder neu afiechyd. Yn yr ail ystyr y defnyddir ef bob amser yn yr Efengylau, a cheir ef yno saith waith.* Ynglŷn â'r enaid golyga anallu i ddeall, i weithredu, i lywodraethu tueddiadau y meddwl, neu i oddef profedigaeth.† Amlwg yw fod gwahaniaeth rhwng absenoldeb nerth ac egwyddor. Daw y gair "pechod" yn agos iawn ei ystyr i "wendid" yn y mannau lle y defnyddir ef yn yr ystyr o "allu" neu "nerth" sydd yn llywodraethu meddwl neu weithredoedd drwg.‡ Os diffyg gallu neu absenoldeb nerth i lywodraethu gweithredoedd dyn yw gwendid, gan nad ymha ffordd y tarddodd; ac os un ystyr i'r gair pechod yw gallu sydd yn peri i ddyn gyflawni pechod, gan nad ymha ffordd, y tarddodd; a chan weithiau y gall, ac yn wir fel rheol y digwydd fod anallu i gyfarwyddo yr enaid i gyflawni gweithredoedd da yr un peth â gallu i gyfarwyddo neu beri i'r enaid gyflawni gweithredoedd drwg, hawdd gweled mor agos y maent i'w gilydd. Mewn achos fel hyn, nid yw gwendid a phechod namyn dau enw gwahanol ar yr un peth; yr enwau yn cael eu rhoddi yn ol dwy o wahanol ffyrdd o edrych ar y peth hwnnw. Er hynny y mae gwahaniaeth, a gwahaniaeth mawr mewn rhai achosion, rhwng y naill a'r llall. Yn gyntaf, goddefol yw gwendid, a gweithredol yw pechod; ac yn ail, y mae dyn yn gyfrifol am bechod bob amser, pa un bynnag ai mewn egwyddor ai mewn gweithredoedd pechadurus; eithr nid yw dyn yn gyfrifol am bob gwendid. Mae pechod ymhob ffurf arno yn ddrwg; mae rhai gwendidau nad ydynt yn foesol,—gwendidau sydd yn perthyn i'r natur ddynol ar wahân i bechod,—pa un bynnag ai y pechod gwreiddiol, pechod rhïeni, neu ynte bechod y plant; megis syched, newyn, blinder, &c. Eto, mae yr un peth yn wir am y gwendidau hyn a'r gwendidau sydd yn ganlyniad pechod. Gall dyn gymeryd ei lywodraethu ganddynt, a thrwy hynny gael ei arwain i bechu. Mae gwahaniaeth rhwng natur y gwahanol wendidau, eithr yr un yw canlyniad cymeryd ei lywodraethu yn unig gan y naill neu y llall, sef pechu. Yr un yw temtasiwn o ran natur,

* 1 Cor. xv. 43; 2 Cor. xiii. 4; Luc xiii. 11, 12; Ioan v. 5; xi. 4; Gal. iv. 13; Matt. viii. 17; Luc v. 15; viii. 2; Actau xxviii. 9; Heb. xi. 34; 1 Tim. v. 23.

† Rhuf. vi. 19; 1 Cor. ii. 3; Heb. iv. 15; v. 2; vii. 28; Rhuf. viii. 26; 2 Cor. xi. 30; xii. 5, 9.

‡ Rhuf. v. 21,—teyrnasodd; vi. 12, 14; vii. 17, 20, &c.

gan nad beth fyddo'r gwahaniaeth rhwng cynnwys y gwahanol demtasiynau; ac oblegid hynny—a dyma sydd yn bwysig i sylwi arno—yr un yw profiad y temtiedig o ran natur, pa mor fawr bynnag y gall fod y gwahaniaeth mewn graddau.* I ddod yn ol at yr adnod: "o achos hyn," sef gwendid, y dylai yr offeiriad offrymu drosto ei hun. Ni wneir gwahaniaeth rhwng gwendid a gwendid, gan nad beth a fyddo; yr un yw canlyniad y naill a'r llall, o ufuddhau i'w cymelliadau; gan hynny, dylai yr offeiriad offrymu drosto ei hun os yw yn ymwybodol ei fod wedi ei amgylchu a gwendid o unrhyw fath.

3. *Ynglyn â phechodau.* Yn yr adnod gyntaf fe ddywedir mai gwaith yr offeiriad yw "offrymu rhoddion ac aberthau dros [*huper*] bechodau," sef pan y mae yn gweithredu dros ddynion. Ond yma dywedir "y dylai offrymu ynglyn [*peri*] â phechodau," pan yn offrymu drosto ei hun. Rhaid cydnabod fod gwahaniaeth ystyr rhwng y ddau arddodiad. Onid oedd awdwr y llythyr hwn yn gwybod hyn? Ai heb reswm y defnyddiodd arddodiad gwahanol yn y drydedd adnod, i'r un ddefnyddiodd yn y gyntaf? Cytunir fod yr arddodiad yma yn dynodi gradd bellach o berthynas rhwng dyn neu offrwm â phechod na'r un gair yn yr adnod gyntaf. Mae hyn yn cyfateb i syniad yr awdwr; mae yr Archoffeiriad Mawr yn un â'i bobl ymhob peth yn ei gysylltiad â phechod. Hefyd dylem gofio un peth arall: nid deffinio offeiriad Iuddewig yn unig y mae yr awdwr; ond dynodi prif nodau gwir offeiriad, trwy gymorth yr hyn oedd wybyddus iddo ef a'i ddarllenwyr am offeiriad Iuddewig. Yma gan hynny, nid y manylion, ond egwyddorion sydd fwyaf eu pwys. Boddlona yr awdwr, gan hynny, ar ddweyd yn y modd mwyaf cyffredinol y gallai fod yr offeiriad yn dyfod i gysylltiad â phechod, heb unrhyw eglurhad pellach ar y cysylltiad. Buasem yn disgwyl hyn ar ol gweled mai o herwydd gwendid, ac nid pechodau, y dylai yr offeiriad offrymu drosto ei hun. Ymwybyddiaeth o'i wendid fel yr oedd yn arwain i bechodau, oedd yn galw am ei aberth; a pha un bynnag a oedd wedi pechu ai peidio, fe ddylai aberthu drosto ei hun. Sylwn, ynte, ar ochelgarwch yr awdwr; nid yw yn dweyd nac yn awgrymu fod yr offeiriad wedi pechu, er ei fod yn awgrymu y posiblrwydd o hynny; yr ydoedd mor bosibl fel ag i roddi i'r offeiriad wybod beth yw nerth temtasiwn. Mae'r gochelgarwch hwn yn cyfateb i ffaith ynglyn â'r archoffeiriad dan yr Hen Destament. Gwir fod yn rhaid iddo ddwyn aberth dros bechod, fel rhyw Israeliad arall, pan y byddai wedi digwydd cyflawni pechod; eto, unwaith yn y flwyddyn yn unig y rhoddid ef ar yr un tir yn hollol â'r genedl, sef ar ddydd mawr y Cymod. Bob diwrnod arall yr oedd y ffaith ei fod wedi ei osod "dros ddynion," yn llawer mwy amlwg na'i fod yn un o honynt.† Hefyd, er i'r awdwr wrth son am aberthau, fod yn meddwl yn unig a hollol, neu yn uniongyrchol, am aberthau gwyl y cymod, mae'n wybyddus mai nid am bechodau a gyflawnwyd, sef pechodau y gwyddai yr archoffeiriad neu'r bobl, neu'r naill a'r llall eu bod wedi eu cyflawni, yr oeddid yn aberthu. Hyn, debygaf, yw ystyr cyffes yr archoffeiriad ar y dydd hwnnw drosto ei hun a thros y bobl: Yr ydym wedi ein hamgylchu â gwendid; gallem yn hawdd fod wedi pechu heb yn wybod; nid ydym yn gallu enwi na chyfrif ein

* "Gwahaniaeth mewn graddau." Un yn cael ei demtio ac yn pechu; un arall sydd dan yr un demtasiwn yn gwrthod pechu: mae'r olaf yn dioddef ar y pryd lawer mwy na'r blaenaf, er mai yr un o ran natur yw dioddefaint y ddau.

†Cymh. Delitzsch ar Heb. v. 3 (I. 232, n. 2).

hamryfuseddau; derbyn ein haberthau; os darfu i ni bechu, dyro faddeuant yn rhinwedd y pech-aberth; a pha un bynnag a ddarfu ni ai peidio, dyro nerth i ymgysegru yn fwy llwyr i'th wasanaeth yn rhinwedd y poeth-offrwm; a'n dymuniad yw cael mwynhau dy gymdeithas mewn heddwch yn rhinwedd yr aberth-hedd. Os dyma'r ystyr, mae yn dod i'r un peth a chyfaddefiad, "ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid" oedd yn ei wneyd yn agored i bechu ar unrhyw adeg, yn y gorffennol neu'r dyfodol, heb yn wybod iddo ei hun. Am hynny, nid "o achos" neu "o ran" (*huper*) a ddywedir; eithr "ynglyn" (*peri*). Pechod wedi ei gyflawni oedd achlysur neu achos y pech-aberth, ac nid oeddynt yn colli golwg ar bechod fel posibilrwydd byd yn oed ynglyn â'r poeth-offrwm a'r aberth-hedd. Mae y gair "ynglyn" yn ddigon eang ac ystwyth i gynnwys y ddwy berthynas.

Pa fodd, ynte, y gellir cymhwyso hyn at yr Archoffeiriad Mawr? Yn hollol fel y mae yr awdwr yn cymhwyso temtasiwn. Fe ddywed fod yr Iesu "wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud â ninnau, heb bechod" (Heb. iv. 15). Nid wedi ei demtio ymhob peth y'n temtir ni. Gofynnai un hen sant wrth ymdrin â'r adnod hon yn y dosbarth, A demtiwyd Iesu Grist gyda gwraig anynnad? Naddo. Nid ar "ymhob peth" y mae'r pwyslais; y mae ugeiniau, feallai mwy na hynny, o demtasiynau yn bod heddyw na fuont mewn unrhyw oes o'r blaen, ac nad oeddynt yn amser yr Iesu. Er hynny, fe'i temtiwyd Ef "yr un ffunud" ag y temtir ninnau. Mae gwahaniaeth rhwng cynnwys temtasiynau; eithr yn hyn un ydynt: gwendid sydd ran fawr, ie'r bwysicaf, ym mhob temtasiwn; mae dioddefaint yn rhan hanfodol o bob temtasiwn; temtasiynau i bechu ydynt oll; a phechu yn erbyn yr un Duw, yr Hwn a greodd bob deddf, naturiol ac ysbrydol, meddyliol a moesol. Yn ei demtasiynau fe demtiwyd Iesu Grist yr un ffunud a ninnau. Yr un o ran egwyddor oedd ei demtiad ef â ninnau; yr un, gan hynny, oedd ei brofiad ar ol dyfod trwyddynt o ran natur, er nad o ran graddau. Nid yr un canlyniad oedd i'r naill a'r llall; yr oedd Efe "heb bechod" wedi'r cwbl, tra mai fel arall y mae dyn yn gyffredin. Yr oedd y gwahaniaeth yng ngraddau y profiad, yn ol yr egwyddor: po fwyaf y purdeb, mwyaf y dioddef mewn temtasiwn. Eithr yr oedd y gwahaniaeth hwn yn troi yn fantais i ni, oblegid po fwyaf y dioddef, mwyaf yn y byd y gallu i gydymdeimlo. Yn yr Iesu, y mae y gallu i gydymdeimlo mor fawr fel y gellir dweyd y medr Efe "gyd-ddioddef gyda'n gwendid ni"; a hynny am ei fod wedi ei demtio yr un ffunud â ni. Mae temtasiynau yr Iesu a'n temtasiynau ni yr un o ran egwyddor.

Yn ol y ffordd hon o esbonio hanes yr Iesu, gellir dangos ei fod wedi aberthu drosto ei Hun. Gwir ddywed Westcott: "Ynglyn â'r archoffeiriad dynol, yr oedd gwendid yn esgor ar bechod; yn hyn nid oes cyfatebiaeth rhyngddo a Christ."* Eto methwn a gweled fod golygiad Dr. Westcott yn gywir pan y dywed: "Wrth gwrs, gwir yw nad oedd unrhyw angen i Grist offrymu drosto ei Hun mewn unrhyw ystyr";† ac yn enwedigol gan ei fod yn cydnabod am y gair "offrymu" (v, 7): "Feallai fod yr awdwr wrth ddefnyddio y gair hwn am weddïau ein Harglwydd ar y ddaear yn cyfeirio at gymeriad aberthol gwasanaeth ysbrydol."‡

* Ar Heb. v. 3. Tudal. 120.
† Ar Heb. vii. 28. Tudal. 197.
‡ Ar Heb. v. 7. Tudal. 125.

Dyma'r anhawster. Yr oedd yr offeiriad yn aberthu drosto ei hun; a thrwy hynny yn ennill cyfaddaster a chymhwyster i wneyd hynny dros ereill. Onid oedd yn rhaid i'r Iesu ennill yr un cymhwyster yn yr un ffordd? Ymddengys i mi nas gellir osgoi yr atebiad cadarnhaol, os ydym i gymeryd yn safon ddull awdwr y llythyr at yr Hebreaid o ymresymu. Os derbynnir yr elfeniad o demtasiwn a nodwyd uchod, nis gellir gwadu fod hynny yn bosibl, ie, yn wir, ei fod yn ffaith. Bu yr Iesu yn cael profiad o wendid; bu yn dioddef o'i blegid; yn ei ddioddefaint fe'i temtiwyd; temtiwyd Ef i bechu yn erbyn Duw. Bu yn ymdrechu rhag pechu; yr ydoedd hynny yn ymdrech wirioneddol iddo; yr oedd ei lefain cryf a'i ddagrau yn brawf o hynny; ac ynglyn â'r temtasiynau oedd o dro i dro,—nid oes yr un rheswm dros gyfyngu yr hanes i gylch Gethsemane, er mai yno y bu y *crisis*,—yn ymosod arno, nid oedd ganddo ond offrymu i Dduw ei boeth-offrwm a'i aberth-hedd mewn ffurf o weddi am waredigaeth. Offrymodd felly drosto ei Hun, er dangos ei ddymuniad cryf a di-ildio i ymroi i wasanaethu Duw, ac i gadw cymdeithas bur a di-dor gyda'i Dad. Dyweder a fynner am y syniad hwn,—ac fe ddywed Dr. Davidson ei fod yn "hasty one" (tudal. 113), a Dr. Delitzsch, ei fod yn "gywrain iawn" (i. tudal. 251),—credwn fod mwy o'i blaid nag sydd yn ei erbyn. Enwer gochelgarwch yr awdwr wrth eirio v. 3; yr egwyddor wrth yr hon y mae yn esbonio hanes a chymeriad yr Iesu; a'r ffaith iddo ddefnyddio'r ymadrodd "*offrymu* gweddi"; yn gystal hefyd â'r ystyriaeth fod y golygiad hwn yn ein galluogi i gario'r gyfatebiaeth rhwng yr Archoffeiriad Mawr ac archoffeiriad yr Hen Destament mor bell ag y mae modd, heb ei wneyd yn gyfrannog o bechod. Ac os na allwn roddi prawf pendant mai hyn oedd syniad yr awdwr (Dr. Davidson; Dr. Delitzsch), o'r ochr arall, nis gellir profi nad ê; nis gellir profi ychwaith fod y syniad hwn yn gwneyd cam â iaith yr awdwr; ac nis gellir profi nad oes le i'r cyfryw esboniad yn yr adnodau hyn. Credaf hefyd fod mwy o sail i, a rhesymau dros ei briodoli iddo na pheidio. Am ben hyn oll, pe profid nad oedd ym meddwl yr awdwr, nid yw hynny yn un rheswm dros honni nad yw yr esboniad yn cynnwys gwirionedd tra phwysig a hanfodol.

## II.

Nid anhawdd dangos fod y golygiad a ddelir yma yn gyson â dysgeidiaeth y Beibl am hanfod aberth. Os ydyw yn ffaith,—gyda'r eithriad a nodwyd,—nad ymddengys fod yr un o'r ysgrifenwyr sanctaidd wedi meddwl am dano, ac os yw yn gam ymlaen ar eu syniad hwy, eto nid ydyw yn anghyson. Os yw yn ychwanegiad at ein gwybodaeth, ac yn gyson a'u dysgeidiaeth hwy, diolchwn am barhad o arweiniad yr Ysbryd Glan,—Ysbryd y gwirionedd, yr Hwn a addawyd i'w eglwys gan yr Iesu dros byth.

Cyfleus ac nid annheg yw edrych ar ddysgeidiaeth y Beibl ar bob pwnc yn ddwy ran,—yn yr Hen Destament a'r Newydd: a sylwn ar ei ddysgeidiaeth am aberth, yn gyntaf yn yr Hen Destament, ac wedi hynny, yn y Testament Newydd.

Cawn fod yr Hen Destament yn son am ddau fath o aberthau, y rhai a alwn, er hwylusdod, yn aberthau ysbrydol a materol. Ar un llaw cawn y fath ymadroddion â'r rhai hyn: "ebyrth cyfiawnder," "ebyrth gorfoledd," "aberth moliant," a'r cyffelyb; mewn un man yn wir dywedir, "aberthau Duw ydynt ysbryd drylliedig." Tybiwn mai teg

yw edrych ar y geiriau hyn oll fel yn disgrifio ystâd meddwl yr addolwr pan mewn iawn berthynas â Duw. Yr oedd ystâd meddwl fel a ddisgrifir yn addewid o fywyd o "gyfiawnder" sydd wrth fodd Duw. Dyma'r aberthau ysbrydol. Ar y llaw arall cawn aberthau materol,—megis anifeiliaid, ŷd, ffrwythau, a diod,—pob peth sydd yn rhan o luniaeth dyn. Ni raid i ni fanylu ar y dosbarth hwn; digon eglur yw y gwahaniaeth rhyngddo a'r blaenaf. Ni allwn osgoi un casgliad: â'r meddwl y mae gwir aberthu, gan ddefnyddio meddwl yn ei ystyr buraf; ac nid yw yr aberthau materol ond danghoseg o syniad yr addolydd am yr hyn a ddymunai i'w berthynas a Duw fod. Yn gyson â hyn, ceir digon o adnodau yn yr Hen Destament sydd yn dangos nad oedd dim gwerth mewn aberth ar wahân i ystâd meddwl yr aberthydd.

Gellir edrych ar yr aberthau dan yr Hen Destament o safle hanesyddol, a cheir eu bod yn llawn o wersi. Wrth wneyd hyn, dymunwn adgoffa y darllennydd nad yw y cwestiwn am gynnwys, amser a hanes gwahanol lyfrau yr Hen Destament eto wedi ei ateb yn derfynol; ac am hynny nid wyf yn cymeryd yn ganiataol ond eu bod yn cynnwys hufen llenyddiaeth y genedl,—ei golygiadau addfetaf am ei hanes, yn wladol a chrefyddol. Digon hyn i'r amcan presennol. Wrth aberth yn y fan hon golygwn aberth materol. Mae rhoddiad y ddeddf yn rhannu hanes aberthu yn ddau gyfnod. Cynrychiolir y cyntaf gan lyfr Genesis; a'r ail gan lyfrau ereill y Beibl,—y rhan fwyaf, os nad yr oll o honynt. Dysgir ni gan yr Apostol Paul fod y ddeddf wedi gwneyd rhyw gyfnewidiad ar bethau. Dygodd i mewn i hanes dyn y syniad am bechod mewn rhyw ffordd.* Sut bynnag yr esbonnir hyn, y mae yn wir nad yw llyfr Genesis yn rhoddi unrhyw le i ni gasglu fod y syniad o bechod yn gysylltiedig ag aberth ym meddwl yr un o'r rhai y rhoddir eu hanes yn aberthu.† Sut bynnag yr esbonir tarddiad aberthu,—ac y mae y ffyrdd a gynhygir yn llu,—mae hanes aberthu ymhlith cenhedloedd y byd yn cyd-dystiolaethu â'r hyn a ddysgir yn Genesis. Yr ydoedd aberthu yn bod ar wahân i bechod; a theg yw casglu fod angen am dano, ac y buasai yn bod yn y ffurf uchaf, pe na buasai am ddyfodiad pechod i hanes dyn.

Beth oedd syniad y patriarchiaid am hanfod aberth, nid ydyw yn hawdd ateb yn bendant. Mae'r teimladau o barch, gwarogaeth, a diolch i Dduw yn amlwg yn y rhai o honynt ag y cawn eu hanes yn aberthu. Hwyrach fod eu syniadau yn wahanol. Credwn mai offrymu Isaac yw yr esiampl fwyaf hynod yn y cysylltiad hwn. Yn hon ceir syniad y patriarchiaid wedi cyrraedd ei *glimax*, ys dywedir. Er i ni fyned cyn belled a dweyd mai camgymeriad mewn barn ydoedd,—ac y mae llawer yn cymeryd y golygiad yma,—nid yw y camgymeriad ond yn dangos gyda mwy o eglurder yr hyn a ystyrrid yn hanfod aberth. Gwrthododd Duw gymeradwyo offrymu dyn; rhoddi aberth o fywyd oedd amcan Abraham, ac edrychir ar hyn fel esiampl o aberthu hunan ar allor gwasanaeth Duw.‡ Rhoddi bywyd ydyw hanfod aberth.

Ar ol rhoddiad y ddeddf, yr un ydyw hanfod aberth. Nid lladd, nid marwolaeth yr aberth o anifail, oedd dderbyniol gan Dduw; nid gwaith yr offeiriad oedd lladd. Y gwaed a dderbynnid gan yr offeiriad ac a

* Rhuf. iv. 15; v. 20; vii. 1, &c.

† Ar y cwestiwn gwel nodyn rhagorol Dr. Westcott yn ei esboniad ar y llythyr at yr Hebreaid, tudal. 281—292.

‡ Gwel Westcott, Heb., tudal. 284.

daenellid ar yr allor, a hynny am mai ynddo yr oedd "einioes y cnawd" (Lef. xvii. 11). Pa mor angenrheidiol bynnag y gallai fod y lladd, yr "einoes" a gyflwynid i Dduw. Rhoddodd y ddeddf arbenigrwydd ar gymeriad y bywyd; yr oedd i fod yn sanctaidd, fel yr oedd yr anifeiliaid a offrymid i fod yn ddifeius a dianaf. Nododd hefyd y gwahanol achlysuron ar y rhai y gellid, ac weithiau y dylid, aberthu; ac yr oedd y gwahanol achlysuron yn peri fod ychydig wahaniaeth yn ystyr y gwahanol aberthau. A chymeryd y prif aberthau yn unig, gellir eu dosbarthu yn ddau ddosbarth,—aberthau *cyn* ac *wedi* y cymod. *Cyn* yr oedd yr aberthau tros bechod, a'r un tros gamwedd; *wedi* yr oedd y poethoffrwm a'r aberth-hedd. Dyma y drefn yr aberthid hwynt; oblegid nid oedd dim derbyniad ger bron Duw cyn gwneuthur cymod dros bechod. Y ddeddf ddaeth a'r ddau aberth cyntaf a ennwyd i fod, ac a eglurodd wir ystyr y ddau ereill. Ystyr y ddau gyntaf oedd gwneyd iawn am bechod; ystyr y trydydd oedd llwyr ymgysegriad bywyd ar allor gwasanaeth Duw; a'r pedwerydd, cymundeb tawel a di-dor rhwng dyn a Duw. Ar ol gwneyd iawn am bechodau y gorffennol, a hynny gydag ysbryd drylliedig, naturiol oedd disgwyl rhywbeth gwell yn y dyfodol, er dangos nad oedd yr addolwr yn cymeryd mantais ar drugaredd Duw. Danghosid hyn trwy y poeth-offrwm a'r aberth hedd; yr oedd y naill a'r llall yn arwydd o ddymuniad a gweddi am nerth i fyw yn ddi-bechod, ac felly gadw mewn cymundeb parhaus a digwmwl â Duw. Mewn gair, pechod roddodd fod i'r ddau gyntaf; ac yr oedd yr ymwybyddiaeth o wendid yn rhoddi lliw newydd ar yr ail ddau. Yr oedd yn rhaid cadw pechod allan, onide nis gellid byw bywyd o ymgysegriad i, nac o gymundeb â Duw. Yn yr ystyr hwn dywedir mewn un man fod y poethoffrwm yn "gwneuthur cymod drosto" (Lef. i. 4). Meddai Jukes: "Gellir gwneuthur hyn mewn dwy ffordd,—trwy foddloni gofynion sancteiddrwydd a chariad, neu ynte gyfiawnder digllawn. Mae'r naill a'r llall yn 'wneuthur cymod;' y cyntaf yw'r poeth-offrwm, a'r ail, y pech-aberth." * Gan mai yr anhawster mawr yw fod pechod yn y byd, —dyma sydd yn gwneyd yn anhawdd ymgysegru i Dduw,—naturiol i'r ymdrech o ymgysegriad gael edrych arni o'r ochr nacäol, sef fel ymdrech yn erbyn pechod. A chan fod yr aberthwr yn ymwybodol o'i wendid ei hun, hyd yn oed pan yn addaw ymgysegru, teg ydyw casglu ei fod yn aberthu gyda'r bwriad o fyw yn ddi-bechod hyd y gallai, gan ofyn am nerth Duw yn gymorth. Fel hyn yr oedd y poeth-offrwm, yn ei wedd nacäol, yn golygu offrwm ynglyn â phechod fel posibilrwydd. Gellir cymhwyso yr un sylw at yr aberth-hedd, a phob aberth arall. Dygodd y ddeddf yr ymwybyddiaeth o wendid a phechod dyn i eglurder.

Nid dibwys ychwaith yw y ffaith mai y ddau aberth olaf oedd y rhai parhaus,—dyddiol, wythnosol, misol, a blynyddol; a hyd yn oed ar amgylchiadau neillduol, pan y gelwid am bech-aberth neu aberth dros gamwedd, nid oedd y gwasanaeth yn gyflawn heb y ddau hyn. Mae hyn yn wir am wasanaeth dydd y cymod, y "dydd mawr." Gorfodir ni i ddweyd fod y ddau olaf yn llanw lle llawer mwy na'r ddau gyntaf; yr oedd yr olaf yn barhaus, a'r cyntaf yn achlysurol. Dysgai yr olaf wers sydd mewn bod lle nad oes pechod, y dylai dyn ymgysegru i Dduw. Ein tuedd ni yw cymhwyso y pech-aberth a'r aberth dros gamwedd at aberth Crist; a'r poeth-offrwm a'r aberth-hedd at yr aberth a ofynnir gennym ni. Mae hynny yn wir; ond nid ydyw yr holl wir.

* "The Law of the Offerings," tud. 52.

Meddai Origen: "Yng Nghrist y mae pob aberth yn cael ei gyflawni."* Ac felly y poeth-offrwm a'r aberth-hedd. Yr oedd Efe yn boeth-offrwm i Dduw, oblegid yr oedd yn ei gysegru ei Hun ar allor ei wasanaeth. Yr oedd pechod ar ei ffordd, fel y mae ar ein ffordd ni; yr oedd ymwybyddiaeth o wendid ynddo Yntau; ac wrth ymgysegru a theimlo yr anhawster i wneuthur hynny mewn byd lle yr oedd pechod, anfonodd aberth gweddi fel poeth-offrwm i Dduw ymhob amgylchiad lle y gwelai fod pechod fel llew rhuadwy ar y ffordd yn disgwyl am dano. Ac yr oedd yn gwneyd hyn drosto ei Hun, fel un oedd wedi dyfod i le dyn, i fyw bywyd dyn, dan amodau y bywyd hwnnw, ac felly dan ei rwymedigaethau.

Trown eto at ddysgeidiaeth y Testament Newydd ar bwnc aberth y Cristion. Nid yn aml, mae'n wir, y cawn gyfeiriad mewn gair at hyn; eto mae'n ddigon aml i roddi i ni sail ddigonol i ffurfio barn. Gelwir dilynwyr Crist, gan Pedr, yn "offeiriadaeth sanctaidd," a dywed eu bod "yn offrymu aberthau ysbrydol, cymeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist." Enwir amryw o'r aberthau hyn yn y gwahanol epistolau:—"moliant," "gwneuthur daioni a chyfrannu," casglu at gynorthwyo yr anghenus, "ffydd," "dychweliad y Cenhedloedd;" a gorchmynnir rhoddi y corff "yn aberth byw, sanctaidd, a chymeradwy gan Dduw," yr hyn a ystyrrir "yn rhesymol wasanaeth."† Dyma'r unig fannau yn y Testament Newydd lle y gelwir grasusau y Cristion yn aberthau. Saith yw eu nifer, ac y maent yn nifer digon cyflawn i ddangos, (1) mai hanfod aberth yw bywyd o ymgysegriad; (2) fod y bywyd hwnnw o anghenraid i fod yn sanctaidd; (3) ac mai arwyddion o hono, profion o'i fod felly yw y gwahanol aberthau a nodir. Am danynt oll fe ellir dweyd eu bod yn gymeradwy gan Dduw, ïe, "yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda."‡ Mae'r aberthau hyn yn cael eu gofyn oddiar ddyn wedi ei gymodi â Duw; nid pechod roddodd fod iddynt, pa mor agos bynnag i bechod y gallont ddigwydd bod mewn byd sydd mor llawn o honno. Gofynnir hwynt gan ddyn fel dyn, ar wahân i bechod.

Onid oedd yr Iesu yn aberthu drosto ei Hun yn yr ystyr yma? Fel mater o wybodaeth, y mae y wedd hon yr un mor bwysig â'r wedd feichnïol ar aberth Crist; ac y mae'n amhosibl osgoi y casgliad, pe buasai Duwinyddiaeth wedi dechreu gyda'r wedd hon ar aberth, y buasai cyn hyn wedi gallu ffurfio athrawiaeth am yr Iawn fuasai yn fwy derbyniol gan bob math o feddyliau nag yw yr un bresennol. Ni raid colli amser i ddangos fel yr oedd yr Iesu yn aberthu drosto ei Hun yn yr ystyr hwn. Bywyd o ymgysegriad i Dduw oedd ei fywyd Ef o'i enedigaeth i'w fedd,—un poeth-offrwm parhaol, a hwnnw, yn y lle cyntaf, drosto ei Hun.

Oddiwrth y sylwadau hyn fe ymddengys i mi yn eglur nad yw yr aberthau yn cael eu cyflawni ynddo Ef oddigerth ei fod yn aberthu drosto ei Hun. Danghoswyd hyn ynglyn ag aberth y poeth-offrwm yn unig; am fod hynny yn ddigon er profi fod yr Iesu yn aberthu drosto ei Hun yn yr ystyr honno, beth bynnag am ystyron ereill. Gadawyd allan hyd yr oedd yn bosibl bob cyfeiriad at y wedd feichnïol ar ei waith, nid am y gwedir hi, nac am y credir nad yw yn cael ei

* In Christum omnis hostia recapitulatur.

† 1 Pedr. ii 5, 9; Heb. xiii. 15, 16; Phil. iv. 18; ii. 17; Rhuf. xv. 16; xii. 1.

‡ Rhuf. xii. 1; Heb. xiii. 16; Phil. iv. 18.

dysgu trwy yr aberthau. Dysgir hi yn ddigon eglur; mae'n amhosibl ei hosgoi yn wyneb tystiolaeth y Testament Newydd. Er hynny, dywedwn eto, fod y wedd arall yr un mor bwysig fel mater o wybodaeth, yr un mor naturiol fel mater o dduwinyddiaeth, ac fod iddi sail ddigonol yn yr Ysgrythyrau. Beth yw cysylltiad y meichnïol a'r personol yng ngwaith yr Iesu sydd gwestiwn arall.

III.

Amhosibl fuasai i mi mewn cylch erthygl sydd eisoes ar derfynau meithder, egluro yn gyflawn y lle sydd i'r gwirionedd y ceisiwyd ei egluro uchod mewn Duwinyddiaeth. Wrth ddweyd fod iddo le, golygaf fod iddo bwysigrwydd yn gystal mewn cyfundrefn o dduwinyddiaeth, pa un bynnag a fabwysiedir yr hen syniad am Ymgnawdoliad oblegid pechod, ynte y syniad diweddar am Ymgnawdoliad er gwaethaf pechod. Tybier fod "Efengyl y Greadigaeth" yr hon sydd o anghenraid yn cynnwys "Efengyl yr Iachawdwriaeth," yn cymell ei hun i ymddiried y meddwl; buasai un amcan mawr yn cael ei gyrraedd trwy yr Ymgnawdoliad, heblaw amcanion ereill: buasai y Mab ymgnawdoledig yn esiampl gyflawn, berffaith, ac ardderchog. Buasai yr esiampl honno yn cymeryd y ffurf o "aberth byw, sanctaidd, a chymeradwy gan Dduw, yr hyn yw ein rhesymol wasanaeth" wedi ein cymodi â Duw, yn gystal â chyn hynny, a thybio nad oedd angen cymod. Pechod ddaeth â phech-aberth i fod; yr oedd poeth-offrwm i fod yn annibynnol ar unrhyw ddigwyddiad o'r fath. Wrth weithio allan y cyfryw esiampl, aberthai Efe drosto ei Hun, ac er budd y byd. O'r ochr arall, tybier nad oes digon o brofion eto i gyfiawnhau tybied y buasai ymgnawdoliad heb bechod, nid yw yr angen am esiampl berffaith ronyn yn llai; ac y mae natur yr achos, yn gystal ag ymadroddion y Beibl yn eglur ddangos nad esiampl fel eiddo y chwareuwyr ar lwyfan y chwareufa ddylsai fod. Wrth ddod i'n lle ni, daeth yr Iesu "dan y ddeddf,"—deddf bywyd dyn yn y byd hwn ymhob gwedd arni. Os felly, yr oedd arno yr un cyfrifoldeb personol i ufuddhau i'r ddeddf honno ag sydd ar ddyn ar wahan i ddyfodiad pechod i'r byd. Wrth ufuddhau iddi, buasai yn rhoddi ei Hun yn "aberth byw a sanctaidd" i Dduw ei Hawdwr a'i Luniwr. Ac er gwaethaf pechod, fe wnaeth Efe hyn. Fe lynodd yn ei benderfyniad i weithio hyn allan hyd farw wrth ei waith; ac y mae yn ei farwolaeth yn cyflwyno poeth-offrwm o arogl peraidd i Dduw a'r Tad drosto ei Hun, fel un "a'i darostyngodd ei Hun, ac a gymerodd arno agwedd gwas"; a'r un modd hefyd er budd ei frodyr, ymhlith y rhai y mae yn "gyntafanedig." Nid wyf yn gweled y collwn ddim wrth olygu fod Crist wedi aberthu drosto ei Hun; ond fod gennym trwy hynny bob peth i'w ennill. Ni raid gwadu y wedd feichnïol ar fywyd a gwaith y Gwaredwr Mawr; eithr o gredu ar yr un pryd y wedd a eglurwyd yma, ceir digon o sail i'r gwirionedd fod ei feichnïaeth wedi ei seilio ar fywyd gwirioneddol ddynol mewn hanes.

WILLIAM GLYNNE.

# IEUAN GWYNEDD AC EBEN FARDD.

Y MAE IEUAN GWYNEDD wedi gadael ar ei ol enw sydd yn barchus ac yn anwyl iawn gan ei genedl, a diameu y bydd darllen y Llythyrau hyn o'i eiddo at FARDD CLYNNOG i lawer o'n cyfeillion yn fawr foddhad. Mae yn rhyfedd fel yr ydoedd ei ysbryd gwych yn ei alluogi i wneyd cymaint o waith, a gwaith mor dda, pan yn gorfod dioddef cymaint. Dywedai yn ei benillion i'w anwyl briod,—

Ti wyliaist wrth fy ngwely
Pan oedd yn wely gwaed.

Er y cwbl yr ydoedd yn meddwl ac yn cyfansoddi ac yn ymdrechu o blaid dyrchafiad ei genedl, fel pe na fuasai yn dioddef sut yn y byd.

Mae y Llythyrau hyn hefyd yn dyfod o Gronfa gyfoethog MYRDDIN FARDD.

---

2, East Terrace, Caerdydd,
Rhagfyr 7, 1850.

Anwyl Syr,

Yr wyf yn amgau yn y nodyn hwn werth 1s. 6c. o lythyrdollau yr hyn, fel y deallaf, sydd gyfwerth â phris a chludiad eich "Caniadau." A fyddwch chwi mor hynaws ag anfon copi i mi gyda'r post, pan fyddo yn gyfleus i chwi.

Gyda hwn, anfonaf gopi o awdl Gwynllif, yr hon a dderbyniodd oddiwrthych ganmoliaeth uchel. Bydd ambell i hen bechadur ystyfnig yn ein cyfrinachau crefyddol, yn arfer diolch am lys y ceir cyfiawnder ynddo, pan y disgyblir ef. Nid wyf am wneyd hynny, gan fy mod yn berffaith ymwybodol eich bod chwi wedi gwneyd cyfiawnder â phob llinell o'm heiddo a fu dan eich sylw hyd eithaf eich gwybodaeth, ac nid oes gennyf un amheuaeth, pe buasech yn gwybod mwy am einioes drallodus Mr. J. P. Davies, nad i'r awdl hon y rhoddasech y wobr. Ond aed y wobr lle'r elo, yr oedd eich canmoliaeth yn wobr werthfawr i mi, yr ail dro yn fy mywyd yr ymdrechais gyfansoddi awdl, a'r *unig* dro ers pedair blynedd ar ddeg.

Ni chefais erioed yr hyfrydwch o'ch gweled am a wn, ond y mae y clod uchel a roddir i chwi bob amser gan fy anwyl gyfaill Mr. Rees o Liverpool, yn peri i mi edrych arnoch fel un o'm "teulu-dduwiau." Darllennais eich "Caniadau" er ys blynyddau, ond ni bum mor ffodus a meddu copi hyd yma.

Chwi a wyddoch mai nid rhyw lawer o feirdd sydd ym "Morgan dir, gerddir gwael." Brodor o Geredigion yw Mr. John Emlyn Jones, golygydd y *Bedyddiwr* yn y dref hon. Y mae efe a Mr. Thomas Davies, Powys (Dewi Wyn o Ysyllt) yn barddoni llawer. Y mae Dewi yn lled dda ei amgylchiadau, ac yn ymroddi llawer i'r gwaith. Ychydig o amser sydd gan Ioan Emlyn, ond barnaf y "gellid" bardd o hono, pe yr arferai iaith eglurach, a llai o gynganeddion llusg.

Esgusodwch fy hyfder yn ymgomio fel hyn â chwi, y waith gyntaf o'ch hannerch. Chwi a wyddoch, ond odid, nas gallaf ymddiddan nemawr o herwydd fy afiechyd, ond trwy gyfrwng fy ysgrifell.

Gyda gwir ddymuniad am eich dedwyddwch presennol a dyfodol,

Ydwyf, Anwyl Syr,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
EVAN JONES, *Ieuan Gwynedd.*

2, East Terrace, Caerdydd,

Rhag. 20, 1850.

Anwyl Syr,

Derbyniais eich llythyr prydnawn heddyw gyda llawer o hyfrydwch; yr wyf yn ddiolchgar iawn i chwi am eich dymuniadau da, ac am y syniadau caredig a grybwyllwch am danaf.

Nid yw y "Caniadau" wedi dyfod i law eto, efallai y deuant y fory. Mae y llythyrydd yn y dref hon yn cymeryd ei hamdden ar brydiau cyn anfon pethau i ben eu taith.—Wele hwy yn awr am naw yn yr hwyr. Dylasent fod yma am 4.

Mae yr argraffydd wedi rhyddhau fy "Adgyfodiad" o afaelion haiarnaidd ei wasg ddechreu yr wythnos hon. Yr wyf yn anfon copi i chwi o'm Pryddest, a byddaf ddiolchgar i chwi am ei derbyn fel arwydd o'm parch *gwresog* a diffuant. Yr wyf yn awyddus iawn am weled eich Pryddest chwithau, oblegid y mae Mr. Rees a Mr. Ambrose wedi ei mawr ganmol wrthyf, ac o ran hynny, uwch canmoliaeth na'r cyfan ydyw yr enw *Eben Fardd.* Derbyniais Bryddest Glan Geirionydd ar yr un pryd a'ch llythyr, ac nid wyf wedi cael hamdden i ddarllen ond ychydig dudalennau o honi. A beidir a'n merthyri ni ein trioedd am ein Pryddestau? Y mae "Un o honoch" yn ein bwgwth yn arw. Cryn drugaredd i achos y Bryddest yw fod Glan Geirionydd a chwithau yn feistriaid ar y gynghanedd.

Chwi a welwch nad wyf fi wedi cadw at yr un mesur. Fy rheswm am hyn oedd, fy mod yn tybio fod gwahaniaeth rhwng Pryddestawd a Phryddest. Pryddestawd, i'm tyb i, ydyw cyfansoddiad barddonol ar y mesur neu fesurau a fynnir, caeth neu rydd; a Phryddest yn gyfansoddiad ar y mesurau 10 sill, 11 a 10, 12 ac 11, neu 12. Dichon fy mod yn ddigon anghywir, ond anturiais wneyd hyn yn y Caniad yma, ac "Adgyfodiad Crist," yr hwn bellach sydd wedi dychwelyd o'ch dwylaw, fel na raid i mi ofni cyfeirio ato. Gwnaed y cyfeiriad yn fy rhagymadrodd at farn y cyffredin, o herwydd fy mod wedi clywed nad oedd eich Pryddest yn y dosbarth cyntaf, yn ol y rhaniad oedd arnynt *cyn* yr Eisteddfod. Tebyg gennyf ei bod yn "saith neu wyth" yn y feirniadaeth gyhoeddedig.

Hyderaf, anwyl Syr, na thybiwch fod yr ychydig gyfeiriadau cyhoeddus a wnaethum atoch fel beirniad yn tarddu o ddiffyg serch i chwi. Gwn na ddisgwyl un dyn call, ac yn sicr ni ddisgwyliwch chwi, oddiwrth un dyn gymeradwyaeth drwyadl o bob peth a ddywed ac a wna. Yr wyf yn meddwl na ysgrifennais un frawddeg yn tueddu neb i feddwl fy mod yn ameu yn y mesur lleiaf eich iawnder a'ch cydwybodolrwydd fel beirniad. Os gwneuthum hynny, sicrhaf chwi mai trwsgleiddiwch di-fwriad ydoedd. Bum unwaith yn meddwl yn *is* am danoch fel *Beirniad* nag yr wyf yn awr, ond ni bum erioed yn meddwl yn isel am eich cydwybodolrwydd. Yr oeddwn i yn meddwl yn ychydig uwch na chwi am *eglurder* awdl Mr. Parry, ac yn ychydig is am ei chynghanedd. Am awdlau Mr. J. P. Davies, bu agos i Mr. Ellis, Sirhowy, fy arwain i *gam ddywedydd* a'm bysedd, ond trwy i mi aros nes gweled y Feirniadaeth, meddwl yr wyf i mi ymgadw rhag y drwg. Nid oeddwn yn medru gweled grym yn hawl y *Prif Feirniad* yn Aberffraw, ac felly pleidiais Mr. Parry i'r gadair fel *legal point*, er fy mod yn meddwl mai rhannu y wobr ddylesid rhyngddo ef ac Ambrose. Diau gennyf, anwyl Syr, y cydnabyddwch nad yw hyn oll ond gwahaniaeth ac annibyniaeth *barn.* Yr wyf fi yn ddyn parod i addef fy mod yn lled *rufygus* wrth gymharu fy marn i gyda'r eiddoch chwi. A chwi a wyddoch hefyd mai sefyllfa boenus ydyw yr eiddo dyn y byddo ei gyfeillion yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd; rhaid iddo ef ddal ei dafod, neu ddweyd yr hyn a welo yn dda.

Ni wn am un achos na rhwystr cyfreithlon i'n hatal i ohebu. Rhydd foddlonrwydd mawr i mi ychwanegu Eben Fardd at nifer fy nghyfeillion,—gwr oedd yn Gadeirfardd cyn fy mod i yn bedair blwydd oed; ac er mai gwan

yw fy hyder o'ch gweled yn y cnawd, eto gobeithiaf y cawn gyfarfod ym mro yr Awenydd anfarwol ar ol darfod dyddiau ein milwriaeth. "Nawdd Duw a'i dangnef" i chwi a'r eiddoch.

Ydwyf, anwyl Syr,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
EVAN JONES.

---

2, East-terrace, Caerdydd,
Chwef. 4, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Dylaswn fod wedi ateb eich llythyr caredig cyn hyn, ond y mae gennyf res o esgusodion am beidio. 1. Penderfynais aros hyd ddydd Calan er mwyn cael gweled y Bryddest. Wel, dydd Calan a ddaeth, ond ni ddaeth sypyn Mr. Owen hyd y 3ydd, ac wedi iddo ddyfod, nid oedd y *Traethodydd* ynddo. Gyrrodd hyn fi i dymherau mor anhywaeth, ac anfonais *stamps* yn ddioed i Ddinbych er ei gael gyda'r post. Wel, disgwyl a disgwyl y bum, hyd heddyw, pan o'r diwedd y daeth. Ond yr oeddwn wedi cael benthyg y *Traethodydd* am ddiwrnod rywbryd tua'r 14eg, ac yn myned i ysgrifennu atoch. 2. Dyma enyniad yn fy ysgyfaint, a minnau i'r gwely am wythnos o dan dyner drugareddau gelenod a *phoultices*. 3. Erbyn dechreu codi, yr oedd y gwr drwg yr argraffydd yma yn barhaus yn gwaeddi "Copi! copi!" nes oeddwn bron yn barod i'w felldithio ef a'i gelfyddyd. Ddiwedd yr wythnos cefais fy anadl; ond 4. Daeth sypyn anferth o lyfrau ddydd Sadwrn, y rhai a'm daliasant yn gaeth hyd yn hyn.

Yr wyf yn ddiolchgar i chwi, fy anwyl gyfaill, am eich syniadau caredig am fy Mhryddest. Gyda golwg ar y mesurau, yr wyf yn hollol barod i addef mai mwy *gorchestol* y cyfrifir y rhai arwraidd. Ond yr wyf yn dewis y mesurau Emynol am eu bod yn fwy cyffredin, ac, o ganlyniad, yn fwy dealladwy. Fy awyddfryd ydyw ysgrifennu gydag eglurdeb Williams, Pantycelyn, a gochel gwaeledd ei iaith a'i dor mesur. Nid wyf yn breuddwydio fod ei athrylith gennyf, ond meddyliaf y byddaf yn fwy tebyg o gyrraedd y werin yn y dull wyf wedi ddewis, na phe'r ymgadwn yn hollol at y mesurau arwraidd.

Gyda golwg ar eich Pryddest chwi, ni chefais gyfle hyd yma i'w darllen ond unwaith. Y mae tebygrwydd mawr yn ein cynllun, er nad oes ond ychydig yn y dull yr ydym yn ei weithio allan. Cân arwrol oeddwn innau wedi fwriadu. Yr oeddwn wedi gosod Caniad VIII. yn gyntaf, ac Angel i ymddangos i gysuro y saint. Felly y gweithiais hyd ddiwedd Caniad VI, pryd y tarawodd i fy meddwl nad oedd y cyfansoddiad yn ddigon da o enau Angel, ac felly mi a'i gollyngais adref ac a gyfnewidiais Caniad VIII. i'w ffurf bresennol. Mae braidd yn dda gennyf yn awr mai felly bu, gan eich bod chwi wedi gwisgo cenadwri eich gweision mor odidog. Yn wir, y mae eich Pryddest yn rhagorol iawn, ac os cyhoeddir hi ar ei phen ei hun, cymerwch fy enw am 20 copi. Yr ydych erbyn hyn yn adnabyddus o helyntion Cyfarfod Merthyr. Enillais ar bob peth a gynhygiais, ond y gerdd genedlaethol; ac am honno, yr wyf "yn dawel fy ngwala," gan na chostiodd ei chyfansoddiad i mi ddeng munud. Hoffwn allu anfon y *Gymraes* i chwi. Yr ydym yn anfon i Gaernarfon a Phwllheli, ac os byddwch mor hynaws a derbyn copi gennyf, bydd yn bleser i mi ei hanfon. Ni chawn, mae'n debyg, "tra yma yn y cnawd," ond ychydig gyfeillach feddyliol fel hyn, a dywenydd mawr i mi fod ysbryd awenyddol Eben Fardd ymysg y rhai a gydymdeimlant â mi. Anfonais y *Gymraes* am Ionawr. Byddwch wych.

Ydwyf, fy Anwyl Gyfaill,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
EVAN JONES.

O.Y.—Disgwyliaf allu anfon Adgyfodiad Crist i chwi yn fuan.

2, East Terrace, Caerdydd,
Mawrth 15, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Diolch i chwi am eich llythyr caredig a dyddorol diweddaf, ynghyd â'r eirchion a gynhwysai. Hyderaf eich bod wedi derbyn y *Gymraes* a dau gopi o'r "Adgyfodiad" erbyn hyn. Yr wyf wedi bod yn bur brysur yn gwneyd dim yn ddiweddar, ac er fy mod yn teimlo yn wael iawn yn fynych, yr wyf yn meddwl na ddylwn farw heb ennill rhyw fath o Gadair Farddonol, gan fod nifer o honynt yn ymgodi eleni. Ond digon tebyg mai ofer freuddwydio yw hyn, a rhaid i mi gofio fy mod yn siarad â'r barnwr, a bod ymgomiad fel hyn yn waharddedig yn ei bresenoldeb. Ni synnwn pe na lunid deddf, gan ryw bwyllgor dwbl-ymenydd yn fuan i wahardd i feirniaid ohebu â neb byw, rhag iddynt adnabod eu hysgriflaw. Oni byddai yn well eu hanfon i Ynys Enlli ar unwaith?

Da gennyf ddeall eich bod yn un o feirniaid Cadair Caerdydd. Mae ein doethion yn mawr ddisgwyl mai Sais a'i hennill. Byddai hynny bron can waethed a Goresgyniad Morgannwg gan y Normaniaid. Cymerais fy rhyddid i nodi dynion cymwys i'r Pwyllgor ddewis beirniaid o honynt. Yr wyf yn deall fod Glan Geirionydd wedi gwrthod y swydd, ond hyderaf y derbynia Caledfryn hi.

Beth a ddisgwylia "Cymry Nerpwl" mewn chwech wythnos? Dylech ffrwyno y carlamu llenyddol hwn, onide ar fy ngair gwir, bydd eisieu codi Bedlam i'r naill hanner o feirdd Cymru. Awdl heb fod dros 700 llinell, a Phryddest heb fod dan fil, mewn chwech wythnos! Dylid cyhoeddi gorsedd ddygynnull o wlad a gorwlad, er mwyn esgymuno y boneddigion hyn, am ymdrechu dwyn Awdl a Phryddest a rhoddi enwau drwg iddynt; ac nid gormod o gosb arnynt fyddai eu cadwyno wrth Sarn Badrig i chwilio am Gantref y Gwaelod dros undydd a blwyddyn, serch bod y nesaf yn flwyddyn naid.

Ymddengys fod holl feirdd yr "Adgyfodiad" yn benderfynol o apelio at y cyhoedd am yr isaf ei bris, ond chwi a minnau. Yr wyf yn meddwl y dylid cyhoeddi eich Pryddest chwi ar ei phen ei hun. Y mae tuag 800 o'r eiddof fi am swllt wedi myned. Pe buasai gennyf ffydd y gwerthasid cymaint am swllt, cyhoeddasid hi am chwech, a diau y gwerthasid yn agos gymaint arall.

Os byddwch yn ysgrifennu yn fuan, byddai dda gennyf os gellwch roddi rhyw awgrym pa bryd y disgwylir cyfansoddiadau Tremadog i mewn. Yr wyf wedi cytuno i ysgrifennu llyfr o tua 250 o dudalenau i'm cyfaill y Sais; a rhaid i mi drefnu fy amser wrth yr amrantiad, onide cyll Mr. Sais ei amynedd, yr hyn fyddai yn fwy colled i mi na cholli yr holl eisteddfodau, gan na thalent hwy byth yn ol 4s. y tudalen am ddim a ysgrifennaf.

Yr ydwyf yn hyderu y dygwch allan argraffiad o'ch holl Weithiau Barddonol cyn hir; mynnwch argraffiad da yn addurnedig â'ch darlun, a bydd yn sicr o werthu yn rhwydd, ac fe ddichon fod rhyw gysur i chwi ym mhrydnawn bywyd.

Anfonais "Adgyfodiad Crist" i chwi ers talm. Blin gennyf fod y gêr ânnuwiol o argraffwyr wedi gwneyd hafog dost ar rai llinellau. Bu Englyn i mi dan eich sylw yn ddiweddar, a chafwyd ef yn brin—Beddargraff Dafydd Ionawr, gan Meirionwr. Yr wyf yn hollol ymwybodol fod eisieu gwell cysylltiad rhwng ei baladr a'i esgyll, ond mi ddaliaf ddwy geiniog y bydd yn gamp cael Englyn gwir deilwng. Buasai Hir a Thoddaid yn llawer mwy rhesymol. I'm tyb i, ffaeledd yw y rhan fwyaf o Englynion *neillduol* beddargraff. Gellir gwneyd Englyn pert i wyryf, llencyn, gwr, neu wraig; ond os eir i ddarlunio *nodwedd* yn lle *cyflwr*, cul yw y cwrlid i ymdroi ynddo. Eithr y mae y feirniadaeth yn anrhydedd i'ch medr a'ch cydwybodolrwydd chwi,

Mae yn hyfrydwch a lles i ddyn wybod paham y mae yn colli yn gystal a paham y mae yn ennill.

Gyda ein hunol a'n serchus gofion atoch,

Ydwyf, fy anwyl Gyfaill,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
IEUAN GWYNEDD.

---

2, East Terrace, Caerdydd,
Ebrill 28, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Chwi a wyddoch ond odid, rhwng y *Gymraes* a'r *Amserau*, fy mod yn fyw, ac yr wyf yn anfon y llinellau hyn i chwi i roddi i chwi yr *hysbysrwydd pwysig* nad wyf wedi eich anghofio nac yn meddwl gwneyd hynny. O ran fy iechyd yr ydwyf wedi dioddef llai nag arferol oddiwrth enyniad yr ysgyfaint, ond y mae syrthiad yr asennau i mewn wedi symud y galon bron dan fy nghesail, yr hyn sydd yn beryglus a phoenus. Mae cnoc y llythyrydd yn fy ngwneyd yn druenus dros ychydig amser, am ei fod yn rhy gynhyrfus.

Hyderaf yn awr y bydd eich darlun ar gael cyn hir. Yr wyf yn gweled fod mwy o awydd am ddarllen eich prydweddau na darllen eich meddwl. Gobeithiaf y cyfarfyddwch a rhyw gyhoeddydd digon gonest a medrus i'ch galluogi i roddi i ni argraffiad hardd o'ch Gweithiau. Anffawd dost yn ein gwlad ni yw iselbris ymenydd. Mae yn warthus iawn na allai dyn fel chwi fyw ar ei gynhyrchion llenyddol erbyn hyn. Hawdd yw moli Bardd Clynnog, Caledfryn, a Geirionydd, ond beth mae eu gwlad wedi ei wneyd iddynt hwy, mewn cymhariaeth i'r enwogrwydd y maent hwy wedi ei roddi ar eu gwlad? Dim. Mae ar fy meddwl adrodd ychydig wirioneddau fel hyn pan y caffwyf amser cyfaddas i annerch ei urddasolrwydd y Cyhoedd. Y mae eu llwyr angen ar ei urddas, ac nid oes arnaf ofn iddo fy rheibio os anrhegaf ei lygaid a hwy.

Ysgrifennais i'r *Amserau* i ddymuno ar Bwyllgor Eisteddfod Madog esbonio eu golygiadau ar fesurau Pryddest. Rhoddodd y boneddigion atebiad mor oraclaidd i mi ag a gaed erioed gan Oracl Delphos. Yr wyf fi mewn *gwir* amheuaeth a ydyw y mesurau "Emynol," fel y gelwir hwy, yn briodol mewn Pryddest, er y barnaf eu bod yn hollol oddefol mewn *Pryddestawd*.

Yr wyf yn clywed fod Rees, Glan Geirionydd, a Parry, yn ymgeisio am y gadair. Wel bendith arnoch fy Arglwydd Farnwr, bydd gennych ddigon o waith. Bydd dethol y goreu o'r fath dri yn waith poenus. Bydd y tri yn rhagorol, a bydd gan y tri bleidwyr lliosog yn annibynnol ar bob beirniadaeth

Mae Awdlwyr y Adgyfodiad wedi cyhoeddi mwy na'r Pryddestwyr. Bydd adolygiad ar Nicander, Eben Fardd, a Parry yn yr *Adolygydd* nesaf, yr hwn a anfonir i chwi. Nid myfi yw yr ysgrifennydd, ond y mae yn un o'r beirdd goreu a ellais ei gael heb fod ym mhair Rhuddlan. Llefara yn barchus iawn am Eben Fardd a Parry, ond lled lawdrwm ydyw ar Nicander. Barnu y mae fod yn Eben ogoniant *rhy* ofnadwy i ddealltwriaeth ei urddas, y cyffredin, a chwyna yn unig am na bae yn gydostyngedig â'r isel radd.

Mae eich Beirniadaeth yn yr *Amserau* braidd yn wahanol i'r hyn a gefais o Ferthyr gyda'r eiddof fy hun a Phryddest Iorwerth Glan Aled ar y Pentecost, yr hwn sydd i ymddangos yn yr *Adolygydd* am Fedi.

Yr wyf fi yn ystyried cytundeb yr enw a'r ansoddair yn y Gymraeg (elfennau cryf) yn bwnc goddefol gan nad wyf yn canfod yr un o'n gramadegwyr yn ei wahardd yn bendant.

Ydwyf fy anwyl Gyfaill,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
IEUAN GWYNEDD,

2, East Terrace, Caerdydd,
Mai 12, 1897.

Fy Anwyl Gyfaill,

Rhag y dodwch fi yn y purdan am amhrydlondeb fy ngohebiaethau, dyma fi yn dechreu y llythyr hwn gan hyderu y caf anadl i'w orffen. Llawen gennyf ganfod oddiwrth eich llythyr diweddaf eich bod yn gryf ac yn iach i ddechreu ar eich dyfarniadau beirniadol. Sicrhaf i chwi yr ymostyngaf i chwi yn yr holl bethau pwysig hyn heb fwy o anfoddlonrwydd nag y mae cenad i feirdd ei fynwesu. Ac os digwydd i mi alw sylw at rhyw bwnc yn eich beirniadaeth yn awr ac yn y man, gwneir hynny er mwyn addysg, ac nid "am y cerir chwi yn llai." Un o hynodion fy hanes dirgel yw nad wyf am ymwneyd dim ag un dyn os na allaf ddysgu rhywbeth ganddo. Yr wyf am ddysgu llawer oddiwrthych chwi. Ni chefais erioed chwarter dwsin o wersi personol yn y mesurau caethion na rhyddion; o lyfrau yr wyf yn gwybod yr oll a wn am danynt; ond drwg y llyfr yw na ellir cael ateb ganddo i un gofyniad. Yr wyf, wrth reswm, yn awyddfrydig. Gan fy mod wedi dechreu ymwneyd â Phrydyddiaeth, ni waeth i mi wneyd pob ymdrech alluadwy i ragori. Ond yr wyf yn teimlo mewn gwirionedd, lawer iawn o eisieu addysg, a byddai gwrandaw arnoch chwi neu rai o'r athrawon yn hyfrydwch calon i mi, pe gallai hynny fod. Felly, na chamgymmerwch fi pan yn dynesu atoch chwi; byddaf yn gwneyd fel disgybl, ac nid fel dadleuwr sengar. Hyderaf fy mod yn ymwybodol o'r parch dyledus i oed ac athrylith, fel na anghofiaf mai ag Eben Fardd yr wyf yn cael yr anrhydedd o ohebu. Efallai fod llymder llawer o'm hysgrifau cyhoeddus yn peri i chwi arswydo rhagof; ond os dyneswch ataf, chwi a gewch weled fy mod yn un o'r creaduriaid tawelaf yn y byd, a hawdd ei ddarbwyllo i unrhyw beth rhesymol.

Wel, dyma fi wedi canmol digon arnaf fy hun. Yr wyf wedi bod yn sobr-ddifyrus heddyw y prydnawn, ar ol darllen cyhoeddiad Ieuan Myfyr am Eisteddfod Hawl y Maen Chwyf, yn yr hwn y bygythir yn ddifrifol esgymuno pawb a gynhaliant orsedd heb gennad hon, ac y gwedir "Urddau" pawb ond a'u derbyniasant neu a'u derbyniant ar y Maen Chwyf. Mae y *Proclamation* yn ddigon a gwneyd i asyn chwerthin.

Yr wyf yn bwriadu dial ar y Mesurau Caethion yn lled ddiorffwys am dymor. Ni wnaf nemawr o sylw o R. J. Prys mwyach, heblaw amlygu nad wyf yn credu yn nosbarth Morgannwg mwy na dosbarth Caerfyrddin, ac mai at y "pedwar mesur ar hugain" yn unig y cyfeiriai fy llythyr yn yr *Herald*. Nid oeddwn i wedi rhyfygu *suggestio* i bwyllgorau, ond ymosod yr oeddwn fel *special pleader* ar wrthdystiad Rhuddlan, heb na mwy na llai. Pe gwybuaswn ar y pryd eu bod yn cynnwys Dosbarth Morgannwg yn eu gwrthdystiad, buaswn yn ymosod arno mewn dull gwahanol. Mae yn berffaith wir fod Cynghanedd wedi ei breintio mewn gorsedd gyfallwy, ond y mae llygad Robyn heb ganfod hynny eto, neu ei ysgrifell heb ei fynegi. At y mesurau y mae ef yn dal, a gallaf wneyd o'r goreu ag ef am hynny. Ond y gwir yw, nid yw yr holl orseddau ac urddau yn awr ond ffug. Mae eu dibenion a'u defnydd wedi darfod, ac ni soniem am danynt, mae'n debyg, pe byddem yn ychydig callach.—Daeth gwr da i mewn ac arhosodd nes yw yn gwarter i ddeg, a rhaid i mi derfynu ar hyn yn awr.

Ydwyf, hybarch Gyfaill,

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

EVAN JONES.

Tre oes, ger Penybont ar ogwy,

Meh. 7, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Dyma lle'r wyf er dydd Llun, a dyma y lle dilynodd eich llythyr fi boreu heddyw. Gyda golwg ar *Y Gymraes*, nid oeddwn yn meddwl i chwi dalu, ac am hynny dyma y stamps yn ol i chwi. Y mae i chwi fawr groesaw o honi, a gofidus gennyf na ddeuai atoch yn gynt.

Hyderaf nad ydych yn meddwl yn *sobr* fy mod am eich trin. Pell iawn fyddo oddiwrthyf fi ysgrifennu nac awgrymu gair nad ydych yn berffaith gydwybodol, ac na ddylech fod felly. Yr wyf yn gwybod eich bod felly. Ond gwyddoch chwi cystal a minnau nad yw materion o chwaeth yn faterion cydwybod. Er engraifft, yr oedd Walter Davies yn barnu y dylesid cael cynghanedd groes i gloi englyn. Chwaeth ac nid cydwybod oedd hyn, a gallesid ymresymu ag ef am y priodoldeb neu yr amhriodoldeb o osod hyn yn *rheol* i feirniadu wrthi. Pe credwn i eich bod yn ddigon *di*-gydwybod i wyro barn, gallech fod yn berffaith sicr na anfonwn byth linell dan eich sylw. Ac os bu i mi gyfeirio at ryw bethau yn eich barn, yr oedd hynny er mwyn eglurhad, ac nid er eich trin. Yr wyf yn ysgrifennu hyn am fy mod yn ofni fod y fath argraff ar eich meddwl. Ond gellwch fod yn berffaith dawel gyda golwg ar hynny. Yr wyf yn cydnabod perffaith uniondeb eich barn ar bob cyfansoddiad o'm heiddo a fu dan eich sylw. Awdl J. P. Davies, mae'n wir, oedd gywirach na'r eiddo Mr. Pierce, ond nis gwyddech chwi hynny. Ac nid wyf yn amau, os daw rhai o'm Caniadau eto o dan eich sylw, na bydd eich syniadau arnynt mor deg fel y gallaf addef eu priodoldeb ar unwaith. Gan hynny, fy anwyl Gyfaill, trigwch mewn tangnefedd heddychlawn o'm rhan i.

Gyda golwg ar Eisteddfod Tremadog, meddwl yr wyf y bydd yn annichonadwy i mi fod yno; a phe bawn, ni allwn wneyd dim lles o herwydd fy analluogrwydd i siarad ac eistedd yn anadl cynulleidfa. Rhaid i mi, gan hynny, wneyd yr hyn a allaf drwy y Wasg; a meddwl yr wyf y bydd amgylchiadau yn gwneyd yn annymunol i mi fod yno pe gallwn; ond nid wyf heb ryw obaith eich gweled chwi, canys y mae arnaf awydd mawr gweled y Gogledd unwaith eto; ac os felly bydd, ni ddychwelaf, os bydd yn ddichonadwy heb weled Bardd Clynnog.

Rhaid i mi addef fod fy awydd am fod yn fardd wrth fraint a defod yn lleihau yn ddyddiol. Mae y dynion goreu yn yr Urdd yn ddigon rhyddfrydig, mae'n wir, ond nid ydynt ond ychydig. Mae eneidiau y mwyafiant mor gyfyng à chrai y nodwydd, ac y mae naill ai bucheddau llïaws o honynt, neu fy malchder i, yn peri i mi eu ffieiddio. Yr wyf wrth natur yn barchus iawn o hynafion, ac er y byddai yn ddymunol gan fy nheimlad fod yn perthyn i Urdd sydd wedi ei sefydlu ers 2500 o flynyddoedd, eto y mae cyddygiad a ffoledd y mwyafrif o honi yn ormod i'w dalu am yr anrhydedd.

Mae Iorwerth Glan Aled dipyn dan ei ddwylaw yn yr *Amserau*. Nid fod cadeirio awdwyr Pryddest yn *anarferol* oedd seiliau gwrthdystiad Rhuddlan, ond fod y peth yn anghyfreithlawn. Wel os felly, rhaid fod deddf yn ei erbyn, a gellir ei chynyrchu. Ond os nad oes deddf nid oes gamwedd. Mae y mater yn fwy pwysig nag y gellid meddwl ar yr olwg gyntaf. Os edrychwn ar effeithiau cymharol y mesurau caeth a rhydd ar gymeriad y genedl, cawn weled mai rhydd sydd wedi effeithio y drwg a'r da. Cymerer Salmau Edmund Prys, Canwyll yr hen Ficer, a Hymnau Williams Pantycelyn yn brofion o'r da; a gallwn nodi cerdd Morgan Jones, rhai o ganiadau Huw Morys, Ellis y Cowper, a Twm o'r Nant, fel ymborth dosbarth arall o'n cydwladwyr. Bryd y gwelwyd y *werin* yn tyrru i glywed awdl neu yn sathru traed eu gilydd er gwrando Cywydd? Ond mae y gerdd, y gân, a'r emyn, yn taro y llïaws, a barnaf y gwnant felly yn barhaus, er y gallai gwell addysg beri i'r werin fwynhau y mesurau caethion.

Yr wyf yma yn garcharor gan yr hin. Gadewais Gaerdydd yn yr hyder y cawswn hin deg i fyned allan mewn gwlad iachus, ond yn lle hynny dyma hin erchyll bob dydd a rhaid i mi fyned yn ol ddydd Llun er mwyn y *Gymraes*. Disgwyliaf hefyd weled Caledfryn yr hwn sydd yn gwerthu ei *Adgyfodiad* yn y wlad hon. Cynhelir Eisteddfod yn Athenæum ddydd Mawrth, pan y caf wybod eich dedfryd ar "*Ddial gwaed Cymro*." Disgwylir cynhulliad llïosog, ac y mae Ellis Roberts i ddyfod i chwareu y delyn.

Yr ydym yn unol gofio atoch ac yn dymuno y bydd i'r Ardebydd wneyd gwaith da arnoch.

Ydwyf, anwyl Gyfaill,
Yr eiddoch yn ffyddlawn,
EVAN JONES.

---

Caerdydd, Meh. 17, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Ofnaf fod fy nodyn diweddaf wedi ychwanegu eich *influenza;* yr wyf gan hynny yn prysuro i esbonio i chwi helyntion a helbulon Cadair Caerdydd.

Yr oeddych chwi, Caledfryn, a'r Canghellwr, wedi eich penodi yn feirniaid. Anfonwyd y cyfansoddiadau (6) i Caledfryn, ond yr oedd ef ar gychwyn i'r Deau pan eu cafodd, ac felly anfononodd hwy i chwi heb eu darllen; anfonwyd 2 i'r Canghellwr, yr hwn a'u cadwodd nes derbyn y 6 a anfonasid i chwi. Yna anfonodd yr 8 i Lanrwst, gan feddwl mai efe oedd y cyntaf a ddodasai farn arnynt. Ond gan fod Caledfryn yn absennol, dychwelwyd hwy yn ddioed i Gaerdydd. Yr oedd hyn wythnos lawn cyn yr Eisteddfod. Cyfarfu y Pwyllgor, a dywedodd yr ysgrifenyddion wrthynt am y barnau a anfonasech chwi a'r Canghellwr, mewn canlyniad i'r hyn y penderfynasant, fel y dywedir i mi, o herwydd y dull *modest* yr oeddych chwi wedi rhoddi eich barn i roddi y Gadair i "Dial gwaed Cymro," a rhoddi ariandlws i Gwilym Tew. Yr oedd hyn yn dro ffol ac annheg ynddynt, ond felly y bu. Rhoddwyd y gair allan mai "Dial gwaed Cymro" oedd wedi ennill, a gwahoddwyd ef i fod yn bresennol, neu benodi rhywun yn ei le, os na allai. Y prydnawn cyn yr Eisteddfod, rhoddwyd eich barn chwi i Iago Emlyn i'w chyfieithu erbyn y Cadeiriad. Y mae Iago yn wr da, ond nid yw yn ddoeth bob amser. Ymgadwodd o'r lle nes oedd y cwrdd ar fin dechreu yn yr hwyr, ac yna daeth yno, ac ar "air a chydwybod" ni wnai ef ddim, os rhoddai y pwyllgor y gadair i mi. Yr oedd yn darllen eich beirniadaeth chwi pan aethum i mewn; yna darllennodd feirniadaeth y Canghellwr, a gwnaeth araeth yn y diwedd i rybuddio y pwyllgor i beidio a rhoddi y gadair i neb. Gellwch ddirnad mor ffol yr oedd raid i mi edrych dan yr amgylchiadau. Nid oedd gennyf y wybodaeth leiaf am air o'r feirniadaeth nes y dywedwyd wrthyf ar fin y cwrdd, eich bod chwi ar y cyntaf dros y Sais, ond i chwi a'r Canghellwr gytuno. Chwi welwch nad oedd ond dau yn barnu, ac o ganlyniad yr oedd y pwyllgor yn haeddu eu *cicio* am ymddwyn fel y gwnaethant. Nis gwn pa fodd y terfynir y mater. Na thybiwch, fy nghyfaill, fy mod wrth gyfeirio at enwogrwydd y Canghellwr fel beirniad Seisnig yn amcanu eich diraddio chwi; ond y mae yn gysur i mi ei fod ef yn methu canfod yn y gân Saesneg y rhagoriaethau a welech chwi ynddi. Barnaf fod yr holl wahaniaeth yn tarddu o hyn, sef nad oedd ef yn ystyried *manylrwydd* hanesyddol yn feius, a'i fod yn gweled fy mod i yn *gywirach* yn fy nghyfeiriadau na *Gwilym Tew*. Mater o chwaeth, eto fyth! Mr. Wm. Downing Evans, Newport (*clerk to the Board of Guardians*) yw Gwilym Tew. Y mae wedi ysgrifennu llawer iawn o farddoniaeth Seisonig i'r *Monmouthshire Merlin* dan yr enw *Leon*.

Wel yn iach bellach i'r mater hwn. Aed y *tlws aur*, er tlysed yw, i'r man yr elo o'm rhan i. Os i Gwilym Tew yr â, bendith gydag ef; os i mi y

daw, ni bydd mor werthfawr am na fydd dan warrant Bardd Clynnog. Y mae helyntion fel hyn yn anocheladwy mewn cystadleuaeth, ac wedi i mi chwareu fy rhan mewn ychydig yn rhagor o honynt, ni byddaf yn hir cyn eu trwyddedu i Wlad yr Hud lonydd am byth bythoedd o'm rhan i.

Yr wyf yn dioddef oddiwrth anwyd trwm y dyddiau hyn, yr hwn a *ennillais* yn yr Eisteddfod; gallwn feddwl fod y beirniaid yn hollol unfrydol o barth ei roddi i mi. Gan hyderu y gwellhewch yn gyflym,

Ydwyf, anwyl Gyfaill,

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

IEUAN GWYNEDD.

---

Caerdydd, Medi 25, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Ar ol derbyniad eich llythyr diweddaf, bum yn crwydro yn barhaus oddicartref hyd dair wythnos yn Abertawy, ac wedi treulio 9 diwrnod gartref, aethum i a Mrs. Jones i Lundain, lle y buom am 7 wythnos. Yr ysbryd ymgrwydrol hwn, ynghyd a barnu fod eich dwylaw yn orlawn o feirniadaeth, a'm cadwodd rhag ysgrifennu atoch, pe bae hynny o ryw golled i chwi. Deallaf oddiwrth eich cenadwri i Eisteddfod Lerpwl eich bod wedi goddef afiechyd, eithr hyderaf yn awr eich bod yn holliach, ac yr hir barhewch felly. Lled "dost," fel y dywedir yma, wyf fi ers dyddiau. Mae peswch yn cynhyddu, a'm pen yr hwn yn y cyffredin, oedd yn lled dda, yn aml oddef cur ac ysgafnder. Yn briodol iawn y gallaf ddywedyd, "Darfu yr haf," ac nid tebyg y gallaf anturio dan yr awyr agored am fisoedd meithion. Rhaid ymfoddloni i'r carchardy!

Mae ar Mr. Rees, Llanelli, eisieu i mi gymeryd golygiaeth y *Diwygiwr* gydag ef, ac y mae ein cyfarfodydd chwarterol wedi pasio "bagad" o benderfyniadau i'r un perwyl. Mae hyn wedi fy nhaflu i anferth ddyryswch meddwl. Nid oes dim neillduol yn fy rhwymo wrth Gaerdydd, ac ar ol y Nadolig bydd llai. Ond y mae yn gas iawn gennyf symud, yn enwedig yr amser hwn o'r flwyddyn. Ac fel hyn yr wyf yn ddiogel ddigon rhwng cryn petrustod heb wybod beth i'w wneuthur. Chwi a wyddoch fy mod yn arfer dweyd fy meddwl yn lled rwydd am bethau (a phersonau ambell dro), ac ni wn am un enwad crefyddol yn ddigon mawrfrydig i oddef i olygydd cyhoeddiad enwadol i wneyd hynny. Ond gwae fi, os na bydd rhyddid barn a rhyddid ymadrodd! Yr wyf yn caru poeni creaduriaid hunanol, haerllug ac anfoesgar. Yr wyf yn ystyried mai "gweithred i Dduw" yw dynoethi *dyn drwg;* ond *yn ol fy meddwl i*, ni thrinais yr un *dyn da* a boneddigaidd erioed yn erwin nac atgas. Caiff dyn da droseddu llawer cyn yr ymyrraf ag ef.

Ni chlywais oddiwrthych ar ol i chwi ddarllen adolygiad y Pryddestau yn *Yr Adolygydd*, yr hwn a anfonais i chwi. Ein cyfaill Tegai oedd yr adolygwr, oddigerth rhai brawddegau a ddodais i mewn i dynheru yr ysgrafell ar Nicander, ac i estyn ei sylw ar eich Pryddest chwi. Hyderaf nad oedd dim yn dramgwyddus i chwi. Yr oeddych yn llawer gwell eich cyflwr na mi. Mae Mac Ebrill yn yr *Amserau* yn erbyn i chwi gael gormod o glod, yn gystal ag ereill.

Ac yn awr, fy nghyfaill, rhwydd hynt i chwi i fyned a dychwelyd o Senedd bwysig Tremadog. Mae yn ddiau gennyf mai Mr. Rees fydd pennaeth y bobl y tro hwn, ac yr wyf fi yn ymroddgar wrth feddwl am hynny.

Ydwyf, anwyl Gyfaill,

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

EVAN JONES.

Caerdydd, Hyd. 24, 1851.

Fy anwyl Gyfaill,

Peidiwch a meddwl mai digter eisteddfodol a'm hataliodd rhag ysgrifennu atoch yn gynt. Mae yn wir i mi golli yn Nhremadog, a'm bod bron mewn ysbryd cwyno ar y mater; ond yr wyf yn golygu pethau felly bob amser fel pethau àmhersonol. Mae newyddiaduriaeth wedi dysgu llawer arnaf yn hyn. Gallwn eistedd i lawr i drin barn cyfaill yn ddi-drugaredd am awr, a'i gyfarfod gyda'r sirioldeb mwyaf yr awr nesaf. Y gwir achos o'm distawrwydd sydd yn fwy difrifol na helyntion llenorol. Mae fy afiechyd wedi cynhyddu yn drwm yn y mis diweddaf, nes yr wyf yn awr mewn cyflwr lled beryglus. Dechreuodd drwy ryddni, yr hwn y mae y meddyg yn methu ei atal hyd yma, er ei fod bron a'm hamddifadu o hynny o synwyr sydd gennyf âg *opium* a *laudanum*. Mae hyn wedi fy ngwanhau nes yw afiechyd yr ysgyfaint yn ail ymosod arnaf.

Yr wyf yn meddwl i gynllun fy Mhryddest ar Ddoethineb Duw gael ei gamddeall; ac er na thybiais y buasai yn ennill, eto disgwyliwn y buasai yn uwch wrth gofio pwy oedd fy nghyd-geiswyr. Ond dylai fy lle yn yr ymdrech am y Gadair fy ngwneyd yn dawel iawn, ag felly yr wyf. Parodd i mi gryn syndod weled *Darfelydd* o flaen fy nghyfaill Parry. A dybiech chwi y byddai yn werth i mi gyhoeddi fy Awdl? Yr oll a ddisgwyliwn oedd i chwi a Chaledfryn nodi fy *locus standi* fel Awdlwr, a dyma chwi wedi gwneyd hynny yn ddigon anrhydeddus.

Mae yn syn gennyf na chawsoch yr *Adolygydd*. Gwelais ar y llyfr ei fod wedi ei anfon i chwi. Mae sypynau y Gogledd yn boenus iawn i ni o herwydd eu hannibendod. Anfonaf i chwi un yn ei le gyda'r *Gymraes* hon. Mae fy afiechyd wedi fy lluddiais i ysgrifennu i'r *Advertiser* y ddwy wythnos ddiweddaf, onide cawsech bapur neu ddau. Mawr ddiolch i chwi am annog pobl Merthyr i ohirio eu Heisteddfod hyd y Sulgwyn. Gellwch weled yn yr *Amserau* diweddaf hanes am Eisteddfod Dowlais. Mae yn debyg i arddull Dewi Wyn. Yr achos o'i surni oedd i Ieuan Myfyr ballu ei gadeirio yng Nghadair Glennydd Taf, am nad oedd ei Awdl yn berffaith! Ond cadeiriwyd ef yng Nghadair Cymdeithas Farddonol Dowlais. Bu y brodyr yn droednoeth am hir amser yn yr orsedd, nes y cafodd rhai o honynt anwyd trwm! Pa hawl oedd gan Ieuan i beidio ei gadeirio wedi i chwi ddyfarnu Cadair Taf iddo?

Oni bae fy anhwyldeb, buaswn wedi symud i Lanelli. Mae hynny yn awr yn anobeithiol, am ryw dymor o leiaf.

Wel, fe driniwyd y Bryddest yn erwin yn Nhremadog. A ddaru i *chwi* gau y drws yn ei herbyn? Nid oes i'w wneyd bellach ond codi Cadair Rydd! Beth fyddai cynnyg am hynny ym Merthyr?

Cefais hyfrydwch mawr wrth ddarllen eich bywgraffiad. Gyda chofion serchus ac unol.

Ydwyf, anwyl gyfaill,

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

IEUAN GWYNEDD.

---

Caerdydd, Tach. 12, 1852.

Fy Anwyl Gyfaill,

Daeth eich llythyr i law heddyw, a chan fy mod am eistedd i fyny ryw ychydig yn y gwely, lle yr wyf yn awr, cyn gorwedd dros yr hwyr, ymdrechaf ysgrifennu ychydig linellau mewn atebiad.

Mae yn wir ofid i mi nad allwn anfon mwy o'r *Adolygydd* i chwi ac ereill o'm cyfeillion llenorol; ond gan nad wyf fi ond un o'i feddianwyr, yr wyf yn talu rhywbeth dros y *prime cost* am bob un wyf yn anfon. Mae i chwi groesaw mawr o'r oll a anfonais i chwi, a pharodd i mi lawer o flinder pan ddeallais na chyrhaeddodd Rhif v. chwi yn brydlawn, gan fy mod

yn ofni i chwi gasglu fy mod mor ffol a'i atal o barth helynt Cadair Caerdydd.

Dyn a'm helpio, dyma fi eto mewn dyryswch gyda chwi. Yr wyf yn teimlo yn barhaus, yn ofni yn barhaus, o leiaf, eich bod yn barnu pob cyfeiriad at eich beirniadaethau yn fath o ymosodiad ar eich *anrhydedd*. Ond nid yw felly gyda fi mewn un modd. Mae yn wir fy mod ymhell o farnu fod *the law of honour* yn galw ar ymgeiswyr ymostwng yn dawel i farn Beirniaid, oblegid gwyddent pwy oeddynt cyn anfon eu gweithiau i mewn. Pe bai y beirniaid yn anffaeledig, neu pe baent yn rhoddi eu barnau yn unol â deddfau adnabyddus, dichon y byddai eich *dictum* yn gywir. Ond gan eu bod yn agored i gamgymeryd, ac yn barnu yn ol eu chwaeth, mae y mater yn dra gwahanol. Ni ddylai camgymeriad 1850 fod yn *brecedent* i feirniaid 1851. Yr wyf fi yn lled sicr nad oes un o feirniaid parchus Tremadog na wel wrth adfeddwl, mor ddisail oedd y rhesymau ar y rhai y condemnient fy nghan ar "Ddoethineb Duw." Gallai ei bod yn ddeg ysgafnach na'r pump ereill, ond nid am yr hyn a nodwyd. Oni buasai fy mod yn gweled camgymeriad mor anathronyddol buaswn yn ddistaw, fel y bum am Englynion y Gwefrebydd, er y dywedid fod ynddynt wallau cynganeddol a geirweddol. Yr wyf fi yn credu nad oes ynddynt y naill na'r llall yn ol unrhyw reolau argraffedig sydd gennym o Sion Dafydd Rhys hyd yr awrhon, ac y mae pob bardd y cefais gyfle i'w dangos iddo yn barnu yr un modd oddigerth Iago Emlyn, yr hwn sydd mewn amheuaeth am

Ei linell
Flaenora y gwyntoedd.

Ond os oedd rhyw ddrwg yma, *corfan* ac nid cynganedd ddrwg yw; ond yr oeddych chwi eich tri yn unfrydol ar hyn, a dyma finnau yn ddistaw. Gallwn ddweyd yr un modd am Garnhunanawc, a gallwn ddweyd mwy, o herwydd fy mod yn gwybod barnau personau lled bwysig ar y testyn hwnnw. Ond credwch fi nad yw gwahaniaeth barn yn amharch, na gwahanol esboniad llenyddol yn sarhad.

Ar y llaw arall, yr wyf yn addef yn rhwydd na ddisgwyliais fod mor agos i'r Gadair, a bod hynny yn ddigon i'm cysuro yng ngwyneb pob siomedigaeth arall. Hoffwn yn fawr gael Cadair Dolgellau, fy mhlwyf genedigol. Ond y mae arnaf ofn cynnyg rhag aflwyddo, oblegid gallai colli yno effeithio yn rhy drwm arnaf. Os cynhygia Mr. Ambrose, bydd ef yn sicr o lwyddo, ac ofnaf fod ei lwyddiant yn Nhremadog yn sicr o hogi ei awydd at hynny. Nid oes arnaf *lawer* o ofn neb ond ef a Pierce yn awr, er y byddai yn ddymunol gennyf fod Parry o'r ffordd. Mae yn arw gennyf drosto ef hefyd; mae yn cael ei drin yn annuwiol yn yr *Amserau*.

Yr oeddwn yn meddwl argraffu yr Awdl; ond yr wyf mor glaf nas gwn pa beth a ddaw o honof. Buasai yn y wasg ymhell cyn hyn oni buasai i'r argraffydd ofyn gormod am ei waith, a gwell gennyf bron farw o newyn na thalu gormod am ymborth. Mewn gair yr wyf mor foddlawn ar ddedfryd y Beirniaid fel nas gwaeth gennyf beth a ddelo o honi.

Mae Ieuan Myfyr yn llwyr annioddefol. Ieuan Myfyr yn gwrthod cadeirio dyn a farnesid yn haeddu hynny gan Eben Fardd! Efe yn myned uwchben Awdl ar yr hon nad oedd yn feirniad, ac yn pigo gwallau er cyfansoddi ei hun yn *imperium in imperio!* Mae yn fardd bach gweddol, ac yn gwybod cryn dwysged o betheuach; ond am iddo fo fod yn llywydd yr "orsedd fwyaf anrhydeddus yn y byd," fel y gwedai yn Nowlais,—Dyn a'n cato ni!

Mae dau o'r newyddiaduron a dderbyniwn, sef y *Bristol Examiner* a'r *Standard of Freedom* wedi darfod, ag felly y mae gennyf lai o bapurau at fy llaw. Ond anfonaf i chwi un yn awr ac eilwaith o'r *Advertiser* tra y parhaf i'w gymeryd. Mae yn un o'r papurau dyddiol goreu yn awr, os nad y goreu oll.

Pa bryd y bydd y darlun yn barod? Yr oedd arnaf wir gywilydd fy mod mor ddiweddar yn ei orchymyn, neu yn hytrach yn nodi pa un o'r ddau a gymerwn.

A oes dim tebygolrwydd bellach am gasgliad o'ch gweithiau? Ddoe y cefais Dafydd Ionawr. Mae fy nhraethawd wedi ei ddifetha, yn enwedig y rhan ddiweddaf o hono drwy nad oedd lle i'w osod oll i mewn. Mae lliaws mawr o sylwadau a'r holl gynlluniau allan, ac y mae yr ail ran wedi ei chymysgu yn ei hamseryddiad, nes yr wyf yn euog o lawer o ffoledd.

Ydwyf, anwyl Gyfaill,
Yr eiddoch yn barchus,
IEUAN GWYNEDD.

---

# MERCHED, A'U GWASANAETH I GREFYDD.

Y MAE y cylch teuluaidd yn un o gylchoedd mwyaf pwysig cymdeithas; ac y mae yn amlwg fod i'r merched safle arbennig ynddo. Y maent wedi eu bwriadu i'w addurno; ac ni chyrhaeddant ddiben eu creadigaeth os esgeulusant hwn. "Nid da bod y dyn ei hunan; gwnaf iddo ymgeledd cymwys iddo."

Y mae teuluoedd cymdeithas yn ddarlun,—amherffaith mae'n wir,—o Deulu Duw a Chartref y Saint, sef yr Eglwys. Mae yn ddiameu hefyd fod safle y Merched yr un mor bwysig yn y teulu dedwydd hwn, a'u dylanwad yn fawr arno.

Gan mai teuluaidd oedd y wedd foreuaf ar addoliad, edrychwn ar safle merched yn yr oes Batriarchaidd. Y maent yn cael eu crybwyll gyda'r parch dyfnaf; a danghosir y gofal manylaf a thynheraf tuag atynt yn mhob amgylchiad. Ochr yn ochr y gwelir y ddau ryw yn holl wledydd crefydd a gwareiddiad. Dywed Mathew Henry: "Ni chymerwyd Efa o ben Adda, i arglwyddiaethu arno; nac o'i droed, iddo ef ei mathru; ond o'i ochr, yn agos at ei galon, fel y byddai iddo ei charu a'i hanwesu"; a gellid ychwanegu, fel y byddai iddynt gydweithredu a chydymgynghori. Fel Mamau, yn bennaf, y mae Merched yr Hen Destament wedi hynodi eu hunain, ac fel y dywedodd un ar y pwnc hwn: "Y mae Mamau y doeth a'r dâ yn gymwynaswragedd i'w cenedl." Y mae Mamau Israel wedi profi felly tu hwnt i bob dadl. Coffheir yn barchus am ufudd-dod Sarah. Yr ydoedd hyn yn un o brif nodweddion ei chymeriad; a gwelir fod yr un rhinwedd yn adlewyrchu yn brydferth yng nghymeriad ei hunig fab, Isaac, pan yn teithio tua Moriah gyd ag Abraham ei dad. Yr oedd callineb, lledneisrwydd, ac addfwynder Jochebed, i'w canfod yn amlwg yng nghymeriad Moses, ac yn ei addasu mewn modd arbennig i fod yn arweinydd cenedl Israel. Er na ddywedir hyn yn bendant yn yr Ysgrythyrau, eto mae yn bur sicr nad yn llys Pharaoh, o dan ddysgeidiaeth ei fam fabwysiedig, y derbynioedd Moses ei argraffiadau crefyddol a'i sel dros ei genedl; ond tra yr oedd o dan ofal Jochebed, ei fam ei hun: dyma yr adeg y meithrinwyd y rhinweddau hynny a'i gwnaeth y llareiddiaf o holl ddynion y ddaear. Y mae duwioldeb Hannah i'w ganfod yn fore yng nghymeriad y bachgen Samuel, ac yn ei addasu yntau i lenwi y lle oedd iddo yn hanes Israel. Megis yn Israel, felly ym mhobman, y mae mamau wedi bod o wasanaeth mawr i'r eglwys, o amser Monica, mam dduwiol a galluog

Augustin, hyd ein dyddiau ni. Gall Prydain ymffrostio yn ei Mamau. Yn llyfr Dr. Burns, "The Mothers of the Wise and Good," y mae bywgraffiadau nifer o famau da a duwiol, meibion pa rai a gyraeddasant enwogrwydd. Yn eu plith y mae Arglwydd Bacon, Syr Isaac Newton, Syr William Jones, ynghyd a'r President Edwards, Dr. Doddridge, a Dr. Dwight. Yr oedd y rhai hyn oll wedi eu bendithio â mamau da, ac yn ddyledus iddynt, i raddau helaeth, am yr enwogrwydd a enillasant yn y byd neu yr eglwys. Y mae Cymru wedi ei breintio a mamau ardderchog, rhai y mae eglwysi Duw trwy y wlad yn ddyledus iddynt am lawer o'u llwyddiant. Ymhlith y cyfryw yr oedd mamau y Parchedigion John Jones o Dalysarn, Henry Rees, a'r Dr. O. Thomas, o Liverpool. Y mae dylanwad y Merched yn bwysig a diderfyn bron yn y cylch hwn. Gall y fam addysgu a gosod esiampl dda ger bron y plant, a thrwy hynny ddylanwadu i raddau, na ŵyr neb ond Duw ei Hun, ar dynged cenedl.

Fel yr oedd yr eglwys yn dadblygu ac yn ymehangu, yr oedd safle y merched ynddi yn newid. Yr oeddynt yn cymeryd eu safle oddiwrth wahanol anghenion yr oes yr oeddynt yn byw ynddi. Y mae pob oes yn cydnabod ac yn gwerthfawrogi eu gwasanaeth, yn ol gwareiddiad a diwylliant yr amseroedd.

Yn amser gwneuthuriad y Tabernacl, yr oedd y merched yn gwneyd eu rhan ac yn dangos eu gallu a'u cywreinrwydd mewn gwaith edeu a nodwydd, &c., tuag at addurno y babell. Hefyd, yr oedd iddynt eu lle yn adeg adeiladu y Deml, gyda gwaith cyffelyb. Gwelwn oddiwrth y disgrifiad prydferth a roddir gan Solomon o wraig rinweddol, fod safle merched yn bwysig yn Eglwys Dduw o dan yr Hen Oruchwyliaeth. Gellir rhoddi y lle hwn iddynt eto yn Eglwys y Testament Newydd, yr hon yw cynllun yr Eglwys hyd ddiwedd amser. Gan fod y teulu yn cynhyddu, y mae gwaith yr aelodau, o angenrheidrwydd, yn myned ar gynnydd, a'u safle yn myned yn fwy pwysig. Y mae gwaith y merched felly yn arbennig. Gall merched fod yn wasanaethgar i grefydd trwy gynnal cyfarfodydd wythnosol gyda'r plant. Y mae gan lawer merch ddawn neillduol at y gwaith hwn. Pe ceid merched tebyg i'r rhai a nodwyd, rhai o gymeriadau uchel, pur, a duwiol, i gynorthwyo y meibion yn hyfforddiant y dosbarthiadau ienengaf yn yr eglwysi, byddai hynny yn fantais fawr i'r cyfryw. Mae dosbarthiadau wythnosol neu gyfarfodydd y *Band of Hope*, a Seiat y Plant, yn faes eang i ferched weithio ynddo, a byddai eu gwasanaeth yn werthfawr a derbyniol. Pwy sydd mor gyfarwydd â theithi y meddwl ieuanc a'r fam dduwiol a thyner, neu yr athrawes graff a choeth? Gallent hwy yn y cyfryw gyfarfodydd feithrin cariad at burdeb a sobrwydd yn y meddwl ieuanc, ac felly hau hadau dirwest a phurdeb mewn tir da a fyddent yn bur debyg o ddwyn ffrwyth toreithiog. Byddai yr achos Dirwestol yn ein gwlad yn rhwym o fod ar ei ennill oddiwrth y cyfryw gyfarfodydd. Byddai y pren erbyn dyfod i'w gyflawn faint, wedi gwreiddio yn ddwfn, ac o ganlyniad yn abl i ddal rhyferthwy temtasiynau y ddiod feddwol.

Ceir prawf o ddylanwad merched ar gymeriad, yn hanes Timotheus ieuanc. Yr oedd yr addysg a dderbyniodd gan ei fam Eunice a'i nain Lois, ynghyd a'u "ffydd ddiffuant," yn ei gymhwyso mewn modd neillduol at ei lafur gweinidogaethol. Y mae Paul yn cydnabod ac yn gwerthfawrogi y manteision hyn. Addefir yn gyffredinol fod argraffiadau boreu yr oes yn gadael effaith barhaol ar y cymeriad. Dwy elfen

bwysig yn nadblygiad cymeriad prydferth, ydynt, magwraeth mewn cartref crefyddol, a dylanwad moesol addysg Ysgrythyrol. Y mae byw mewn awyrgylch grefyddol, a chael ei amgylchynu gan ddylanwad cymeriadau pur a sanctaidd yn rhwym o adael effeithiau da ar y plentyn. Yn neillduol felly, os bydd y purdeb a'r sancteiddrwydd hwnnw yn cydgyfarfod yn y man prydferthaf ar y ddaear, sef calon a chymeriad mam. Y mae addysg y teulu ymhob gwedd yn hanfodol tuag at gyrraedd dynoliaeth berffaith, oblegid "y plentyn yw tad y dyn." "Hyfforddia blentyn ymhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy a hi." Y mae plant yn derbyn argraffiadau yn gyflym; a blynyddoedd ieuenctid ydyw yr unig adeg i wneyd yr esiamplau da yn effeithiol. Tra y mae y brigyn yn ystwyth y mae hawddaf ei unioni; felly gyda'r meddwl, tra y mae yn ystwythder ei ieuenctid gellir yn hawdd roddi unrhyw argraff arno.

Y winwydden a nyddir
Yn egwan iawn ac yn îr;
Pan êl yn hen, gangen gu,
Ni oddef ddim o'i nyddu.

Ac nid ydyw yn ddoeth cyfyngu gwaith y fam i'w theulu yn unig. Os oes llwyddiant wedi bod ar ei hymdrechion yn ei theulu ei hun, oni fyddai yn bosibl iddi ychwanegu ei dylanwad a chyfrannu o'i doniau i deulu Duw, a thrwy hynny gynorthwyo yr ieuenctid sydd heb fod lawn mor ffortunus a'r eiddo hi? Pe gellid cael y mamau sydd yn meddu y cymwysterau i ymaflyd yn y gwaith hwn, y mae yn lled sicr y plennid meddyliau uwch am urddas crefydd yn yr oes sydd yn codi. Tuedd welir i anfon rhai ieuainc, di-brofiad, i hyfforddi y plant. Ni ddylai hyn fod, dyma y dosbarth pwysicaf yn ein heglwysi. Priodol iawn fyddai i ni ystyried cwestiynau prydferth Longfellow, sef,—

Ah! what would the world be to us,
  If the children were no more?
We should dread the desert behind us,
  Worse than the dark before.

What the leaves are to the forrest,
  With light and air for food,
Ere their sweet and tender juices,
  Have been hardened into wood,—

That to the world are children,
  Through them it feels the glow
Of a brighter and sunnier climate
  Than reaches the trunks below.

* * * *

For what are all our contrivings,
  And the wisdom of our books,
When compared with your caresses,
  And the gladness of your looks?

Ye are better than all the ballads
  That ever were sang or said;
For ye are living poems,
  And all the rest are dead.

Os yw plant mor werthfawr yng ngolwg y byd, pa faint mwy felly ydynt i'r eglwys? Y mae yr Arglwydd Iesu Grist am i ni gredu hyn.

Ac y mae y geiriau bendigedig a ddywedodd wrth y disgyblion yn dangos yn eglur ei fod yn cymeradwyo gwaith y mamau yn dwyn eu plant i'w sylw. "Gadewch i blant bychain ddyfod attaf fi, ac na waherddwch hwynt: canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." Megis yn y teulu cymdeithasol, felly hefyd yn nheulu Duw, y mae gwaith magu a meithrin yr ieuenctid; ac y mae gallu y merched yn y rhan yma eto o'r gwaith yn rhwym o fod yn wasanaethgar i'r eglwys.

Hefyd y mae i'r merched safle bwysig ac anrhydeddus fel Athrawesau mewn Ysgolion Dyddiol a Sabothol, a gallent wasanaethu crefydd mewn modd effeithiol trwy ymaflyd o ddifrif yn y rhan hon o'r gwaith. Y maent wedi profi eu gallu yn y cylch hwn mewn modd canmoladwy, ac addefir eu rhagoriaeth yn y cyflawniad o hono. Er bod yn Athrawesau llwyddiannus, dylent feddu gwybodaeth helaeth o Air Duw, ynghyda profiad dwfn o'i wirionedd. Byddai yn ddymunol iddynt allu deall a gwylio archwaeth feddyliol y dosbarth, a threfnu ar gyfer y naill a'r llall o honynt "flasusfwyd o'r fath a garent." Y mae Cymru er adeg cychwyniad yr Ysgol Sabothol wedi ei bendithio ag Athrawesau rhagorol, rhai y bydd eu henwau yn gysegredig ym meddyliau eu disgyblion ar hyd eu hoes; ie, byddant yn eu cofio gyda diolchgarwch a mwynhad ar fryniau anfarwoldeb. Yr oedd y rhai hyn yn sefyll yn gadarn megis ar fur y dosbarth, yn gwylied y gelynion, ac â tharian eu ffydd yn osgoi eu picellau; ac ymdrechent i ddysgu y deiliaid, trwy weddi a dyfalbarhad, i ymladd â'r un arfau. Gresyn na fyddai mwy o fanteision yn yr eglwysi i barotoi y merched ieuainc ar gyfer y gwaith pwysig yma. Y mae hwn yn waith ardderchog, cael y fraint o arwain y meddwl ieuanc, hwyrach am y waith gyntaf, i gael cipolwg ar ogoniant y Datguddiad Dwyfol ym mherson anwyl Fab Duw. Beth wybod na fydd y fam wrth fagu y bachgen, neu yr athrawes yn y dosbarth, yn foddion i ddeffroi meddwl ambell i John Elias, Williams o Bantycelyn, neu ynte Ann Griffiths, i wasanaethu pulpudau neu lenyddiaeth Cymru Fydd.

Gyda'r gwaith Cenhadol gall merched wasanaethu crefydd mewn modd arbennig. Dechreuwyd ar y gwaith yma yn lled foreu yn hanes yr Eglwys Gristionogol. Ar adeg genedigaeth yr Arglwydd Iesu Grist y mae gennym y crybwylliad cyntaf am ei ddechreuad. Y mae yn debyg mai merch, sef Anna broffwydes, oedd y gyntaf i bregethu Ceidwad i fyd o bechaduriaid. Dyma y genhades gyntaf yn ol pob tebyg. "Ac a lefarodd am dano Ef wrth y rhai oll oedd yn disgwyl ymwared yn Jerusalem." Y nesaf ydyw y wraig o Samaria, yr hon a adawodd ei dwfr-lestr, ac a aeth i'r ddinas, ac a ddywedodd wrth y dynion, "Deuwch, gwelwch ddyn, yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum; onid hwn yw y Crist?" Mair o Rufain hefyd; y mae Paul yn coffa yn barchus am y wraig hon. Tybir ei bod yn llafurus er lledaenu yr Efengyl ymhlith y rhyw fenywaidd yn bennaf. Sonia yr Apostol hefyd am sêl genhadol Tryphena a Thryphosa, dwy wraig Gristionogol oedd yn byw yn Rhufain, y rhai oeddynt yn gynhorthwy mawr iddo yn ei lafur yn achos yr Efengyl. "Y rhai a gymerasant boen yn yr Arglwydd." "Yr anwyl Persis," coffheir ei henw hithau yn dra serchog, "yr hon a gymerodd lawer o boen yn yr Arglwydd." Yn yr Epistol at y Philipiaid y mae Paul yn son am Euodias a Syntyche, dwy wraig enwog yn eglwys Philipi, y rhai oeddynt yn cydlafurio âg ef i ledaenu yr Efengyl. Y mae Dwyfol Ysbrydoliaeth yn rhoddi sêl

cymeradwyaeth ar waith y merched hyn. Y mae lle eto yn yr eglwys i ferched wedi eu meddiannu gan yr un ysbryd. Yn India, yn enwedig, y mae "y meusydd yn wynion i'r cynhauaf." Ymddengys fod gan ferched Cymru ddawn neillduol i weithio ymhlith y llwythau Indiaidd ar Fryniau Cassia ac yn Sylhet. Y mae y llwyddiant sydd wedi cymeryd lle yn y blynyddoedd diweddaf ar y maes cenhadol hwn i'w briodoli, gan mwyaf, i lafur y cenhadon Cymreig a'u Gwragedd, yn gystal a'r Chwiorydd ieuainc sydd wedi ymgyssegru i'r gwaith. Y mae galwad daer am ychwaneg o genadesau. Bydd eu gwasanaeth yn amrhisiadwy i'r eglwysi Cristionogol yn y wlad honno. Hyderwn y tueddir meddwl aml un o'n merched ieuainc crefyddol Cymreig i ymaflyd yn y gangen hon o waith yr Eglwys. Yn yr eglwysi cartrefol yr un modd, y mae safle y merched fel cenadesau yn werthfawr a phwysig. Y mae gwaith mawr yn cael ei wneyd ganddynt eisoes, ond gellir ei ychwanegu. Byddai yn ddiwygiad effeithiol pe meddiennid y chwiorydd gan yr ysbryd rhagorol hwn.

Gallai merched wneyd gwaith da yn yr eglwysi fel ymwelesau. Y mae ganddynt gymwysterau neillduol at hyn hefyd. Fel y dywed Barret,—

> Woman all exceeds
> In ardent sanctitude and pious deeds:
> And chief in woman charities prevail,
> That soothe when sorrows or disease assail.

Mewn "cyfrannu i gyfreidiau y saint, a dilyn lletygarwch;" mewn "ymweled a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd;" mewn cysuro a diddanu; mewn cydymdeimlad tyner â gwerthfawr blant cystudd yn eu gwahanol brofedigaethau, gallai eu gwasanaeth fod o werth amrhisiadwy. Y mae y Beibl yn cymeradwyo y gwaith hwn, a cheir ynddo restr brydferth o ferched duwiol a'i gwnaethant yn dra effeithiol. Ymhlith y cyfryw gellir enwi Mair gwraig Cleopas, Salome, y ddwy chwaer o Bethania (Mair a Martha), Mair Magdalen, a Joanna. Cafodd y gwragedd hyn oll y fraint o fod gyda'r Iesu tra ar y ddaear, a buont yn gweini arno, ac yn ei groesawu tra yn eu plith. Yr oeddynt yn canlyn yr Iesu yn ei lafur gweinidogaethol. Yr oedd y Bugail Da yn cymeradwyo eu gwaith, ac yn hoffi eu cwmni. Yr oedd merched wedi dechreu llafurio yn y cylch hwn er cychwyniad yr Eglwys Gristionogol, a pharhaodd eu llafur mewn bri ar hyd yr oes Apostolaidd. Y mae Paul yn dilyn esiampl ei Arglwydd trwy wneuthur cyfrif o'r gwragedd gweithgar, a choffa am eu "gwaith a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tuag at ei enw Ef, y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini." Rhai o'r cyfryw oedd Lydia, Dorcas, Priscila gwraig Acwila, Phebe, mam Rufus, Claudia, ac ereill, sydd a'u henwau megis sêr yn disgleirio yn ffurfafen hanes yr eglwysi. Buont oll yn weithgar, selog, a chymwynasgar, yn cyd-lafurio â'r Apostolion ym mhob cylch cyfreithlon. Y mae y sylw wneir o'u gwaith yn dangos y dylid, yn y blynyddoedd hyn, ddefnyddio y talentau sydd yn ein heglwysi. Y mae perygl fod llawer o allu yn gorwedd megis yn farw yn ein mysg. Y mae yma, ond ei fod ynghûdd, yn *latent power*, heb ond ychydig yn ymofyn yn ei gylch. Byddai yn gyfnod newydd yn hanes yr eglwys pe rhoddid mwy o waith o'r natur yma i'r merched, oblegid "llawer merch a weithiodd yn rymus;" "a chanmoled ei gweithredoedd hi yn y pyrth."

Gallai merched gyrraedd safle bwysig, a bod yn wasanaethgar wrth gyfansoddi. Y mae y ddawn hon yn hollol gydweddol â dysgeidiaeth y Beibl. Cofnodir ynddo gân Miriam ar lan y Môr Coch; cân Deborah, yr hon, meddir, ydyw un o'r darnau prydferthaf o farddoniaeth Hebreig; ynghyda chân odidog Mair mam yr Iesu. Bu y merched hyn o wasanaeth pwysig trwy eu caniadau i'r Eglwys Iuddewig, ac y mae eu dylanwad yn parhau eto. Yn ystod y gwahanol Ddiwygiadau Crefyddol, y mae merched wedi dylanwadu yn effeithiol trwy gysegru eu talentau at wasanaeth crefydd yn y wedd yma. Yn amser y Diwygiad yn Ffrainc tua'r flwyddyn 1529, yr oedd Renee o Ferrara, Joan o Navarre a Margaret o Valois, yn wasanaethgar a defnyddiol fel awduresau. Sylwa un awdwr am yr olaf, "Fel Ann Griffiths yng Nghymru, gwnaeth dduwinyddiaeth yn gân cariad gwraig." Y mae dylanwad yr emynyddes enwog o Ddolwar Fechan mor fyw yng Nghymru heddyw ag y bu erioed, a bydd enw Ann Griffiths yn gysegredig ar aelwydydd Cymru tra y pery yr hen iaith.

Yn y ganrif hon y mae gwaith mawr wedi ei wneyd gan ferched fel awduresau yn Lloegr ac yn America. A gwneir gwasanaeth sylweddol i grefydd ganddynt trwy gysegru y dalent hon i wasanaethu y plant. Oni ellid gwneyd yr un gwaith yng Nghymru? Tybed nad oes ymhlith Merched Cymru ambell i Maria Edgworth, Mrs. Hemans, Miss Bramston, Miss Yonge, neu Miss Debenham, a anturia ysgrifennu ystorïau bychain tlws i ddyrchafu a phuro chwaeth plant bach Cymru? O na fyddai hyn yn un o elfennau y Deffröad Cenedlaethol y clywir cymaint yn ei gylch y dyddiau hyn! Y mae awduresau cyffelyb i'r rhai a enwyd yn llu mawr ymhlith cenhedloedd ereill; a gresyn meddwl fod merched talentog Cymru heb ddeffro i weithio. Pwy wna hyn o gymwynas i'r oes sy'n codi, sef rhoddi cychwyniad i'r dalent hon, a symbylu y chwïorydd sydd yn meddu y gallu i roddi eu talentau mewn gweithrediad? Y mae yma faes eang iawn, ac un teilwng o uchelgais unrhyw ferch a hoffai fod yn ddefnyddiol i'w gwlad. Y mae yn hawdd cael gan blant fel rheol wrando ar ddarlleniad ystori fach neu benillion prydferth, cyn gallu darllen i bwrpas. Gofynnant i chwi ddarllen rhyw hanesyn hoff lawer gwaith drosodd, a mwynheir ef o'r newydd bob tro. Golygfa ryfeddol ydyw gweled y llygaid byw yn tanio, a'r gwefusau rhosynaidd yn crynu, gan faint y dyddordeb a deimla y plentyn yn yr hyn a ddarllennir iddo. Hawdd ydyw hau hadau cariad at ddarllen mewn plant. Unwaith y ceir hwy i deimlo fod y fath drysorau yn y llyfrau, nid hir y bydd yr awyddfryd i chwilio am danynt drostynt eu hunain heb ei ddeffroi. Y mae yn eithaf gwir fod llïaws o blant Cymru yn awr yn gallu darllen Saesneg cystal, os nad gwell na Chymraeg, a bod yr holl lyfrau a gyhoeddir yn yr iaith agosaf atom at eu gwasanaeth ac o fewn eu cyrraedd. Ond y mae gwirionedd arall yn bod cystal os nad gwell na hwna, sef fod gan Gymru ei hanesion nodweddiadol, a bod yn y rhai hynny, ond eu hadrodd mewn gwedd ddeniadol, ryw swyn neillduol i'r meddwl Cymreig. Byddai bod rhyw Gymraes dalentog yn ymaflyd yn y cyfryw hanesion a'u gwisgo mewn iaith syml i gyfarfod â chwaeth y plant, yn fendith fawr iddynt. Byddai y cydymdeimlad rhwng yr awdures â'i phwnc yn debyg o ennill iddi raddau o lwyddiant. Y mae llïaws o ddigwyddiadau a ffeithiau mewn cysylltiad â chrefydd a hanes Cymru ag y byddai yn resyn iddynt fyned ar goll. Gellid gwneyd lles pe defnyddid hwynt. Ac ni ellir disgwyl y gwneir cyfiawnder

â'r hanesion hyn oni bydd i ryw Gymro neu Gymraes ymafael yn y gorchwyl. Un o brif elfennau cysur y teulu ydyw gofalu am ymborth iachus a llesol iddo, yn feddyliol yn gystal a chorfforol. Y mae y plant yn derbyn y naill a'r llall yn bennaf gan ferched y teulu. Felly y mae darparu bwyd iachus i'r meddwl yn waith i'r merched fel i'r meibion. Y mae hefyd yr un mor angenrheidiol yn yr eglwys ac yn y teulu.

Gan mai o deuluoedd cymdeithas y mae Teulu Duw yn gynwysedig, y mae pwysigrwydd neillduol ar fod y rhai sydd yn bennau teuluoedd yn rhai teilwng a chymwys i lanw y safleoedd pwysig hynny. Gall y Merched fel y Meibion dderbyn cyngor y Ficer Prichard, sef,—

> Os mynni fod yn ddyn i Dduw,
> Yn Gristion Sanctaidd tra fe'ch byw,
> Gwna dy dŷ yn eglwys fechan,
> A th deulu 'n dylwyth Duw ei hunan.

Gyda phriodoldeb y dywedir fod "yr hon sydd yn siglo'r cryd, yn llywodraethu y byd." Ni ellir disgwyl fawr o lwyddiant yn y safleoedd a nodwyd os na osodir eu sylfaen i lawr gartref. Dyma brif le merch — y Teulu; dyma'r ffynhonnell fawr, o ba un y tardd yr holl afonydd sydd i ddyfrhau yr eglwysi. Dyma deyrnas y merched. Yma y mae eu gorsedd; yma y gwisgant eu coronau, ac yr ymafaelant yn eu teyrnwïail. Y mae y llywodraeth hon iddynt yn berffaith ddiogel a chyfreithlawn. Pe caem y merched oll yn rhai deheuig a doeth yn y teulu, byddai eu llwyddiant yn yr eglwys yn rhwym o fod yn arhosol ac effeithiol. Er mwyn cyrraedd unrhyw safle anrhydeddus mewn teulu, mae yn rhaid llafurio. I wneyd y dylanwad yn barhaol, mae yn rhaid amaethu y meddwl a'r galluoedd. Wrth wneyd hyn daw y cartref yn gysurus, adeiladol, a deniadol. Byddai yn dda i'r merched sylwi ar chwaeth y teulu, ac addysgu eu hunain, fel y byddont yn alluog i deimlo dyddordeb mewn pynciau fydd yn cael sylw ynddo. Y mae hwn yn waith lled anhawdd, ond "ymhob llafur y mae elw." A diau y teimlent eu bod yn cael tâl da am y llafur hwn yn y mwynhad o gymdeithas eu gilydd. Dylai y cartref crefyddol, fel yr un daearol, fod y llecyn hoffaf o un man yn y byd gan y plant; ac y mae i'r merched ran bwysig tuag at ei wneuthur felly. Dylai y rhai sydd a gofal yr eglwys arnynt ymdrechu, hyd y mae ynddynt, i'w gwneyd yn gyfryw ag y bydd yn denu yr aelodau iddi o bob lle arall: mynnu eu serch a'u calon mor llwyr, fel yng ngwyneb holl hudoliaethau y byd, y byddo cymdeithas y saint, megis yr ehedfaen—y magnet, yn eu hatynnu ati ei hun o bob cymdeithas arall. Tuag at iddi fod felly, mae yn rhaid i'r holl deulu feddu ar y wybodaeth uchaf, —sef "gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth." Y mae hon yn goron ar bob gwybodaeth ym mhawb, yn enwedig felly mewn merch. Y mae hefyd "yn abl i'n gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth." Bydded i ni felly gynorthwyo ein gilydd i lafurio am y wybodaeth amhrisadwy hon, gan gofio geiriau Milton —

> Good, the more
> Communicated, more abundant grows.

*St. Michael's, Liverpool.* M. A. WILLIAMS.

# GORORAU ANNWN.

(CYFIEITHIAD O EIDALAEG DANTE: "INFERNO," CANTO III.)

UN o feirdd pennaf y byd, a gogoniant yr Eidal ydyw Dante. Ganwyd ef yn 1265, a bu farw yn 56 mlwydd oed. Carodd ddau beth yn angherddol, Florence ei ddinas enedigol, a Beatrice anwylyd ei enaid, a chollodd bob un o honynt. Ag arall yr ymbrïododd Beatrice, a gwywodd ym mlodeu ei dyddiau. Alltudiwyd Dante trwy ddichell o ddinas ei dadau, pan yn anterth ei nerth, dan bennyd o'i losgi yn fyw os dychwelai; a chrwydryn hiraethus, di-gartref, fu am weddill ei oes. Bu farw yn Ravenna, ac ar garreg ei fedd y mae'r geiriau: "Yma yr wyf fi, Dante, yn gorwedd, wedi fy nghau allan o'm bro enedigol."

Yn ystod dyddiau ei bererindod, pan deimlai mor arw oedd ei lwybr ac mor chwerw ydoedd bara rhodd, a phan lawenychai am nad allai tynged ei hun ei luddias i farw, y cyfansoddodd ei gân anfarwol. Galwyd hi "Y Gan Ddwyfol"—La Divina Commedia—gan ei edmygwyr ar ol iddo ef fyned i orffwys. Yn y gân hon,—"a'i gwnaeth yn gul am flwyddi lawer,"—dyry ei syniadau am einioes ac angeu, am grefydd a phechod, dan gyffelybiaeth taith drwy Uffern, y Purdan, a Pharadwys; ac mor fyw yw ei ddarluniau o gosb yr annuwiol fel y sisialai'r bobl pan ei gwelent o hirbell, "Dacw'r dyn fu yn uffern"

Dodwn yma gynnwys y ddwy ganiad gyntaf o'r *Inferno*, fel rhag arweiniad i'r drydedd, ymha un y daw Dante a'i Athraw i ororau Annwn.

CAN I.—Y mae Dante ar "ganol llwybr bywyd," yn cael ei hun mewn dyrys lwyn, du fel y nos, a phan ddaw allan o hono i oleu dydd, ar fedr dringo'r llechwedd o'i flaen, ymlidir ef yn ol tua'r goedwig gan banther, llew, a blaidd. Yna y mae'n ymddangos iddo Vergil, ei Feistr, ei Athraw, a'i Arweinydd, fel yr hoffai Dante ei alw o dro i dro, ac yn ei ddiddanu. Cynhygia ei arwain trwy Uffern a'r Purdan, hyd byrth Paradwys, lle y cyferfydd Beatrice ag ef i'w arwain ymlaen i'r gwynfyd. Felly cychwynir y daith enbydus na anghofia'r byd byth mo honi,—Vergil yn gyntaf, a Dante yn ei ddilyn.

CAN II.—Fel mae'r dydd yn diflannu a'r awyr yn pruddhau, cyfyd amheuon ym mynwes Dante am ei ddiogelwch yn ystod y siwrnai; ond cysura Vergil ef—onid oedd Beatrice yn y nef yn gofalu am dano? Felly ymwrola, a dilyna'r Arweinydd ar hyd y llwybr anhawdd drwy wyll y llwyn.

CAN III.—Nis gwn a oes angen am fwy o eglurhad ar hon na dweyd fod Dante yn canfod geiriau cyntaf y gân uwchben porth uffern; mai'r gwr a wnaeth y "gwrthod mawr" (llinell 60) ydoedd Pietro del Murrone, yr hwn a etholwyd yn Bâb, ond o lyfrder enaid rhoddodd y swydd i fyny, ac etholwyd Bonifazio VIII. yn ei le,—gelyn Dante ac un o ddynion mwyaf llygredig y ddaear; ac mai "had eu had" (llinell 104), y rhai felldithir gan dyrfa'r boen, ydyw eu tadau a'u cyndadau, a mellditihir hwy am eu dwyn i fod.

---

"Trwof fi mae mynd i ddinas gwae,
Trwof fi mae mynd i'r dolur byth,
Trwof fi mae mynd at dyrfa goll.

"Cyffrodd cyfiawnder fy Nghreawdwr Mawr,
A gallu dwyfol alwodd finnau i fod,—
Doethineb penna, a'r cariad cyntaf oll.

O'm blaen doedd dim o'r pethau i gyd a wnaed,
Ond bythol rai, a phara byth wnaf fi,
Gadewch bob gobaith chwi ddaw yma i mewn."

O herwydd imi weld y geiriau hyn
Mewn ysgrif dywyll liw ar gopa porth,
Dywedais, "Athraw, brawycha'u hystyr fi."

Ac yntau wrthyf fel deallus ŵr,—
"Fan hon gadawer pob drwg dŷb ar ol;
Pob ofn a ddaw boed iddo farw yma."

"Ni ddaethom at y fan y soniais gynt,
Lle cai dy lygaid weled tyrfa'r boen,
Sydd wedi colli da y deall byth "

Ac yna rhoddodd yn fy llaw ei law
A gwyneb llon, ac ymgysuro wnês,
A dododd fi tu mewn i'r pethau cudd.

Ac yma ochain, wylofain, ac uchel wae
Adseinient trwy'r ffurfafen ddu heb sêr,
O herwydd hyn dechreuais wylo'n lli.

Amryfal iaith ac erchyll ymadroddion,
Geiriau o ing, acenion llawn o ddig,
Lleisiau croch a gwan, swn dwylaw gyda hwynt

Ddyrchafent gri, dröellai yn ddidor
Trwy'r wybren ddi-amserol hon, â'i gwawl
Fel tywod liw, pan chwyth y rhuthr wynt.

A minnau, oedd a'm pen yn gaeth gan ofn,
Leferais, "Athraw, beth yw hyn a glywaf,
Pa bobl yw, a beth yw'r ing a'u medd?"

Ac yntau wrthyf: "Y dull truenus hwn
O fod, sydd gan eneidiau prudd eu lliw,
A fuont byw heb anfri a heb glod.

"Cymysgu maent â'r dyrfa anfad honno
O engyl heb yn wrthryfelgar fod,
Na ffyddlon chwaith i Dduw, ond idd eu hun.

"Alltudiwyd hwynt fel na ddifwynid nef;
Ac uffern ddofn nis derbyn hwy ychwaith,
Rhag deilliaw bri i'r mall oddiwrth fath rai."

A minnau: "Athraw, pa ryw beth mor ddwys
Y sydd a'u gwna i ddyrchu cymaint cri?"
Ateba: "Yn fyr dywedaf wrthyt hyn.

"Dim gobaith marw nid oes gan y rhain,
A'u bywyd dall sy' o'r cyfryw isel radd,
Fel cenfigennant wrth bob arall ffawd.

"A chlod y rhain ni threiddia byth i'r byd,
Tosturi a chyfiawnder a'u cashant,
Na soniwn mwy, ond gwêl, a heibio dos."

A mi yn syllu, lluman welais draw
Yn cyhwfanu'n gyflym yn ei thrô,
Edrychai im fel pe dirmygai saib.

Yn dilyn hon dirwynai llin mor hir
O bobl, nad oedd yn fy mryd o'r blaen
Fod angeu wedi datod cymaint rhif.

Ar ol im adwaen amryw yn eu plith,
Ail edrych wnes, a gwelais rith y gwr,
A wnaeth mewn gwarthus ofn y gwrthod mawr.

Deallais ar un waith, a sicr own,
Mai'r dyrfa hon oedd plaid yr anfad rai,
Sy'n gas gan Dduw, a chas gan ei elynion.

Y sorod hyn, na fuont rioed yn byw,
Yn noethion oent, a llawn o friwiau llym
Gan bigau'r clêr, a'r cacwn yno oedd.

Rhychasent eu gwynebau hwy â gwaed,
Yr hwn â dagrau'n gymysg, wrth eu traed
Ei sugno gai gan gynron ffieidd cas.

Ac wedi im fynd a syllu mwy ymlaen,
Canfyddais dorf ar lannau afon fawr;
Ar hyn dywedais, "Athraw, moes yn awr

"Im wybod pwy yw'r rhain, a'r achos pam
Danghosant gymaint aidd am groesi draw,
Fel gwelaf drwy'r goleuni egwan hwn."

Ac yntau wrthyf: "Ti gei wybod hyn
Pan fyddo inni ddwyn ein camrau i ben
Ar lan yr afon Acheronte brudd."

'Rol hyn, â llygaid gwylaidd isel drem,
Yn ofni i'm geiriau beri iddo boen,
Ateliais lafar hyd at lan y lli.

Ac wele 'n dyfod atom yn y bâd
Hen wr yn wyn gan gernflew hir eu hoes,
Yn llefain, "Gwae i chwi eneidiau mall!

"Byth na obeithiwch mwy gael gweld y nef;
'Rwyn dod ich arwain chwi i'r ochr draw,
I'r gwyll heb ddiwedd byth, i dân ac iâ.

"A thithau wr sydd yna 'n enaid byw,
Ymâd ar frys o blith y meirw hyn."
Ond pan y gwelodd nad ymado wnawn

Dwedodd, "Drwy arall ffordd ac ereill byrth
Doi di i'r lan, nid hon; er croesi draw
Ysgafnach llong raid gael i'th gludo di."

'R Arweinydd wrtho: "Charon paid a'th ddig;
Fry ewyllysir hyn, lle gellir gwneyd
Pob peth wrth fodd, a phaid a gofyn mwy."

Ar hyn llonyddodd gruddiau gwyn fel gwlân
Y badwr dros y forfa dywell ddu;
O gylch ei lygaid 'r oedd olwynion tân.

Ond yr eneidiau noethion, blin eu byd,
A droisant liw gan rincian daint ynghyd,
Pan ddaeth y geiriau celyd hyn i'w clyw.

Melldithio Duw a'u rhiaint a wnaent hwy,
Y ddynol ryw, y lle, y pryd, a had
Eu had, a'u genedigaeth hwy eu hun.

Ac yna arosasant oll ynghyd,
Yn wylo'n ddwys ar y druenus lan,
Sy'n aros pob rhyw ddyn na ofna Dduw.

A Charon ellyll gyda llygaid tân
Yn tremio arnynt, gydgynhulla bawb;
A thery â'i rwyf bob un sy'n dal yn ol.

Fel cwymp y dail ar ddydd o ddiwedd haf,
Y naill yn chwim ar ol y llall, nes rhydd
Y gainc yn ol i'r ddae'r ei mantell oll;

'Run wedd, drwg epil Adda'n awr, o'r lan
Ymdaflant bawb o un i un dan rym
Y drem, fel hêd aderyn at ei hud,

Fel hyn tramwyant dros y dywell don,
A chyn disgynant hwy yr ochr draw,
Torf newydd sy'n ymgasglu'r ochr hon.

"Fy Mab," ar hyn yr Athraw moesgar ddwed,—
"Y rhai fu farw yn nigofaint Duw
Gydgwrddant yma oll o wledydd byd.

"Awyddus ydynt hwy am groesi'r dwr,
Can's iawnder dwyfol sy'n eu gyrru ymlaen,
Nes ydyw'r ofn o'u mewn yn troi yn chwant.

"Ffordd yma byth nid â un enaid da,
Am hyn 'r oedd Charon wrthyt ti mor ffrom,
Dealli'n dda yn awr ei arw swn."

A phan y daeth y geiriau hyn i ben,
Y fagddu fawr ddirgrynodd â'r fath rym,
Fel cofio'r braw yn awr a'm troch â chwys.

Y ddaear laith gan ddagrau roddodd wynt,
O'r hwn y llamodd mellt a fflamau coch;
Pob teimlad ynof gadd ei lethu'n llwyr,
A syrthiais megis gwr a drechodd cwsg.

*Cairo.* R. BRYAN.

---

# Y GYMRAEG, DDOE A HEDDYW.

Y MAE cymaint wedi ei ysgrifennu o dro i dro ar yr Iaith Gymraeg fel y mae'n gryn ryfyg i ddyn feddwl y gwaeth gan neb beth a ddywedir ymhellach ar y pwnc. Ond y mae cymaint o son am ddeffröad cenedlaethol, a chymaint o baratoi ar gyfer dysgu iaith ein gwlad yn yr ysgolion dyddiol, fel mai prin y mae eisieu esgus am dreulio tipyn o amser i chwilio i'w hanes. Ac nid di-fudd ydyw holi am dŵf yr iaith sydd yn parhau, er a ddywedir i'r gwrthwyneb, yn brif gyfrwng ein gwerin i drafod helynt y byd ac i gyfnewid meddyliau a'u gilydd. Y mae ein cenedl yn hen, a hanes ei bore heb ei ysgrifennu, ac yn anghofiedig; ond y mae dyfal chwilio i ddirgelwch ei geiriau wedi rhoi llawer o oleuni i ni ar grêd a buchedd ein hynafiaid. Buddiol yw i ninnau "edrych ar y graig y'n naddwyd, a cheudod y ffos y'n cloddiwyd o honynt." Llafur difyr hefyd ydyw ymaflyd mewn gair, a chwilio o ba le y daeth, holi helynt ei daith, a'i orfodi i ddatguddio ei gyfrinach. Y mae yr hyn a ddywedodd Coleridge am y Saesneg yr un mor wir am y Gymraeg:—"In a language like ours, so many words of which are derived from other languages, there are few modes of instruction more useful or more amusing than that of accustoming young people to seek for the etymology or the primary meaning of the words they use. There are cases, in which more knowledge of more value may be conveyed by the history of a word, than by the history of a campaign." (*Aids to Reflection*, 1861, *p.* 6, *note*). Ond y mae goruchwyliaeth y "gwreiddionos"—*ab*, *eb*, *ib*, *ob*, *ub*, *wb*, *yb*, yn para hyd heddyw, ac y mae llawer eto yn credu nad oes hanes i air ar wahân i'r "cyntefigion" yna. Y mae hynafiaeth y Gymraeg yn ymffrost yr Orsedd, a rhydd achlysur i ambell un o'r urdd honni fod ieithoedd ereill wedi cymeryd benthyg ei geiriau. Fe ymddengys fod ein ceraint ar y Cyfandir yn dioddef oddiwrth yr un

gwendid. Haera llenorion Llydaw fod iaith Ffrainc, a rhai o ieithoedd ereill Ewrob, wedi eu maethu gan y Lydawaeg. Methodd gwawd Voltaire a lladd yr hyn a alwodd yn "Celtomania," canys ffynna'r syniadau yna yn eu plith hyd ein dyddiau ni, fel y gwelir yng ngweithrediadau y Gynhadledd fawr Geltaidd a gynhaliwyd yn St. Brieuc, yn 1867. Gan fod y Gymraeg yn un o ganghennau y cŷff y deillia agos yr oll o ieithoedd Ewrob o hono, fe gydnabyddir ei hynafiaeth; ac am ei bod yn hen, fe fyn y beirdd ei chadw yn bur. Fel y mae'n hysbys, dyma asgwrn y gynnen rhwng yr hyn a elwir yn "Gymraeg yr Orsedd" a "Chymraeg Rhydychen." Dadleua'r beirdd dros burdeb geiriau, a gwrthwynebant roddi lle yn yr iaith i air yr amheuir ei fod yn estron. Gwell ganddynt eiriau gwneud. "Awrlais" yn lle cloc, "cerbydres" yn lle trên, "maelfa" yn lle siop. Ac er fod llawer gair megis *cloc*, *ffafr*, *ffals*, *help*, *het*, *lamp*, *natur*, *pleser*, *sicr*, *siop*, &c., wedi cartrefu yn ein llenyddiaeth oreu am ganrifoedd, fe'u gelwir yn fastardd-eiriau mewn aml i feirniadaeth yn yr Eisteddfod, a beïr am eu harfer.* Y mae'r gair *sicr* yn yr englyn cyntaf yn Awdl Eben Fardd ar Ddinystr Jerusalem:—

Ah dinystr! dinystr yn donnau—chwalodd
Uchelion ragfuriau,
A thirion byrth yr hen bau,
Caersalem *sicr* ei seiliau.

Awgryma Gwallter Mechain, y prif ysgolhaig ymhlith y beirniaid, na ddylasai Eben ddefnyddio'r gair "sicr." Dywed mewn llythyr cyfrinachol at Ddewi Wyn, yn union ar ol Eisteddfod y Trallwm:† "Y mae *sicr* yn Ysgrythyrol, ond a ydyw yn air Cymreig?‡ O'r ochr arall, fe'n dysgir gan wŷr Rhydychen mai nid ar burdeb geiriau y dibynna purdeb iaith, ond ar gadw yn ddilwgr ei phriod-ddulliau. Nid ydyw geiriau i iaith ond gwisg, yr *idioms* sydd yn eiddo iddi ydyw ei bywyd; a'r hyn sydd yn hanfodol bwysig ydyw cadw y rheiny yn bur. Y mae'r gallu sydd gan iaith i osod ei hargraff a'i delw ar eiriau benthyg, yn un o'r profion goreu o irder ei thŵf; ac y mae'r Gymraeg, fel pob iaith fyw arall, wedi elwa ar ei hangen, gan droi geiriau i gyflenwi ei rhaid yn eiddo iddo ei hun o ieithoedd ereill, yn ol deddfau sain y gellir eu holrain.

Bu y Rhufeiniaid yn y wlad hon am bedwar can mlynedd, ac enillodd y Gymraeg yn fawr oddiwrthynt. Collodd Galiaid y Cyfandir eu hiaith yn lân yn ystod yr amser y preswyliodd y Rhufeiniaid yn eu mysg, a bu agos i'r Brython golli ei un yntau hefyd. Dywed y Proffeswr Rhys fod yr ysgrifeniadau cerrig yn profi, bron tu hwnt i ddadl, i'r Lladin bara yn un o ieithoedd ein hynafiaid am amser maith ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid o'n gwlad. Cadwodd yr Eglwys Foreuol hi rhag diflannu ar unwaith; ond yn y diwedd llithrodd tafodiaith y gwerinwyr Rhufeinig i ryw fath o Ladin Eglwys (*Welsh Philology*, 1879, page 220). Ond glynodd y Cymry yn gyndyn yn eu hiaith, ac er iddynt

* "Ceir yn yr Awdl hon lawer o eiriau . . . anarferedig, megis ffals, pleser, larwm." Beirniadaeth Isaled, *Trans. Nat. Eisteddfod*, 1884 t.d. 12, 17.

† Yr Eisteddfod, Cyf. ii. 349.

‡ "Cyn dechreu beirniadu yr Awdlau cystadleuol, hwyrach y goddefir un sylw beirniadol ar eiriad y testyn, sef "Y Beibl Cymraeg." Gŵyr pob Cymro cyfarwydd â Gramadeg mai yr ansoddair *Cymreig* ddylasid arfer yn y cysylltiad hwn!" Beirniadaeth Tudno, *Trans. Nat. Eisteddfod*, 1889, tudal. 1.

golli llawer o'u geiriau trwy ruthr y rhai newydd o'r Lladin, cadwasant eu cystrawen, yr hon sydd yn gwahaniaethu'r Gymraeg oddiwrth yr oll o ganghennau ereill y cŷff Ariaidd.

Nid oes llaw-ysgrifau a Chymraeg ynddynt ar gael cynharach na'r wythfed neu'r nawfed ganrif, ac un o'r rhai cyntaf ydyw'r *Capella Glosses*, y deuwyd o hyd iddo ryw ddwy flynedd ar hugain yn ol yn Llyfrgell Coleg Corff Crist, Caer Grawnt. Y mae ynddo ryw nifer o eiriau Cymraeg ynghanol rhestr o rai Lladin, ac yr ydym yn ddyledus i'r ysgolor Celtaidd gwych, Mr. Whitley Stokes, am ei sylwadau arnynt yn yr *Arch. Cambrensis* am 1873. Y mae rhai o'r geiriau yn eu cyflwr cyntaf, dim ond cŷff y Lladin a'r terfyniadau wedi eu bwrw, ereill ac ôl mwy o dreigl arnynt; fel y gwelir oddiwrth yr esiamplau canlynol:—*catteiraul* (catteir=cadair), *guird* (gwyrdd), *locell* (llogell), *scribenn* ('sgrifen), *sich* (sych), *strotur* (strodur), *termin* (terfyn). Y mae hefyd yn yr *Oxford Glosses*, sydd tua yr un oed, *binfic* (benthyg), *cannuill* (cannwyll), *morthol* (morthwyl), *stebill* (ystefyll=ystafelloedd), &c. Y mae hanes rhyfedd i yrfa "benthyg." Gan gychwyn o "beneficium," trŷ i *binfic*, *benffig*, *benthyg*; a chlywir ef ar lafar mewn gwahanol ardaloedd yn *bentig*, *mentig*, *mencid*. (Proff. Powel, *Y Cymmrodor*, vi. 134). Gwelir felly fod hyd yn oed y gair "benthyg" ei hun yn air benthyg.

Ceir yn Llyvyr Llan Dâf, a ysgrifennwyd tua'r flwyddyn 1150, amryw o eiriau o'r Lladin, megis *audurdaut*, *bathoriayth*, *bendicetic*, *castell*, *cyghellaur*, *discinn*, *eclwys*, *escop*, *finnaun* (ffynnon), *foss*, *melldicetic*, *perued* (perfedd), *pont*, *seint*, *yscumunetic*, *&c.* Treigliad ydyw "perfedd" o *per med(ium)*. Ceir ef droiau yn y llyfr heb ei gyfieithu ynghanol brawddeg Gymraeg.

> i pant iguairet per medium vallis dir finnaun.
> (y pant i waered drwy berfedd y dyffryn i'r ffynnon.)
>
> Tudal. 157.

Ystyr cyffredin "perfedd" ar hyn o bryd ydyw ymysgaroedd, er fod popeth sydd y tu fewn i'r corff yn berfedd. Cedwir yr hen syniad yn y geiriau "perfeddwlad," "perfeddgoed," ac yn yr ymadroddion "perfedd cloc," "perfeddion nos." Ceir yr un meddwl iddo yn "Epistol Episcob Menew at y Cembru." "May cenym ni yn Gymraeg amryw ymadroddion a' diarhebion yn aros fyth mewn arfer a' dynnwyt o berfedd yr scrythyr 'lan, ac o ganol Efengil Christ" (tudal. ix). Hanes yr Esgobaeth ydyw Llyvyr Llan Dâf, wedi ei ysgrifennu yn Lladin, gyda darnau yma ac acw yn Gymraeg yn enwi'r terfynau. Cyhoeddwyd argraffiad newydd o hono Dygwyl Dewi Sant, y llynedd, gan Mr. Gwenogfryn Evans, Rhydychen. Cymerodd ei olygydd boen dirfawr wrth wneud y Mynegai sydd iddo, i chwilio am enwau diweddar y llefydd a enwir ynddo. Dyry hanes rhai cyfnewidiadau pur ddigrif yn nhreigliad geiriau, megis "Minid Ferdun" (mynydd Fyrddin) i "Money Farthing Hill."

Tua'r un amser yr ysgrifennwyd y casgliad o waith y Cynfeirdd, a elwir Llyfr Du Caerfyrddin. Y mae yn hwn lawer iawn o eiriau o'r Lladin, &c.: *benffic*, *bendith*, *carchar*, *coeth*, *creadur*, *croes*, *cuir* (cwyr), *kymhell*, *kymun*, *doeth*, *dolur*, *fruin* (ffrwyn), *fruith*, *gosper*, *llythir*, *llyrir*, *messur*, *music*, *neges*, *pabuir*, *pader*, *paraduis*, *paraud*, *pechaud*, *perthin*, *pirffeith*, *pur*, *segur*, *traethaud*, *trindaud*, *ysprid*, &c.

Gallwn gael rhyw ddirnadaeth am gryfder nerth a grym mawrhydi Rhufain trwy sylwi ar ol y Lladin ar y Gymraeg. Y mae yn y Llyfr Du frawddegau a phob prifair yn air benthyg: fel,

a llythir ig cuir afflam im pabuir
(a llythyr yng nghwyr a fflam ym mhabwyr).

Y mae'n werth nodi un gwahaniaeth rhwng iaith y ddau lyfr yma, sydd yn profi fod Llyvyr Llan Dâf yn perthyn i gyfnod boreuach na'r Llyfr Du. Arferir ynddo y terfyniad *ou*, fel yn y geiriau *loggou* (llongau), *genou* (genau), *dou*, *yntou*, &c., tra mai *eu* geir yn y Llyfr Du. Erbyn hyn y mae *eu* wedi treiglo i *au* yn yr iaith lenyddol; ond cedwir yr hen sain hyd heddyw ar lafar gwlad mewn mannau yn y De. "Doi," "yntoi," glywir yng ngororau Morgannwg a Chaerfyrddin eto.

Yr oedd yr iaith wedi dyfod i'w hoedran erbyn diwedd y bedwaredd ganrif ar ddeg, a pharha ar lafar gwlad yn debyg mewn rhai pethau i fel yr ysgrifennwyd hi yn y dyddiau hynny yn y Llyfr Coch o Hergest. Y mae lliaws mawr o eiriau estronol yn y Llyfr Coch, ac ôl canrifoedd o dreigl ar lawer o honynt; megis *anifeil*, *arf*, *cadwyn*, *cawc*, *cyffes*, *cyllell*, *dysc*, *dyscyl*, *ffalst*, *ffenestyr*, *ffyryf*, *gwers*, *gwisc*, *llafur*, *lleithic*, *milwr*, *mynybyr*, *peis*, *trist*, *yspeil*, *yspeit*, *ystafell*, &c., ac ambell i air o'r Saesneg, fel *bilaen* (milan=villein), *bordd*, *iarll*, *tarian* (A.S. *targe*, *targan*); a hefyd o'r Ffrancaeg, *ffiol*, *neges*, *putein*, *trafaelu*.

Yr oedd y cyfnod rhwng 1380, pryd yr ysgrifennwyd y Mabinogion, a 1567, pan y cyhoeddwyd Testament William Salesbury, yn un pwysig yn hanes ein llenyddiaeth. Aeth yr Awen yn fud ar ol colli'r Tywysogion fu'n gefn a nodded iddi. Peidiodd swn y caniadau, ac ni chlywid mwy lais y delyn. Ond torrodd Rhys Goch ab Rhiccert a Dafydd ab Gwilym ar ddistawrwydd digalon y blynyddoedd, i ganu am brydferthwch anian, am flodeu'r coed, a chân yr adar mân. Ar eu hol hwy daeth Iolo Goch i ail gynneu fflam cenedlgarwch, ac i seinio udgorn y gâd yn amser Owain Glyn Dŵr.

Y gwr hir ni'th gâr Harri,
Adfyd wyd a wyd fyw di?
Ac od wyd fyw, a gwayw o dan
Dyred, a dangos dy darian.

Yn y cyfnod hwn y blodeuodd Lewis Glyn Cothi, Sion Cent, Ieuan Brydydd Hir Hynaf, Tudur Aled, Ieuan Tew o Gydweli, ac ereill nas gwiw i mi eu henwi, ond dweyd fod llawer o'u pethau da ar lafar gwlad ac ar gof a chadw.

Pwy nas gwyr am

Breuach na barr o ewyn,
Yn ei stâd yw einioes dyn.

L.G.C.

Crynedig i'm croen ydwyf,
Cryniad deilen aethnen wyf.
Gwr oerach nag Eryri
A Berwyn wyf i'm barn i.
Ni thyn na chlydwr na thân,
Na dillad f'anwyd allan.

I.B.H.

Ysbys y dengys y dyn
O ba radd y bo'i wreiddyn;
Y ffrwyth achos ffrith uchel,
Da ceidw dâst y coed y dêl.

T.A.

Ar y gwir mae rhagoriaeth;
O'm lleddir am wir ba waeth.

I.T.

Erbyn hyn y mae geiriau o'r Saesneg a'r Ffrancaeg yn llifo i fewn, ac y mae'r iaith wrth dyfu yn barod i dderbyn ei maeth o bob cyfeiriad. Ceir yng nghywyddau Dafydd ab Gwilym *bangc*, *baril*, *blowmon*, *bolld*, *bóst*, *bwth*, *camp*, *carl*, *cast*, *cersi*, *cloc*, *clóg*, *clôs*, *cnoc*, *cobler*, *coler*, *crefft*, *cwfl*, *cwlltwr*, *cwrlid*, *ffals*, *gerlant*, *gild*, *gildio*, *help*, *het*, *hwsmon*, *marc*, *natur*, *onest*, *papur*, *pla*, *tafarn*, *tasel*, *top*, *trensiwr*, *sadler*, *samplau*, *sblennydd*, *siap*, *sieb*, *siop*, *swch*, *wtla* (outlaw), *ystryd*. O'r Ffrancaeg:—*Abid*, *abl*, *almari*, *bargen*, *brics*, *bwtres*, *caban*, *cornel*, *corun*, *crwper*, *cwfeint*, *cwfert*, *cwrs*, *cwrtais*, *dwbl*, *ffair*, *fferm*, *fforffed*, *ingc*, *lamp*, *lifrai*, *marsiandiaeth*, *matras*, *mwnai* (money), *organ*, *paintiwr*, *pantri*, *pardwn*, *parlwr*, *pilwri*, *plastr*, *prentis*, *pris*, *proffid*, *pwrcas*, *pwyntmant*, *siamber*, *siwgr*, *siwrnai*, *stâd*, *tabwrdd*, *taeliwr*, *tenant*, *trysor*, *ysbiwr*, *ysgwier*, &c.

Y mae rhai o'r geiriau, megis *neges*, *putein*, wedi dyfod ar eu hunion i'r Gymraeg; ond y mae'n anodd penderfynu pa un ai trwy'r Saesneg ai yn uniongyrchol y daeth y rhan fwyaf o'r geiriau fenthyciwyd o'r Ffrancaeg. Am ddau can mlynedd wedi i'r Normaniaid oresgyn Lloegr, iaith Ffrainc oedd iaith y Llys a'r bobl fawr. Ni fedrai y rhan fwyaf o frenhinoedd y cyfnod yna siarad Saesneg, mwy nag y medr Tywysog Cymru ar hyn o bryd siarad Cymraeg. Siaradai pawb fynnai fod yn rhywun, Ffrancaeg, o'r brenin ar ei orsedd i'r swyddog distadlaf yn y tir; ac yr oedd iaith y werin bobl yn rhwym o deimlo oddiwrth y gyfathrach oedd rhyngddynt a'u gwell. Buont yn arglwyddiaethu arnom ninnau yng Nghymru—yn y Gogledd a'r De, ac yn y Gororau—fel y gwelir oddiwrth eu cestyll ym Mon, Arfon, Meirion, Morgannwg, &c.; a buasai yn syn pe na theimlasai iaith y Cymro oddiwrth ymadrodd eu cymdogion.

Y mae rhai o'r geiriau estronol geir yn Nafydd ab Gwilym wedi eu colli o'r Saesneg. Parhâ *cast* ar lafar gwlad gyda ni yn yr un ystyr ag a roddid iddo gan Dafydd.

Dy galyn 'r wy' dan gelu,
Erioed, ar hyd y coed cu,
O ddyn, a marcio 'n eiddil
Dy *gastiau*, a'th feiau fil.

Fe geir yr un ystyr iddo yn Chaucer.

And myne be the maladyes colde,
The derke tresons and the castes olde.

*The Knights' Tale.*

Ond y mae'r meddwl yna iddo wedi hen golli o'r Saesneg. Methodd *cornel* a chael lle yn iaith lenyddol y Saeson, mwy na chyda ninnau. Ond fe'i harferir ar lafar gwlad hyd heddyw ganddynt yn swyddi Amwythig a Hereford—(Miss G. Jackson, *Shropshire Wordbook*)—a chlywir y gair yng ngororau Brycheiniog yn yr ymadrodd *chimbley*

*cornel.* Defnyddid *corun* yn yr hen Ffrancaeg i ddynodi moelni eilliedig ar ben mynach, a dyna'i arwyddocâd yn y Saesneg hyd B.A. 1300, pan ei cymhwysir at gorun pen unrhyw un. Rhydd Dafydd ei hen ystyr iddo yn ei gywydd i ateb Morfudd am iddi haeru ei fod yn heneiddio.

Ni wisgais, dileais lid,
Na gwiw ben-gwfl, nag abid;
Ni ddysgais gwbl drais o drin
Ar wiw ledr air o Ladin.
Nid llwyd fy marf, arf erfai,
Nid lleddf fy *nghorun*, nid llai
Na phan ydd oeddem, em gu
Einym gur yn ymgaru.
Os gwrthod ffurf amod ffydd
Gorug 'r 'wyf, gwr o grefydd

. . . .

Caf ran tra fo cyfrinach,
Car Dduw yn ol cerdda 'n iach,
Ac na ddywaid f' enaid fun
Air chwerw am wr a *chorun*.

Ceir *abid* yn aml yn yr hen ysgrifau. "Deucant mlyned a mil oed oet crist pan vu varw gruffud uab kynan ab owein ynaber conwy. wedy kymryt *abit* y creuyd ymdanaw." (*Y Brutieu*, 342). Bu farw'r gair yn y Gymraeg gyda'r myneich, ond deil ei afael yn y Saesneg yn "riding *habit.*' Y mae "*cwfeint*" yn aros yn *Covent Garden.* Treiglodd i "*convent*" mor ddiweddar a'r flwyddyn 1600. Ai *g* yr Anglo Saxon, *gildan*, sydd yn *gild, gildio, gildiais*, sydd wedi ei cholli o'r gair Saesneg *yield*; ynte *g* a rydd y Cymro i fewn er mwyn treigliad rheolaidd, fel ag y rhoddir hi yn *g*onest? Nid ymddengys *pwyntmant* yn y Saesneg tan ar ol amser Dafydd. (*New English Dictionary*. Oxford. *Appointment*). Ai gair Cymraeg ydyw *brisk*? Nid oes hanes am dano yn y Saesneg cyn 1560; ond dywed Dafydd,—

Adwaenwn, gwn yn gynil
Ei throedlam *brysg* ymysg mil.

Y mae tarddiad *gwn* a *cloc* yn amheus; ond yr ydwyf yn meddwl fod gennym well hawl iddynt nag sydd gan y Saeson, er y ceir hwynt yn Chaucer.

As swift as pelet out of *gonne*
When fyr is in the poudre ronne.

*Minor Poems.*

Rhedeg am gwallt ar wŷr
Gan ruad *gwn* yr awyr,

meddai Dafydd ab Gwilym. Er fod "gwn" a "cloc" yn yr iaith ers pum can mlynedd, ni chydnabyddir mo honynt, "dryll" ac "awrlais" a welir yn y papurau newyddion.

Y mae geiriau dieithr yn britho dalennau beirdd y cyfnod dan sylw, ac fel y mae'r amser yn treiglo, y maent yn dyfod yn haws i'w hadnabod, fel y gwelir yng ngweithiau Lewis Glyn Cothi; megis *concwest, nasiwn, pwrs, rhent, sgwâr, stâd, siars, staen, tâst, swper, wâst,* &c., &c.

Y mae'n rhyfedd fel y mynnir dal at ffurfiau yn yr iaith lenyddol, wedi iddynt hen golli o'r iaith lafar. Ysgrifennodd Dafydd ab Gwilym

fel y siaradai'r werin, fel y dengys y geiriau, *bodlon*, *calyn*, *llewych*, *mynd*, *tyrd*, *prynhawn*. Y mae'n rhyfedd hefyd fel y mae'r werin wedi derbyn ffurfiau newyddion roddwyd ar ambell i air gan yr iaith lenyddol. Ceir *llewych* a *llewyrch* yn Nhestament William Salesbury; ond *llewyrch* bob amser gan y Dr. Morgan, ac erys felly byth er hynny. *Amranneu* oedd y llïosog am "amrant" yn yr hen amser; ond gwnaeth y Dr. Morgan ef yn *amrantau*, ac er fod hynny yn eithriad i reolau sain, "amrantau" y myn fod. Gofynnodd Gwallter Mechain, ai nid o'r Saesneg "secure" y daeth y gair *sicr*. Nage, ond o'r hen air "siker," o'r Lladin *securus* = di-ofal, ddaeth y Saeson gyda hwy o'u hen gartref yn Friesland. Ceir yr ymadrodd "reit sicr" a glywir mor fynych ar lafar gwlad droiau yn Chaucer.

For be right siker I durste noght
For al this worlde telle hir my thoght.

*The Book of the Duchesse.*

Daeth *siwr* i'r Gymraeg o'r Ffrancaeg trwy'r Saesneg "sure," o'r un gwreiddair a "sicr." *Segur* ydyw'r gair a ddaeth yn uniongyrchol i'r Gymraeg o "securus." Yn yr adnod honno yn y Barnwyr viii. 11, "Canys y fyddin oedd ysgafala;" ac ym Matthew xxviii. 14, "Ni a'i perswadiwn ef, ac a'ch gwnawn chwi yn ddi-ofal;" "secure" sydd yn y Saesneg yn y ddwy adnod. Clywir yn aml gan wladwr "fod y peth a'r peth yn eithaf di-ofal;" hynny yw "quite secure."

Nis gwn pa bryd y dechreuwyd cymeryd gofal eiddigus dros burdeb yr iaith Gymraeg, na pha beth a fu yn achlysur i hynny. Dywed y Dr. Griffith Roberts yn ei lyfr, "Dosparth Byrr ar y rhann gyntaf i ramadeg cymraeg," a gyhoeddwyd ym Milan, Itali, yn y flwyddyn 1567:—

Mi a welaf y lladinwyr oedd gywaethog i hiaith, yn benthygio gen y groegwyr lawer gair, yn y cyfryw leoedd, y Phrancod, yspaenwyr a'r Eidalwyr, yn ddiddeincod yn cymryd i nechwyn gen y lladin. a'r hen gymru gynt wedi tynnu yrhann fwyaf o'r geiriau allan o'r lladin, ne'r groeg, ni ddylai fod arnominnau mor cywilidd wrth fenthygio i helaethu'r iaith, gen y neb a roes inni i dechreuad. Ond rhaid edrych yn graph, & chadw yn ddyfal y modd sydd i'w gwneuthur nhwy yn camreig.—T.d. 195.

Yna fe â ymlaen i ddangos y rheolau yn ol fel y symuda'r sain o'r Lladin i'r Gymraeg. Y mae'r "Dosparth Byrr" yn llyfr anhysbys iawn. Nid oes hanes ond am ddau gopi ar gael, un yn Wynnstay a'r llall yn y *British Museum*. Cyhoeddwyd argraffiad newydd o hono yn 1883, fel atodiad i'r *Revue Celtique*. Pabydd oedd y Dr. Griffith Roberts, ac efe ydyw awdwr "Y Drych Cristianogawl," a gyhoeddwyd yn Rouen, Ffrainc, gan y Dr. Rhosier Smith, yn y flwyddyn 1585. Efe a gyhoeddodd "Athravaeth Gristnogavl" y Dr. Morris Clynnog, ei noddydd; neu fel y geilw ef, ei "ddiball gynheiliad;" a benodwyd yn Esgob Bangor yn 1558, ar farwolaeth y Dr. William Glynn, gan Mari Frenhines; ond bu hi farw cyn ei gysegru i'r swydd, a gorfu iddo ffoi wedi i Elizabeth esgyn i'r orsedd, ac ym Milan y lluestodd. Dynion dysgedig, duwiol, a da oedd y gwŷr hyn, ac yr oedd eu cariad yn angherddol at eu gwlad, a'u hiaith, a'u cenedl.

Dechreuau'r "Dospaith Byrr" fel hyn :—

YR IAITH GYMRAEG

yn erchi gan dduw, lwiddiant, a hyfryd
gynnydd mewn gras, anrhydedd, a
gogoniant iw hanrhydeddussaf
bennadur, ai diball nodded
Viliam Harbart
Iarll o Benfro
ag Arglwydd o Gaer dydd

VRTH fyngweled fy hun, er ysllawer o flynyaddoedd, heb bris gan neb arnaf trwy dir cymru, na chwaith ddim gennyf mewn scrifen a phrwyth ynddo i hyphorddi mewn dysg, a dawn fyngharedigion bobl: mi a dybiais (f'anrhydeddfawr Bennaeth) mae da oedd ymy, fyned trwy wledydd Europa i edrych ymysc ieithoedd eraill a gaid yrun cyn ddiystyred i chyflwr a mi, ag mor ddiles i'r bobl sy'n i doedyd, ond wedi ymy gerdded o fraidd benn yr hyspaen trwy phrainc, Phlandria, ag Alemania, a'r Eidal hyd yn eithaf Calabria tan ymofyn ymhob lle am gyflwr, braint, a helynt yr ieithoedd sydd tu draw i hynny, ni fedraisi weled, na chwaith glowed oddiwrth yrun; na bai yn cael gwneuthur yn fawr o honi ymysc pawb, sydd o naturiaeth yn i doedyd. Ag wrth fod pob un o honynt yn cael i'mgeledd, ai pherchi gen i phobl, hithau drachefn i wneuthur iawn, am y caredygrwydd a gafodd sy'n traethu iw phobl bob peth, a fo gwiw i wybod; hyfryd i glowed, a gogoneddus i wneuthur. Canys nyd oes nag ystori i ddyscu henafiaeth, na chylfyddyd o enw, a lles, na gwybodaeth o ddim, a dalai i ddysgu nas darfu ir hyspaniaith, phrangeg, a'r eidaliaith i tanu, ai hau ymysc gwyr i gwlad, i dalu am i magwriaeth ai 'mgeledd. Pan welais innau hynny, e fu ryfedd iawn gennyf, fod y cymru mor ddiddarbod amdanaf; a minnau mor ddifudd iddynhwythau. yn anwedig wrth weled fod fynghymnru i, o athrylith a synwyr yn abl i 'mgystadlu a'r rhai gorau yn imysc nhwy, a minnau mor llawnllythr im scrifennu, cyn gyfoethocced o eiriau, cyn hyned fynechreuad a'r falchaf o'r ieithoedd a henwais. Ynol hir ymgynghori, a dyfal fyfyrio e farnwyd nad oedd fodd i mi godi fynghefn i fynu i wneuthur lles i'r gwyr imtrefnodd duw iddynt, nes cael onof yn ganllaw ag yn nodded ym, wr, ai ewyllys yn damuno da ymy. ag ai bwyll yn abl i weled y phordd a fyddai im dyrchafu, a hefyd, o rym yn gallu dwyn i benn y peth a ddamunai, ag a farnai yn dda ar fy lles felly wrth fwrw fy llyfrau, ag edrych ple cawn y fath ganllaw, a gynghorwyd ymmy i cheisio mi a welaf fod yn ych arglwyddiaeth chwi, bob un o'r tri phwnc, sydd anghenraid i mi wrthyn. Canys e wyr holl gymru, a lloegr faint ych serch i'r fruttaniaith, pryd na ddoedech wrth gymro, ond cymraeg, ie, ymysg penaduriaid y deyrnas: mal y clowais fagod o wyr yn doedyd, tan fawr ddiolch i dduw weled i pennaeth mewn gradd, a lle cyn uched, yn dangos dirfawr serch oi wlad naturiol, ar i 'mddygiad ai 'madrodd. A bid diau gennych (f'arglwydd urddassol) fod calon pob gwir Gymro yn crychnneittio yn i gorph o wir lawenydd, pan glowo wr o'ch anrhydedd chwi, yn doedyd i iaith: canys nid oes dim i ennill calonnau adeiliaid yn gystal, ag ymgleddu i hiaith, a siarad wrthyn bob un yn i iaith naturiol. Hynny a wnaeth fod Mithridates mor enwog, gwr oedd, a dwy deyrnas arhugain tano, ag yntau yn medru ymddiddan a phawb yn i dafod ihun. hynny a wnaeth i Garolus y bumed, fod cimaint i allu, am nad oedd raid iddo wrth un ieithydd, i 'mddiddan ai holl adeiliaid er i bod o amrafael genedloedd, hynn a wnaeth ich anrhydedd chwithau, fod cimaint i gariad ynghymru, am ych bod mor gariadus ir gymraeg, ag yn i medru mor hyfedr. Tu ag at am bwyll, i ddyfeisio phyrdd, i'm gossod i rhagof, a grym i wneuthur y peth a welech yn dda, mae pawb yn gwybod nad oes moi diphig ynoch, gan fod yn eglur, nid o fewn lloegr yn unig,

eithr ymhob mann y mae son am dani, nad oes dim a phrwyth ynddo yn perthynu at stad y deyrnas mewn heddwch, a rhyfel, ond a luniwyd trwy'ch cyngor, ag a wnaethbwyd trwych grym a'ch cymorth, a'ch anorphwys lafur. Am hynny mae gennyf obaith yrowron y byddwch ymy yn arglwydd da, i'mdiphin rhag argowedd, a drwg, ag im helpu wrth geisio ymossod allan i ddangos f'wyneb ymysc yr ieithoedd eraill nid ydynt well i braint no minnau: ond cael o honynt imgeledd, a'i mowrhau gan bennaduriaid, a boneddigion i gwlad. ag wrthynny gadel llawer arnafi, a fum cyd heb nag ymgeledd, na mowrhaad. Etto pe cawn ynawr ddechrau 'mdrwsio tan ych aden chwi, a gweled o bawb fod wyneb yn pennæth tu ag attaf, e fyddai bob cymro barod im studio, im cyfoethogi agi 'm gwneuthur yn hylwybr, ag yn berphaith. Yrhwnn beth os cenhiada ych daioni chwi ymy, mi a obeithiaf, cyn nemawr o ennyd y gwelir o'mgwaithi ymysg y cymru lawer pwnc o ddysg, a gwybodaeth ni ellais moi ddangos iddynt hyd yn hynn. Canys wrth y cydnabod a gefais ag ieithoedd eraill, yn hwyr yrowron mi a'llaf pan fynnwyf gael genthynt bob peth a berthyn at gampau, a chynneddfau gwyr rhinweddol, gynghordioledd gamradeg, flodeuau retorigyddiæth, ystriw dialectigyddiæth, cowreinrhwydd meddygon, pwylledd dinasswyr, gwybodaeth philosophyddion, gorchestion milwyr, duwioldeb theologyddiæth i ddyscu, helpu, diddanu a pherpheiddio gwyr fyngwlad ymhob peth a fo golud iddynt, hyglod yngolwg y byd, a chymradwy gar bron duw. Yn hynn o orchwyl, os ych anrhydedd chwi a fydd awdur, nodded a chynhorthwy ymy, chwi a gewch yn ddiogel glod tra barha iaith y bruttaniaid, a gwasanæth ufydd, didwyll genthynt i chwi a'ch etifeddion yn y byd yma, a thal didranc gan dduw yn y byd sy'n dowad. Yr hwn a ddanfono iwch rwydddeb, a chynnyrch ymhob llawenydd a daioni wrth fodd ach caro.

Ych phyddlonaf law forwyn
yr iaith gymraeg.

Yna ar y ddalen nesaf dechreuir ane.chiad arall:—

IAITH GAMBR YN
annerch yr hygar ddarlleydd.

Aristoteles, gwr o ragoriæth mewn dysc, a gwybodaeth, a ddowad am bob celfyddyd, mae bychan, ag anrhefnus fydd i dechreuad; ag yna bob ychydig tyfy ag ymdacclu a wna, nid ar unwaith ond o amser i amser trwy fod eraill, yn gweled, ac yn bwrw at y dechreuad, ryw beth nis canfu na'r cyntaf, na'r ail, Er bod y dechrau fynychaf yn llai no'r darn a roesswyd wrtho: etto mae'n galettach, ag yn fwy clod, ddychmygu ychydig y newydd, nog yw trefnu hyny, ai chwanegu yn helaethwych. Am hynno na fid diystr, na diflas gennyt, fyngweled i yn ymddangos mor ddisas, ag mor anhylwybr, canys honn yw'r awr gyntaf yr amcanwyd fynwyn i lwyhr celfyddyd. Yr ydoedd y beirdd rhyd cymru yn ceisio fynghadw rhag colli ne gymyscu a'r saesnaeg. Ond nid oedd genthynt phordd yn y byd, nag y ddangos yn fyrr, ag yn hyphordd yr odidowgrwydd sydd ynof rhagor nog mewn llawer o ieithoedd, na chwaith i fanegi rhessom am fagod o ddirgelion a gaid i gweled, ond chwilio yn fanwl amdanynt, mal y mae gramadegrwyr da yn gwneuthur, pawb in i iaith ihun. O herwydd hynn, gan nad wyf ond dechrau etto, rhaid iti (ddarlleydd howddgar) pan welych, ar hynn o gais ddim a allesid i ddoedyd, wedi adel allan, ne ryw beth wedi gyfleu allan oi ddyledus le, ne ddiphig mewn rhyw phordd arall, beidio a gwr adwyddo'r neb, o ewyllys da ymy a'mcanodd fynwyn i fraint celfyddyd. Eithr os perpheiddid di y peth a ddechreuawdd ef, heb ddoedyd iddo mor absennes ddwyn hynny i benn, mae ytty fawr ddiolch gennyfi, a chantho yntau. canys nid ydyw ef yn tybied fod hynn yn agos i'r perpheiddrwydd y gweddai iddo fod, eithr i geisio denu rhai ai medrai yn well ef a wnaeth orau gallodd, yn y drapherth ar blinder y mae ynddo

heb gael ennyd im taclus i mal y damunai. a heb gynfigen wrth neb a wnelo yn well nog ef, ond diolch yn gynt iddo, am dwyn i ben y peth a wnaethai ef ihun pes gallassai. Na ryfedda chwaith weled cimaint o fiau wrth brintio. canys yr ydoedd y dynion oedd yn gweithio, heb fod nag yn gyfarwydd yn yr iaith, nag yn ddisceulus ar i gorchwyl, nag yn rhowiog oi trin, ag i gweirio'r pethau a fethai genthynt. heb law hynn yr oedd annynt eisie llythrennau, ag amryw nodau, afuasai raid wrthynt i brintio yn gyflawn bob pwnc a berthynai attaf. rhaid ymy ddamuno ar bob cymro bonheddig, a rhowiog, na bo mwy annaturiol i mi, nog yw pobl eraill i iaith i mammau. E fydd weithiau'n dostur fynghalon wrth weled llawer a anwyd ag a fagwyd im doedyd, yn ddiystr genthynt amdanaf, tan geisio ymwrthod a mi, ag ymgystlwng ag estroniaith cyn adnabod ddim honi. Canys chwi a gewch rai yn gyttrym ag y gwelant afon Hafren, ne glochdai, ymwithig, a chlowed sais yn doedyd unwaith good morow, a ddechreuant ollwng i cymraeg tros gof, ai doedyd yn fawr i llediaith. i cymraeg a fydd saesnigaidd, ai saesneg (duw a wyr) yn rhy gymreigaidd. A hyn sy'n dyfod naill ai wir pholder, yntau o goeg falchder a gorwagrwydd. Canys ni welir fyth yn ddyn cyweithas, rhinweddol mor neb a wado nai dad, nai fam, nai wlad, nai iaith. Eithr mi a obeithia o hynn allan trwy nerth duw, athrylith, diwdrwydd a gwiw fyfyrdod fynghymru cariadus, y bydd genthyn nhwy fwy o serch i mi, a chan innau fwy o ddiddanwch a golud iddynt hwythau: oblygyd hynn yddwyf yn adolwg i bob naturiol gymro dalu dyledus gariad i'r iaith gymraeg: fal na allo neb ddoedyd am yr un ohonynt mae pechod oedd fyth i magu ar laeth bronnau cymraes, am na ddamunent well ir gymraeg,

Bydd wych.

Yn yr argraffiad gwreiddiol, ac yn adargraffiad y *Revue Celtique* (o'r hwn y cymerais yr uchod), y mae pyncyn (.) o dan *d*, *l*, ac *u*, pan y safant am *dd*, *ll*, ac *w*. Ambell waith y mae'r pyncyn wedi ei adael allan lle y dylasai fod wedi ei roddi; ac wedi ei roddi, dro arall, lle y dylasai fod wedi ei adael allan; a chyfrifa hynyna am wallau, fel *wnuaith*, *paub*, *wfydd*, &c. Fe sylwir mai *i* ydyw 3d pers. unigol y Dr. Griffith Roberts bob amser, megis "iaith i mammau," fel y dywedir hyd heddyw wrth siarad. William Salesbury, yn ei gyfieithiad o'r Testament Newydd, a gyhoeddwyd yn yr un flwyddyn a'r Dosparth Byrr, sydd yn gyfrifol am yr *ei* a geir yn yr iaith lenyddol, am ei fod yn tybied, mae'n debyg, mai *ej-us* y Lladin oedd *i* y Gymraeg. Yn y "Dictionary in Englyshe and Welshe" o'i waith gyhoeddwyd yn 1547, *i* sydd ganddo yntau, ac y mae treigliad y geiriau ynddo hefyd yn rhwyddach o lawer nag yn ei Destament. Dilynodd yr egwyddor bur yn ei gyfieithiad, ond paham sydd ddirgelwch, ac y mae anystwythder yr iaith i'w briodoli i'w ymdrech i roi pob gair agosa ag a allai i'w ffurf wreiddiol, yn hytrach na gadael i'r cydseiniad dreiglo yn rheolaidd yn ol deddfau sain yr iaith.

Dyma fel y dywed Morys Kyffin am Griffith Roberts a William Salesbury yn ei lythyr, "Annerch at yr howddgar ddarlleydd Cristnogawl," yn nechreu ei gyfieithiad o "Ddeffynniad Ffydd Eglwys Loegr," o waith yr Esgob Jewel, a gyhoeddwyd yn 1595; ac nid oedd neb cymhwysach i farnu nag ef. Ni ysgrifennodd ond y llyfr hwn yn Gymraeg, a chymerodd ar un cynnyg y safle anrhydeddusaf fel meistr ar yr iaith. Megis ag y cyrhaeddodd y gelfyddyd o argraffu ei pherffeithrwydd yn ei mabandod, fel y gwelir yn y campwaith godidog, Argraffiad y Beibl, a elwir ar ol enw y Cardinal Mazarin, a gyhoeddwyd tua 1490, yn fuan ar ol dechreu printio gyntaf. Nis gwn i a welodd y byd rywbeth hafal iddo o ran prydferthwch gwaith. Ac felly

gyda Morus Kyffin; y mae ei lyfr yn un o'r rhai cyntaf brintiwyd yn ein hiaith; ond ni ddaeth neb ar ei ol a ysgrifennodd ragorach Cymraeg. Y mae ei waith yn rhyfeddod o urddas ac ystwythder; ei arddull yn goeth a'i ymadroddiad yn llithrig; ac y mae'n resyn fod cyn lleied o astudio ar brydferthwch iaith cewri ysgrifennwyr y Gymraeg yn ei hoes euraidd. Meddai:—

E ddarfuessid cyfieuthu'r Testament newydd ynghylch yr wythfed neu'r nowfed flwyddyn o Deyrnas eyn harglwyddes frenhines *Elizabeth*, ond yr oedd cyfled llediaith a chymaint anghyfiaith yn yr ymadrodd brintiedig, na alle clust gwir Gymro ddioddef clywed mo 'naw 'n iawn. Yn-nhal y *Testament* hwnnw y gwelais i lythyr duwiol dyscedig at y Cymry, o waith y gwir barchedig Dâd *Richard* Escob *Meniw* iw twyso nhwy i adnewyddiad yr hên ffydd gatholic a goleuni Efengyl Crist: yr hwn lythyr a scrifennodd y doededig Escob mewn Cymraec groyw, hyfedr, ymadroddus, a di-ammeu wneuthyr onaw lês mawr i bob Cymro a'i darllennodd. Heblaw hynny mi a welais ddosparth byr ar y rhan gyntaf i Ramadeg cymraec a brintiesid er ys-talm, yr hwn sydd ddarn o waith dyscedig ynghelfyddyd gramadec, mor buraidd, mor lathraidd, ag mor odidawg ei ymadroddiad, na ellir damuno dim perffeithiach yn hynny o beth. Ni wn i weled etto, na chlywed sôn am ddim amgenach yn Gymraeg a nemmawr o addysc yntho.

Y mae'n rhaid y bu cryn ymdrafod ar bwnc purdeb y Gymraeg yn amser Morys Kyffin. Dywed yn yr un anerchiad—

Dymma iti ar les d'enaid, yn hyn o lyfr, sylwedd a chrynodeb y *Ffydd wir Gatholic;* ith hyfforddi a'th berffeithio yn llwybr gwasanaeth Duw, ag Iechydwriaeth dyn. Wrth ddarllen hwn y cei di wybod hanes, a deall gwirionedd y Grefydd Gristnogawl, a chyda hynny ddanghossiad a datguddiad amhuredd crediniaeth *Pâb Rhufain*. Rhoed y Goruchaf Dduw iti ochel y drwg, a chalyn y da.

Mi a dybiais yn oref adel heibio'r hen eiriau cymreig yr rhai ydynt wedi* tyfu allan o gydnabod a chyd-arfer y cyffredin, ag a ddewisais y geiriau howssaf, rhwyddaf, a sathredicca 'g allwn, i wneuthyr ffordd yr ymadrodd yn rhydd ag yn ddi-rwystrus i'r sawl ni wyddant ond y gymraeg arferedig. Eithr am ryw air angenrheidiol, yr hwn ni ellid dangos mo sylwedd ei rym, na synnwyr ei arwyddoccâd yn gymraeg, e ddarfu i mi yn-ôl arfer yr iaith *Saesonaeg*, *Ffrangaeg*, iaith *Itali*, iaith *Spaen*, a bagad o ieithoedd eraill, gymryd y cyfryw air o'r *Groeg*, neu o'r *Lladin*, yn y modd y mae'n gynefin gan-mwyaf ymhôb gwlad yngHred er ys-talm o amser. Nid oes nemmawr o'r fath eiriau; ag o'r rhai rheitiaf di a gei hysbysrwydd a deonglad ar eu penneu eu hun, ar ôl diwedd hyn o Rag-ddoediad. Er maint fu fyngofal am myfyrdod yn hyn o beth, etto, mi a wna gyfri gael fy-marnu a beio arnaf ganryw fath a'r goeg ddynion, y rhai a graffant ar ymbell air ymma ag accw, ag a ddoedant yn y fan, wele, geiriau seisnigaidd a geiriau lladingaidd yw rhain, yn dwyno'r gymraec: f'atteb i'r rheini, ydyw'r ddihareb, *Ni Wyr, ni Welodd, ni Ddysc*. Druain gwerin, ychydig a wyddant, llai a welsant, ag nid gwiw sôn am ddyscu iddynt. My fi a faddeua i'r rhai hyn eu hanwybodeth a'u ffolineb, ag adawaf i rai eraill chwerthin am eu penneu. Hawdd yw gwybod am ryw eiriau seisnig, nad oes, ag na bu er ioed eiriau cymreig i'w cael; a hefyd may geiriau yn dyfod o'r *Ffrangaec* yw'r rhan fwyaf o'r rhai y mae'n hwy yn tybied eu bod yn seisnigaidd. Ag am y geiriau lladingaidd, pwy nis gwyr nad yw'r iaith Gymraec yn ei herwydd, ddim amgen, onid hanner lladin drwyddi. Mi 'allwn pe bae gennyf ham-

* Nid arfer neb dyscedig o adgyfodi'r cyfryw eiriau methedig mewn iaith yn y byd. Omnium rerum, vicissitudo.

dden wneuthyr llyfr digon ei faint o'r geirieu cymreic arferedig, a fenthycciwyd nid yn vnig o'r *Lladin* a'r *Ffrangaec*, eithr o *iaith Itali*, ag *iaith Spaen* hefyd: heblaw'r *dafod Roeg*, ag *Ebryw*, a'r cyfryw. Rhyw rai di-ddysc di-synwyr, a ddoedant ddarfod i'r Ieithoedd hynny fenthyccio gan y Gymraeg, ac nid yr iaith Gymraeg genthyn-nhwy. Nid gwiw mor ymrysymmu a'r fath ynfydion cynhwynol, namyn eu gadel mewn anwiredd ag oferedd. Yn wir chwith iawn yw dal sylw ar lawer o wyr Eglwysig cymreig yn byw ar bris eneidieu dynion, a bagad eraill o Gymry yn cymeryd arnynt eulun dysc a goruchafiaeth, heb genthynt fri'n y byd a'r iaith eu gwlad, eithr rhusso 'i doedyd, a chwylyddio i chlywed, rhag ofn iss-hau ar eu gradd a'u cymeriad; heb na medry darllen, na cheisio myfyrio dim a fae a ffrwyth yntho'n gymraeg, fegis mynny onynt i bobl dybied fod cymmaint eu rhagor-fraint nhwy, na wedde iddynt (f'eneidieu gwnnion) ostwng cyn issed ag ymyrryd ar ddim addysc cymreig. Telid Duw iddynt ddaed eu cyneddfeu."

Er fod tri chan mlynedd wedi mynd heibio er pan ysgrifennwyd y geiriau yna, y mae'r cyfeiliornad am yr iaith yn para'n iraidd eto. Ond tybed fod "gwyr Eglwysig cymreig," neu rhyw Gymry eraill, sydd "yn cymeryd arnynt eulun dysc a goruchafiaeth," yn tybied yn ein dyddiau ni, "na wedde iddynt ostwng cyn issed ag ymyrryd ar ddim addysc cymreig?" Fe ddywedwyd yn amser Morus Kyffin fod yr iaith Gymraeg ar dranc, a cheir eto rai a ddywed yr un peth, fel pe i gywiro gair y gwr doeth, "Nid oes dim newydd dan yr haul." A ymlaen a dywed,—

"Prin y gwela'i ddim (onid llyfr Gair Duw 'n vnig) yn y Gymraec, a dim ffrwyth rhinwedd ynddo, i ddyscy ag i hyfforddi yr rhai annyscedig. Doctor *William Morgan* a gyfieythodd y Beibl drwyddi yn hwyr o amser; gwaith angenrheidiol, gorchestol, duwiol, dyscedig; am yr hwn ni ddichyn Cymry fyth dalu a diolch iddo gymaint ag a haeddodd ef. Cyn hynny hawdd yw gwybod may digon llesc oedd gyflwr yr iaith gymraeg, pryd na cheid clywed fynychaf, ond y naill ai cerdd faswedd, ai ynte rhyw fath arall ar wawd ofer heb na dysc, na dawn, na deunydd ynddi. O damweinie i ryw brydydd, ryw amser, geisio bras-naddu ychydig dduwioldeb ar gerdd, ef a balle mewn llawer pwnc eisieu dysc, a gwybodæth; gan hysodi i'r bobl ryw hen chwedl, neu goel gwrach ar gwrr y barth; a hynny wedi ei dynny allan (y rhan fwyaf) o lyfr y Myneich celwyddog gynt, yr hwn a elwid *Legenda aurea*, ag a ellir ei alw *Traethawd y Celwyddeu*. Y mae'n fy meddiant i beth o'r fath gerdd gymraec i'w dangos, ag y mae'n dostur iawn gan fynghalon i feddwl ddarfod twyllo ag anrheithio llawer enaid dyn drwy'r fath erchyll ynfydrwydd.

* * * * *

A chymmesur yw adrodd i ti yn hyn o fan pa ddialedd a llwyr-gam a wnaeth gwr eglwysig o Gymry mewn Eisteddfod; pan grybwyllwyd am roi cennad i vn celfydd i brintio Cymraeg, yntef a ddoedodd nad cymmwys oedd adel printio math yn y byd ar lyfreu Cymreig, eithr ef a fynne i'r bobl ddyscu Saesonaeg, a cholli eu Cymraeg, gan ddoedyd ym-mellach na wnaer Beibl gymraeg ddim da, namyn llawer o ddrwg. Wele, ond rhinweddol a naturiol oedd fod yn Eglwyswr fal hyn? A alle Ddiawl ei hun ddoedyd yn amgenach? Nid digon oedd gantho ef speilio'r Cyffredin am eu da dayarol, ond ef a fynne gwbl anrheithio eu heneidieu nhwy hefyd. Herwydd pwy ni wyr mor amhosibl fydde dwyn yr holl bobl i ddyscu Saesonaeg ag i golli eu Cymraeg; ag mor resynol yn y cyfamser fydde colli peth aneirif o eneidieu dynion eisieu dysc a dawn iw hyfforddi? Ond tebig oedd hwn i'r ci yn

gorwedd yn y preseb, ni wnae na bwyta gwair ei hun, na gadel i'r Ych bori chwaith? Na bo gwell helynt ei enaid ef nag oedd ei ystyriaeth fo am eneidieu eraill. Doetted pawb *Amen*, ag na chlywer byth mwy sôn am dano. Ond gan fod llyfr gair Duw wedi ei gymreigu a'i brintio, nid gwiw i neb o blant diawl bellach geisio tywyllu goleuni Cymry, gwnelont eu gwaethaf."

Gadawn Morus Kyffin yn y fan yma, gyda galw sylw at y modd yr arfera'r gair "math." Dywed bob amser "math ar," nid "math o;" megis "gan ryw fath *ar* goeg ddynion;" "rhyw fath arall *ar* wawd ofer;" "math yn y byd *ar* lyfreu." Yr ydym ni yn y dyddiau diweddaf hyn, wrth ddweyd "math o" yn colli priod-ddull y Gymraeg; megis yn y cwestiwn, "Pa sawl math *o* blant sydd?" ac yn dilyn y Saesneg, gan feddwl mai yr un peth ydyw "bath" y Gymraeg a "kind" y Saesneg: ond nid felly. Tardda'r gair o'r Lladin *batt-o*, a dynoda *stamp*. O hono y deillia "bathoriayth" (*mint*), sydd yn Llyvyr Llan Daf (t.d. 120), a cheir ffurfiau ereill iddo yn y geiriau "arian bath," "bathodyn." Pan ddywedir "dyn o'i fath," yr hyn a feddylir ydyw *a man of his stamp*. (Prof. Rhys, *Arch. Camb.*, 1873, p. 267).

Fel y gwelir oddiwrth yr hyn a ddywed Morys Kyffin, yr oedd llenyddiaeth Gymreig mewn cyflwr pur adfydus yn yr unfed ganrif ar bymtheg, a pharhaodd felly am ysbaid maith. Y mae'n syn na theimlodd Cymru ond ychydig iawn oddiwrth y dadeni llenyddol mawr fu yn Lloegr yn nheyrnasiad y frenhines Elizabeth; y dadeni a gynhyrchodd Shakespeare a Spenser, Philip Sidney a Ben Jonson, Bacon a Milton, a llu o gewri ereill. Ond nid oedd ei hamser hi eto. Tra yr oedd gan y Saeson gnŵd llenyddol toreithiog, ni chyhoeddwyd yn y Gymraeg ond ychydig iawn o weithiau gwreiddiol o bwys i'r werin, o amser printio'r Beibl yn 1588, hyd amser cychwyn Cymdeithas y Cymmrodorion yn Llundain yn y flwyddyn 1751. Ac eithrio gweithiau Sion Dafydd Rhys, Emwnt Prys, Ficer Llanymddyfri, Dr. John Davies o Fallwyd, Morgan Llwyd, Charles Edwards, Edward Llwyd, Elis Wyn, Theophilus Evans, a gweithiau'r Dr. Griffith Roberts, a gyhoeddwyd ar y Cyfandir, llyfrau crefyddol, wedi eu cyfieithu o'r Saesneg, oedd agos yr oll o lenyddiaeth y cyfnod. Fe wnaethpwyd gwaith mawr gan rai o'r gwyr hyn, a chan ddynion da fel Stephen Hughes, Thomas Gouge, Griffith Jones o Landdowror, ac ereill,—a dylasai eu coffadwriaeth fod yn fendigedig gennym,—tuag at baratoi'r ffordd i oleuo'r deall trwy argyhoeddi'r gydwybod.

Ychydig iawn o gyfnewidiad sydd yn yr iaith ysgrifenedig trwy'r cyfnod. Yr oedd yn rhydd ac ystwyth yn gyffredin, ac ni ellir dymuno dim rhagorach na iaith Edward James yn Llyfr yr Homiliau, a Charles Edwards yn Hanes y Ffydd, Elis Wyn yn y Bardd Cwsc, ac Edward Samuel yn yr amrywiol gyfieithiadau a wnaeth. Dilynai Elis Wyn sain yr iaith lafar yn yr ymadrodd printiedig, heb drafferthu ynghylch gwreiddyn gair, mwy na'r gwladwr wrth siarad; a'r hyn sydd yn rhoddi rhagoriaeth arbennig i'r Bardd Cwsc ydyw fod ei arddull wedi ei seilio ar dafodiaith gartrefol gwerin yr oes, fel y dengys y lliaws mawr o eiriau o'r Saesneg sydd ynddo.

Yn y geiriau hynny yr ysgrifennir yn awr *-au* i'w lliosogi, *-eu* sydd bob amser yn y Bardd Cwsc; megis cardi*eu*, casti*eu*, drys*eu*, llyfr*eu*, penn*eu*. Yn yr hen Gymraeg, fel y gwelsom yn Llyvyr Llan Dâf, *-ou* oedd y terfyniad, a threiglodd i *-eu*. Dywed Mr. Gwenogfryn Evans

nad oes dim prawf y clybuwyd y sain *-au* erioed yn unrhyw gwmwd yng Nghymru. (*Llyvyr Llan Dâf*, t.d. xxxv.) Ac eithrio rhan o Wynedd, a chwr bychan o sir Forgannwg, *-e* ydyw'r sain a glywir trwy Gymru oll. Ac yn y mannau hynny fe'i seinir yn *-a:* clusti*a*, drys*a*, ac nid clusti*au* na drys*au*.

Y mae'n resyn na ddilynwyd orgraff Morys Kyffin, Edward James, Charles Edwards, ac Elis Wyn yn yr adargraffiadau o'u gwaith sydd o fewn cyrraedd y cyffredin. Cyhoeddodd Charles Edwards "Ddeffyn-niad Ffydd Eglwys Loegr" ac "Epistol yr Escob Dafies at y Cembru," yn un gyfrol yn y flwyddyn 1671, dan yr enw "Dad-seiniad Meibion y Daran." Yr oedd efe yn olygydd dihafal. Y mae'r "Deffynniad" wedi ei brintio ganddo, air am air, llythyren am lythyren, a llinell am linell agos drwyddo, yr un ffunud ag yn argraffiad yr awdwr, a gyhoeddwyd yn 1595. Y mae pob golygydd arall wedi cymeryd ei hyfdra i gyfnewid sillebiaeth ac orgraff yr awduron hyn yn ol ei fympwy ei hun. Yn yr argraffiad o'r *Bardd Cwsc* gyhoeddwyd yng Nghaer-fyrddin yn 1853, proffesir rhoddi copi cywir, canys dywed y golygydd: —"Cymmerwyd testyn yr argraffiad newydd presennol o argraffiad yr awdwr ei hun; a chymharwyd ef yn ofalus â'r argraffiadau ereill, yn enwedig y rhai a gyhoeddwyd cyn diwedd y ganrif ddiweddaf. Nid oes nemawr o lyfr yn ein hiaith wedi cael cymaint cam ar ddwylaw cyhoeddwyr ag a gafodd y *Bardd Cwsg;* ac un o brif amcanion ei gyhoeddi o newydd y tro hwn ydyw, ei adferyd i'w burdeb cyssefin, heb na chwanegu ato, na thynu oddiwrtho, na chyfnewid arno." Dywed eil-waith yn argraffiad 1865:—"Ailgymharwyd yr argraffiad newydd hwn yn fanwl â'r argraffiad cyntaf, a diwygiwyd y cyfryw wallau a lithr-asent i argraffiad 1853." Nis gall geiriau fod yn fwy di-amwys na hynyna. Y mae'n ofidus er hyn oll, fod y *Bardd Cwsg* yn cael cymaint cam yn yr argraffiadau hyn ag a gafodd yn yr un o'r lleill y mae'r golygydd yn eu condemnio. Y mae ei ddau argraffiad ef, fel pob un arall y gwn i am dano, wedi eu diwygio gymaint fel ag i fod yn hollol ddiwerth i efrydydd yr iaith.

Tua chanol y ddeunawfed ganrif fe welwyd yng Nghymru ddwy agwedd i ddeffröad cenedlaethol mawr, sef y diwygiad crefyddol a elwir yn gyffredin y Diwygiad Methodistaidd, a'r diwygiad llenyddol, gych-wynwyd gan Lewis Morys o Fôn, ac a roddes inni Oronwy Owen, William Wynne, Ieuan Brydydd Hir, a lliaws ereill.

Bu nerthoedd grymus yn distaw weithio, yn arloesi'r ffordd i'r genedl ddyfod o ddiffaethwch llygredigaeth a thywyllwch anwybodaeth, i ryddid argyhoeddiad cydwybod a goleuni deall. Er nad oedd gan werin Cymru ond ychydig o lyfrau, meddent un fantais anrhaethadwy,—yr oedd y Beibl ganddynt yn iaith syml yr aelwyd, a bu yn foddion, nid yn unig i'w goleuo yn ffordd yr Efengyl, ond hefyd i gadw eu cariad at eu hiaith yn wresog yn eu mynwesau, a phan ddaeth yr awr, mi dorrodd allan yn ffagl trwy Gymru oll.

Yn y flwyddyn 1751, sefydlwyd Cymdeithas y Cymmrodorion gan "gryn Nifer o Wŷr wedi eu geni o fewn Tywysogaeth *Cymru*, yn drigiannol yn *Llundain* ac o'i hamgylch, o wir Gariad ar eu Gwlad," yn bennaf i "Ymgeleddu a Diwyllio'r *Frutaniaith*." (*Rhaglythyr i Osod-edigaethau Cymdeithas y Cymmrodorion*, 1768.) Yn fuan wedyn, yr oedd gan bob tref a llan eu Cymdeithasau i "goledd iaith, llenyddiaeth, ac arferion yr hen Frutaniaid." Yng ngwres y cyffro yma y cyhoeddodd

Owain Myfyr ac Iolo Morgannwg eu casgliad o weithiau'r Cynfeirdd, ac yr ymgymerodd y Dr. William Owen Pughe a gwneud ei Eiriadur mawr. Ail gychwynwyd yr Eisteddfod, a chododd llu o feirdd a llenorion i fri o dan ei nhysgod.

Ond y mae iaith y dadeni yn wahanol iawn i iaith yr oes o'r blaen. Y mae wedi colli ei hoenusrwydd; y mae ysbryd y peth byw wedi cilio o honi. Nid iaith y werin mwy sydd i fod yn safon yr iaith lenyddol, ond rhywbeth a alwent yn "Frutaniaith wedi ei hymgeleddu a'i diwygio," chwedl Rhaglythyr y Cymmrodorion. Ni fuasai gennym nemor o le i gwyno pe'r ymdrechasid i'w diwygio yn unol â'i theithi. Ond llyffetheiriwyd hi, ac ymyrrwyd â'i thŵf drwy ei beichio â phriod-ddulliau a chystrawen y Saesneg, a bwriwyd allan y geiriau dieithr oedd erbyn hynny yn rhan o honi. Nid rhyfedd fod yr ymadrodd ysgrifenedig yn anystwyth a dienaid, pan ystyriom beth oedd syniadau doethion y cyfnod am Iaith. Nid oedd Ieitheg yn bod, ac er fod Edward Llwyd gydag ymdrech blin a phrofiad chwerw wedi dangos y ffordd trwy ei ymchwiliad i'r ieithoedd Celtaidd ereill, nid oes dim yn aros yn ein hiaith i ddangos ol llafur yr Ieithydd mwyaf fu gennym ond y lythyren am *dd* welir mewn ysgrifen. (*Welsh Philology*, p. 257, 1879.) Nid aethpwyd i mewn i'w lafur ef.

Nis gwn am ddim a ddengys farn yr oes yn fwy clir na'r hyn a ddywedir yn y Rhaglythyr y soniais am dano uchod:—

Y mae'r Iaith Gymraeg gymmaint ei Godidowgrwydd ac un Iaith arferedig arall dan Haul: Ym Mhybyrwch ei Hymadroddion, nid ydyw hi islaw yr un: Yng Nghysondeb ei Chynghaneddau, yr hyn sydd yn ei chymhwyso yn arbennig at Brydyddiaeth, mae hi uwch law y rhan fwyaf; ac y mae'n Brawf nid bychan o'i Chyflawndra, a lleied y mae hi yn rhwymedig i Ieithoedd, eraill, ei bod, heb Gymmorth dim Geiriau dieithr, yn adrodd yn gyflawn holl Ddychymygiadau'r Meddwl: Ac y mae Rhagorgamp arbennig yn perthyn yn neillduol iddi ei hun, er nad ydys yn gyffredin yn craffu arno, hynny yw, hawsed gwneuthur o honi Eiriau cyssylltiedig, y rhai a wasanaethant nid yn unig i arwyddoccau y Pethau a grybwyllir, ond hefyd i bennodi'n bendant eu prif Ansawdd a'u hanianawl Gynneddfau. . . . A chan fod y *Frutaniaith* mor Ardderchog a Phrydferth ynddi ei hun, nid allwn lai na bo gennym Dyb barchus o naturiol Athrylith, cystal ac Astudrwydd yr hen *Frutaniaid*, gan nad yw nemmawr llai nâ Phrawf eu bod yn Bobl gywraint a dysgedig. Canys, os ystyriwn pa faint o Rym sydd raid ei fod mewn Meddwl dyn i ddychymmyg a llunio Iaith; mor drwsgl ac ammherffaith gan mwyaf yw pob Iaith ar y cyntaf, ac mor hir a hwyr, o dippyn i dippyn, y cynnydda i Berffeithrwydd, rhaid cyfaddef mai Gwaith yn gofyn Pwyll a Chywreindeb mawr oedd dwyn y *Frutaniaith* i'r fath Brydferthwch a Chywirdeb.

Swm a sylwedd hynyna ydyw, y tybient am iaith, mai cynnyrch meddwl rhyw gynifer o ddynion ydoedd, wedi cyfarfod i ddyfeisio o'u pennau eu hunain rhyw nifer o wreiddeiriau, a chynllunio pa sut i'w rhoi wrth eu gilydd. Ni thybiasant o gwbl mai peth byw ydyw, yn tyfu o ryw hedyn, neu yn gwreiddio o ryw gŷff fel coeden, gan estyn ei gwraidd a lledu ei changhennau yn ol natur ei thŵf a rhinwedd ei maeth.

Pan ymgymerodd y Dr. Wm. Owen Pughe ag ail-wneud y Gymraeg, mi dynnodd yr holl iaith allan o ryw gymaint o "wreiddionos" a

fenthyciodd oddiar Rowland Jones, o'r Weirglodd Fawr, yn Eifionydd, a gwnaeth filoedd o eiriau gwneud allan o honynt, i ddim byd, am a wn i, ond i brofi "hawsed wneuthur eiriau cyssylltiedig;" ond nid ydynt yn bendifaddeu "yn arwyddocau y pethau a grybwyllir," na chwaith yn "penodi'n bendant eu prif ansawdd a'u hanianawl gynheddfau."* Y mae'n ddiameu y dengys gywreinrwydd dihafal a sêl diflino. Gresyn na chawsent eu tymheru â gwybodaeth. Y mae'n sobr meddwl pa beth fuasai wedi dyfod o honom pe buasai syniadau y Dr. Pughe yn ffynnu yn amser cyfieithu'r Beibl! Mi fuasai llyfr gair Duw mor glöedig i'r Cymro ac ydyw cyfieithiad Pughe ei hun o Goll Gwynfa Milton. Cyfieithodd efe hefyd un o Ganeuon Mrs. Hemans, ac fe'i trysorir ymhlith "Ceinion Awen y Cymmry." Rhoddwn ddau bennill o hono, i ddangos mor lwyr ddiystyr ydyw'r Gymraeg newydd.

Y GORALWANT.

Atebwch, tanawl Ser y nos!
  Yr *Ysbryd* pa ei dra,
Tu hwnt i dremiant dynawl os
  Ehedodd fal y chwa?

— Y Ser atebynt—"Ban mewn gwawl
  A gallu, treiglwn ni:
Ond am yr enaid, oes ddidawl.
  Bytholion hola di."

Ni waeth yn y byd pa ben y dechreuir ei ddarllen, y mae yr un mor glir y naill ffordd â'r llall.

Mi adawodd ysgol y Dr. W. O. Pughe a'i gydoeswyr ddylanwad llethol ar yr iaith. Ond y mae'n rhaid fod bywiogrwydd di-gyffelyb ynddi onide buasai'r driniaeth a gafodd wedi ei mygu yn lân. Ond y mae gobaith y gwelir yr Iaith Gymraeg eto yn adnewyddu ei hieuenctid. Coronir â llwyddiant y dyddiau hyn ymdrechion Cymry da fu'n diwyd weithio i sicrhau grym deddf gwlad i ddysgu iaith eu mam i blant ein hysgolion dyddiol, ac arweinir hwynt yn ol at iaith bur y Beibl, i iaith Elis Wyn a Morus Kyffin, gan wyr ag y mae agoriad gwybodaeth ganddynt ar y mater.

Y mae ein hiaith, fel ein hamgylchiadau, yn gymunrodd i ni gan y rhai a'n blaenorodd. Rhaid i ni eu cymerud fel y maent, a'n dyledswydd a'n braint ydyw gwneyd y goreu o honynt. Y mae yn uchelgais teilwng o'r gwladgarwch puraf i fynnu gwybod am y ffynhonnell y tarddodd ein hiaith o honi, ynghyd a throion ei gyrfa, ei cholledion a'i henillion ar y daith; ac am y peryglon sydd yn ei bygwth yrwan, a'r hyn a all fod, os ymgymerwn ni, y Cymry sydd, a bod yn geidwaid ei hurddas a'i hanrhydedd i'r Cymry Fydd.

WM. PRICHARD WILLIAMS.

* Gwel erthygl yr Athraw Morris Jones, M.A., ar Edward Llwyd yn y TRAETHODYDD am Dachwedd, 1893.

# DADSEFYDLIAD I GYMRU.

Established Church (Wales). A Bill to terminate the establishment of the Church of England in Wales and Monmouthshire, and to make provisions in respect to the Temporalities thereof. (*Prepared and brought in by Mr. Secretary Asquith, Mr. Chancellor of the Exchequer, Mr. Bryce, and Mr. Solicitor General*) Ordered, by the House of Commons, to be printed, 30 April, 1894.

Fe'n sicrheid yn bur ddiweddar, a chan ŵr a gydnabyddir yn ddysgedig a deallus, nad oedd dadsefydlu yr Eglwys yng Nghymru yn fater oedd o fewn cylch gwleidyddiaeth ymarferol: "not within the range of practical politics." Fe allai dyn feddwl fod dwyn i mewn y fath Fesur a hwn mor debyg a dim i "bractical politics."

Pan oedd Cymru gynt yn gorwedd
Mewn rhyw dywyll, farwol hûn,
Heb na Phresbyter na 'Ffeiriad,
Nac un Esgob ar ddi-hûn,

fe gymerodd Deffroad le sydd wedi profi i'n cenedl o anfesurol werth, ac o hynny hyd yn awr wedi bod iddi fel bywyd o feirw. Ac er a honnir am ein rhwymedigaethau i Eglwys y Wladwriaeth, nid ydym yn gweled ein bod yn ddyledus iddi hi o gwbl am y daioni mawr hwn. Er ei gwaethaf y gwnaed i Gymru y gwasanaeth a gyflawnwyd o'i mewn hi ei hunan gan y Ficer Prichard, Dr. Morgan, a Griffith Jones, y "Diwygwyr o flaen y Diwygiad;" ac am y Tadau Methodisiaidd, a ganmolir ac y sonnir cymaint yn awr am eu cariad at yr Eglwys, y mae yn wybyddus i bawb na fynnai yr Eglwys eu goddef o fewn ei magwyrydd, ac mai canlyniad ei gwaith yn eu bwrw allan ydyw yr adenedigaeth sydd ymhob ffordd wedi profi yn gymaint bendith i'n gwlad. Am dymor hir fe gariwyd y gwaith mawr hwnnw ymlaen yn nannedd yr erledigaeth ffyrnicaf ar ran yr Eglwys. Mewn amser fe ddaeth "goddefiad" yn ffaith nad ellid ymladd yn ei herbyn, ac yr oedd yr Ymneillduwyr--y cydnabyddai Eglwyswr mor deilwng ag Arglwydd Aberdâr "y buasai crefydd wedi diflannu o'r wlad oni buasai am eu hymdrechion,"—mor ddiolchgar am drugareddau bychain fel yr ystyrient hi yn fendith neillduol fod y bobl a fwynhaent gynhaliaeth anrhydeddus fel gweinidogion yr Efengyl ond na wnaent ddim ond ei dianrhydeddu, yn peidio eu hannos a'u hanrheithio pan yn ceisio llanw eu gwlad ag Efengyl Crist. Dywedai y pendefig y cyfeiriasom ato ymhellach fod y bobl hynny wedi suddo i ddybryd ddirywiad, "gross degradation," a'i fod ef ei hunan "yn gallu cofio amser pan oedd y mwyafrif anferth o glerigwyr Cymreig yn gwbl anghymwys i'r dyledswyddau cysegredig a osodid arnynt." Ond er y cwbl, mor ddwfn oedd y gwaseidd-dra yr oedd y Cymry dan y fath drefn wedi myned i lawr iddo, fel am lawer o flynyddoedd na ddarfu i neb o honynt gymaint a meddwl y dylid rhoddi terfyn ar gysylltiad yr Eglwys a'r Llywodraeth, a gadael iddi, os dymunai wneyd rhywbeth yng ngwasanaeth Crist, ei wneyd ar yr un tir â'r cyrff Ymneillduol. O'r diwedd, fe warwiodd y syniad hwn arnom, a bellach ers llawer o flynyddoedd y mae ei oleuni yn llond ein gwlad. Ni fyddai ond ofer i neb feddwl am ei ddysgu; y mae yn tywynnu yn ei lewyrch ei hunan; ac y mae yn anodd i Gymro amgyffred cyfansoddiad meddwl y dyn a feddylio am ddadleu yn ei erbyn.

A wado hyn, aed â hi,
A gwaded i'r haul godi.

Wrth reswm nid yw yn anhawdd cyd-ddwyn â'r rhai sydd wedi eu magu o fewn yr Eglwys, ac heb erioed agor eu llygaid ar y byd mawr sydd y tu allan iddi. Gallwn hefyd ddirnad sefyllfa yr ychydig sydd wedi myned drosodd ati o blith yr Ymneillduwyr, ac er mwyn tawelu eu cydwybod eu hunain, perswadio eu cyfeillion newydd o ddwfn wirionedd eu troedigaeth, a sicrhau mor fuan ag y bo modd y dyrchafiad, chwedl Syr G. O. Morgan, a sicrheir trwy hynny,—sydd yn myned yn llawer mwy eithafol na'r Eglwyswyr eu hunain mewn dadleu hawliau y Sefydliad, a phentyrru gwawd a dirmyg ar bethau y maent yn rhwymedig iddynt am bob rhagoriaeth a feddant, ac ar ddynion nad ydynt deilwng i ddatod carrai eu hesgidiau. Ond am *bobl* Cymru, y maent wedi hen wneyd eu meddwl i fyny, fel pwnc o gyfiawnder syml, ac er mwyn daioni pennaf yr Eglwys ei hun, mai goreu po gyntaf y dadsefydler hi, ac y gadawer hithau i ymddibynnu ar ei hadnoddau ei hun wrth filwrio ei milwriaeth yng ngwaith yr Arglwydd. Er 1868, yn neillduol, pan ddaeth gwerin ein gwlad yn ddigon gwrol i ymarfer yn ol eu barn a'u cydwybod yr hawlfraint a osodasid yn eu llaw gan gyfraith Prydain o ethol eu cynrychiolwyr Seneddol,—yr hyn a gostiodd ferthyrdod i liaws o honynt,—y mae y teimlad yma wedi bod yn dirfawr gryfhau. Y pryd hynny, yr oedd dadsefydliad yr Eglwys Wyddelig ger bron, a theimlai y Cymry ar unwaith nad oedd a ofynnai yr Iwerddon yn y mater hwnnw ond cyfiawnder pur. Ond teimlent hefyd fod yr un cyfiawnder yn galw am ddadsefydliad Eglwys Loegr yng Nghymru, ac yn ol dim a allent hwy weled, fod yr alwad am hynny o Gymru yn llawer cryfach. Nid oes Etholiad Seneddol wedi bod o hynny hyd yn awr, nad oedd y mater yma yn cael y lle mwyaf arbennig yn nychweliad ein cynrychiolwyr. Mae'n wir fod ein crefyddolder a'n gweddeidd-dra yn ein hatal rhag gwneyd llawer o'r pethau trwy ba rai yr oedd y Gwyddelod yn argyhoeddi y deyrnas fod yn rhaid iddynt gael y cyfiawnder a ofynnent. "Y mae anghyfleusterau Cymru," ebe Mr. Gladstone yn Abertawe yn 1887, "wedi codi yn y ffordd yma,—yr hyn na ddigwydda yn fynych mewn bywyd politicaidd,—nad ydyw Cymru wedi derbyn digon o sylw o herwydd ei bod wedi bod yn rhy amyneddgar ac yn rhy ddistaw." Yn wir fe ddefnyddiodd efe yr ymadrodd "sheep-like"—fel defaid!—i ddynodi ein dull. Ond nid oedd y Cymry yn llai o ddifrif am eu bod yn peidio rhoi y cadlesydd ar dân, ac na fynnent feddwl am saethu y rhai oedd yn gwneyd cam â hwynt. Erbyn hyn, fodd bynnag, y maent wedi peri i'r holl deyrnas ddeall na ellir troi heibio eu hachos yn hwy; a'r canlyniad ydyw dygiad i mewn y Mesur pwysig hwn "i roi terfyn ar sefydliad Eglwys Loegr yn Nghymru a Sir Fynwy, ac i wneyd darpariaeth gyda golwg ar ei Meddiannau." Mae'n wir y dylasai y fath Fesur fod wedi ei ddwyn i mewn a'i basio ers llawer o flynyddoedd; ond "gwell hwyr na hwyrach," ac yr ydym oll yn llawen o'i weled, ac yn dymuno iddo mor fuan ag y bo modd gael ei wneyd yn Ddeddf.

Yr oedd araeth Mr. Asquith wrth ei osod o flaen y Ty yn hynod am ei phwyll a'i goleuni. Nid oedd ynddi ond ychydig o'r nerth a'r gwres a'r mynd, a fuasai yn dra thebyg o fod yn araeth Mr. Gladstone, pe buasai efe yn dwyn y fath achos ger bron. Ond nid ydoedd oblegid hynny yn llai pwrpasol. Fe'i beirniedid am beidio myned i'r ddadl, A oedd eisieu mesur o'r fath; ac nid allai dim fod yn fwy arwyddoçaol na'r ymesgusodiad a wnélai ymlaen llaw dros beidio gwneyd hynny. Iddo ef a'i gyd-weinidogion, "yr oedd y

dystiolaeth ddigamsyniol a roddwyd yn yr Etholiad Cyffredinol diweddaf am farn mwyafrif mawr pobl Cymru ar y mater, trwy ddychwelyd dim llai na 31, allan o 34 o aelodau, oeddynt yn bleidiol i Ddadgysylltiad,—barn a gadarnhawyd trwy y rhaniad gymerodd le yn y Ty y Senedd-dymor diweddaf, pan ddygwyd i mewn y Mesur Ataliol, pryd y cariwyd darlleniad cyntaf y Mesur hwnnw gyda mwyafrif o dros hanner cant,—yn amlygiad digonol a therfynol o'r hyn ydoedd barn Cymru ar y mater, a barn Ty y Cyffredin am egwyddorion cyffredinol y Mesur." Cydnabyddai y gallai fod pethau y gellid eu dadleu i'r ochr arall, ac nid amheuai na wneid hynny yn yr adeg briodol, pan ddeuent i ystyried ei ail ddarlleniad. Ond yr oedd y mater mor glir fel y gallai ymfoddloni ar ei osod ger bron mewn dwy neu dair o frawddegau. "Mae Eglwys Loegr yng Nghymru yn Eglwys lleiafrif sydd yn gymariaethol fychan. Fel Eglwys—nid wyf yn son am dani fel crefydd—ond fel Eglwys, y mae wedi ei chysylltu ym meddyliau y rhan fwyaf o bobl Cymru ag adgofion niweidiol, a gallaf ddweyd yn wir, darostyngol. Iddynt hwy, fel y mae wedi bod ers hir amser, er ei bod yn ei galw ei hun yn sefydliad cenedlaethol, y mae yn arwydd-lun, nid o undeb cenedlaethol, ond o anghydgord cenedlaethol. Y mae wedi cael o'i phlaid am genedlaethau ddirfawr allu politicaidd, dylanwadau cymdeithasol, bron holl gyfoeth a meddiannau y wlad, ynghyda gallu, ac mi allwn bron ddweyd y meddiant hollol o'r dosbarthiadau addysgedig. Yn y blynyddoedd diweddaf y mae wedi cael cyfnerthion galluocach fyth yn ymroddiad a llafur ei gweinidogion a'i haelodau. Ond y mae yn aros heddyw yr hyn y mae wedi bod am ganrif, yn sefydliad na dderbynnir fel sefydliad cenedlaethol gan y mwyafrif annferth o bobl Cymru, y rhai a edrychant ar yr Eglwys yn hytrach fel gallu ymerodol sectol, wedi ei nodi allan gan y Wladwriaeth o blith nifer o gyrff crefyddol sydd yn cydymgais ag ef, fel anwylyn neillduol y Wladwriaeth, ac wedi ei sefydlu gan y Wladwriaeth mewn llawn fwynhad o dreftadaeth y bobl."

Am y Mesur ei hun, beth bynnag a ellir ddweyd am rai o'i ddarpariaethau, mae yn amlwg ei fod wedi ei lunio gyda llawer o bwyll, a'i fod hefyd yn dangos ymdrech onest i wynebu y cwestiwn anhawdd mewn dull rhesymol a thêg. Erbyn ei gael o'n blaen, gallwn yn hawdd gydnabod perffaith gywirdeb y gair a ddywedodd Mr. Asquith yn Plymouth, sef iddynt fod am fisoedd yn pondro uwch ei ben, ac yn ymdrechu ei wneyd, tra yn deg â phawb, mor garedig ag oedd modd i'r rhai yr ydoedd yn cyffwrdd â'u buddiannau. Fel y Mesur Addysg Canolraddol, a basiwyd yn 1889, pan oedd y Toriaid mewn awdurdod, y mae yn cymeryd i mewn Gymru a Sir Fynwy. Gan fod nifer o blwyfydd Cymreig mewn esgobaethau Seisnig, a nifer o blwyfydd Seisnig mewn esgobaethau Cymreig, cymerir y ffiniau daearyddol yn lle y rhai esgobaethol; felly daw deuddeg o blwyfydd Cymreig, gyda phoblogaeth o 6,600, a gwerth eglwysig blynyddol o £2,850, sydd yn awr mewn esgobaethau Seisnig, yn ol i Gymru; ac o'r ochr arall, â pedwar ar ddeg o blwyfydd Seisnig, gyda phoblogaeth o 20,600, a gwerth eglwysig blynyddol o £4,800, sydd yn awr o fewn esgobaeth Llanelwy, drosodd i Loegr, ac ni bydd a fynno yr Act hon â hwynt o gwbl. Am blwyfydd y cyffiniau, sydd mewn rhan yng Nghymru ac mewn rhan yn Lloegr, rhoddir ar Ddirprwywyr a benodir i benderfynu, yn ol y boblogaeth a

sefyllfa eglwys y plwyf, pa fodd i'w trefnu, a chan y gallai anghydweledіad godi mewn achosion felly, fe ganiateir apêl at y Frenhines mewn Cyngor. Golygir i'r Act ddyfod i weithrediad Ionawr 1, 1896. Caniateir cymaint a hynny o amser er mwyn i'r rhai y bo eu buddiannau mewn cwestiwn gael hamdden i ymgyfaddasu at y sefyllfa. Yn y cyfamser, ni fynnent beri unrhyw anghyfleustra i'r Eglwys wrth gario ei gwaith ymlaen, er y cymerant ofal na bydd unrhyw fuddiannau newyddion yn cael eu creu; ac os bydd Esgobion i'w penodi, gwneir hynny, fel dan Act yr Eglwys Wyddelig, trwy enwad y Goron, ar argymhelliad Archesgob Canterbury neu dri Esgob Cymreig; ond ni fyddant i eistedd yn Nhy yr Arglwyddi. Am glerigwyr a benodir yn ystod yr adeg yna i fywoliaethau, ni fyddant yn meddu hawl i ad-daliad. Bydd yr Eglwys o'r adeg a nodwyd yn peidio a bod yn Sefydledig, ac ni all un Esgob o'r Eglwys yng Nghymru eistedd yn Nhy yr Arglwyddi, er y caniateir iddynt eu teitl a'u sefyllfa, a chymer Esgobion Seisnig eu lle yn y Ty Uchaf, fel pe buasai eu seddau wedi dyfod yn wâg trwy farwolaeth, neu roddi eu swydd i fyny, neu ryw achos arall. Bydd Deddf Eglwysig yng Nghymru a Sir Fynwy o hynny allan yn peidio a bod fel cyfraith. Ni fydd Llysoedd Eglwysig yn meddu unrhyw allu gorfodol, ac ni chaniateir mwy apeliadau oddiwrth y cyfryw Lysoedd at y Frenhines mewn Cyngor. Ni fydd Esgobion a Chlerigwyr Cymru mwyach yn eistedd nac yn cael eu cynrychioli mewn Confocasiwn. Fel gyda'r Eglwys Wyddelig, bydd erthyglau ac ordinhadau yr Eglwys yn parhau hyd oni chyfnewidier hwynt gan yr Eglwys ei hun, nid gyda nerth cyfraith, ond mewn ffordd o gyd-ddealltwriaeth cyn belled ag y bo a fynnont ag eiddo. Bydd gan yr Esgobion a'r Clerigwyr allu, nad ydyw ganddynt dan y gyfraith fel y mae, i gynnal Cymanfaoedd neu *Synods*, ac i wneyd trefniadau gyda golwg ar lywodraethiad yr Eglwys, naill ai oll ynghyd, neu fel Esgobaethau; a galluogir hwynt i benodi corff i'w cynrychioli, ac i ddal eiddo ar eu rhan; a gall y corff hwnnw—a elwir yn yr Act, Corff Cynrychioladol yr Eglwys yng Nghymru—pan gyfansoddir ef, gael ei wneyd yn gorfforiaeth gan y Frenhines, gyda gallu fel y cyfryw i ddal eiddo. Am yr eiddo, gofelid am ddangos nad ydyw yr Eglwys fel y cyfryw, mewn cyfraith, yn berchen ar eiddo o fath yn y byd. Nid ydyw yn gorfforiaeth, ac ni chydnebydd y gyfraith y gall ymarfer unrhyw hawliau meddiannol. Mae pob eiddo a fedd yn waddoliad bywoliaeth neu swydd. Mae gwneyd allan gyfanswm yr eiddo yma yn orchwyl lled anhawdd. Rhaid gwahaniaethu rhwng y cyllid sydd yn codi o Gymru, a'r cyllid eglwysig sydd yn cael ei estyn drosodd a'i fwynhau gan yr Eglwys yng Nghymru. Am y cyllid sydd yn codi o Gymru, y mae yn ddwy ran,—hen waddoliadau, a'r hyn a elwir cyfraniadau preifat er 1703. Nid ydyw y cyfraniadau preifat yn dyfod ond i £13,600 y flwyddyn. Mae yr hen waddoliadau yn dri math: gwaddoliadau bywoliaethau plwyfol, sydd yn gwneyd y rhan fwyaf, ac yn dyfod yng Nghymru a Sir Fynwy i £233,000; gwaddoliadau eglwysi cadeiriol a cholegol, sydd yn £3,360; a'r hyn a dderbynir gan y Dirprwywyr Eglwysig, sydd yn dyfod i £42,300. Cyfanswm y cyllid eglwysig o Gymru a Sir Fynwy yw £279,000. O hynny rhaid tynnu allan y costau casglu, ynghyda £12,600 a dala y Dirprwywyr Eglwysig i Loegr. O'r ochr arall, rhaid cofio fod y Dirprwywyr Eglwysig yn talu llawer iawn mwy *i* Gymru, nag y mae yn dalu *o* Gymru i Loegr. Yn ol y cyfrif am 1889, cyfanswm y derbyniadau o

Gymru oedd £28,700; ond yr oedd y taliadau yng Nghymru yn £67,600; neu fwy yn cael ei dderbyn yng Nghymru o £42,000 y flwyddyn. Ni ellir edrych ar y swm ychwanegol yma fel arian Cymru, ac nid oes neb yn ei hawlio. Y swm a ellir ystyried fel yn eiddo i Gymru ydyw y £279,00. Wrth ddelio â hwn, gofelir am wneyd yn dra gwahanol i'r hyn a wnaed yn achos yr Eglwys Wyddelig. Fe droedyr eiddo hwnnw bron ar unwaith yn arian, y rhai a brofodd lawer yn rhy gyfleus i'w defnyddio at bob math o amcanion. Yn yr achos hwn, fe gedwir corff yr eiddo yn barhaus at wasanaeth y genedl; ac yn lle eu casglu ynghyd yn gronfa gyffredinol, fe'u gadewir at wasanaeth y plwyfydd, &c., y perthynant iddynt. Er adeg pasio y ddeddf Wyddelig y mae cyrff lleol wedi eu hapwyntio,—y Cynghorau Sirol a Phlwyfol,—a allant ofalu am eiddo o'r fath, a'i ddefnyddio at wasanaeth y genedl; ac i'w gofal hwy y cynhygir ei ymddiried. Penodir Dirprwyaeth (*Commission*), o dri pherson,—y cyntaf i gael cyflog o ddim mwy na £1,500, yr ail o £1,000, a'r trydydd yn ddi-dâl,—ac i hwnnw ymddiriedir eiddo yr Eglwys. Cedwir yr Eglwysi Cadeiriol fel adeiladau cenedlaethol, *national monuments*, dan ofal y *Commissioners*, y rhai fydd i ofalu am eu hadgyweirio; ac ar gais Corff Cynrychioladol yr Eglwys, bydd i'r Dirprwywyr ganiatau iddynt eu defnyddio fel o'r blaen at wasanaeth crefyddol. Bydd llestri, dodrefn, &c., sydd yn perthyn iddynt, yn llaw y Corff Cynrychioladol. Trosglwyddir y persondai hefyd,—dywed y Dirprwywyr Eglwysig fod yn sicr ddwy ran o dair o'r draul o'u codi wedi dyfod o gyfraniadau preifat,—i fod yn llaw Corff Cynrychioladol yr Eglwys. Bydd palasau yr Esgobion, a thai ereill perthynol i'r Eglwysgorau, yn llaw y Dirprwywyr; ond caniateir eu gwasanaeth fel aneddau eglwysig, ar y dealltwriaeth fod y Corff Cynrychioladol i ofalu am eu hadgyweirio. Yr adeg o ba un y caniateir y Cyfraniadau Preifat at wasanaeth yr Eglwys ydyw 1703, pan sefydlwyd Elusen y Frenhines Ann, oblegid mai o'r adeg yna y daeth yn bosibl gosod arian mewn eiddo tirol at amcanion Eglwysig. Bydd y mynwentydd yn yr ardaloedd gwledig,—yn ddarostyngodig i bob hawliau gyda golwg ar gladdu,—yn llaw y Cyngor Plwyfol; a lle na bo Cyngor Plwyfol, yn llaw Cadeirydd ac Overseers y plwyf. Yn y trefi byddant yn llaw y Cyngor Trefol, ac mewn Siroedd Dosbarthol yng Nghyngor y Dosbarth. Yn gyffelyb hefyd am y *glebes*, neu y tiroedd perthynol i'r persondai. Bydd y degwm yn llaw Cyngor Sirol y wlad, a'r Cyngor hwnnw sydd i ofalu am ei gasglu. Bydd pob eiddo Eglwysig arall yn llaw y Ddirprwyaeth; ac ni all y naill na'r llall o'r Cyrff hyn werthu dim fo yn eu llaw heb ganiatad Bwrdd Llywodraeth Leol. Am yr Esgobion, y Clerigwyr, &c., sydd yn awr yn derbyn o gyllid yr Eglwys, a chan edrych arnynt fel yn para i gyflawni eu gwasanaeth, fe gynhygir parhau eu buddiannau iddynt fel y maent. Cesglir y degwm gan y Cyngor Sirol, yr hwn a delir i'r Person gan y Ddirprwyaeth, wedi tynnu allan y draul o'i gasglu; ac o bryd i bryd, fel y bydd einioes y derbynwyr yn dirwyn i fyny, aiff y cwbl i law y Cyngor Sirol. Oddieithr talu i bob un felly ar wahân, golygid na fuasai dim i'w wneyd ond troi y cwbl yn arian, fel y gwnaed yn Iwerddon, yr hyn yno a aeth yn draul o *ddwy filiwn o bunnau* yn fwy na'r cyfrif a wnelsid hyd yn oed gan Mr. Gladstone. Os bydd Clerigwr yn dewis ymryddhau o'i sefyllfa, gellir rhoddi iddo ad-daliad ar raddfa lai: os yn 50 mlwydd oed, caiff dri chwarter ei gyflog; os yn llai, tynnir ymaith hanner canfed am bob blwyddyn fo

islaw hynny. Bydd cydsyniad y Corff Cynrychioladol yn angenrheidiol cyn y gellir gwneyd hynny. Ni wneir unrhyw ad-daliad ar gyfer Curadiaid. Fe olygir fod eu tâl hwy yn nhâl y personiaid, ac y gellir ei barhau tra y bo hwnnw yn aros, fel yn awr. Am Noddwyr Lleygol bywoliaethau,—sydd yn medi cynhauaf da yn barhaus o'r *advowsons*—fe roddir iddynt daliad un flwyddyn, ac nid ydynt i ddisgwyl dim mwy. Am y cyllid fydd yn dyfod yn eiddo i'r genedl wedi y cyfnewidiad a olygir yn yr Act, y mae i fyned at godi ysbytai, clafdai, neu gartrefi i gleifion gryfhau, at hyfforddi meithrinesau ar gyfer tlodion cleifion, at godi llyfrgelloedd a neuaddau cyhoeddus, at gael tai a rhandiroedd i weithwyr am renti rhesymol, at roddi addysg gelfyddol ac uwch-raddol, at gynnal llyfrgell genedlaethol, amgueddfa, neu oriel arluniau, ac at amcanion ereill o fudd cyffredinol a lleol na ddarperir ar eu cyfer o'r trethi lleol. Aiff y cyllid o'r Plwyfydd at amcanion felly yn ol trefniad y Cynghorau Sirol, wedi eu cymeradwyo gan y Dirprwywyr, gyda'r dealltwriaeth fod budd y Plwyfydd eu hunain i gael yr ystyr-iaeth flaenaf. Bydd y Gronfa Ganolog, o gyllid yr Esgobaethau, yn llaw y Dirprwywyr, i'w defnyddio at amcanion buddiol, gan olygu lles y Dywysogaeth oll. Aiff traul gweinyddiad yr Act o'r cyllid hwn, ac ni fydd dim llai na'r drydedd ran o hono i fyned at addysg gelfyddol ac uwchraddol, gan gynnwys yn neillduol sefydliad a chynhaliaeth llyfr-gell genedlaethol, amgueddfa, ac oriel arluniau, gyda gallu i osod yr eiddo yn llaw Cyngor y Brifysgol Gymreig newydd, neu y Cyngor Sirol. Diogelir yr eiddo i barhau at wasanaeth Cymru, a golygir am y doraeth o hono mai yr ardaloedd i ba rai y perthyna sydd yn meddu yr hawl gyntaf arno.—Wedi bod am yn agos i ddwy awr yn gosod ger bron y Ty yn y modd mwyaf tawel a chlir ddarpariaethau y Mesur mawr hwn, terfynai Mr. Asquith ei araith ragorol yn y geiriau hyn :—

Yr ydym yn cyflwyno y Mesur hwn i'r Senedd gan lawn gredu, os caiff ei basio yn gyfraith, na fydd iddo lesteirio, ond yn hytrach helpu ym-laen waith yr Eglwys yng Nghymru. Mi wn fod aelodau anrhydeddus na roddant goel i ni am hynny. Y mae aelodau anrhydeddus na allant synied y gallwn mewn mater fel yma fod dan lywodraeth amcanion uwch nag ystyriaethau truenus am fanteision plaid; ond yr wyf yn credu ein bod wrth ddyfod a'r Mesur hwn o flaen y Senedd, ac wrth ofyn i'r Ty gyd-synio ag ef, yn cymeryd y cam goreu a all gwladweiniaeth ddyfeisio at roddi terfyn ar sefyllfa ar bethau yr hon, cyhyd ag y parhâ, fydd yn ffynhonnell o chwerwedd a dygasedd ymhlith y gwahanol adrannau o'r cymundeb sydd yn gwneyd i fyny y Dywysogaeth, a'r hon fel ffynhonnell chwerwedd a dygasedd a raid i fesur helaeth sefyll ar ffordd yr ymdrechion a wneir i feithrin ysbryd Cristionogaeth. Yr ydym yn gosod ein mesur i orwedd ar egwyddorion llydain cyfiawnder. Ni allwn gredu ei fod er lles yr Eglwys, a gwyddom nad ydyw er lles y Wladwriaeth, i ddal i fynny mewn gwlad, mewn sefyllfa o ragorfraint ac uchafiaeth, Eglwys na chynrychiola ond barn grefyddol lleiafrif bychan o'r boblogaeth, ond sydd yn mwynhau ei hun ar yr unig eiddo sydd yn ein golwg ni yn eiddo cenedlaethol, yr hwn a ddylid ddefnyddio i ddibenion cenedlaethol trwy unrhyw deitl hanesyddol amgen na'r un na ddeil ei darddiad archwiliad gofalus, a'r hwn, yn sicr, na chryfhawyd yn ei afael ar serchiadau ac ymddiried pobl Cymru trwy yr helyntion sydd ar ol hynny wedi digwydd. Yr ydym yn credu nad ydym trwy y Mesur hwn yn gwneyd un anghyfiawnder â'r Eglwys. Yr ydym yn cadw yn eiddigus, ïe, mi ddywedaf yn garedig, bob buddiant sydd yn meddu hawl i gydnabyddiaeth neu ystyriaeth oddiar law y Senedd. Yn

ddarostyngedig i hynny, yr ydym yn rhyddhau i amcanion o ddaioni cyhoeddus mawr a pharhaus, eiddo i ba un y mae gan bobl Cymru, a phobl Cymru un unig, hawl gyfreithlawn.

Mae yn ddiameu fod y Mesur yn un mawr a doeth, a gallwn ychwanegu ei fod hefyd yn un cyfiawn a theg. Ac y mae yn dda gennym feddwl na fynnai y Cymry, er fod y teimlad o'r camwri y bwriedir ef i'w unioni wedi ei losgi i'w hysbryd ers cenedlaethau, i'r peth gael ei ddwyn oddiamgylch ond mewn dull rhesymol, uniawn, ïe a charedig. Mae'n wir fod llawer o Eglwyswyr yn achwyn yn ddybryd, ac yn bygwth ymdrechion mawrion er atal iddo byth gael ei wneyd yn ddeddf. Fe allai mai gwell fyddai iddynt ymdawelu, ac ildio i'r anocheladwy. Mae dail y Sibyl yn mynd yn llai eu nifer yn barhaus, ac eto nid ydyw eu pris yn y farchnad yn gostwng o gwbl. Mae y Mesur hwn yn llawer mwy caled na'r un a ddygwyd i mewn ac a basiwyd yn 1869, i Ddadsefydlu Eglwys yr Iwerddon. Mae yn ddigon tebyg hefyd y gallai ei fod beth caletach nag a gawsid pe buasai Mr. Gladstone eto yn Brifweinidog. Ac os llwydda y Torïaid i'w daflu allan yn ystod y Senedd bresennol, mae bron yn sicr y bydd yr un y myn y Senedd nesaf ei basio yn galetach fyth. Ac nid ydyw yn anhawdd gweled fod rhai pethau yn y Mesur hwn ag y byddai yn dra addas, os nad yn wir y bydd raid, eu hail ystyried. Nid ydym ni yn gweled sut y gall yr Eglwysi Cadeiriol gael eu cadw yn adeiladau cenedlaethol, "national monuments," a chael eu hadgyweirio gan y Dirprwywyr ar draul y genedl, ac eto heb fod i'w defnyddio gan neb ond gan Eglwyswyr. Os Eglwyswyr sydd i gael eu gwasanaeth,—ac nid ydym yn meddwl y gwarafunai pobl Cymru iddynt eu cael hyd byth,—ac os parhant i wneyd defnydd priodol o honynt, yn sicr hwy ddylent eu cadw mewn adgyweiriad.—A phaham, wedi symud Esgobion Cymru o Dy yr Arglwyddi, y rhaid gosod Esgobion Seisnig i lanw eu lle, fel pe byddent wedi marw neu ymddiswyddo? A ydyw yr Esgobion yn y Ty hwnnw erioed wedi bod o unrhyw wasanaeth i'r deyrnas? Y mae yn amlwg eu bod bob amser wedi sefyll ar ffordd pob diwygiad a phob daioni. "Yr ydwyf wedi darllen y dadleuon yn y Senedd gyda chryn ofal am bum mlynedd ar hugain," ebe Esgob Liverpool, "ac ni allaf weled bod Eglwys Loegr yn derbyn fawr o les oddiwrth fod ei Hesgobion yn Arglwyddi tymhorol. I'r gwrthwyneb, y gwyn sydd wedi bod, ac nid heb lawer o reswm, ydyw, fod yr Esgobion yn y Ty Uchaf yn fynych yn bresennol pan ddylent fod yn absennol, ac yn absennol pan ddylent fod yn bresennol." Ac ysgrifennai y Deon Plumptre yn 1885: "Fe ellid ameu, yr wyf yn meddwl, a ydyw presenoldeb Esgobion yn Nhy yr Arglwyddi o unrhyw wir fantais i'r Eglwys neu i'r genedl. Mae eu pleidleisiau ar gwestiynau oeddynt yn hanfodol foesol—megis y gaethfasnach, caethwasanaeth, cosb dienyddiad, ac addysg—wedi bod gan mwyaf ar yr ochr chwith." Ac yr oedd hyd yn oed y *Times* yn gorfod dweyd am Eglwys Loegr, yr hon yn arbennig a weithredai yn y pethau y cyfeiriai atynt trwy ei Hesgobion, "ei bod wedi bod yn ffafr cynghreiriad gydag unbenaethiaid y Cyfandir yn erbyn llywodraeth gyfansoddiadol; yn erbyn lleddfu deddf troseddau, ac yn ffafr egwyddorion o ddialedd ac ataliad fel yn erbyn egwyddorion diwygiad; o blaid crogi am bron bob trosedd y mae dyn yn y brawdlysoedd yn awr yn cael ei ddirwyo am dano; o blaid y gaethfasnach, ac wedyn o blaid

caethwasanaeth; yn erbyn diddymu deddfau *tests* a *corporations;* yn erbyn rhyddfreiniad y Pabyddion; yn erbyn diwygiad seneddol a bwrdeisdrefol; yn erbyn y newidiad o dalu degwm yn ei werth, er wedyn yn gorfod cydnabod fod hynny yn lles mawr; yn erbyn diddymiad deddfau ŷd a deddfau mordwyaeth; yn erbyn masnach rydd yn gyffredinol; yn erbyn addysg, uwchlaw yr elfennau symlaf, a hyd yn oed addysg grefyddol; yn erbyn claddfeydd cyhoeddus a chladdu tu allan i furiau; yn erbyn rhaniad plwyfydd. Yn wir," ychwanegai y *Times*, "y mae'n anhawdd dweyd beth nad ydyw wedi bod yn ei erbyn mewn ffordd o welliant." Mae y tystiolaethau uchod yn dyfod oddiwrth *gyfeillion* yr Eglwys. Ac yr ydym yn cael profion digonol y dyddiau hyn fod yr Esgobion yn aros yn ddigyfnewid. Os oes gan un neu ddau o honynt, megis Esgobion Caer a Llundain, awydd i osod rhyw atalfa ar y fasnach mewn dïodydd meddwol, sydd yn barhaus yn profi mor andwyol i'r bobl, cânt eu gadael eu hunain, heb fod yn werth gan yr un o'u brodyr Gwir Barchedig gymeryd cam o'i balas i'w cefnogi a'u cynorthwyo; mor fawr ydyw eu harswyd rhag tramgwyddo y darllawyr a'r tafarnwyr, pobl y "fasnach ddinystriol a dieflig," chwedl Arglwydd R. Churchill, sydd yn gymaint braich iddynt yn yr etholiadau. Ond os bydd eisieu atal, neu *geisio* atal, pasio Siarter Prifysgol i Gymru, neu sefyll ar ffordd pasio Cynllun Addysg Ganolraddol i un o'n siroedd ar yr unig dir y gallai pobl Cymru wneyd defnydd o hono, fe geir y meinciau esgobol oll yn llawn. Ond er hyn oll, pan aiff seddau y pedwar o Gymru yn wag, mae y Mesur hwn yn darpar fod rhyw bedwar ereill o Loegr yn cael eu gosod yn eu lle; fel pe buasai presenoldeb Esgobion yn y Ty yn hanfodol i fywyd y genedl.—Mae yn iawn cofio hefyd fod llawer iawn o bobl Cymru yn teimlo fod y telerau a gynhygia y Mesur i rai sydd, ar draul yr holl genedl, yn gweinyddu—ac mewn lliaws mawr o amgylchiadau mewn dull mor annheilwng—i ddyrnaid bychan iawn o'r boblogaeth, lawer yn rhy hael. Ac a ydyw y rhai fo yn dewis cilio o faes eu llafur ar dri chwarter eu cyflog os yn 50 mlwydd oed, &c., i gael mwynhau y tal hwnnw pan heb wneyd dim am dano, a phan, o bosibl, y byddant yn derbyn cyflog da am wasanaeth a font yn ei wneuthur mewn mannau ereill? Mae yn addas yn sicr i'r rhai sydd yn teimlo yr anghyfiawnder sydd yn y pethau hyn gael cyfle i wyntyllio eu golygiadau, ac i bawb gael eu hargyhoeddi mai cynllun y Llywodraeth gyda golwg arnynt ydyw y peth goreu y gellid meddwl am dano.

Ond y mae yn berffaith sicr na ellir, mewn unrhyw gyfeiriad, myned *gam ymhellach* nag y cynhygia y Mesur hwn wneyd. Mae y Curadiaid, wrth reswm, yn cwyno, ac y mae yn dipyn caletach arnynt nag ydoedd ar eu brodyr pan basiwyd y ddeddf Wyddelig. Ond fel y dywedai Iarll Beaconsfield ar fater arall: "Y mae llawer o bethau wedi digwydd er hynny." Fel gweithred o ras y cymerwyd eu hachos hwy i ystyriaeth y pryd hwnnw; ond fe wnaed,—*ac yn enw crefydd*,—y fath ddefnydd o'r gras hwnnw fel ag i beri i'r byd benderfynu na roddid cyfleustra i gyflawni y fath anfadrwydd byth mwy. Pasiwyd yr Act yn 1869, ac yr oedd ad-daliad i gael ei wneyd ar gyfer yr holl guradiaid a fyddent felly hyd ddiwedd 1871. Ond yn y tymor byr yna, fe gododd eu nifer o 563 i 921. Y canlyniad fu fod yn rhaid talu £1,750,000,—miliwn a thri chwarter o bunnau!—i brynu allan y curadiaid yn Iwerddon. Ac o'r 921 yma o guradiaid, nid oedd ond 153 ag y tynnid eu taliadau allan o daliadau y personiaid, er mai y drefn ydoedd fod y person yn talu i'w

gurad o gyllid y fywoliaeth ydoedd yn ei law ef. Felly y mae yn y wlad hon, ac fe all fod felly eto hyd farwolaeth pob person. Gras ydyw caniatau i'r personiaid gael budd eu bywoliaethau tra byddant byw, ond rhaid bod terfyn yn rhywle; ac nid all un cyfnewidiad o bwys gymeryd lle heb fod rhywrai yn profi mesur o anghyfleustra. Ond yn yr achos hwn y mae yr oediad,—yn gyntaf mewn gosod yr Act mewn grym, ac yn ail mewn caniatau i'r drefn bresennol barhau dros oes pob person,—yn rhoddi hamdden a chyfleustra i ymgyfaddasu ar gyfer amgylchiadau newyddion.—Yr un modd y mae pobl yr *advowsons*, y Noddwyr, yn achwyn yn dost am mai yr holl ad-daliad a gant am yr arian a bocedent mor gomfforddus o'r bywoliaethau eglwysig sydd yn eu llaw fydd taliad un flwyddyn. Tybed nad yr unig gamgymeriad yn hyn ydyw ei fod rhyw ddeuddeng mis yn ormod? Ac y mae gan y noddwyr i ddiolch i'w brodyr yn yr Iwerddon am eu bargen hwythau. Yr oedd yno 301 o rai felly; a llwyddasant i fynnu tri chwarter miliwn, £750,000, am nawddogaethau na fuasent yn y farchnad yn werth dim! Ac er 1869, y mae y Toriaid eu hunain wedi dysgu i ni wers ragorol. Yn 1874 fe ddarfu iddynt, er mwyn symud y graig a barodd y fath long-ddrylliad yn Ysgotland yn 1843, a dangos i bobl y wlad honno mor ddoeth fyddai iddynt alw am barhad eu Heglwys Sefydledig am oes y byd, basio yr *Act for the Abolition of the Rights and Patronages of the Scotch Church*. Yn ol honno, er nad oedd ar y pryd son am ddadsefydliad, fe drefnid nad oedd un patron i gael dim o'i fudd, oddieithr iddo apelio mewn chwe mis wedi pasio yr Act. Felly yma; ac felly, ddim ond am un flwyddyn. Yr oedd dipyn yn galed ar yr eryr dderbyn i'w fynwes saeth oedd wedi ehedeg yno

Ar bluen a dynnwyd o'i aden ei hun.

A pha mor groch bynnag y cwyna Noddwyr Cymru am y golled a ddaw i'w rhan yn yr achos hwn, rhaid iddynt gofio mai eu cyfeillion hwy eu hunain, a chyfeillion yr Eglwys, a gafodd afael ar y peth yma fel pwnc o gyfiawnder: a rhaid bod cyfiawnder yn rhywbeth pur debyg yng Nghymru ag yn yr Alban; yn 1894 ag yn 1874; oddiwrth Weinyddiaeth Ryddfrydol ag oddiwrth Weinyddiaeth Doriaidd. Gwnelai Mr. Balfour bwnc mawr o'r ffaith nad oeddynt yn Ysgotland, ar ol 1843, wedi bod yn gwerthu yr hawl a roddid yn y nawddogaethau, fel y gwneir yn y wlad hon. Ni fuasai yn hawdd i neb feddwl am wneyd, wedi y *goleuni tanbaid* a daflwyd yno ar y mater yn 1843. Ac onid ydyw yn warth fod un math o hawl i godi arian felly yn y wlad hon ynglŷn â mater mor gysegredig a gosod dyn "i borthi praidd Duw?" Eto dywedai Esgob Peterborough, "y gallai y scowndrel pennaf yn y deyrnas fod yn noddwr, ac nad ydyw ei anfoesoldeb eithafol yn un rhwystr mewn cyfraith iddo weithredu fel noddwr." A dywedai boneddwr parchus arall yn ddiweddar, mewn cyfarfod cyhoeddus yn Llundain, y gallai enwi tri, y rhai yn ystod y ddwy neu y tair blynedd diweddaf oeddynt wedi bod dan y dynoethiadau gwarthusaf yn y brawdlysoedd, ag yr oedd ganddynt *dair a thrigain* o fywoliaethau eglwysig yn eu meddiant. Mae yn dda y gosodir terfyn o'r diwedd ar y drefn warthus hon yng Nghymru, fel y gwnaed yn Ysgotland. Dywedai Mr. Asquith nad oedd dim un patron Ysgotaidd, ar ol pasio Act 1874, wedi apelio am ei gyfran. Mae'n debyg y byddai yn sarhad ar unrhyw un o'r 350 *private patrons* Cymreig i feddwl y byddai

yn ol mewn mawrfrydigrwydd i unrhyw frawd o Noddwr yn yr Alban.

Wrth reswm, fe godir gwrthddadleuon yn erbyn y Mesur. Ond hyd yma, yn sicr, nid ydynt "bobl nerthol."

1. Mae llawer yn bloeddio "cysegr ysbeiliad," fel pe byddai hynny yn ddigon i'n dychrynnu, ac i setlo'r pwnc am byth. Os felly, onid oedd gan Eglwys Rhufain achos i waeddi "cysegr ysbeiliad" pan drosglwyddwyd ei *holl* feddiannau hi, a hynny trwy chwim un dyn, i Eglwys Loegr? Ac oni ddylsai y tlodion godi yr un cri pan ysgubwyd traian y degwm oedd yn eiddo iddynt yn gwbl at wasanaeth yr Eglwys? A phan oedd Eglwys Loegr yn ein gwlad ni yn "cysgu," yn ol gair llednais Esgob Bangor yn Modfean,—mewn gwirionedd yr ydoedd wedi suddo i gyflwr annhraethol waeth na bod yn cysgu,—onid oedd gan yr holl genedl Gymreig achos i waeddi "cysegr ysbeiliad," pan oedd bron holl gorff y clerigwyr, a hynny am oesoedd, yn defnyddio y cyllid a dderbynient am wasanaethu crefydd, "i'w treulio ar eu melus-chwantau?" Erbyn hyn y mae wedi hen ddyfod yn berffaith ddealledig mai y genedl bia'r degwm, ac fod ganddi berffaith hawl i'w ddefnyddio yn y dull a farno yn fwyaf doeth. Y mae hyn i Mr. Gladstone, un o'r Eglwyswyr goreu,

Mor ole â'r haul ar hanner dydd;

a phan ydoedd yn ei osod ger bron rai blynyddoedd yn ol yn Nhy y Cyffredin, yr oedd Eglwyswr parchus arall, Mr. W. H. Smith, Ceidwadwr, oedd ar y pryd hefyd yn Arweinydd y Ty, yn cydnabod yr un peth, er yn datgan ei farn ei hun na allai y genedl ar y pryd ei ddefnyddio i amcan gwell nag i gynnal yr Eglwys. A phan y mae gwyr fel Duc Argyll, Duc Devonshire, a Mr. Goschen wedi fotio o blaid dadsefydliad yr Eglwys Wyddelig, ac yn awr Arglwydd Salisbury yn cyfiawnhau hynny, pa rym all fod yn y ddadl fod gwneyd yr un peth â'r Eglwys yng Nghymru yn "gysegr-ysbeiliad?" Ac y mae y cwestiwn yn dyfod yn fwy grymus fyth pan gofiwn fod gwerin Cymru wedi darpar iddi ei hun foddion crefyddol,—fel y dywedai Esgob diweddar Bangor,—fel pe na buasai Eglwys y Wladwriaeth o fewn ei therfynau; a bod galwad Cymru, mewn modd cyfansoddiadol, am y fath beth yn llawer cryfach nag y bu galwad Iwerddon erioed, ond yn unig fod Cymru,—ac fel ffrwyth addysg ei hathrawon Ymneillduol,—yn rhy grefyddol i godi terfysgoedd ac i gyflawni mwrdradau.

2. Ac fe haerir hefyd nad ydyw y Cymry mewn un modd yn genedl ar wahân, ac nad ydyw ei Heglwys ond pedair Esgobaeth yn Archesgobaeth Canterbury. Y mae tipyn o anghydwelediad ymysg ein cyfeillion ar sefyllfa yr Eglwys yn ein gwlad. Taera rhai o honynt mai yr Hen Eglwys Gymreig ydyw, ac nad oedd ei chysyllu â Chanterbury ond damwain amseroedd diweddar. Teimlant fod dal hyn yn anhepgorol er profi nad sefydliad "estronol" ydyw. Ond mae arnom ofn nad ydyw yr Eglwyswr Cymreig selog a fynnai gael tipyn o gyfnerthiad i'w ddadl oddiar yr ystyriaeth yna ond *vox clamantis*. Chwedl Mr. Freeman, gwr yr ymffrostiant yn fawr ynddo mewn materion ereill,—"Yr ydym yn gweled Eglwys Gymreig ac Eglwys Seisnig, ond nid ydynt yr un, na hyd yn oed yn deillio y naill o'r llall; nid yw y cysylltiad rhwng y ddwy Eglwys ond y cysgod sydd yn anocheladwy yn dilyn y cysylltiad rhwng y ddwy genedl. Nid yw yr ystori ond ystori concwest; concwest sydd

yn cymeryd ffurf esmwythach fel yr â ymlaen, ond concwest er hynny o'r dechreu i'r diwedd. Nid oes air i ddangos fod cymaint ag un enaid ymysg y paganiaid gorchfygol wedi ei ennill i'r ffydd gan y Cristionogion gorchfygedig. Rhwng Cristionogaeth Gymreig a Seisnig, nid oes o gwbl yr un ddolen gydiol. Mae Cristionogaeth Gymreig yn gyntaf wedi rhoi lle i baganiaeth Seisnig, ac yna yn cael ei gorchfygu gan Gristionogaeth a ddysgodd Lloegr yn uniongyrchol gan Rufain." A dyma ddywed yr awdurdodau Eglwysig. "Cyn y gellir dadsefydlu yr Eglwys Gymreig," ebe Deon Llandâf, "rhaid yn gyntaf greu yr Eglwys Gymreig." Ac ebe Esgob Ty Ddewi, "Nid yw Cymru ond enwad daearyddol, a dim mwy." Ac Arglwydd Selborne: "Mae Eglwys Cymru yn rhan o'r Eglwys, fel y mae Cymru ei hun yn rhan o Loegr:" ac nid ydyw son am ddadsefydliad i Gymru, medd efe, ond "fel pe sonnid am ddadsefydliad i swydd York." A dywed Archesgob Canterbury, "Nid yn unig nad yw yr Eglwys yng Nghymru ond pedair esgobaeth yn nhalaeth Canterbury, ond nid oes dim yn eu hanes neu eu sefyllfa fel esgobaethau, sydd yn eu gwahaniaethu oddiwrth unrhyw esgobaethau ereill yn y dalaeth." A heblaw nad oes Eglwys Gymreig, nid oes ychwaith genedl Gymreig mewn bod. Nid ydym yn synnu fod y boneddigion hyn yn haeru felly, er bod hanes yr oesoedd, a'r ffaith fawr o bobl ar wahân,—yn coledd traddodiadau ac yn siarad iaith cwbl wahanol, fel a welir y dydd hwn gan bawb ond na fynnant weled,—yn tystiolaethu yn gwbl i'r gwrthwyneb. Tybiai Mr. Balfour ei fod yn dymchwelyd yn llwyr ddadl Mr. Lloyd George am Act Uniad Lloegr a Chymru yn amser Harri VIII., fel yn cydnabod ein bodolaeth wahaniaethol, trwy ddarllen rhannau o'r ddeddf—wedi ei chael ar y pryd o'r llyfrgell,—oedd yn gwneyd y fath drefniadau celyd i wneyd i ffwrdd â'r iaith Gymraeg, &c.; fel pe buasai angen o gwbl am drefniadau o'r fath *oni bai* fod y Cymry, yn sicr, yn bobl ar wahân, ac yn siarad iaith "nothing like, and nowise convenient to the mother tongue used within this realm." Ac ni fu ei Act wirionffol yntau ond llythyren farw. Mae yr Eglwys o hyd wedi bod yn cydweithio â'r awdurdodau Seisnig gormesol oedd am lethu ein cenedlaetholdeb, a difodi ein hiaith; ac nid ydyw mewn un modd yn sicr y buasai eto wedi meddwl am ddim amgen oni bai ei bod yn gweled fod y Cymry,—trwy lafur ffyddlawn dynion da y tuallan iddi yn eu dysgu yn eu hiaith eu hun fawrion weithredoedd Duw, wedi cilio oddiwrthi, ac wedi eu deffro i'r dwfn afresymoldeb a'r anghyfiawnder o fod Eglwys sydd wedi profi iddynt mor ddiwerth, ac eto wedi peri iddynt gymaint drygfyd, yn cael ei chynnal ar eu traul fel Eglwys y Wladwriaeth. Mae y gwadiad o'n cenedlaetholdeb i amcanion y Mesur hwn, yn gwbl deilwng o hanes Eglwys Loegr yng Nghymru o'r dechreuad, ac yn dangos mor gwbl wâg ydyw yr hawl a honnir ar iddi gael parhau fel Eglwys Sefydledig.

3. Mae y ddadl am nifer y Cymry sydd yn myned i'r Eglwysi a'r Capelau yn gwbl ofer. Y maent yn gwaeddi yn groch am *census* fo'n dynodi ein crefydd, ac yn ymffrostio llawer o herwydd gwrthwynebiad Ymneillduwyr i gymeryd cyfrifiad o'r fath. Mae y rheswm yn amlwg. O'r cannoedd o filoedd, ysywaeth, o'n cydwladwyr nad ydynt yn myned i un lle o addoliad, ychydig iawn fyddent yn barod i'w cydnabod eu hunain felly, ac yn hytrach na hynny dywedent mai Eglwyswyr ydynt. Ac felly yn wir dros y deyrnas. Mewn cyfeiriad at waith Esgob Llandâf, ymysg ereill, yn gwaeddi am y *religious census*

i Gymru, dywedai y *Westminster Gazette* fod hynny yn galw i'w cof ymddiddan a gymerasai le ychydig ddyddiau cyn hynny ym *Mholice Court*, Dartford, pan anfonid bachgen i *truant school*. Ebai y clerc: "Yr ydych yn rhwym o ofyn i'r tad beth ydyw ei grefydd." Y cadeirydd: "A ydech chi'n mynd i'r Eglwys?" Y tad: "Nac ydw, syr." Y cadeirydd: "Ydech chi'n mynd i unlle?" Y tad: "Nac ydw, syr." Y cadeirydd: "Ydi'r bachgen yn mynd i unlle?" Y tad: "Nac ydi, syr." Y clerc: "Felly mi rhown ni o i lawr fel yn perthyn i Eglwys Loegr." Ac y mae y Parch Brooke Lambert, yn awr Ficer Greenwich, mewn llythyr yn y *Spectator*, Medi 28, 1878, yn gonest gyfaddef, pan oedd efe ychydig flynyddoedd cyn hynny yn cymeryd cyfrifiad o'i blwyf yn Nwyrain Llundain, iddo yn fynych gael yr ateb, "Nid wyf yn mynd i unlle; rhowch fi i lawr fel Eglwyswr!" Ac y mae y profiad a gawsom ni yng Nghymru ar waith pobl y gallesid disgwyl oddiwrthynt bethau llawer gwell, yn cyfrif y rhai a fynychent eu cynulliadau, yn peri i ni deimlo dwfn wrthwynebiad i roddi achlysur iddynt ymostwng at driciau mor waradwyddus byth eto! A pha fusnes sydd gan y Llywodraeth i ymyrraeth â'r deiliaid mewn materion am ba rai nad oes a fynnant ond â Duw yn unig? Mae y Cymry, fe ŵyr pawb, fel y dywedai Mr. Gladstone, "yn genedl o Ymneillduwyr." Am bopeth ag y mae gan y Llywodraeth hawl i ymofyn yn ei gylch mewn mater o fath yr un sydd yn awr dan ei sylw, onid ydyw i'w gael yn ein cynrychiolaeth Seneddol? Saith o Gymru fotiodd dros fesur Mr. Watkin Williams yn 1870; ac nid oedd diffyg rheswm dros fychander y rhif; dechreu ydoedd, a than yr amgylchiadau nid dechreu doeth. Yn 1886, yr oedd y nifer yn 27 dros, a 5 yn erbyn; yn 1889, yr oedd 28 dros, a 5 yn erbyn; yn 1891, 29 dros, a 4 yn erbyn; ond y llynedd, fel y dywedai Mr. Asquith, yr oedd 31 yn galw am ddadgysylltiad i Gymru, a dim ond 3 yn erbyn. Gwelwn fod Mr. Stanley Leighton,—gwr sydd yn hoff o faldordd yn barhaus yn y Senedd am Gymru, er na ŵyr ddim yn ei chylch,—yn gwneyd allan fod Eglwyswyr Cymru yn 700,000,—felly yn ymyl hanner y boblogaeth! Yr oedd y Capten Prichard Rayner, wrth fyned o amgylch adeg un o'r etholiadau ynglyn â pha rai y bu yn torri y fath ffigiwr ym Mon, yn aros am ychydig, un tro, gyda'i gwmni llawen, ym Mryngwran, ac o'r *brake* yn annerch y bobl a'r plant oedd wedi dyfod ynghyd i gael chwerthin. Ac wrth ddweyd hanes ei ymgeisiaeth, dywedai y Capten dewr—wrth reswm "yn ei freci"—eu bod wedi bod yn y Valley a Chaergeiliog, ac wedi cael ugeiniau o votes; ac wedi bod ym Modedern, ac ym Modedern wedi cael cantoedd o votes. "Miloedd, miloedd," sibrydai Mr. Owen, Lledwigan, oedd wrth ei benelin; ac ar hynny gwaeddai yntau yn ogoneddus, "Gawson FILOEDD O VOTES ym Modedern, MILOEDD." "*Drive on*," ebai Owen wrth y gyrrwr, ac ymaith a hwy chwip, ac wrth reswm "ynghanol banllefau." Go debyg ydoedd 700,000 yr aelod anrhydeddus dros Sir Amwythig. Ond a thybied am eiliad ei fod *yn iawn*, sut, tybed, yr esboniai efe y ffaith y rhaid fod cynifer o fyrddiynau o'r rheiny wedi fotio dros ddadgysylltwyr, pan oedd 31 allan o'r 34 o aelodau Cymreig yn fotio o blaid y Mesur yn y Senedd? Os oes y fath *anferth fwyafrif o Eglwyswyr Cymru* wedi fotio o blaid y peth, pa fodd y *gall* neb ei wrthwynebu? Ac nid oes unrhyw ddadl nad dadgysylltiad oedd y prif gwestiwn oedd yn 1892 o flaen etholwyr ein gwlad. Pan ddadleuai rhywun yn Nhy yr Arglwyddi mai Llywodraeth Gartrefol i'r Iwerddon ydoedd, yr oedd Arglwydd

Salisbury yn deall y mater yn ddigon da i dorri ar ei draws a dweyd mai "Dadsefydliad yr Eglwys oedd pwnc Cymru." Ac felly y mae wedi bod ers llawer o flynyddoedd. Y mae hefyd yn amlwg fod y teimlad dros hyn yn parhaus gryfhau. Yn 1885 yr oedd mwyafrif yr etholwyr a alwai am ddadsefydliad yn 31,000, ac yr oedd hynny, wrth bob rheswm, yn ddigon; ond yn 1892 yr ydoedd, a chynwys Mynwy, yn 58,000. Ac eto ni gawn fod rhai o'r boneddigion sydd yn dadleu yn erbyn, yn dra "amheus" a ydyw y Cymry *eto* yn galw am y fath beth, a hyd yn oed yn "credu" fod y teimlad o blaid yr Eglwys yn cynhyddu yn gymaint yn ein plith fel ag i beri iddynt deimlo yn hyderus, ond cael etholiad arall,—yn enwedig wedi cael y £25,000 y galwai Duc Westminster am danynt, a gorchuddio y wlad â'r llenyddiaeth trwy ba un y mae Esgob Llanelwy am ddangos i'r Cymry tirion wir sefyllfa yr achos,—y gwelid fod y fantol wedi troi, a Chymru yn galw am i'r Eglwys barhau fel y mae ddyddiau y ddaear. Mawr yw eu ffydd! Braidd nad mwy rhesymol y tir a gymerai Arglwydd Selborne pan ar ymweliad â Llanbedr a Bangor flynyddoedd yn ol, ac y dywedai, er i aelodau Cymru, fel un, alw am y fath beth, na ellid ei ganiatau o herwydd bod Lloegr yn fwy. Gwir. *De minimis non,* chwedl Mr. Balfour. Beth yw Cymru? Y mae Lloegr yn fwy! Ac am hynny onid gwell anfon ein cynrychiolwyr oll adref o'r Senedd, a dweyd y caiff Cymru fach yr hyn a wêl Lloegr yn dda estyn iddi? Dyma grib y mynydd oddiar ba un y mae "Undebwyr" yn llawenhau yn yr etifeddiaeth o hawl a rhyddid y maent yn estyn i'w cyd-ddeiliaid!

4. Yr oedd Mr Balfour, gan fanylu ar fân gwestiynau a fuasent yn gymwys yn unig mewn pwyllgor, yn dal yn gryf fod trefniad yr eiddo yn anymarferol, gan, er engraifft, y rhoddai i Fôn, gyda phoblogaeth o 35,000, ddegymau plwyfol o werth £12,064; tra na roddai i Forgannwg, gyda phoblogaeth o 700,000, ond £16,000: y wlad y mae ei phoblogaeth ugain gwaith yn llai, yn cael tri chwarter y swm a gai y wlad arall, neu bymtheg gwaith mwy nag a ddylai yn ol y boblogaeth. Manylion pwyllgor yw pethau fel yna; er, fe wyr pawb, y gallai Morgannwg fawr, gyda'i hanferth gyfoeth mewn cynifer o ffyrdd ereill, yn rhesymol lawenhau ar unwaith wrth weled ei chwaer fach, nad oes ganddi nemawr ddim ond ei hamaethyddiaeth i ddibynnu arno, yn cael ychydig help o'r degwm yn ei hymdrech am fodolaeth a diwylliant. Ond yr ydym yn gweled fod ymdrech egniol yn cael ei gwneyd gan Eglwyswyr i'n hargyhoeddi na fyddai dadsefydliad i ni o gwbl yn "Fantais Ariannol." Felly! Tybed y byddai yn syndod iddynt ddeall mai hynod o is-raddol ydyw y lle a ddyry y Cymry i'r syniad o fantais ariannol yn y cwestiwn o gwbl? Digwyddodd i ni ofyn wrth fwrdd tê ychydig ddyddiau yn ol, beth a feddyliai y cwmni o'r ddadl hon fel yn erbyn Dadsefydliad yr Eglwys yng Nghymru; ac ar unwaith atebodd geneth ieuanc oedd wrth y bwrdd,—un o chwaeroliaeth yng Nghymru sydd yn rhifo yn llawer o filoedd,—"Wel, mi ddwedwn i mai un isel iawn fyddai." "Beth sydd i benderfynu y pwnc ynte," gofynnem drachefn. Yr ateb ar drawiad oedd, "Y peth sydd iawn." "Beth a ddwedech ynte am y ddadl ariannol yma a godir i'n dychrynnu?" Yr ateb oedd, "Dim, ond ei bod yn un isel iawn." Cymharai Mr Balfour Ymneillduaeth Gymreig a'r Eglwys Gymreig i ddwy gymdeithas wyddonol mewn cydymgais,

a gofynnai, "Beth a feddyliem o un o'r cymdeithasau hynny, pe, yn lle ceisio curo ei chydymgeisydd mewn gwaith gwyddonol, y gosodai ei hegni ar waith i'w thlodi a'i llesteirio?" Ond i wneyd i'w ddameg *gyfarfod a'r amgylchiadau yng Nghymru*, fe ddylasai Mr. Balfour ofyn, Beth a feddyliem o ddeall fod un o'r ddwy gymdeithas dybiedig, heblaw dioddef am ocsoedd drawster a dirmyg y llall, ac heblaw talu yn anrhydeddus ei thraul ei hun, yn gorfod gwneyd ei rhan i dalu traul yr un y ddioddefasai ymhob ffordd gymaint oddiar ei llaw? Yr ydym yn tybied y "meddyliai" pawb mai rhesymol iawn fyddai i bob un o'r ddwy, i ddechreu, dalu ei thraul ei hunan, ac yna fe ellid son am y cydymgais. Da gennym weled nad ydyw yr Eglwyswyr mwyach yn dweyd fod ar Ymneillduwyr Cymru eisieu y degwm eu hunain. Mae hynny bellach, ïe, iddynt hwy, yn rhy ffôl.

5. Ond yn awr y ddadl ydyw, na fydd y dadsefydliad o Fantais Arianol i'r genedl. Pe buasai eisieu rhywbeth i angerddoli yn fwy fyth ein hargyhoeddiad o ddrwg y drefn bresennol, fe fuasai yn anodd meddwl am ddim a wnaethai hynny yn fwy effeithiol na'r dull a gymer ein cyfeillion i drin y cwestiwn ariannol yma. Dywedant y ceuant y *National Schools* os dadsefydlir yr Eglwys; yna y bydd raid i'r Byrddau Ysgol adeiladu lliaws o ysgolion newyddion, ac y daw y draul honno, ynghyda chynhaliad y cyfryw ysgolion, yn anferth bwysau ar y trethi! Er mor gywrain yr ymdrech a wnaed i godi y bwgan hwn,—a gwelwn fod Archesgob Canterbury, ac yn ddiau lawer o rai diniwed gydag ef, yn credu ynddo,—nid ydyw yn anodd gweled mor gwbl ddiberygl ydyw, heblaw ei fod, chwedl yr eneth ieuanc, yn "isel iawn,"—yn fwgan bach rhy ddirmygedig bron i'w enwi. Fe ddanghoswyd yn amlwg fod y cyfrifiadau a wnaed fel sail y casgliad yn anghywir. Heblaw hynny, ni fyddai dim a lawenychai galon Cymru yn fwy na chael ei holl ysgolion elfennol dan Fyrddau, ac felly bod holl blant y genedl yn cael yr addysg oreu yn "ymadroddion dechreuad" pethau, heb fod dynion yn eu syfrdanu yn barhaus efo'u shiboléthau sectol,—mewn cymhariaeth i ba rai nad ydyw y pethau mawrion, "barn, trugaredd, a ffydd," ond dibwys yn eu golwg. Ac y mae yn berffaith sicr, wedi cael gwared o haint y proselytiaeth sydd wedi bod gymaint ar ffordd addysg Cymru, na fyddai ysgol o fewn ein gwlad na ddarllennid ynddi yn barchedig ac yn feddylgar Lyfr yr Arglwydd, ac na ymostyngid ger ei fron Ef mewn gweddi a mawl. Heblaw hyn oll, onid yw y ddadl hon yn taflu goleu rhyfedd ar fesur y gofal a deimla ein cyfeillion hyn am addysg y genedl? Os bydd eu Heglwys gyfoethog hwy yn cael ei dadgysylltu, a'i gosod ar y tir ag y mae y cyrff Ymneillduol tlodion arno yn gallu gwneyd y fath wasanaeth gwych i Dduw ac i ddynion, y maent am gau eu hysgolion—bron yr oll o ba rai, hyd ddiwedd 1871, a adeiladwyd i fesur mawr ar draul y Wladwriaeth,—ac ni ddygant ymlaen ynddynt yn hwy addysg y plant, er eu bod yn proffesu fod yr addysg a roddant hwy yn anhepgorol er eu lles amserol a thragwyddol, ac er nad yw hwnnw mewn lliaws mawr o'u hysgolion—er eu galw yn rhai "gwirfoddol,"—yn costio iddynt mewn ffordd o gyfraniadau gwirfoddol ond y nesaf peth i ddim!

6. A gwaeth fyth. Y maent hefyd am gau yr Eglwysydd, a gadael i Gymru lân suddo yn ol i baganiaeth! Mae yr atebion a gyhoeddwyd i'r gofyniadau a anfonodd y *Record* i wyr Eglwysig Cymru gyda golwg ar y Mesur, yn "rhyfedd ac yn ofnadwy." I'r ail gwestiwn, Beth fyddai

effaith pasio y Mesur yn eu hardaloedd,—nid oedd gan yr un o honynt ond y pethau gwaethaf i'w dweyd. Ni ellid cario ymlaen waith yr Eglwys. Mae y bobl mor dlodion. Ac ni allai fod dim yn eu haros ond magddu paganiaeth. Wrth reswm nid ydyw yr Ymneillduwyr—sydd a'u haddoldai, a'u hysgolion Sabothol, a'u gwasanaeth crefyddol ymhob ffordd arall yn llanw y wlad,—yn werth eu cymeryd i'r cyfrif. Pe byddai yr Eglwys wedi ei dadsefydlu, ni byddai dim i edrych ymlaen ato ond trueni anaele. Mae y gwyr da i gyd yn defnyddio geiriau cryfion, ac yn eu pentyrru ar eu gilydd i ddangos y trueni mawr: ond y mae Deon Bangor wedi rhagori arnynt oll, a chrynhoi y cwbl i un gair, ond gair ofnadwy,—"*disastrous.*" Trychineb a fyddai, a dim llai! Wrth ateb y trydydd cwestiwn, sut bynnag, y maent yn cael fod teimlad Ymneillduwyr Cymru,—yn enwedig y rhai "parchus" a "chrefyddol," ar wahân i'r Radicaliaid a'r "*agitators*,"—mor dra ffafriol i'r Eglwys, fel wrth ateb y pedwerydd,—Beth fyddai y rhagolygon pe gadewid i bethau fyned ymlaen fel y maent,—eu bod oll yn eu cael yn ardderchog. Y maent yn hysbyddau adnoddau iaith wrth ddangos eu gogoniant; a than ddirwasgiad gwych ein cymydog parchus, y Deon Lewis, y mae yr oll yn dyfod yn "*splendid.*" Ysblennydd! Annheilwng yw ceisio gosod geiriau wrth eu gilydd i ddangos yr annhraethadwy. Gadewch i'r haul lewyrchu yn ei ogoniant ei hun. Ysblennydd! Ynglyn â'r ail gwestiwn, nid oedd ond tywyllwch, a hwnnw, o'r ddau yn dduach nag eiddo yr Aifft; ond erbyn dyfod at y pedwerydd, nid oedd ond dydd, a'i lewyrch —fel y buasai Esaiah o bosibl yn ei alw, pe yn deilwng i son am y fath beth—"yn saith mwy." Ysblennydd! Onid ydyw yr Eglwys, gyda'i hesgobion a'i holyniaeth Apostolaidd, ei gwenwisg, ei harogldarth, ei chanhwyllau a'i holl Babyddiaeth, yn gymaint o atyniad i Ymneillduwyr parchus a chrefyddol Cymru fel y maent, yn lluoedd, yn dylifo i'w phyrth; eu mamau yn ei ystyried yn werth byw er mwyn y fraint o ddwyn i fyny feibion i wasanaethu wrth ei hallorau; a'r pregethwyr ieuainc galluog a dysgedig yn rhedeg ar draws eu gilydd o'r colegau lle yr addysgwyd hwynt ar draul yr Ymneillduwyr, i balasau yr esgobion i ofyn am gael eu hordeinio ganddynt? Y mae anghysondeb, bid siwr, rhwng yr atebion i'r ail a'r pedwerydd cwestiwn,—y "disastrous" a'r "splendid," —sydd yn dywyll i feidrolion cyffredin; o leiaf i bawb y tu allan i gylch cyfaredd yr Eglwys. Os ydyw rhagolygon yr Eglwys y fath fel y disgwylir mor hyderus y bydd yr holl genedl Gymreig yn fuan yn ol yn ei mynwes, pa fodd y byddai yn gymaint "trychineb" ei gadael, gyda'i hanferth gyfoeth, i ymgynnal ar ei hadnoddau, pan y mae pob enwad Ymneillduol, pa mor dlawd bynnag, yn gallu gwneyd hynny? A thybied fod y boneddigion y cyfeiriwn atynt *yn dweyd y gwir*,—y mae y peth, yn sicr, yn dra hynod! Ond oddiwrth eu tystiolaethau, y mae y casgliad a ganlyn yn anocheladwy:—Fel yr ydym wedi cael,—ac o'u geneuau hwy eu hunain,—os dadsefydlir yr Eglwys, y bydd yr ysgolion yn cael eu cau; felly hefyd, ac oddiar yr un awdurdod ddiamheuol, yr ydym yn awr yn cael, os dadsefydlir yr Eglwys,—er mai hwynthwy ydyw olynwyr yr Apostolion, a bod y mawrion oll ganddynt, ac yn ol eu gair hwy fod wyneb holl werin Cymru tuag atynt,—eto y maent mor amddifad o bob cariad at Grist a'i deyrnas, ac o herwydd hynny mor ddiamadferth, fel na ellid cynnal moddion gras ond mewn ychydig iawn o holl lannau ein gwlad! Dyma dy apostolion di, O Gymru!

Os felly, oni ddylasai yr Eglwys yng Nghymru fod wedi ei dadsefydlu ers oesoedd?

7. Ac nid Eglwyswyr *Cymru* yn unig sydd yn dychrynu; ond dyma Gyhoeddiad, neu *Manifesto* mawr wedi ei arwyddnodi gan y ddau Archesgob, a chan 31 o Esgobion, yn galw sylw at y trychineb sydd yn awr yn bygwth yr Eglwys,—y mwyaf, meddant, a brofodd erioed. Nid ydyw y bobl dda hyn yn gwybod ond ychydig iawn am danom yn y wlad hon. Cwynent am ein "gwrthodiad penderfynol i gael cyfrifiad swyddogol, *official census*, fel y galler gwybod beth yw cyfartaledd y cyrff crefyddol;" ond cymerant gysur yn y ffaith "nad oes brawf fod Eglwyswyr mewn lleiafrif amlwg" yn ein mysg; ac am hynny,—sef nad oes brawf fod yr Eglwys mewn lleiafrif amlwg, "*in a marked minority*,"—gwych cofio yr *ipsissima verba*,—tynnant iddynt eu hunain, a chyflwynant i sylw y deyrnas y casgliad rhesymegol, y dylai yr Eglwys hon barhau yn Sefydledig fel Eglwys y Wladwriaeth, a chael ei chynnal ymlaen hyd byth ar draul y genedl Gymreig! I Eglwyswyr, y mae y fath ymresymiad, mae'n ddiau, yn berffaith oleu; ond i'r gweddill o ddynolryw, y mae yn anobeithiol dywyll. Teimlant yn fawr dros y tlodion, er bod eu Heglwys wedi eu hysbeilio o'u traian o'r degwm; a chymerant yn ganiataol nad oes roesaw iddynt na gofal am danynt yng Nghymru ond o fewn yr Eglwys Sefydledig. Fe ŵyr Cymru oll fod ei thlodion, yn yr holl addoldai Ymneillduol, yn cael y croesaw caredicaf, a mwy, eu bod "yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Y mae llawer o bethau wedi eu dweyd i ddarostwng Ymneillduwyr Cymru yn y ffordd yma, fel mewn llawer o ffyrdd ereill ger bron y deyrnas, a chan ddynion a wyddent yn amgen, neu o leiaf ddylasent wybod; pethau sydd, fel y dywedai y Bardd o'r Nant am enllibion "Person Paris,"

Yn gelwydd melldigedig wrth byblig farn y byd.

Mae y *Manifesto* hefyd yn cael y byddai pasio y Mesur yn darostwng yr Eglwys, nid i dlodi cyffredin, ond i *penury*, angenusrwydd gresynus. Pe dywedasai Ymneillduwr beth felly, fe'i cyfrifasid yn gabledd. A da gennym feddwl nad oes Ymneillduwr o fewn Cymru a allasai feddwl am ddweyd y fath beth. Yr oedd cyfraniadau gwirfoddol y bobl druain dlodion a elwir y Methodistiaid Calfinaidd, y rhai y pentyrra Eglwyswyr arnynt yn barhaus gymaint o ddirmyg, am y flwyddyn 1891, at ddwyn ymlaen waith yr Arglwydd yn eu gwlad ac estyn bara'r bywyd i'r miliynau yn nhywyll leoedd y ddaear sydd yn marw o eisieu gwybodaeth, yn £264,718. Ac eto dyma Archesgobion ac Esgobion yn taeru, pe cymerid y £279,000 yma, a ddirwesgir trwy orthrech oddiar bobl Cymru at gynnal yr Eglwys sydd, yn arbennig, yn Eglwys y cyfoethogion, na fyddai dim i edrych ymlaen ato ond *penury*. Nid oedd Dr. Wordsworth, Esgob Lincoln, yn gweled y gallai dadgysylltiad wneyd dim ond tloduso yr offeiriadaeth a phaganeiddio y bobl: "pauperise the priesthood and paganise the people." Ni fyddai dim yn aros ein gwlad dan y fath amgylchiadau ond paganiaeth. Y maent yn cyfrannu i anfon cenhadon i gymeryd yr Efengyl i'r byd paganaidd, ac eto os atelir y tipyn degwm yma oddiwrthynt, nid ydynt yn gweled fod *dim* i atal eu gwlad hwy eu hunain rhag myned i'r ystad y mae y paganiaid truain ynddi! Ond tra yn galw yr holl glerigwyr i ddangos i bawb y mawr berygl o basio y fath Fesur, mae'n dda gennym weled fod yr Archesgobion a'r Esgobion yn eu cynghori "i beidio cymeryd mantais

ar eu sefyllfa i drafod y mater yn eu pregethau, ond i gadw ty Dduw yn rhydd oddiwrth ymryson, hyd yn oed mewn achos da." Fe haerir yn barhaus fod y gweinidogion Ymneillduol yng Nghymru yn pregethu *politics*, yr hyn y gŵyr pawb ei fod yn anwiredd noeth. Ond oddiwrth yr adroddiadau a gawn yn achlysurol o bregethau yr Esgobion Cymreig yn y papurau newyddion, fe'n tueddid i ofyn, A ydynt byth yn pregethu yr Efengyl; ac a ydynt, er yn Ddoctoriaid, yn gwybod rhywbeth am dduwinyddiaeth? Y maent yn dweyd llawer am yr Eglwys; eu Halffa a'u Homega ydyw yr Eglwys, a'r Eglwys, a thrachefn yr Eglwys, a byth bythol yr Eglwys. Ac fe deimlid dwfn lawenydd pe gwelid hwy, pe na bai ond yn awr ac yn y man, ambell dro, yn esgyn yn ddigon uchel i fynydd yr Arglwydd i gael trem ar y drychfeddwl mawr sydd yn nerth ac ysbrydoliaeth i saint yr oesoedd,—o "Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd Efe â'i briod waed;" yr hon y mae Efe am "osod iddo ei Hun yn Eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw; ond fel y byddai yn sanctaidd ac yn ddifeius;" yr Eglwys, "yr hon yw ei gorff Ef, ei gyflawnder Ef, yr Hwn sydd yn cyflawni oll yn oll." Yn lle hynny, holl gorff eu cainc ydyw eu Heglwys fach *hwy*,—gyda'i degwm a'i chleddyf, ei thraddodiadau a'i gwisgoedd, ei gwyr mawr a'i boneddigesau briallu, ei thuseri arogldarth, a'i holl daclau proselytio, &c.; yr Eglwys sydd yn greadur ac yn slâf y Senedd, ac ar yr hon y mae Gwraig yn Ben. Pa fodd bynnag, hyderwn y bydd iddynt hwy, ynghyd a'u holl frodyr, gymeryd cyngor y *Manifesto* yn yr achos hwn. Pob croesaw iddynt ar bob ffordd arall i ddadleu eu *politics* Eglwysig.

Mae'n ofidus gennym weled y bobl dda hyn, yn eu profedigaeth, yn dangos y fath ddychryn a'r fath wendid ffydd. Gallant fentro credu yn yr Un Mawr y maent yn wasanaethu, a theimlo yn hyderus, ond iddynt ymddiried ynddo, y bydd Efe gyda hwynt bob amser hyd ddiwedd y byd. Ie, nid ydyw yn anodd gweled y gallai y cyfnewidiad hwn—y mae mor amlwg i bawb ei fod bellach yn anocheladwy—brofi i'r Eglwys yn fendith o annhraethol werth; yn gymaint felly fel y bydd yn ddirfawr syndod iddynt oll, ymhen ychydig amser, ddarfod iddynt erioed fod mor blentynaidd a'i ofni am funud. Dywedai y Duc o Argyll, mewn araith fawr o'i eiddo ar ail ddarlleniad Mesur Dadsefydliad yr Eglwys Wyddelig yn 1869: "Yr wyf yn credu yn sicr, ymhen ychydig flynyddoedd, yr edrychir yn ol ar y mesur hwn fel un o fuddugoliaethau mwyaf llywodraeth gyfansoddiadol, ac fel cam ymlaen,—a hwnnw yn gam mawr,—yn y gwaith mwyaf anhawdd, sef llywodraethu dynolryw yn ddoeth ac uniawn." Ac o'r cyflawnder o dystiolaethau sydd yn dangos mor lwyr y cyflawnwyd y broffwydoliaeth hon o eiddo'r pendefig urddasol, boddlonwn yn unig ar ddyfynnu geiriau Esgob Tuam, Iwerddon, mewn cyfarfod o "Gymdeithas Genhadol yr Eglwys at y Pabyddion," a gynhaliwyd ym Mai 1891:—"Yr ydwyf yn edrych ar y cyfnewidiadau gwleidyddol diweddar yn Iwerddon fel yn ffafriol i ledaeniad Efengyl gras Duw. Mi wn na edrychir arnynt felly yn gyffredinol. Rhaid i mi ddweyd fod breintiau a gallu politicaidd y bobl y rhaid i mi yn awr eu galw ein gwrthwynebwyr, yn cynhyddu. Ond yr ydwyf yn awr yn gweled o fy mlaen Eglwys Iwerddon, wedi ei dadsefydlu a chymeryd oddiarni ei gwaddoliadau; ac yr ydwyf yn dweyd yn hyf, ei bod, ugain mlynedd wedi i'r cyfnewidiad hwnnw gymeryd lle, yn Eglwys sancteiddiach, gryfach, a mwy llwyddiannus yn yr hyn oll sydd ysbrydol a

gwir, nag ydoedd ugain mlynedd yn ol." Credwn ninnau mai oes aur yr Eglwys Esgobol yng Nghymru fydd ei hystâd ddadsefydledig, ac yn ei gwaith mawr ni a ddywedwn yn hyf y dymuna holl Gyrff crefyddol ereill Cymru iddi DDUW YN RHWYDD.

Ni allai fod datganiad gwell a doethach ar y mater hwn nag a wnaeth Dr. Percival, Prifathraw Ysgol enwog Rugby, yr hwn sydd offeiriad ei hunan, mewn llythyr o'i eiddo a ymddanghosodd yn ddiweddar yn y *Times*, mewn cyfeiriad at y safle a gymerai yr Esgobion gyda golwg ar y Mesur Cymreig. Dymunai am i rywun ddangos iddynt yr olwg a gymer lliaws o Eglwyswyr ar y mater, a dweyd wrthynt:—"Nid oes neb o honom yn credu fod sefydliad a gwaddoliad yn angenrheidiol i fywyd yr Eglwys. Pan aeth yr Apostolion allan heb ddim ond eu ffyn a'u hysgrepan, nid oedd arnynt ddiffyg o un nerth ysbrydol a feddwn ni. Yr ydym yn credu, o'r ochr arall, y gallai fod amgylchiadau ymha rai y mae sefydliad a gwaddoliadau yn rhwystr pendant i waith ein Meistr, ac y mae yn dyfod yn fwyfwy amlwg mai felly y mae yn Nhywysogaeth Cymru. Fe addefir fod yr Eglwys Gymreig yn Eglwys y lleiafrif; y mae llais Cymru yn Nhy y Cyffredin bron yn un yn ei herbyn, ac y mae y teimlad sydd yn ffynnu ymysg pobl Cymru yn anghymodol wrthwynebus iddi fel Sefydliad. Yn wyneb y fath ffeithiau â'r rhai hyn, prin y gellir ameu fod achos gwir grefydd yn cael ei niweidio wrth ei dal mewn sefyllfa freintiedig; a gellid yn ddiogel ragddywedyd, os caiff yr Eglwys ei dadsefydlu a'i chychwyn o'r newydd mewn maes rhydd ac agored, y bydd llawer o'r teimlad politicaidd gwrthwynebus sydd yn awr yn ffynnu, yn mynd o'r golwg, ac y bydd dylanwad a gallu ysbrydol ein cymundeb Anglicanaidd yn cynhyddu fel na wnaeth erioed o'r blaen. Yr ydym gan hynny yn derbyn egwyddor y Mesur hwn, gan gredu y profa yn fendith i'n Heglwys yng Nghymru, ac am ei fod yn seiliedig ar yr egwyddor uniawn y dylai pobl, mewn materion o grefydd yn anad popeth, fod yn rhydd i ddewis drostynt eu hunain, ac na ddylai unrhyw allu oddi allan gymeryd arno ymyrraeth neu orchymyn. Ac na fydded i ni gymeryd ein camarwain gan y ddadl goeg, a gallwn ddweyd hyd yn oed dwyllodrus, nad yw yr Eglwys Gymreig ond pedair esgobaeth o'r Eglwys Seisnig. Y mae cenedlaetholdeb gwahaniaethol y Cymry yn ymarferol, yn cael ei gydnabod fel ffaith addefedig am bob math o amcanion ereill; ac yn llawer mwy, fe ddylai gael ei gydnabod wrth drefnu eu cysylltiadau crefyddol. Fel Saeson, a rhai oddi allan, yr ydym yn dal, beth bynnag allai fod ein teimladau presennol, nad oes gennym yn y fath achos a hwn hawl i wrthsefyll ewyllys amlwg pobl Cymru; yr un modd ag yr hawliwn ninnau, os rhywbryd y cynhygir dadsefydlu Eglwys Lloegr, na chaffo na Gwyddel, nac Ysgotiad, na Chymro unrhyw lais i benderfynnu y mater; ond gan ei fod yn gwestiwn Seisnig yn unig, y dylai, mewn pob tegwch, gael ei adael i'r Saeson i'w benderfynnu." Ychwanega y Dr. Percival mewn llythyr arall a ysgrifennodd i'r *Times*:—"Wedi ysgrifennu yr uchod, darllennais yn eich colofnau apêl ddieithriol Mr. Balfour at y Weriniaeth Newydd, a hefyd eiriau Archesgob Canterbury, yn datgan mai yr achos sydd yn awr o flaen Eglwys Lloegr ydyw y mwyaf difrifol a fu o'i blaen er pan blannwyd hi. Pa un a ydyw yr achos mor ddifrifol ag y dywed Archesgob Canterbury ei fod ai peidio, y mae, sut bynnag, yn ddigon difrifol; canys prin y gellir ameu, yn hytrach na chynnal yng Nghymru

sefydliad Eglwys freintiedig i'r lleiafrif, yn nannedd teimlad dwfn y werin yn ei herbyn, yr ysguba y Weriniaeth Newydd yr holl Sefydliad Seisnig dros y dibyn at ba un y mae gwladweinwyr a gwyr Eglwysig Toriaidd mor ddibris yn ei wthio."

Y mae llawer o'n cydwladwyr, ac yn enwedig wrth feddwl eu bod yn cael lle i ofni nad ydoedd y Llywodraeth mor flaenllaw ag y dymunent, neu y credant y dylai fod, mewn gyrru y Mesur hwn ymlaen, wedi bod yn teimlo yn dra anfoddlawn. Datganodd pedwar o'n haelodau Seneddol, os gwelent fod y Llywodraeth yn para i adael y cwestiwn Cymreig o'r neilldu, eu penderfyniad, yn ol y dealltwriaeth y daethent *oll* iddo yn Medi diweddaf, o weithredu yn annibynnol. Wrth ystyried popeth, ni allwn deimlo y dylid eu beio. Ac y mae yn amlwg fod Cymru, cyn belled ag y mae wedi dangos ei theimlad, yn eu llawn gyfiawnhau. Y mae hyn yn rhoddi bythol daw ar y boneddigion sydd yn taeru nad ydyw pobl Cymru yn galw am y fath fesur; ac y mae yn dangos i'n cyd-ddeiliaid parchus y tu hwnt i Glawdd Offa, *ac* i Lywodraeth ei Mawrhydi, ein bod o ddifrif yn y mater. "Y mae diffyg amynedd rhai o'r Aelodau Cymreig," meddai y *Daily News*, "o leiaf yn gwbl ddealladwy. Mae Dadgysylltiad yn gwestiwn sydd yn cyffwrdd â chalon pobl Cymru. Yn ddiweddar yn unig yr ydym ni yn Lloegr wedi dechreu deall a theimlo y ffaith hon." Mae yn sicr fod y Llywodraeth y dyddiau hyn mewn dirfawr anhawster. Mae y blynyddoedd a dreuliwyd i geisio cael trefn ar yr Iwerddon, a'r gwrthwynebiad cildyn a di-reswm a ddanghoswyd i'r unig gynnyg y gellid ddisgwyl oddiwrtho nemawr ddaioni, wedi peri fod y gwaith am rannau ereill y deyrnas wedi cronni yn fawr. Mae y llong o herwydd hynny wedi ei llwytho yn drwm, ac y mae y gwyntoedd gwrthwynebus yn gryfion a mileinig. Y mae yn barhaus yn cael ei gyrru i leoedd enbyd, a cheir fod nerthoedd ar waith nad oes iddynt unrhyw amcan ond ei gwneyd yn ganddryll. Er popeth y mae yn dal ei ffordd — wel, fe'n temtir i ddefnyddio gair mawr ein cymydog teilwng o'r Deondy a dweyd—yn ysblennydd. Felly hyd yma, doed a ddel. A newid y ddameg, yr oedd *Punch*, y dydd o'r blaen, mewn cyfeiriad at Fesur y Gyllideb, yn dangos Syr William Harcourt wedi ei wisgo mewn llurig ardderchog, a Meistri Balfour a Goschen o draw a'u gynnau yn eu dwylaw, ac yn edrych yn dra diflas wrth fethu gweled beth a allent wneyd. "Saethwch ymlaen, foneddigion," meddai yntau, "ni wnewch ddim niwed i mi." A dyna yn sicr ydoedd iaith y llurig. Wrth reswm, y mae y dyfodol yn dywyll, ond hyd y gellir gweled, y mae gallu y Llywodraeth i gario allan yr amcanion y cafodd ei chreu er eu mwyn, yn dra phell o fod wedi ei hysbyddu. A phrin y gallwn ameu y sicrhad y maent, drachefn a thrachefn, ac yn y modd mwyaf diamwys, wedi ei roddi i ni y gwnant a allant i basio y Mesur hwn drwy Dy y Cyffredin, o leiaf; ac os nad yn y Senedd-dymor hwn, yn y nesaf; neu yn sicr cyn myned eto at y wlad. Nid ydym yn sicr na fu a wnaeth y pedwar â rhyw ran iddo yn nygiad y boneddigion teilwng hyn i'r fan y cymerant eu safle mor benderfynol arno yn awr, er, o'r blaen, na wnaent ddim, ac nad ynganent air er roi boddlonrwydd pendant i Gymru bryderus. Fel y mae pethau, gallant gyfrif yn dawel ar gydweithrediad calonnog yr aelodau Cymreig—ac eithrio y *tri* sydd o Gymru wedi eu danfon yno i ymladd rhyfeloedd yr Eglwys a'r Dafarn a'r Blaid Gyfansoddiadol

Fawr!—i gario allan eu hamcanion rhagorol. Nid ydym ychwaith yn ameu na wna y Llywodraeth i ni yr oll a addawa. Ond pe digwyddai iddi anghofio,—neu feddwl y gallai bod rhywbeth arall yn fwy teilwng o'i hystyriaeth,—mae'n ddiau y câi fod llawn cymaint o ddur yn yr un ar ddeg ar hugain ag oedd yn y pedwar, pan, wrth gredu y tybiai y Llywodraeth y gallai chwareu â Chymru, y penderfynant weithredu yn annibynnol.

DANIEL ROWLANDS.

---

# ISFEIRNIADAETH.

BLINIR y byd meddyliol y blynyddoedd hyn gan ddau dosbarth o feirniaid, yn y rhai y gwireddir dau hen ddywediad parthed gwahanol raddau o ddysg. Ymdriniwyd ar yr Uchfeirniaid yn y TRAETHODYDD diweddaf. Efallai y caniateir y tro hwn ychydig ofod i draethu, yn fyr, ar Isfeirniadaeth, mewn perthynas yn fwyaf arbennig a dwy o ysgrifau y TRAETHODYDD am fis Mai, sef eiddo y Parch. Samuel Owen ar "Pam y bu i'r Diwygwyr Protestanaidd wrthod Esgobyddiaeth," ac ysgrif y Parch. Thomas Roberts ar "Amddiffyniad y Methodistiaid gan Mr. Charles."

Megis nas gallai Mr. Joseph Roberts "ddilyn yr Uchfeirniaid i bob man," nis gellir ychwaith yma ganlyn yr Isfeirniaid yn eu holl grwydr-iadau. Rhaid yma hefyd foddloni ar ddangos eu "dull o weithio."

1. Cydnebydd yr Uchfeirniaid na ddisgwyliant ochelyd camgym-eriadau. Ysgrifenna yr Isfeirniaid gydag eonder anffaeledigrwydd. Ni thrafferthir gyda rhesymau na chysylltiadau. Mae'r pynciau mwyaf cyfrin yn oleu ger eu bron. "Anturia" y Parch. Thomas Roberts awgrymu fod yn hysbys iddo feddyliau pob curad yng Nghymru: a *gwyr* nad yw "y Parch. R. Williams, M.A." wedi darllen yr "Am-ddiffyniad." Gostwng gormod o'r chwydd fuasai awgrymu yr "an-turiasai" flynyddoedd yn ol gyd-sefyll arholiad a'r Parch. Thomas Roberts hyd yn oed ym maes yr "Amddiffyniad."

"Ai ychydig yw y rhai cadwedig," gofynnodd dyn unwaith i'n Gwaredwr Bendigedig. Pe gofynasai i ysgrifennydd yr erthygl "Pam," etc., derbyniasai atebiad dioedi a diamwys. Gŵyr y gwr hwn rif a chyfartaledd y rhai cadwedig o bob enwad. Ac nid yng Nghymru yn unig, eithr y mae yn amlwg ger bron ei lygaid wŷr Duw, a gwŷr y drwg, o John o Groat's i Ben Tir. Gwyddelod, a Ffrancod, Ellmynwyr, a Daniaid, y Swissiaid, a thrigolion Gorynys y Gogledd, America, ac Awstralia, pa le bynnag y mae Protestaniaid, adnebydd eu calon oll, ac heb un petruster dywed fod y rhai cadwedig yn yr Eglwys "yn ychydig o rifedi ac yn llai eu nifer o lawer nag mewn un gangen o'r Eglwys Brotestanaidd." "Efe a roddes pob barn i'r Mab." Dylesid, yn ol yr haeriad beiddgar, os nad cableddus hwn, ychwanegu, "ac i'r Parch. Samuel Owen."

2. Dealla yr Uchfeirniaid yr hyn yr ymdriniant ag ef. Dyma yr anhawster gyda hwynt, ychydig geir yn ddigon dysgedig i'w cyfarfod. Gafaela yr Isfeirniaid yn nyfderoedd pwnc nad ydynt eto wedi dysgu ei A B C. Felly y Parch. Samuel Owen, gyda'r Olyniaeth Apostol-aidd. "Wele hwy," meddai am Esgobaethwyr, "*wedi gadael yr Eglwys* y derbyniasant eu hurddau oddiwrthi." Son am "adael yr

Eglwys" yn y *Traethodydd* am 1894! Mae Rip Van Winkle eto yn fyw. Cyfoda "anhawster pennaf pleidwyr Esgobyddiaeth o'r ffaith na fabwysiadwyd y ffurf honno gan ddiwygwyr y Cyfandir," meddai drachefn. A diffynwyr a gwrthwynebwyr Esgobyddiaeth wedi arfer dadleu ar faes y Testament Newydd a'r tair canrif cyntaf! Am hanesyddiaeth ei bwnc, dywed, "Gofynwyd i Luther benodi Esgobion iddynt (yn Sweden), yr hyn a wnaeth." Ond dyma'r hanes. Laurentius Petri ac Olaus Phase, dau ddisgybl i Luther, gychwynasant y Diwygiad yn Sweden.* Yn y flwyddyn 1531 cysegrwyd Laurentius yn Archesgob Upsal, nid gan Luther, ond gan Petrus Magni, esgob Westeras, yr hwn gysegrasid yn Rhufain.† Nid oes son, am a welais, am wneud Phase yn esgob. A hyd heddyw derbynia esgobion Sweden ail-arddodiad dwylaw gan Archesgob Upsal.‡

Am lenyddiaeth ei bwnc dywed Mr. Samuel Owen, "Y gwr sydd gyfrifol am ledaeniad y syniad cyfeiliornus hwn ydoedd un o'r enw Durel." Datguddiasai cydnabyddiaeth agosach ag ysgrifenwyr y cyfnod, megis Bancroft a Hooker,§ iddo fod y syniad [nid] cyfeiliornus, mai o raid, nid o ddewis, y mabwysiadodd diwygwyr y Cyfandir Esgobyddiaeth, yn gyffredin cyn geni Durel. Lled gymylog yw, hyd yn oed ynghylch ei olyniaeth ei hunan. Am "holl weinidogion cymwys y Testament Newydd," ymhlith y rhai yn ddiau y rhestra ei hunan, dywed: "Oddiwrtho Ef [Crist], ac Ef *yn unig*, y maent yn derbyn eu comisiwn." Oddiwrth yr ysgrif gellid barnu—fe ffromai pe dywedid paham—mai Methodist yw yr awdwr.‖ Sonia y *Gyffes Ffydd*¶ am "*alwad y Corff*" i waith y weinidogaeth. Ac os na chamsynir, bu raid iddo ef, yn ychwanegol at "gomisiwn" Crist, wrth drwydded yr arholwyr ac ordeiniad y Sasiwn!

Wedi darllen a deall dyfarniadau y fath feirniaid ar yr Eglwys a'i gweinidogion, diau y prysura yr "ambell i Ymneilltuwr coegfalch, anwybodus, a chyffonllyd"—dymunwn gyflwyno i "sylw ystyriol" y Parch. Thomas Roberts eiriau ac ysbryd efengylaidd ei gydfeirniad,—boethasant waed y Parch. Samuel Owen i uniawnu eu camwri. Caiff *fow*, a "gofyn bendith," a dêl yr "anwybodusion" yn ol o fynwes yr Hen Fam yn ddi-ymaros!

3. Pa fodd drachefn y profant eu pynciau? Amcan y Parch. Thomas Roberts, ymddengys, ydoedd, mewn rhan, o leiaf, ateb yr ysgrif ar "Charles o'r Bala," a ymddanghosodd yn yr *Haul* am Ionawr. A pha fodd y ceisia wneyd hynny? (1) Drwy lefain megis crefftwyr Ephesus, "Mawr yw Diana yr Ephesiaid." Soniodd ein Harglwydd Iesu Grist am ei ddisgyblion yn rhoddi "llaw ar yr aradr." Ond y fath gabledd yw cymhwyso y fath gymhariaeth isel at Mr. Charles! "Dalier yn dda," ysgrifenna y Parch. Thomas Roberts, "ar goethder a symlrwydd nodedig yr ymadrodd yma,—a 'hynny cyn bron ymgynefino o'i gledrau a chyrn yr aradr'." "A ddichon," parha, "un dyn beidio gofyn â pha eiriau cymesur y dylid son am ymddygiad fel hyn." Coleddwn y parch a'r edmygedd dyfnaf at goffadwr-

* 1. Baazi Inventiarum Eccles. Sueo-Gothorum, 239.
† 2. Henebom De Success, 10.
‡ 3. Benzelstierna, Melitema, 57.
§ Survey of Holy Discipline: Eccles Polity.
‖ Nis gall fod amheuaeth parthed enwad y Parch. T. R.
¶ Tud. 75.

iaeth Mr. Charles, eto methwn deimlo fod defnyddio cymhariaeth ddefnyddiodd ein Harglwydd yn unrhyw sarhad arno. Teimla Mr. Roberts yn wahanol. (2.) Defnyddir llwybr arferol y twrnai heb ddim i'w ddweyd. Cyhuddir golygydd yr *Haul* o bob drygioni, "dweyd pethau ar ei gyfer," "ymddygiad hollol annheilwng," a chamddyfynnu. Yn yr engraifft ddyry o'r diweddaf gwelir gwerth ei gyhuddiadau ereill. Dyfynnwyd brawddeg o Ddyddlyfr Charles er dangos y dioddefai yn ei ieuenctid, oddiwrth ysbryd uchelgeisiol. Dylesid yn ol syniad, er nad yn ol arferiad, y Parch. Thomas Roberts, ddyfynnu yr holl adran, er dangos fod Charles yn ceisio darostwng yr ysbryd hwnnw. Pe gwnaethid hyn â phob dyfyniad yn yr ysgrif, yn lle pum tudalen, llanwasai un ar ddeg! Gyda gwylder gweddus awgrymir i'r ysgrifennydd hwn fod y fath beth a gofod; mai y rheol wrth ddyfynnu yw rhoddi y rhan berthynasol a dodi cyfeiriad er cyfleustra i'r darllennydd weled y cyd-destyn; ac fod eisieu tir tra chadarn cyn cyhuddo ysgrifennydd o dwyll bwriadol. "Anturiwn" ddweyd, hyd yn oed wrth y Parch. Thomas Roberts, fod y tir hwnnw eto heb ei gael. Ymhellach ni ddylid, fe ymddengys, ddefnyddio yr hyn a ysgrifennodd Mr. Charles am dano ei hunan, i ddangos ei fod yn "uchelgeisiol," &c. "Hen bechadures fawr ydwyf fi—y penna o bechaduriaid," ebai hen wraig yn y seiat. "Ie, yn siwr," atebodd y gweinidog, i'w phrofi, "chwi ydyw y waethaf o honom." "Rydach chi yn deyd celwydd yn eich danedd," meddai yr hen wraig yn danbaid, "nid felly yr oeddwn yn meddwl." Cyffelyb ydoedd cyffes Mr. Charles yn ol y Parch. Thomas Roberts.

A pha beth ddywedodd yr *Haul* am Charles? Ei fod yn son am ddyrchafiad cyn pen deufis wedi ei ordeiniad: mai am nad ymadawai ei ddarpar-wraig â'i rhieni yn y Bala y gadawodd efe ei guradiaeth yn Lloegr, y gwrthododd un arall yng Nghymru, ac y dechreuodd bregethu gyda'r Methodistiaid: na fwriwyd ef o'r weinidogaeth, llawer llai o'r Eglwys, eithr yr arfaethai, pan ganiatâi amgylchiadau, ail ymaflyd yn ei waith eglwysig, ac iddo gael cynnyg dyrchafiadau yn yr Eglwys: mai o'i anfodd y cydsyniodd i gymeryd rhan yn y neillduad, a bod lle cryf i gredu y bwriadai, pe yr estynesid ei fywyd, ymadael â'r Methodistiaid. Seiliwyd pob un o'r gosodiadau hyn ar ei eiriau ef ei hunan. Ac os goddef y Parch. Thomas Roberts "air y cyngor," chwedl yntau, cynghorwn ef i geisio profi cyn condemnio.

4. Tebyg yw dull y Parch. Samuel Owen. Cyhudda ddynion, megis yr Esgob Reichel a Dr. Schaff, o ysgrifennu "heb feddwl gwneuthur ymchwiliad." Dywed am y diweddar Ddrd. Wordsworth eu bod heb ddarllen yr hyn yr ysgrifennent yn ei gylch. A'u bod oll yn euog o "wyrdroad cywilyddus" ar eiriau y Diwygwyr pan ddywedant mai o'u hanfodd y mabwysiadwyd Henaduriaeth yn lle Esgobyddiaeth ganddynt. Pa gyfrif sydd i'w roddi am y fath osodiadau, a hyn mewn cyhoeddiad cenedlaethol, gan un eilw ei hunan yn weinidog yr Efengyl? Anhawdd dirnad. A *wyddai* efe ei fod yn gwneuthur drwg? Ynte yn ei *anwybodaeth* yr ysgrifennai? Os darllennodd efe y gweithiau y sonia am danynt, gwyddai nad oedd yr hyn a ysgrifennai yn wirionedd. Os na ddarllennodd efe yr awduron, pa fodd y meiddiai ysgrifennu fel y darfu mewn cyhoeddiad o safle y TRAETHODYDD. Hawdd dwyn y pwnc hwn i brawf, canys, fel y gŵyr y neb sydd weddol hyddysg yn yr hanes, nid yn unig dywed y Diwygwyr mai amgylchiadau anorfod

barodd na feddent esgobion, eithr dyfynna Dr. Wordsworth, &c., eu geiriau:—"Mewn perthynas i'r pwnc hwn," ysgrifenna Melanchthon, mewn ysgrif a fabwysiadwyd gan Luther a'i gyd-ddiwygwyr, "mynych y tystiasom yn y gynhadledd hon, fod gennym y dymuniad cryfaf i barhau y ffurf-lywodraeth eglwysig . . . Eithr y mae yr esgobion naill ai yn gorfodi ein hoffeiriaid i wrthod a chondemnio y ffurf hon o athrawiaeth a gredir gennym, neu ynte yn gorthrymu y tlodion a'r diniwed â chreulondeb na chlywyd am ei fath. Dyma'r achosion barant na chydnebydd ein hoffeiriaid yr esgobion hynny. Felly creulondeb yr Esgobion yw yr achos, paham yr ymadawyd mewn rhai mannau â'r ffurf-lywodraeth honno *tra y mawr ddymunem ei pharhau a'i chadw.*"*

Hawdd fuasai lïosogi tystiolaethau o eiddo Calvin (Epist. ad Sadolet), Beza (ad Saravia Tract. de Ministr. Gradibus), ac ereill i'r un perwyl. Ond digon yr hyn ddywedwyd i ddangos pa faint o ymddiried ellir roddi i osodiadau yr ysgrifennydd hwn.

Parthed esgobyddiaeth, ceir ei egin yn y Testament Newydd;† ni wyddai Ignatius yn yr ail ganrif am un ffurflywodraeth arall;‡ o'r ail ganrif hyd yr unfed ganrif ar bymtheg ni cheir eglwys heb Esgob;§ gellir ei olrhain i'r Apostol S. Ioan;|| ar rhai a ymadawsant â'r drefn, dan orfod, neu syniad o orfod y gwnaethant, ac yn eu plith Charles o'r Bala a'r Methodistiaid. "I ordeiniad esgobol yr ydym yn rhoddi y flaenoriaeth bennaf, ac edrychwn arno yn beth dymunol iawn, pe gellid ei gael," medd Charles yn ei "Amddiffyniad."

*Dolwyddelan.* ROBERT WILLIAMS.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*The Book of Genesis a True History.* By the Rev. F. WATSON, B.D., Vicar of Stow-cum-Quy, Lecturer in Theology, and sometime Fellow of St. John's College, Cambridge, &c. London: Society for Promoting Christian Knowledge. 3s.

Y MAE yn beth newydd yn Saesneg son am *The Book Genesis*, fel "Llyfr Genesis" yn Gymraeg, n lle *The Book of Genesis*. Yr un modd y cyfeiria yr awdwr hwn at lyfrau ereill y Beibl.

Mae y llyfr sydd o'n blaen yn un tra gwerthfawr. Mae yr Uchfeirniadaeth wedi gwneyd cymysgfa ryfedd o Genesis. Ni rusa honni ei bod bellach wedi profi mai crug o chwedloniaeth ydyw, a ddodwyd ynghyd tua dyddiau Ezra i'r diben o gorffori mewn ffurf chwedlonol y syniadau oeddent yn ffynnu mewn amseroedd llawer iawn diweddarach, ac nad oes iddo unrhyw awdurdod fel hanes. Mae honiadau mor ddieithriol, a'r rheiny yn cael eu gwneyd ar seiliau sydd yn ymddangos mor weiniaid, yn temtio dynion i

* Libri Symbolici Eccl. Evan. 204. Christopher Wordsworth, Scottish Reform, viii. 29; Charles Wordsworth Theophilus Angli, 93-94. Wedi ysgrifennu yr uchod ymgynhygia dau esboniad:—(1) Nad yw y Parch. S O. yn deall Lladin, tra mai yn yr iaith honno y dyfynnir geiriau y Diwygwyr. (2) Mai benthyca ei syniadau ddarfu iddo o ryw law-lyfr di-ymddiried, oblegid nid ymddengys ei fod yn hysbys o fodolaeth mwy nag un Esgob Wordsworth a ysgrifennodd ar y pwnc. Ymddengys hefyd ei fod yn tybied mai un o Ddiwygwyr y 16 ganrif ydoedd Jerome y 5 ganrif.

† Lightfoot, Phil. 195-9.

‡ Lightfoot, Phil. 210. Gore, 297.

§ Gibbon Rom. Hist. xv.

|| H. P. Hughes yn Grindelwald.

daflu y cwbl o'r neilldu fel peth nad ydyw yn galw am ystyriaeth. Ond fel y sylwa Delitzch: "Ni all ymchwiliad crediniol o'r Ysgrythyrau roi i lawr y blinbeth yma o elfeniad beirniadol, oddieithr iddo gipio yr arf o law y gwrthwynebwr, a dangos y gellir cario elfeniad ymlaen heb trwy hynny sathru dan draed barch i'r Ysgrythyr Lan. Hyd yma, fodd bynnag," ychwanega, "prin y mae dechreu wedi ei wneyd ar y fath waith." Amcana y gwaith hwn at ddechreu hynny o leiaf, ac y mae yn ei wneyd "yn grediniol, yn barchedig, ac yn onest." Defnyddia yr un ffurf o ymchwiliad â'r Uchfeirniaid eu hunain, ond metha a chanfod ei bod yn arwain i'r un casgliadau, nac fod y ffeithiau yn cyfiawnhau y casgliadau y maent hwy yn ymorffwys ynddynt. Nid oes anhawster i weled fod i Genesis wahanol ffynonellau, neu fod copiwyr neu olygyddion diweddarach wedi cyffwrdd yma a thraw â'r testyn mewn ffordd o'i wneud, yn ol eu barn hwy, yn fwy cyfaddas i'w hamseroedd; y mae hefyd yn gwbl ansicr mai Moses a'i hysgrifennodd, ac ni ellir dyfalu pwy allai fod wedi ei ddodi wrth ei gilydd. Ond am ddweyd ei fod wedi ei gyfansoddi tuag amser y Caethiwed, ac i'r diben o roddi ffurf hanes i'r golygiadau oedd erbyn hynny yn Israel wedi dyfod i gael eu coledd fel y pethau ddylid gredu, y ddedfryd ddibetrus a geir yma ydyw, *Not proven.* Yn wir pa anhawsterau bynnag a allai fod yn y llyfr, y mae ceisio ei esbonio fel chwedloniaeth ac nid fel hanes, yn gwneyd y gamp o'i ddeall yn fwy anobeithiol fyth. Mae hynny yn cael ei ddangos yn glir a meistrolgar yn y llyfr hwn. Dyma ei baragraff olaf:—"Fel yma ni a hawliwn ein bod wedi profi fod dysgeidiaeth, ysbryd, a chymeriadau Genesis ar unwaith yn gwahaniaethu oddiwrth, ac yn gynharach na dim a gawn mewn mannau ereill yn Ysgrythyrau yr Hen Destament. Ni fethasom a chanfod y cysylltiad agos sydd rhyngddynt, a gallasom, ni a obeithiwn, ei ddynodi yn fanwl. Ac nid ydyw hwnnw yn gysylltiad drychfeddwl perffaith â gwirionedd hanesyddol, oblegid y mae dadblygiadau diweddarach o bob math yn absennol o dudalennau Genesis. Cysylltiad hedyn â blagur ac â ffrwyth dadblygedig ydyw. Y mae dysgeidiaeth y proffwydi yn gynwysedig, ond yn guddiedig, yn yr hanesion patriarchaidd; fe ellir ei dynnu allan o honynt, ond nid ydyw wedi ei ddatgan yn bendant ynddynt. Mae yr ymresymiad wedi bod o natur gasgliadol. Fe ellid ystyried rhai o'i elfennau fel o ychydig bwys, a rhai, fe ddichon, yn ddiamheuol weiniaid. Os felly, fe wanheir yr ymresymiad oll; ond nid ellir, yr ydym yn meddwl, ei lwyr ddinystrio. Yr ydym yn wir yn camgymeryd yn fawr iawn os nad ydyw hanesolrwydd Genesis, ar y naill law, yn cael ei ategu gan ystyriaethau o fawr bwys ac o wahanol nodwedd; ac ar y llaw arall, os nad ydyw y ddamcaniaeth sydd yn ei gymeryd fel chwedl wleidyddol-hanesyddol, yn agored i'r gwrthddadleuon mwyaf difrifol. Fe allai olrheiniad beirniadol brofi fod awduriaeth Genesis gan Moses yn amhosibilrwydd; ond o'i gario ymlaen yn deg, fe'i ceir, yr ydym yn meddwl, yn cyd-weithio ag ymchwiliad hynafiaethol i ddwyn ymlaen brofion newyddion ac argyhoeddiadol o'i wirionedd sylweddol a hanesyddol."

*The Welsh Pulpit: Diverse Notes and Opinions.* By a SCRIBE, a PHARISEE, and a LAWYER. London: T. Fisher Unwin. 1s.

Mae y llyfr hwn yn proffesu siarad ar ran Cymry ieuainc ymofyngar y dyddiau hyn, ac yn datgan y dwfn anfoddlonrwydd a deimlant oblegid sefyllfa bresennol y pulpud Cymreig. Yn y rhan gyntaf o'r llyfr cymer yr ysgrifennydd arno roddi ei brofiadau, a cheir ganddo aml i ymgais i droi i gellwair ynfyd y pethau yr edrycha ei gydwladwyr arnynt yn gysegredig. Os oes yna rywbeth isel ac anffafriol y gellir cael gafael arno, ni fetha ddyfod o hyd iddo, a thrina ef fel un yn teimlo mai y peth gwychaf mewn bod ydyw gwneyd anferthlun o hono, a throi y cwbl yn ynfyd wawd. Ac nid ydyw yn anodd ganddo roddi cyfrif am waeleddau y pregethwyr wrth feddwl am y pethau y proffesant eu bod yn eu credu, ac y maent yn eu dysgu i'w

cydwladwyr. Y maent yn glynu wrth y Beibl; yn credu, neu yn dweyd eu bod yn credu, yn Nuw; yn dal fod Iesu Grist yn Dduw ac yn ddyn, ac mai trwy ffydd ynddo Ef y daw iachawdwriaeth, &c., &c. Ac nid ydynt yn deall, druain, fod gwyddoniaeth, erbyn hyn, wedi dangos fod y pethau y maent hwy yn gwneyd cymaint o honynt, yn anamgyffredadwy, ac am hynny nad oes dim i'w wneyd ond eu rhoddi o'r neilldu, ac ymorffwys mewn anwybodyddiaeth,—efengyl ogoneddus dadblygiad. Mae yn wir fod lliaws mawr o bethau o'n hamgylch nad allwn eu hamgyffred, ond er hynny na feddyliwn am beidio eu derbyn; ac ni feïir ni am hynny; yr hyn sydd yn ddi-reswm ydyw credu yn yr Anamgyffredadwy Mawr y mae meddylwyr cryfaf yr oesoedd wedi gallu ymorffwys ynddo fel Rheswm ac Achos y cyfan. Nid ydyw yr holl athrawiaeth am Berson Crist ond chwedl ddwyreiniol, na'r iachawdwrfaeth y credir ei bod wedi dyfod trwyddo, ond breuddwyd. Am y fuchedd dragwyddol nid oes dim sicrwydd; ac am yr hyn a gredir mewn perthynas i gosbedigaeth yr aunuwiolion, y mae yn wrthuni di-reswm. Y peth mawr, a'r unig beth mawr, ydyw buchedd lân, a dyma y peth y mae pregethwyr Cymru, yn ol y llyfr hwn, yn adael allan yn gwbl o'u haddysg. Crist ydyw yr Athraw mawr, ac y mae y llef "yn ol at Grist," yn un a ddylai ein cyrraedd oll. Y mae efe yn dysgu tadolaeth Duw a brawdoliaeth dyn, ac am hynny fe ddylai y byd wrando arno. Mae'n wir ei fod Ef yn dysgu pethau ereill hefyd, ac nad oes neb erioed wedi dweyd pethau mwy amlwg nag Efe ei Hun am Ddwyfoldeb ei Berson, amcanion ei farwolaeth, y pwys o gredu ynddo, a'r uffern ofnadwy sydd o angenrheidrwydd yn aros y rhai a'i gwrthodant; ond yma, mae y pethau hyn oll yn cael eu gwadu neu eu hanwybyddu, ac nid oes eisieu dal gafael mewn dim ond yn athrawiaeth Crist am wirionedd a rhinwedd, pethau sydd i wneyd bywyd dynion yn y byd hwn yn ddymunol, a gadael i fydoedd ereill, os oes rhai, ofalu am eu pethau eu hunain. Y mae Crist yn dysgu cyfiawnder a phurdeb. Ond yr anffawd ydyw nad ydyw pregethwyr Cymru yn gwneyd dim yn y ffordd honno. Boddlonant yn unig ar geisio goglais teimladau eu gwrandawyr wrth son am ryw "waed" sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod, a hapusrwydd mewn rhyw fyd arall wrth chwareu telynau a chanu, er iddynt fod yn byw fel y mynnont. Pethau fel yma a geir yn y llyfr hwn o'r dechreu i'r diwedd, ac ni allwn ni lai na theimlo fod ei ysbryd yn afiachus a gwenwynig. Yr ydym ni ein hunain wedi byw yng Nghymru ar hyd ein hoes, ac wedi gwrando ar lawer iawn o'i phregethwyr; ac er na feddyliem am honni pethau mawrion ar eu rhan,—"Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro,"—eto mae yn rhaid i ni ddweyd mai nid y wlad y gwneir mor ysgafn o honi yn y llyfr hwn ydym ni yn adnabod, ac mai nid y pregethwyr a ddirmygir yn gymaint yma ydym ni wedi wrando. Hyd yr ydym ni yn deall, y mae Cymru yn ei phregethu yn cael yn bur onest "holl gyngor Duw;" ac y mae ei phrofiad yn dangos mai y pregethu sydd yn fwyaf o achles i bob rhinwedd ydyw yr un sydd yn dangos gweithredoedd da fel ffrwythau cyfiawnder yn codi oddiar ffydd yng Nghrist fel Gwaredwr, ac oddiar breswyliad ei Ysbryd trwy yr un ffydd yn y galon. Lle bynnag y gallo fod gwyr ieuainc yn ymguro yn erbyn anhawsterau, mae yn sicr nad oes o fewn Cymru yr un pregethwr na fyddai yn dda ganddo wneyd yr oll a allo er eu cynorthwyo; a chredwn mai anaml y ceid yr un o'n pregethwyr na lawenhâi ymhob ychwanegiad sylweddol a wneir at wybodaeth y byd, yn enwedig pan y gwel fod pob profiad a gaed yn y ffordd honno yn dangos fod y cyfan yn dwyn i'r golwg yn fwy cyflawn ogoniant "Arglwydd y lluoedd, yr Hwn sydd ryfedd yn ei gyngor, ac ardderchog yn ei waith." Ond am adael yr "ymadrodd am y groes," "efengyl ein hiachawdwriaeth," yr hon, yn anad popeth, sydd yn dysgu dynion "i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon,"—y mae yn bur sicr y byddai yn chwith iawn gan Gymru weled y pethau hyn yn cael eu gadael allan o'i phulpudau, i wneyd lle i unrhyw wyddoniaeth, neu

ddamcaniaeth, neu farddoniaeth, neu foeseg, y gall y meddyliau gwychaf a grewyd byth feddwl am danynt. Ac yn sicr fe fydd yn ddigon buan i feddwl am hynny pan ddengys y bobl sydd—o'r fath uchelderau—yn edrych i lawr arnom ac yn ein dirmygu, fod eu dychmygion hwy lawer yn fwy nerthol fel moddion i ddyrchafu y byd nag "Efengyl gogoniant Crist, yr Hwn yw delw Duw."

*The Case for Disestablishment: a Hand-book of Facts and Arguments in support of the Claims for Religious Equality. New Edition. Revised and enlarged. Stiff covers*, 1*s*.; *cloth*, 1*s*. 6*d*.
*The Liberation Society: a Jubilee Retrospect*, 6*d*.

Yn y dyddiau hyn, pan y mae rhyfel Dadgysylltiad wedi dychwelyd i'r porth, y mae y cyhoeddiadau hyn yn dra amserol, a da gennym ddeall fod galw mawr am danynt. Fe ddarllennwyd llawer ar y *Case* pan gyhoeddwyd ef gyntaf yn 1884. Ond y mae yn awr wedi cael edrych drosto yn ofalus a bron wedi ei ail ysgrifennu, ac felly wedi ei ddwyn i lawr hyd yr amseroedd hyn. Ysgrifennodd Arglwydd Selborne atebiad i'r llyfr, dan yr enw "Defence to the Church of England against Disestablishment." Fe wneir yma waith cryno ac effeithiol iawn ar ei feirniadaeth ef. Mae y *Case* fel y mae, yn sicr, yn llawlyfr o'r fath werthfawrocaf ar yr holl gwestiwn. Mae yn dangos cydnabyddiaeth helaeth a manwl â phopeth y gallai bod a fynno ag ef, a'r cyfan wedi eu dodi ynghyd dan lywodraeth barn addfed a chlir, ac mewn ffordd a bâr nad all neb fo yn dymuno cael goleuni ar unrhyw fater cysylltiedig â dadsefydliad a dadwaddoliad, ymgynghori ag ef yn ofer. Ac i unrhyw feddwl a fyddo yn agored i dderbyn argyhoeddiad, mae y ddadl a osodir ger bron yn y llyfr hwn, debygem, y fath fel nad ellir ei gwrthbrofi na'i gwrthsefyll.

Y mae y *Retrospect*, neu yr Oldrem hefyd yn dra dyddorol. Yr oedd yn hynod mai yr adeg y dethlid Jubilî Cymdeithas Rhyddhad Crefydd, yr oedd Llywodraeth ei Mawrhydi yn dwyn i mewn i'r Senedd ei Mesur o Ddadgysylltiad a Dadwaddoliad yr Eglwys yng Nghymru. Yr oedd dechreuad y Gymdeithas honno yn fychan iawn, a mawr oedd y rhagfarn a deimlid hyd yn oed gan Ymneillduwyr da yn erbyn y dynion rhagorol oeddent, oddiar ddwfn gydwybodolrwydd a ffyddlondeb i Grist, yn codi eu llais yn erbyn cysylltiad yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Ond yr oeddynt hwy yn "credu, ac am hynny yn llefaru;" ac erbyn hyn fe fyddai yn hynod gweled unrhyw Ymneillduwr nad ydyw yn barod i gydnabod yr amrhisiadwy wasanaeth a wnaethant,—heblaw hefyd fod lliaws mawr o Eglwyswyr mwyaf goleuedig y deyrnas, erbyn hyn, yn mawrhau eu gwaith fel gwasanaeth i grefydd a bendith i ddynolryw. Ac y mae yn dra hynod, er maint y gwrthwynebiad a deimlid i bob diwygiad y gelwid am dano, ac er y proffwydid, o'i basio, y byddai y diluw yn sicr o ddyfod, eto mor esmwyth y mae pob un wedi cymeryd ei le yn ein hanes, ac fel y mae pawb yn cydnabod ei werth! A pheth a feddylid yn awr o unrhyw ddyn a geisiai ddadleu dros ddad-wneyd rhai o'r diwygiadau a ddygwyd oddiamgylch, a'n gorfodi eto, dyweder, i dalu y dreth eglwys; son am atal i Ymneillduwyr fyned i'r Prifysgolion a mwynhau eu holl ragorfreintiau, neu gau drysau yr Ysgolion Gramadegol ar ddannedd plant Ymneillduwyr; gwneyd eto yn amhosibl i neb lanw unrhyw swyddau cyhoeddus heb ei fod yn cymuno yn Eglwys Loegr: gyrru allan o'r Senedd bob Iuddew a phob Pabydd a allo fod o'i mewn; gwneyd yn amhosibl priodi ond yn eglwys y plwyf a chyda gwasanaeth offeiriad; rhwystro i Ymneillduwyr wrth gladdu eu meirw gael gwasanaeth eu gweinidogion eu hunain yn y mynwentydd plwyfol; ail sefydlu eto yr eglwysi a ddadsefydlwyd yn y taleithiau, pan y maent oll yn mawrhau y bendithion a enillasant trwy hynny; neu ail sefydlu Eglwys yr Iwerddon, pan ddywedai ei chyhoeddiad, yr *Irish Ecclesiastical Gazette* yn 1881, ei bod yn y deng mlynedd blaenorol; yn sicr, wedi gwneyd mwy o waith nag a wnaethai *mewn pedwar can mlynedd cyn hynny*, &c. Ac y mae yn dda gennym feddwl, a barnu a

ddaw wrth a fu, y bydd ein cyfeillion yn bur fuan yn cywilyddio wrth feddwl iddynt erioed gadw y fath ystŵr ag a wnant y dyddiau hyn wrth wrthwynebu dadsefydliad a dadwaddoliad yr Eglwys yng Nghymru.

*Elocution and Oratory, designed for Classes and Private Students.* By Rev. T. C. Edwards, D.D., Professor of Elocution, Graduate of the National School of Elocution and Oratory, Philadelphia, U.S.A. Carnarvon: The Welsh National Press Company, Limited. 2/6.

Mae y Llyfr hwn yn un a dalai yn rhagorol am ei astudio. Mae y dull esgeulus a difater y mae llawer yn darllen ac yn llefaru, yn alaethus i feddwl am dano, ac yn enwedig pan feddylir na ofynnai ond am ychydig o feddwl a gofal i wneud eu gwasanaeth trwy hynny yn bur fwynhad. Pan oedd ein Brenhines dirion yn darllen ei hatebiad i'r anerchiad a gyflwynid iddi ar orffeniad yr Albert Hall, yr oedd y papurau yn nodi fel peth hynod fod pob un oedd yn yr adeilad eang yn clywed yn glir ac yn groew bob gair a ddeuai o'i genau, a hynny nid am ei bod yn gwaeddi, ond am ei bod yn torri ei geiriau yn groew ac yn dda. Nid oedd neb yn y tyrfaoedd mawrion na chlywai bob sill a ddeuai o enau John Elias, a chlywsom gan hen gyfaill iddo ei fod yn dweyd wrtho un tro mai yr holl ddirgelwch am hynny oedd, ei fod yn cadw ei lygad ar y *pellaf* yn y dorf, —yr hyn, wrth reswm, a barai iddo ddweyd yn glir. Mae y gwersi a geir yn y llyfr hwn gyda golwg ar hynny, yn gystal yn wir a phob rhagoriaeth arall mewn darllen a llefaru, o werth tra mawr. Hyderwn y gwneir defnydd da o honynt gan liaws o'n cydwladwyr. "Reading aloud is a little accomplishment of mine," ebai Dr. Quincey; y mae yn ddigon rhad yn y farchnad i fod felly i fyrddiynau. Os mynnai y darllennydd hynaws wybod pa fodd i'w sicrhau, ymofynned â Llyfr y Proffeswr Edwards.

*Pictures of Wales during the Tudor Period (Henry VII. to Elizabeth), with some Account of the Translation of the Bible into Welsh by Bishop Morgan, etc.* By J. Birkbeck Nevins, M.D., London, Ex-President of the Literary and Philosophical Society of Liverpool: Edward Newell. 3/6.

Mae yn hyfryd gweled Sais galluog a dysgedig wedi ymgymeryd â chwilio i mewn i hanes ein gwlad yng nghyfnod pwysig y Tuduriaid, ac yn gosod ffrwyth ei ymchwiliad ger bron mewn dull mor foddhaol. Ymddengys fod Dr. Nevins wedi darllen papur ar y mater o flaen y *Liverpool Literary and Philosophical Society*, a thrachefn o flaen dwy Gymdeithas o Gymry yn y ddinas honno; ac wedi gwneyd hynny, yn ol anogaeth dra rhesymol y rhai a wrandawent ei bapur, iddo gario ei ymchwiliad ymhellach i hanes y cyfnod, a dwyn allan y llyfr hwn. Fe gymerodd lawer o boen i ddeall y mater yr ymgymerodd a'i astudio, ac y mae ei waith yn dangos addfedrwydd barn a chydnabyddiaeth ag ysbryd yr amseroedd sydd yn nodweddiadol o'r gwir hanesydd. Gallem feddwl, yn ol tudal. 67, ei fod yntau, fel llawer o'r Saeson, wedi cael ei gamarwain gan y gair "Methodistiaid" i briodoli i Wesley yng Nghymru lawer o waith nad oedd dim a fynnai y gwr da hwnnw ag ef, oblegid nid dylanwad ei addysg *ef*, yn sicr, oedd wedi dyfod mor nerthol erbyn 1799 fel ag i wneyd y newyn am Feiblau Cymraeg yn gymaint fel y prynwyd yr argraffiad o 12,000 o gopïau ar unwaith, a chyn i chwarter Cymru gael ei diwallu. Y rhyfeddod yw, ac yntau heb ddeall Cymraeg, na fuasai wedi syrthio i fwy o amryfuseddau. Diameu fod ei lyfr yn rhoddi i lawer o'n cyd-ddeiliaid, nad oedd eu syniadau ond isel a chymysglyd iawn yn ein cylch, ddirnadaeth lawer gwell am danom, ac yn peri iddynt ddechreu meddwl nad yw y Cymry, wedi'r cyfan, yn gymaint barbariaid ag y temtid hwy i feddwl. Ac yn sicr fe ddylai gael ei astudio yn dda gan bobl Cymru eu hunain, llawer o ba rai sydd yn gwybod yn well am bron bawb nag am

eu tadau, ïe yn wir nag am lawer o'u cymdogion sydd yn trigo gerllaw iddynt. Y dydd o'r blaen dywedodd *guardian* parchus wrthym, wrth son am waith y Bwrdd yn rhoi plant i fyw mewn teuluoedd, yn lle eu cadw yn Nhy yr Undeb, fod pendefiges Gymreig, wrth ymofyn am blant y teimlai ddyddordeb ynddynt, yn gofyn i'r wraig y cartrefent gyda hi, a oeddent yn cael dysgu iddynt ychydig adnodau o'r Beibl. "O ydynt," ebai honno, "y maent yn dysgu adnodau bob wythnos i'w dweyd yn y cyfarfod eglwysig ac yn yr ysgol Sul." Yna galwai ar John ymlaen i adrodd rhai o'r adnodau a ddysgasai ddiweddaf, yr hyn a wnaeth gyda pharodrwydd a gweddeidd-dra un o blant y seiat a'r ysgol Sul; a gwnaeth ei chwaer fach yr un modd. Ond yr oedd y bendefiges yn synnu yn aruthrol wrth hynny, ac yn gofyn, "A oeddent mewn gwirionedd yn dysgu ac yn adrodd yr Ysgrythyrau yn y Capelau Ymneillduol?" Yr oedd hi, druan, wedi ei dysgu nad oedd dim ond *politics* yn cael ei bregethu yn y lleoedd ysgymun hynny, oddieithr anfoddogrwydd at y tirfeddianwyr, a gwrthwynebiad i bob awdurdod. Mae Dr. Nevins yn ein deall yn anfesurol well, ac yr ydym yn diolch o galon iddo am ei gyfraniad gwerthfawr a dyddorol i lenyddiaeth ein hanes.

*Glimpses of Welsh Life and Character.* By MARIE TREVELYAN, author of "Brave Little Women," "Gwenllian-Wen; a Story of Chartist Times," "Lady Stradling's Ghost," "Storm-bound at Pritchard's," etc. London: James Hogg. 6s.

Llyfr wedi ei ddwyn allan yn dra hardd, ac ar ei glawr ddarlun gwych o'r Ddraig Goch, yr hwn y gwarantir ei fod, fel lluman y brenin Cadwaladr, wedi ei gopïo o lyfr a enwir "Prince Arthur," sydd yn yr *Herald's College.* Mae y llyfr wedi ei gyflwyno "by gracious permission, to H.R.H. the Duchess of York." Os ydyw y Dywysoges raslawn wedi ei ddarllen, y mae, yn sicr, yn gwybod cryn lawer am Gymru! Nid ydym yn teimlo y carem i addysgiaeth ei Huchelder am ein gwlad aros ar yr hyn a roddir yma o'i blaen, nac fod yn ddiogel iddi gymeryd cryn gyfran o'r hyn a arlwyir iddi yn y gyfrol brydferth hon ond "gyda gronyn o halen." Mae llawer o'n pethau goreu na cheir un cyfeiriad atynt, ac nid ydyw y cyfeiriadau a wneir at amryw bethau y fath ag sydd yn eu dangos yn gwbl fel y maent. Mae dawn yr awdures fel yr afon, ond y mae yn lled bell o allu ymgadw o fewn y terfynau ag y mae afonydd syber yn boddloni ar lifo o'u mewn. Mewn darluniad o Eisteddfod, lle y cenid Hen Wlad fy Nhadau, dywedir, "Nid oes lygad yn sych! Y mae iasau o deimlad yn ysgwyd yr enaid, fel y mae gwynt cryf yn ysgwyd y coed ar lethrau mynyddoedd Cymru pan genir y gân hon, tra yr ymddengys fod cantorion Cymru yn meddu gallu cyfaredd Amphion gynt, yr hwn a symudai goedwigoedd â swn ei gân." Y mae dipyn yn ddiffygiol mewn cymesuredd, a hynny nid mewn un modd gan nerth unrhyw ragfarn, ond gan afiaeth dawn. Awgrymai John Jones, Edeyrn, pan ymliwiai brawd ag ef am ei ysgafnder, "fod yn anodd gwrthod pêl deg." Mae amryw o'r peli a geir yma y fath ag y buasai yn well eu gwrthod. Mae yn ddiameu fod llawer o'r hen offeiriaid Cymreig yn drwstan eu gwala, ond y mae cofnodi fel hanes ystraeon digrif gweilch na feddylient ond am ysmaldod ar eu traul, yn ormod. Feallai fod yr hanes a geir am yr hen bregethwyr yn rhy unffurf o ran tôn ddyrchafedig, fel yn sicr y mae yr adnabyddiaeth a ddanghosir o bregethwyr y dyddiau hyn yn rhy amherffaith i gyfiawnhau y syniad a roddir am danynt. Ar y naill law, ni chlywsom erioed am bregethau ein cymanfaoedd yn ddwy awr o hyd; ar y llaw arall, nid ydym yn deall fod darllen pregethau ymysg Ymneillduwyr i ofni rhagddo yn agos gymaint ag yr awgrymir yma. Ond er hyn oll y mae y Tremion a geir yn y llyfr ar fywyd y Cymry,—yn enwedig yn Sir Forgannwg, ac mewn dyddiau sydd wedi mynd heibio,—yn dyddorol a thra darllenadwy. Y mae yr astudiaeth o'u hanes a ddanghosir yn ffrwyth ymchwiliad dyfal a llafurus; ac y mae y drafferth ddifyr a gymerwyd i

gasglu o gynhauaf llawn llafar gwlad am ein traddodiadau, a'n coelion, a'n chwedlau, wedi bod yn fawr iawn. Mae yr olwg a roddir ar ein hen lenyddiaeth a phregethu y tadau yn rhagorol; ac y mae y chwedlau dirîf a roddir o bob cyfeiriad yn dangos bywyd a chymeriad y Cymry, ymhob cylch a than bob amgylchiadau, y fath nad allant lai na dwyn ein cymdogion Seisnig i feddwl yn well am danom.

*Wales: a National Magazine for the English-speaking parts of Wales.* Wrexham: Hughes & Son. 6d.

Da iawn. Bwriedir i hwn wneyd gwasanaeth cyffelyb i *Cymru*, ac y mae yn cael ei gario ymlaen ar yr un llinellau. Mae yr amser pan y tybid fod anghofio y Gymraeg yn beth gwych, wedi myned heibio; eto y mae llawer, na feddylient am drawiad amrant am gywilyddio o'u tràs a'u gwaed Cymreig, nad ydynt yn deall yr hen iaith, neu yn ei deall yn ddigon da i fwynhau ei darllen. Bydd yn dda gan lawer felly fwynhau *Wales*. Y mae yn cael ei ddwyn allan yn hardd a deniadol.

*Monthly Treasury: Organ of the English Calvinistic Methodists, or Presbyterian Church of Wales.* Carnarvon: Rev. D. O'Brien Owen. 1d.

Rhwydd hynt i'r *Monthly Treasury*, yr ymdrech oreu a welwyd eto i sefydlu cylchgrawn Seisnig at wasanaeth y Methodistiaid. Darllenasom *A Tale of* 1693, gan J. H. D. gyda dirfawr foddhad. Tybed nad allai fod lloffion cyffelyb lawer eto yn aros hyd ein hardaloedd? Dylid eu casglu.

*Cofiant a Phregethau y Parchedig D. Saunders, D.D.* Dan olygiaeth W. JAMES, Aberdar, a J. M. JONES, Caerdydd. Abertawe: Lewis Evans. 6s. 6c.

*Pryddest Goffadwriaethol i'r diweddar Barchedig David Saunders, D.D.* Gan y Parch. JOHN T. JOB, Aberdar. Aberdar: Mills ac Evans.

Cyfrol a ddarllenasom gyda llawer iawn o foddhad. Yr ydoedd yn ddwfn ofid i lïaws mawr o'i gydwladwyr weled cymeryd y fath weinidog da i Iesu Grist oddiwrth ei waith, a hynny pan y gobeithient fwynhau ei wasanaeth gwerthfawr am lawer o flynyddoedd yn ychwaneg. "Ei haul a fachludodd tra yr oedd hi yn ddydd." Da iawn y gwnaed wrth gyhoeddi mor amserol y gyfrol brydferth a gwerthfawr hon o'i hanes a'i bregethau. Mae yn chwithdod i lawer iawn o'r Cymry "na chânt weled ei wyneb ef mwy," na mwynhau ei weinidogaeth, yr hon oedd mor lawn o oleuni ac mor lawn o fywyd. Yr ydym yn darllen yma, wedi agor y drysau yng Nghapel Bethania, Aberdar, lle y gosodasid ei weddillion cyn y claddedigaeth, y "bu miloedd yn syllu ar yr arch, a thywalltwyd llawer deigryn o hiraeth yno." Hyderwn y bydd llawer o'r "miloedd" hynny, yn gystal a llawer iawn ereill nad allent yn y modd hwnnw ddangos eu parch a'u cariad at Dr. Saunders, yn falch o'r cyfleustra i wneyd y llyfr hwn yn eiddo iddynt, a thrwy ei ddyfal ddarllen barhau eu cymdeithas â'r ysbryd pur a chariadlawn y profasant ei ddylanwad yn gymaint bendith iddynt. Ac y mae yn llyfr sydd ymhob ystyr yn dra theilwng o'r derbyniad mwyaf caredig. Am rai dynion ag y bu swyn eu dylanwad personol yn eu dydd yn fawr, ni ellid cadw ond ychydig o'r eiddynt a allai fod yn werth ei astudio, ac a ddylai brofi yn ddaioni parhaus. Ond yr oedd y brawd anwyl hwn yn dra gwahanol. Yr oedd ei bresenoldeb dymunol, ei lais pêr, y cyfoeth o garedigrwydd oedd yn ei natur, ynghyda'i ymgysegriad i waith ei swydd sanctaidd, a'r "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnnw" a orffwysai mor fynych yn gymaint addurn ar ei gyflawniadau yn peri ei fod yn gymeradwy iawn; yn ei wneyd yntau yn "ganwyll oedd yn llosgi ac yn goleuo," a bod llawer iawn "yn ewyllysgar i orfoleddu dros amser yn ei oleuni ef." Ond yr ydoedd yn ychwaneg. Mae y Cofiant dyddorol a gawn yma yn dangos y fath awydd oedd ynddo am wybodaeth; gyda'r fath ddyhewyd ar hyd ei oes yr ymroddai i'w efrydiau; a'i fod yn barhaus yn ymdrechu i'w berffeithio ei hun, ac i ymgolli yn fwyfwy llwyr yn yr hyn y cafodd y fraint o'i gymeryd yn amcan ei fywyd, sef gwasanaethu Duw yn yr Efengyl. A da iawn ei fod

wedi ysgrifennu cymaint. Gofidid nid yn anfynych na chawsid llawer mwy o ffrwyth ei lafur trwy y wasg. Ymddengys fod y pregethau a geir yma wedi eu dethol o blith y rhai a ysgrifenasai yn fwyaf cyflawn, a dywedir fod yng ngweddill ddefnyddiau cyfrol neu ddwy eto, cyffelyb i hon, "pe amlygid dymuniad am eu cyhoeddi." Mae yn debyg mai trwy bryniad buan ar y gyfrol hon y golygir i'r dymuniad hwnnw gael ei amlygu. A dylid ei roddi ar unwaith. Pe buasai cyfrol o deilyngdod cyffelyb yn cael ei chyhoeddi yn Saesneg, mae yn sicr y buasai mewn ychydig amser yn rhedeg trwy nifer o argraffiadau, a diameu y buasai llawer o'r Cymry yn falch o'i phwrcasu, ac yn ei chanmol yn fawr. Yr oedd Dr. Saunders wrth bregethu, i fyrddiynau o honynt, "fel cân cariad un hyfrydlais, ac yn canu yn dda;" tybed y bydd llawer o honynt yn rhy ddifater, am fod y gyfrol werthfawr hon i'w chael yn Gymraeg, i'w gwneyd yn eiddo iddynt? Cwynai ef ei hunan mewn Anerchiad a geir yma (tudal. 307), "Nid oes mewn llawer cymydogaeth yr un ddarpariaeth o gwbl i wasgaru llyfrau crefyddol, na neb yn eu cynnyg, heb son am demtio dynion i'w prynu. Onid oes llawer llai o ddarllen ar lyfrau crefyddol er pan ataliwyd gwerthu llyfrau crefyddol o gwmpas y capeli? Hwyrach nad oedd hynny y ffurf fwyaf dymunol ar bethau; eithr os gwir yw yr hyn a ofnwn, fe lyncwyd camel wrth hidlo gwybedyn. Wrth ddilea yr hen arferiad, dylesid trefnu rhyw foddion effeithiol a fuasai yn cyflawni yr un gwasanaeth. Dylai ein blaenoriaid a'n pregethwyr ofalu am hyn." Hyderwn y disgyna ei awgrym i galonnau lawer yn hedyn o ffrwythlonrwydd a brawf i liaws yn ddirfawr ddaioni. A dylai y gyfrol hon fyned trwy lawer o argraffiadau. Yr oedd Dr. Saunders ar hyd ei oes yn darllen llawer o'r llyfrau goreu, yn meddwl ei faterion ymhob goleuni a allai gael arnynt o bob cyfeiriad, yn ffurfio ei olygiadau gyda gonestrwydd ac annibyniaeth, ac yn eu gwisgo mewn iaith goeth a naturiol,—y fath fel y mae darllen ei bregethau nid yn unig yn llawn o addysg, ond hefyd yn gyfoethog o fwynhad. Fe allai y dylasai fod golygiaeth y gyfrol dipyn yn fwy gofalus. Nid yw "lle magedig," yn lle magu. Mae y fath dermau dysgedig â meidroniaeth, breintwas, a chofeb-lyfr braidd yn anhawdd i'r Cymro, ac ni fyn hwynt. Nid da yw "gydag holl yni ei natur." Mae yr orgraff yma eto yn gymysgfa anobeithiol. Cawn attyniad, attegu, ynfyttyn, lletty, tlotty, appelio; ond rhaid boddloni ar presenol, trigianu, meddianu, aflwyddianus. Ond cawn annhebyg ac anhebyg, annaturiol ac anrhefn, ac anrhaethol, difynu a dyfynu, dysgwyl a disgwyl, dygwydd a digwydd, ceryg a cerig, lleshad a llesau, yn mlaen ac ymlaen. Mae yr *y* weithiau yn cael mwy o le nag a ddylai, megis yn ymchwyliad, yswylio, chwerthyn, byddyn, penelyn; ac weithiau yr *i*, megis yn y cyfid, a ddyri Duw, ymddoleni, amryw weddai. Cawn hawsach; ber fydd eich arosiad yma; llysieuyn dicwrtaith; y cwrteithiedig. Mae'n debyg mai mewn sessiwn ac nid mewn sassiwn yn Aberteifi yr oedd W. Morris, Cilgerran, yn "wr rhydd."

Am gân Mr. Job y mae yn rhagorol iawn. Nid teilwng y pennill ar y wynebddalen, gyda "mae'r sain" yn clymu efo "ymlaen." Buasai'n well hefyd heb gymaint o lythrennau Italaidd a rhyfeddnodau. Ymdreched ein beirdd ieuainc ddatgan eu syniadau yn y dull goreu fo yn bosibl, a gallant fentro ymddiried am y gweddill i'w darllenwyr. Dyma a gân am lais y pregethwr:—

O fôr o lais! o dan feistrolaeth lwyr,
  Ac fel holl foroedd Duw yn dwyn ei ddeddf;
Fe allsai godi gyda'r bore a'r hwyr,
  A llyfn drawsnewid fel o'r llon i'r lleddf;
Fe allsai ddweyd am ofid dan ei bwn.
  A chanu cerdd llawenydd gyda'r bryn;
Ac ar y llanw miwsig dieithr hwn
  'Roedd duwiau o feddyliau'n torri'n wyn.

A dyma'r disgrifiad o'i bregethu:—

Distawa'r gân,—mae'r dorf yn sylw i gyd!
  Ust! clywch y testyn. Dyna beraidd lais
A pheraidd eiriau wedi cwrdd ynghyd:
  Mae dwyster Duw yn disgyn ar y maes!

Mae'r adnod yn y golwg erbyn hyn,—
  Fel gyda'i bwyslais ef—fe'i gwel y llu;
A dacw y gwirionedd disglaer, gwyn,
  Yn edrych ar y dorf—i'w barnu hi!

Dirwyna'r bregeth yn y blaen mewn nerth,
  Yn llawn amrywiaeth ac unoliaeth byw;
Ac ymgryfhâ y llais mewn rhin a gwerth
  Yngolwg pinacl glan "Holl Gyngor Duw!"
Disgleiria'i wedd fel wyneb Moses gynt,
  A deffry y *ddau lygad* fel dau gawr;
A dacw'r fraich yn hebrwng ar ei hynt
  Y frawddeg nerthol—at y dyrfa fawr!

*Y Tadau Methoditsaidd: eu Llafur a'u Llwyddiant gyda Gwaith yr Efengyl yn Nghymru, Trefydd Lloegr, America, ac Awstralia; ynghyda nifer mawr o Ddarluniau o Bersonau a Lleoedd Nodedig.* Gan y Parch. JOHN MORGAN JONES, Caerdydd, a Mr. WILLIAM MORGAN, U.H., Pant, Dowlais. Rhan I. Pris Swllt. Cyhoeddedig gan yr Awdwyr.

Mae dyfodiad oddiamgylch drydydd Jubili y Corff o Fethodistiaid wedi bod yn achlysur i alw ychydig sylw at yr hanes fawr a phwysig sydd yn perthyn iddo, ac fe ellid gobeithio i hynny fod yn foddion i ddeffro mewn ambell i fynwes awydd i wybod llawer yn ychwaneg am ddynion na ddylid byth eu hanghofio, ac am amserau oeddynt mewn modd arbennig yn "flynyddoedd deheulaw y Goruchaf." Fe gâi y rhai hynny fawr hyfrydwch oddiwrth y llyfr o ba un y mae y Rhan yma y gyntaf. Dywedir y bwriedir cwblhau y gwaith mewn oddeutu pymtheg o Rifynau Daufisol. Ac ni allai eu darllen a'u hystyried lai na dwyn i'r meddwl lawer o oleuni gwerthfawr, a chynhyrchu yn y fynwes deimladau o bur fwynhad nad allai lai na thueddu i wneyd dyn yn fwy glan, ac yn fwy cysegredig i Grist. Mae y penodau a geir yn y Rhifyn hwn ar Sefyllfa Foesol Cymru adeg cyfodiad Methodistiaeth; Griffith Jones, Llanddowror; y Diwygiad Methodistaidd yn Lloegr; a Daniel Rowlands, Llangeitho. Prin y mae eisieu dweyd wrth lawer o'r Cymry, sydd wedi hen goledd meddwl mawr am Mr. Morgan Jones, fod y wybodaeth a geir ganddo yn ffrwyth ymchwiliad amyneddgar a thrwyadl, a'i bod yn cael ei gosod ger bron mewn dull clir a deniadol,—y fath ag a bar fod darllen y llyfr yn wir hyfrydwch. Gwych yw cael y darluniau rhagorol a roddir yma o fannau ag y mae eu henwau yn dwyn gyda hwynt y fath gyfoeth o adgofion; a cheir y darluniau goreu sydd yn aros o'r diwygwyr enwog eu hunain, a'r rheiny wedi eu hargraffu yn gelfydd a hardd. Am yr hanes, y mae uwchlaw pob gwerth. "Pan dywalltwyd gwaed Stephan, dy ferthyr di!" Ac onid ydyw ffyddlondeb ein cydwladwyr ninnau, a gwaed ein merthyron, mor werthfawr a dim y gŵyr holl hanes yr Eglwys am dano? Fe gaed Arglwydd Halifax, llywydd y *Church Union*, i lawr y dydd o'r blaen i Rhyl, i'r cyfarfod Protestio, a'i ddehongliad ef o'r Diwygiad a ddaeth yn iachawdwriaeth i Gymru, ydoedd, "fod gelyn wedi dyfod, pan oedd yr Eglwys wedi hepian a huno, a hau efrau ymysg y gwenith." Nid oedd yr holl lygredigaeth ffiaidd yr oedd yr Eglwys Sefydledig yn ymdrybaeddu ynddo ond tipyn o hûn; ac am lafur y dynion na wnaent, mwy na Phaul, gyfrif o ddim, ac nad gwerthfawr ganddynt eu heinioes eu hun, os gallent orffen eu gyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniasant gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw,—wel, yn ol dehongliad llywydd y *Church Union*, dyma ydoedd, "y gelyn yn hau efrau ymysg y gwenith!" Dywedai Esgob Llanelwy yn yr un cyfarfod, "Mae yn rhaid ymladd y frwydr yn awr, ac wrth y pôl,"—*at the ballot box*. Gwych fydd gan Gymru wneyd hynny, ac yn enwedig dan ysbrydoliaeth y *sarhâd* a deifl y dynion hyn ar y pethau gwerthfawrocaf y gall feddwl am danynt.




CYFROL LI. RHIFYN CCX.

# Y TRAETHODYDD.

## MEDI, 1894.

### CYNHWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF TACHWEDD 1af, 1894.*

PRIS SWLLT.

CAERNARFON:
Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan Gwmni'r Wasg Genedlaethol Gymreig (Cyf.).

# Y TRAETHODYDD.

## Y BWTH-GYLCHOEDD AR FYNYDDOEDD MYNWY A BRYCHEINIOG.

UN diwrnod yn Awst 1892, cychwynodd fy mab John a minnau o'n tŷ yn Forest Coalpit am Ben y Gader Fawr, crib uchaf y Mynyddoedd Du. Pentref gwasgaredig ydyw Forest Coalpit, ar lethr ogleddol Pen-y-fal, y *Sugar Loaf*, ger troed y Gaer, prin ddwy filltir o stesion Rheilffordd Llanfihangel, tua milltir a hanner o Eglwys Cwmyoy, ar lan yr Honddu, ymhen Dyffryn Ewyas, a thua phum milltir o drefi Abergafenni a Chrughywel. Nid ydyw yr enw Forest Coalpit yn tarddu o unrhyw berthynas â glofeyddd yn ystyr Morgannwg i'r gair, ond o'r goedwig gynoesol a'r hen waith o losgi charcoal. Safai y tŷ a ddaliem dros yr haf ar lecyn tra phrydferth yn ymyl cydiad y tair sir,—Mynwy Brycheiniog, a Henffordd, a bron yn y fan lle y mae bwlch cul a rhamantus Cwmcoed-y-cerrig yn lledu i ddyffryn Grwyne Fawr,—ffrwd brithylliaid dra dymunol, yr hon o'i tharddiad tua thair milltir i r gogledd o'r Gadair Fawr, a rêd i lawr rhwng y Fwddog a'r Patrichio i Bontysgub, ac yna a lifa ymlaen mewn cyfeiriad de-orllewinol nes yr ymuna â'r Wysg, ger Crughywel.

Rhedai ein llwybr o'r tŷ i waelod y dyffryn trwy ddau neu dri o gaeau i'r ffordd ger y felin hynafol, lle y croesasom yr afon, ac yr aethom i lôn dywell a chul, sydd yn dringo y troed Patrichio o'r Mynydd Du. Tua phum cant o droedfeddi o waelod y dyffryn, a rhywbeth fel mil o droedfeddi uwchlaw lefel y môr, gadawsom lôn a llwybr, gan wynebu ar y mynydd agored trwy redyn a grug, nes dyfod at le a elwir Blaen yr Henbant, mewn uchder o 1633 o droedfeddi. O'r tu ol i ni y pryd hyn yr oedd dyffryn y Grwyne Fawr, a'r tu hwnt *Sugar Loaf*, wedi ei lliwio yn rhyfeddol mewn gwyrdd, porffor, a gwineu. Yn union i'r de, ymestynai y Fwddog o'r Bal mawr i'r Gaer, hen amddiffynfa Gymreig unwaith o anferth gadernid, a godwyd er cadw y bwlch i Grughywel a dyffryn cyfoethog y Wysg. I'r aswy y mae ucheldir a chaerfa Crughywel yn cadw y fynedfa i wastadeddau Brycheiniog. Ychydig i'r gogledd, cyfyd uchelsarnau Pencerrig Calch a Phenallt Mawr, ac yn y pellder draw treiddia Bannau Brycheiniog trwy dorlan o gymylau i'r heulwen y tu hwnt. Yn union o'n blaen y mae crib dolennog mynydd Patrichio yn codi i'r Gader Fawr, tua phum milltir o bellter. Mewn mannau mae y mynydd yn lled noeth, ond yn gyffredin, fodd bynnag, fe'i gorchuddir â gwisg hardd o redyn a grug. Mae ffordd y mynydd o bentref Llanbedr yn cyffwrdd â Blaen yr Henbant, ond prin y mae yn weledig, a'r ffordd ddiogelaf ydyw cadw hyd grib y bryn yn barhaus hyd y pen. Yn y Crug Mawr, 1800 o droedfeddi uwch y môr, y mae tomen fawr, ac o'r fan honno gellwch weled, nid llawn filltir o ffordd, domen lai, a elwir yn arwyddocaol Garn Disgwylfa; a rhyngom â hi nifer o gerrig ar eu pennau, i nodi terfynnau,

yn dwyn enwau perchenogion y tir ar wahanol gyfnodau hyd tua 1750; cof-feini cyfnewidiolrwydd ffawd. O Garn Disgwylfa mae yr esgyniad yn raddol. Mae y grug yn hir ac yn llathru gwadnau eich esgidiau, oddieithr bod hoelion ynddynt; mae cerdded yn dyfod yn anhawdd, ac y mae cryn bwys ar ewynau y coesau. Ond mae yr awyr yn ardderchog, a phrin y profir unrhyw deimlad o flinder. Nid oes dŷ na thwlc yn y golwg yn unman; ni welir dyn o gwbl; y mae diadelloedd defaid yn pori ar y clytiau gleision; weithiau y mae haid o betris wedi eu dychrynu yn cymeryd eu haden, ac yn anamlach chwi glywch ganu anwar y ceiliog du. Mewn un awr o gerdded o stesion rheilffordd, a hanner awr o dref o gryn faint, chwi a'ch cewch eich hun mewn unigrwydd hollol. Nid oes dim i'ch adgofio eich bod yn croesi yr hyn a elwid unwaith y Black Forest. Nid oes gymaint a choeden i'w gweled yn unman. Rhedyn a grug, tomen a charn, defaid mynydd, nifer mawr o ferlynod mynydd yn prancio gerllaw y Gader, a'r Bannau yn y pellter; yr unig arwyddion gwareiddiad yw y colofnau mwg a gyfyd yn y de-orllewin o ffwrneisiau Blaenafon.

Mewn llecyn tua phedair milltir o Flaen yr Henbant, yr wyf yn meddwl yn agos i bwynt a nodir ar fap yr *Ordnance* fel Pentwyn Mawr, tua 2200 o droedfeddi uwch y môr, darfu i wnhingen, a ddychrynwyd gan ein dyfodiad, fynd o'r golwg i'r ddaear. Funud wedyn, yn y fan lle'r aeth yr wnhingen o'r golwg, gwelsom hwrdd mynydd mawr iawn, mewn modd dieithriol yn codi o'r mynydd. Synnodd y peth fi yn fawr, ac aethom i'r fan, ac mewn ychydig eiliadau daethom at fath o ffos sech. Yr oedd arwyddion cloddio o amgylch. Dilynasom y ffos sech hon nes y cawsom ein hunain yn sefyll o flaen twll mawr oedd yn fynedfa i galon y mynydd, ymhen uchaf ei grib. Goleuasom fatsien, a disgynasom yn ofalus trwy fynedfa o rhyw dri neu bedwar cam o hyd, i ystafell berffaith dywell, braidd yn gromennaidd, heb fod yn hollol gron na hollol ysgwâr, wedi ei dodrefnu, o leiaf ar un ochr, â seddau o gerrig. Yr ydoedd yn deimlad rhyfedd i ddyn ei gael ei hun yn annisgwyliadwy o fewn y mynydd. Rhedai meddyliau un yn ol at dylwyth teg a chewri ac ellyllon storïau ein mebyd, at chwedloniaeth Scandinavia, ac yn fwy neillduol y *Midsummer Night's Dream*, gyda Puck, ac Oberon, Titania, a holl osgordd Brenhines y Tylwyth Teg, ysbrydion bychain y mynyddoedd fel eu gelwir gan y beirdd Cymreig. Onid ydyw yr esboniwr Shakesperaidd, Malone, wedi dweyd wrthym fod Shakespeare, feallai, wedi cael gafael ar Puck yng Nghwm Pwca, ger Tretower, ymysg y mynyddoedd hyn? Adroddir y chwedl gan Lyte, bywgraffydd Henry Vaughan, y Siluriad, a ganodd gân yr *Olor Iscanus*, ac a alarnadodd ar ol ei gyfeillion meirw, ac a welodd ei weledigaeth ryfedd am dragwyddoldeb, feallai o'r llecyn hwn. Dyma eiriau Lyte,—"Yn y lle olaf hwn [Scethrog] dywedir i Shakespeare dalu ymweliad i un o deulu y Vaughans, a thybia ei esboniwr Malone mai yno y cafodd afael ar y gair Puck, am darddiad pa un y mae rhai o'i feirniaid wedi bod mewn penbleth fawr. Mae Bwgan yn Gymraeg yn arwyddo ellyll, a cherllaw Scethrog y mae dyffryn a elwir Cwm Pwci, Dyffryn yr Ellyllon, a berthynai i'r Vaughans, a'r hwn y dywed traddodiad oedd yn hoff gyrchle rhyw Fardd enwog, yr hwn unwaith a ymwelodd â'r gymdogaeth honno."

A ydym yma yn cael un o ffynonellau y Chwedlau Tylwyth Teg,—Tylwyth Teg a Goblyniaid, y bobl fach, Fasgaidd, Iberiaidd, neu Siluriaidd, a wylient eu praidd yn yr ucheldiroedd hyn, ac mewn amseroedd

gwell, yn hir wedi iddynt symud i lawr i'r dyffrynoedd a'r gwastadeddau mwy ffrwythlon, a gawsant le yn chwedlau y wlad fel yr ysbrydion da, wedi ymwisgo mewn gwyrdd, a aent i dai, a wnelent gryn lawer o galedwaith teuluaidd, a wobrwyent lanweithdra, a ddawnsient yn y dolydd yng ngoleu y lleuad, ac a chwareuent fil o branciau yma a thraw, gan fyned mor bell wedi dyfodiad Cristionogaeth â lladrata plant di-fedydd, gan adael eu hepil eu hunain yn eu lle. Yn Ysgotland fe gysylltir y Bythod Ffichtaidd â'r Tylwyth Teg. Dywed Hartland fod yn naturiol cysylltu Tylwyth Teg â Thomennau.

Neu a oes i'r ystafell hanes sydd yn nes atom?

Allan o fy meddwl i fy hun fe ddiflannodd y syniadau am Dylwyth Teg yn bur fuan, gan roi lle i'r golygiad mwy cyffredin ei bod wedi ei gwneyd fel lloches naill ai gan fugeiliaid neu gan ddynion a weithient y ffordd yma trwy gloddio am gerrig at adeiladu a thoi, &c. Mi sylwais yn neillduol arni fel wedi ei gwneyd, nad ydoedd mewn un modd yn ogof naturiol; fod y nen a wnelsid o hen dywodfaen coch y rhanbarth yn gwbl gydwastad â'r llawr, yn anweledig yn wir o bell, ond yn amlwg ddigon o edrych arni yn agos.

I'm mawr ofid, ni ddarfu i ni sylwi arni yn bur fanwl; ni chymerasom fesuriadau, ond cerddasom ymlaen dros le lled anhawdd tuag at y Gader am bellter o filltir neu filltir a hanner, 2624 o droedfeddi uwchlaw lefel y môr. Os ymgynghorir ag un o'r hen argraffiadau o'r *Thorough Guide*, fe welir fod y Gader yng nghanol y Fforest Ddu, nad ydyw ond rhan fechan iawn o'r hyn ydoedd unwaith y Fforest Fawr, gair debygid sydd yn gyfystyr â'r Mynyddoedd Du, sydd yn ymestyn o Sir Henffordd ar draws Sir Frycheiniog i Sir Gaerfyrddin. Heddyw nid oes goeden i'w gweled, hyd yn oed o'r uchder mawr hwn. Mae yr olygfa yn un hynod. Y mae yn gyfarfyddiad mynyddoedd tywyll, pruddaidd, a digroesaw, wedi eu hysgar oddiwrth eu gilydd gan ddyffrynoedd dyfnion a chulion; ond mae y golygfeydd yn dra eang, yn cymeryd i mewn heirdd fryniau Malvern a Leckhampton, sianel Bristol, a rhan o gyffiniau Gwlad-yr-haf. Bydd gennyf achlysur i gyfeirio eto at y Fforest Fawr.

Yn fy nghrwydriadau yn ystod y ddau fis canlynol mi sylwais ar lawer iawn o gloddiadau beision, crynion, ar y bryniau. Gwelais rai o honynt ar Ben-y-fal. O'r rhai hyn, y mae pedair, sydd yn llawn o ddwfr dros ran fawr o'r flwyddyn, yn ugain neu ddeg troedfedd ar hugain o led, heb unrhyw arwyddion o gloddio yn agos atynt. Mae y cylchoedd i'w cael hefyd ar y Fwddog o fewn gwarchgloddiau y Gaer, a gallech eu gweled ar Grug Hywel. Sylwodd Dr. Bull o Henffordd arnynt gerllaw Trewyn a'r Hen Gastell, tu hwnt i Gwmyoy, a galwodd hwynt Bwth Gylchoedd. Dywed y Proffeswr Hayeraft wrthyf iddo sylwi arnynt mewn niferi mawr yn y mynyddoedd o amgylch Mynachlog Llanthony. Nid oes ganddo yntau ond ychydig amheuaeth nad Bwth Gylchoedd ydynt, a dywed fod rhai o honynt yn aros bron fel yr oeddynt wedi i'r nennau syrthio i mewn. Ymhob un y mae y cerrig o'r nennau yn llanw i fyny y cloddiadau beision.

Ar Fryn-arw, gerllaw stesion Llanfihangel, fe'u ceir wrth y cannoedd. Yma amrywia eu lled o wyth i bymtheg troedfedd. Fe'u ceir mewn rhai mannau ar wahân, dim ond un mewn lle; yn fwy mynych y maent i'w cael mewn niferi. Ar Ben-y-fal, ar y Gaer, ac mewn rhai mannau ar Bryn-arw, mae y glaswellt wedi tyfu dros eu hochrau.

Mewn llawer o honynt mae yr ochrau a'r gwaelod yn orchuddiedig a thywarchen sydd o ran ansawdd cystal â'r oreu ar y mynyddoedd. Ond y mae cylchoedd Brynarw ar y cyfan yn ymddangos yn dra gwahanol. Mae rhai o honynt bump neu chwe troedfedd o ddyfnder, ac mewn llawer iawn mae y gwaelod wedi ei orchuddio â cherrig, yn gyffredin mewn pentyrrau afreolaidd.

Mae yn dra hynod nad ydynt wedi cael nemawr neu ddim sylw gan y trigolion na chan ymwelwyr. Ni chrybwyllir am danynt ar fapiau y siroedd, na hen na diweddar. Ni ymddengys eu bod wedi cael sylwi arnynt hyd yn oed gan fapwyr yr *ordnance*.

Mi holais y bobl er cael allan pa un a oes yn aros unrhyw draddodiadau yn eu cylch. Nid oedd y rhan fwyaf o lawer o bobl yr ardal erioed wedi sylwi arnynt, nac erioed wedi clywed yn eu cylch. Dywedai un dyn ei fod yn deall mai pyllau oeddynt i gael dwfr i ddefaid y mynyddoedd; yr oedd un arall wedi clywed eu bod wedi eu bwriadu i lochi y defaid rhag gwyntoedd oerion y gauaf; a thybiai trydydd mai tyllau oeddynt i losgi charcoal.

Ar yr holl fynyddoedd y maent i'w cael mewn niferi o bedwar neu bump; weithiau o ddeg i ugain.

Buasai pwll yma a thraw yn dra rhesymol a phriodol; ond y mae bod pedwar neu hanner dwsin o byllau neu lochesau ynghyd, yn gwneyd dwy o'r damcaniaethau yn rhai nad ellir eu dal. Mae y ddamcaniaeth o loches yn torri i lawr yn wyneb y ffaith fod lloches yn fwyaf angenrheidiol yn y gauaf pan mae y cylchoedd yn llawn dwfr neu eira, neu wedi rhewi drostynt. Ymhellach y maent ar Fryn-arw yn lliosocach mewn nifer na'r defaid a allai y bryn gynnal. Nid oes dim o olion llosgi charcoal ar gyfyl yr un o honynt.

Wedi dychwelyd i Gaerdydd ddechreu Hydref, mi adroddais yr hyn a welswn i nifer o aelodau Cymdeithas yr Anianyddwyr. Mewn canlyniad ffurfiwyd cwmni i ymweled â'r cylchoedd ar Fryn-arw a'r ystafell yn agos i Benygader, ac i'w harchwilio. Gwnelid y cwmni i fyny o Mr. T. H. Thomas, y Proffeswr Hughes, Mr. G. E. Robinson, Mr. Walter Cook, Dr. Trehearne, Mr. James Waugh, Mr. James A. Atkinson, Mr. Bon Jones o Gasnewydd, Mr. John Arnold James, a minnau.

Aethom mewn cerbyd o Abergafenni i ben pellaf ochr ddeheuol Bryn-arw, ond aethom i fyny ar ein traed. Mae y mynydd tua milltir o hyd, yn meddu cyflawnder o ddwfr, yn gorwedd i gryn fesur o ogledd i dde, yn codi o ddyffryn tra chyfoethog i uchder uwchlaw lefel y mor a 1248 o droedfeddi. Rhêd yn yr un llinell â'r Fwddog a'r Gaer, ond yn cael ei ysgaru oddiwrthynt gan Cwm-coed-y-cerrig. Wrth ei odreu dwyreiniol, y mae maenordy a ffos o'i amgylch, a elwir Pen-y-clawdd, a breswylir yn awr gan amaethwr. Mae y bryn yn wylfa o'r fath berffeithiaf, lle y ceir golygfeydd clir ar y wlad bron o Henffordd i Gasnewydd, ac o bob dyfodfa o Grosment, Castell coch, Castell gwyn, Mynwy, Wysg, Cas Went, Caerloyw. Mae ffordd esmwyth a diogel i Ben-y-fal ac i'r Mynyddoedd Du. Byddai yn dra anhawdd dewis llecyn mwy dymunol i'w breswylio gan bobl fyddont yn agored i oresgyniad.

Tua chan troedfedd o'i ben uchaf, galwodd Mr. T. H. Thomas sylw at fur sych a dau neu dri o gylchoedd, mewn pwynt a edrychai i lawr ar Ddyffryn Wysg o Abergafenni i'r mor. Ar y tir uwchlaw yr oedd y cylchoedd mewn nifer mawr, ac archwiliwyd a thrafodwyd hwynt gyda

mawr ddyddordeb a gofal. Yr oedd ein hopiniwn yn dra rhanedig gyda golwg arnynt. Tybiai Mr. Robertson fod y pantiau wedi eu hachosi gan weithrediad dwfr, ac fel prawf cyfeiriai at y brwyn a geid yng ngwaelod rhai o honynt; ond y mae Mr. Strachan o'r *Geological Survey*, a Mr. Howard o Goleg y De, yn dweyd wrthyf mai prin y mae golygiad Mr. Robinson, a allasai fod yn rhesymol ddigon mewn ffurfiad cleiog, yn dal gyda golwg ar fynydd sydd wedi ei wneyd o dywodfaen o gyfnod yr Hen Goch. Tybiai Mr. T. H. Thomas y gallai fod y pantiau wedi eu gwneyd gan gloddwyr wrth chwilio am gerrig at gau i fyny y bryniau, neu er toi mewn mannau ereill. Mae y syniad yma i ryw fesur yn cael ei ategu gan draddodiad y gymdogaeth; ac ni all fod ond ychydig iawn o amheuaeth nad yw y cloddiwr, yn nhreigliad canrifoedd, wedi bod ar waith yn y mynyddoedd hyn, er cyfarfod â chyfleustra tirfeddiannydd ac amaethwr a llafurwr y rhan yma o'r wlad. Ond y mae gwrthddadl gref yn erbyn golygiad Mr. Thomas yn codi o'r ffaith fod y cylchoedd yn gorchuddio rhan dra helaeth o Fryn-arw; a phrin y gellid meddwl y buasai unrhyw nifer o ddynion, mewn unrhyw oes, yn agor cyfran mor helaeth o ben mynydd wrth chwilio am gerrig i adeiladu a thoi, y rhai a ellid gael gyda llawer llai o drafferth yn nes i'w cartrefi a'u gwaith. Heblaw hynny, mae y cylchoedd hyn fel pwnc o ffaith i'w cael, yr wyf yn credu, ar holl fryniau a mynyddoedd Cymru, yn gystal ar y rhai y mae haenau eu hwyneb yn gymysgedig o lech a chalch ag ar y rhai o dywodfaen cyffredin.

A symio i fyny yr holl fater, yr oedd y farn yn bur gyffredin, (1) Fod y cylchoedd hyn yn waith dyn; (2) Eu bod yn dra thebyg i'r Bwth Gylchoedd a geir mewn rhannau ereill o'r deyrnas.

Gellid dwyn dadl dra phwysig oddiwrth enw y bryn. Os cloddiadau beision yw y cylchoedd, nid ydynt o amseriad diweddarach na'r *Enclosure Acts*, hynny yw, y maent o darddiad tra diweddar. Yn awr mae yn debyg fod yr enw Bryn-arw wedi ei roddi i'r bryn mewn amseroedd tra phell. Anaml os byth y mae enwau mynyddoedd ac afonydd yn newid. Bryn-arw yw y Bryn garw. Ac nid oes dim yn ar wyn ei gylch ond yr anwastadeddau a achoswyd gan y cloddiadau hyn.

O Fryn-arw aethom am yr ystafell ger y Gader, ond ar ein ffordd ymwelsom ag Eglwys a Ffynnon Sanctaidd Patrichio, y rhai a gawsom yn dra dyddorol. Elai amser yn gyflym heibio, ac i wneyd stori hir yn fer, methasom gyrraedd adref, a dychwelasom i Abergafenni. Gobeithiem y gallwn wedyn, gyda chynhorthwy Mr. Harrison, ymweled â'r ystafell a photograffio ei thu allan a'i thu mewn; ond yn anffodus daeth dyledswydd ar y ffordd, ac am hynny yr wyf yn analluog i ychwanegu dim at yr ychydig bethau a nodais. Mae y cwestiynau gan hynny yn aros, (1) Beth yw y cloddiadau hyn? (2) Gan bwy, ac ymha oes y gwnaed hwynt?

Yn gyntaf, dymunwn nodi nad oes dim cysylltiad angenrheidiol rhwng ystafell Patrichio a'r cloddiadau cylchynol a ellir weled, yr wyf yn credu, nid yn unig ar fynyddoedd Mynwy, Henffordd, a Brycheiniog, ond dros holl ranbarthau mynyddig Gogledd a Deheudir Cymru; yn wir gallwn fynd ymhellach, a dweyd yr holl deyrnas. Gallai fod yr ystafell wedi ei gwneyd yn ddiweddar, ac eto bod y cloddiadau yn dra hynafol. Ar y llaw arall, gallai fod yr ystafell wedi ei llunio gan yr un bobl ag a wnaethant y cloddiadau, ac i'r un a'r unrhyw ddiben.

Yna beth ydyw y cylchoedd hyn?

Galwai Dr. Bull a Dr. Haycraft hwynt yn Fwth Gylchoedd,—hynny yw, lleoedd trigfeydd dynol. Ond pam y byddai trigfeydd dynol ar yr ucheldiroedd hyn? Prin y gellid credu y buasai unrhyw bobl yn amser heddwch yn dewis pennau mynyddoedd bron anhygyrch yn gartrefi iddynt. A ydyw Dr. Bull a Dr. Haycraft yn iawn? Os ydynt, mae y cwestiwn yn codi,—Beth a gymhellai drigolion y parthau hyn i ddewis y bryniau diffrwyth o flaen gwastadeddau a dyffrynoedd cyfoethog Henffordd a Mynwy? A ydyw y cylchoedd hynod hyn mewn gwirionedd yn lleoedd tai a phentrefi? A allwn ni gael rhywbeth tebyg iddynt yn unlle arall?

Y mae yn iawn i ni gofio fod y dydd hwn filiynau lawer o'r hil ddynol yn byw mewn aneddau daear, mewn bythod tywyrch, ac mewn ogofeydd. Gadewch i ni gymeryd ychydig engreifftiau.

Cymerer yn gyntaf ein gwersylloedd Sipsiwn ni ein hunain. A ymwelsoch chwi erioed â gwersyll Sipsiwn yn union wedi ymadael o'r tylwyth i le arall? Lle y safai pabell, *yno* y mae cylch wedi ei adael, ac o fewn y cylch cewch weddillion tân, yn fynych iawn esgyrn, llysiau, a phethau ereill. Safai y pebyll gyda'u gilydd, a gellid gwybod yn fanwl nifer y pebyll yn y gwersyll wrth nifer y cylchoedd ar y glaswellt. Nid yw y Sipsiwn diweddar yn gwneyd cloddiadau. Nid yw yn cael dim o'i *gynhaliaeth yn* y llawr, ond *arno*. Mae y tebygolrwydd rhwng gwersyll Sipsiwn a'r cylchoedd hyn yn dra tharawiadol. Mae y pwynt o wahaniaeth yn hyn,—tra mae cylchoedd y Sipsiwn ar y llawr, mae y rhai hyn wedi eu cloddio iddo.

Fe gofia y rhai a ymwelsant â'r gwersyll Cymreig ar fryn Worlebury ger Weston-super-mare, y bwth gylchoedd a gloddiwyd allan ychydig flynyddoedd yn ol. Y maent o chwech i ddeg troedfedd o ddyfnder. Yn y gwaelod fe ganfyddwyd offer helwriaeth a rhyfel o gellt, *flint*, a defnyddiau ereill,—esgyrn dynol, pengoglau, a darnau o briddlestri anghelfydd; ac y mae y rhai hyn wedi eu cadw yn ofalus yn Amgueddfeydd Weston a Taunton. A chymharu gweddillion Weston a Bryn-arw, y mae y tebygolrwydd rhwng y ddau ddosbarth o gylchoedd yn ddigon amlwg. Yn achos Tomen y Brenin, yn Ynys Portland, cawn leoedd cychod gwenyn, *bee-hive huts*, wedi eu cloddio yn y ddaear, ac y maent yn adgofio dyn, i ryw fesur, o'r ystafell danddaearol yn Petrichio.

Y mae Rechus, yn ei waith ar *Primitive Folk*, yn dweyd:—"Mae yr Aleutiaid [gorwedda ynysoedd *Aleutianor Kurile* i'r gorllewin o *Alaska*] yn cloddio twll lled ddwfn, ac yn gosod wrth ei ochrau bolion sydd yn cyfarfod yn y pen: yn y rhain gwnaed rhwydwaith o ddellt, *trellis*, a orchuddir yn dew â phridd, o'r hwn yn fuan y daw tywarchen, gan wisgo y cwbl â mantell werdd. Ni ellir gwahaniaethu ty oddiwrth y prysgoed sydd o'i amgylch, ac o bell ymddengys y pentref fel nifer o feddrodau mewn claddfa. Yr unig agorfa a fedd llawer o'r tai ydyw twll yn y pen uchaf, yr hwn sydd simnai, drws, a ffenestr, oll yn un. Eir i mewn trwy y pen uchaf, o'r lle y rhaid llithro i lawr hyd bolyn wedi ei dorri yn rhiciau."

Mae y cylchoedd ar Fryn-arw yn ymddangos yn debyg iawn i bentref Aleutaidd, *gyda'r pebyll* wedi eu symud ymaith.

Mae y Shushwap hefyd, un o lwythau Indiaid Afon Frazer, Gogledd America, yn llunio ty isel neu danddaearol. Cloddir allan dwll o ddeuddeg neu bymtheg troedfedd o led, a phedair troedfedd o ddyfn. Gosodir

polion trymion yng ngwaelod y twll, y rhai a ffurfiant ysgwâr, ac wedi eu hollti yn y pen uchaf, fel y gellid gosod trawstiau i godi, ac yn cyfarfod bron uwch canol y twll. Ar y rhain gosodir coed trymion yn wythonglog, er mwyn cadw y pennau isaf yn eu lle, a chydir estyll ysgafnach sydd yn culhau wrth y trawstiau, i ddal y nen. Mae y gwagleoedd rhyngddynt yn cael eu llanw â gwair, a gorchuddir y cyfan â phridd. Ceir mynediad i mewn hyd drawst a rhiciau ynddo, sydd yn mynd i lawr o'r nen, a gwna y fynedfa simnai fel yn yr achos arall.

Mae y wigwam Americanaidd yn cael ei gwneyd o bolion a changhennau wedi eu cymhlethu â phrysgoed neu gangau deiliog, a'i gorchuddio â chrwyn, tywyrch, neu gerrig gwastad.

Mae Stanley yn ei lyfr *Through the Dark Continent*, yn disgrifio tyllau dyfnion gydag agoriadau bychain crynion, yn arwain trwy amryw fynedfeydd i gloddiadau ehangach, ydynt fel cynifer o ystafelloedd,—cartrefi y llwyth enwog Ungora. Fe gafodd Capten Hayes fod bythod cyffredin Greenland a Labrador yn mesur deuddeg troedfedd o uchder wrth ddeg o led. Nid ydyw ty y Llywodraethwr Danaidd yn Upernavik ond o un ystafell o un troedfedd ar bymtheg o led ac ugain troedfedd o uchder. Mae y muriau wedi eu gwneyd o gerrig, a'r nen o fyrddau a distiau aflunaidd, a'r oll yn oruchuddiedig â thywyrch. Yn yr haf edrycha y caban hwn fel bryncyn gwyrdd, heb fod i'w wahaniaethu oddiwrth y llethr laswelltog, oddieithr am y simnai allan o ba un y daw y mwg o'r tân glo Danaidd. Mae y bwth Indiaidd yn Yucatan, bwth y Cymro sy'n llosgi charcoal, cut y mochyn yn Llantrythyd, a'r cut cwch gwenyn yn Machen, yn ymddangos yn barhad o fythod a geid yn gyffredin yn ein gwlad ein hunain, na wyddom pa nifer o flynyddoedd yn ol.

Fe amrywiai y defnydd o ba un y gwneid y bythod hyn, mae'n ddiameu, yn ol nodwedd y tir, yr hinsawdd, a chynhyrchion y wlad. Mae yr Eskimo yn cloddio twll lle nad yw y tir wedi rhewi; lle y mae y tir wedi rhewi yn galed, y mae yn ofalus yn codi bwthyn gyda thalpiau o iâ. Mewn hinsoddau cynnes a thymherus, os yw y pridd yn ddwfn, fe wneir y bwth o blethwïail wedi eu gorchuddio â thywyrch. Mae y bythod Celtaidd yn cael eu harddangos ar golofn Antoninus yn Rhufain. Ar le creigiog defnyddir cerrig, a gellid cael rhyw syniad am y bythod, os bythod oeddynt, ar Fryn-arw oddiwrth y trigfeydd cychod gwenyn sydd i'w cael yng Ngogledd Ysgotland.

A allaf fi yn awr am funud gymeryd yn ganiatäol mai lleoedd bythod oedd y cylchoedd hyn? Yna pwy a'u hadeiladodd? Pam y codwyd hwynt ar y mynyddoedd hyn? Ac ymha gyfnod?

Fe ddefnyddir y geiriau "bwth gylchoedd" yn gyffredin, ym Mhrydain, i ddisgrifio lleoedd trigfannau ei phreswylwyr cyn-hanesiol cyntaf. Nid ydyw mewn un modd yn angenrheidiol i ni dybied ein bod yn cael ar Fryn-arw neu ar y Mynyddoedd Du weddillion bythod Brutanaidd yn yr ystyr cyffredin. Gallent fod; ond, ar y llaw arall, gallent fod yn rhywbeth llawer iawn mwy diweddar.

Gellid yn deg ddweyd fod y Mynyddoedd Du yng nghanol yr hen Siluria, a gynhwysai diroedd Henffordd, Brycheiniog, Mynwy, a Morgannwg. Meddyliwch beth a gymerodd le yn y tiroedd hyn pan laniodd Cesar. Cafodd y Rhufeiniaid y Siluriaid y rhan fwyaf trefnus a'r fwyaf dewr a galluog o bobl Prydain. Yr oeddynt bron wedi dinystrio gallu y Rhufeiniaid yn yr ynys pan anfonodd Claudius allan y

gorchymyn fod yn rhaid hyd yn oed i enw y Siluriaid gael ei ddileu. Y mae llinell yr amddiffynfeydd Rhufeinig a Phrydeinig, a ymestynai o fryniau Malvern heibio i Whitburn, Croft, Thornbury, i Coxwall Knowle, ar gyffiniau Maesyfed, yn aros hyd heddyw yn gofgolofn guchiog o'r ymgyrch waedlyd rhwng Ostorius Scapula a'r enwog Garadog. Ni ddarfu i Ostorius, fel y cofir, syrthio mewn rhyfel, ond bu farw heb gyrraedd y fuddugoliaeth, a llawenychai y Cymry ar ei farwolaeth, gan ddywedyd er na syrthiodd mewn rhyfel, eto mai y rhyfel a'i dygodd i'w fedd. Fe gafodd ei fab, Didius, leng gyfan wedi ei gorchfygu gan y Siluriaid, y rhai na orchfygwyd hyd ddyfodiad Julius Frontinus.

Y mae map y rhanbarth yn rhoddi heddyw y prawf goreu, yn y wedd o ffurf filwraidd a gorsafol—Kenchester, Mynwy, Wysg, Abergafenni, Caerwent, Caswent, a llawer o drefi a gwersylloedd ereill—o'r ymdrechion a wnaeth y Rhufeiniaid i ddal eu gafael ar y wlad. Y mae sefydliadau y Rhufeiniaid ar y gwastadeddau ac yn y dyffrynoedd. Gyrrid y brodorion i'w llochesau yn y mynyddoedd.

Mewn un parth o Siluria, Sir Henffordd, ymddengys fod llywodraeth y Saxon wedi bod yn fwy trwyadl nag eiddo y Rhufeinwr. Yn amser Offa, Henffordd oedd prif ddinas teyrnas Mercia, a thystia y Clawdd enwog a ymestyna o'r Ddyfrdwy i'r Hafren, natur yr ymgyrch a gymerth le rhwng Offa a Thywysogion Cymru. Darfu i'r Saxoniaid, fel y Rhufeiniaid o'u blaen, ymsefydlu yn nhiroedd ffrwythlawn yr Iseldiroedd, ac mae'n amlwg y bwriedid i Glawdd Offa gyfyngu y brodorion i'r mynyddoedd.

Ni chyfeiriaf yn awr at yr anrheithiau a wnaed gan y Daniaid.

Ond beth a ddywedwn am y Goncwest Normanaidd? Dygodd y Rhufeiniaid gyfraith i'r diriogaeth orchfygedig, ond yr oedd dyfodiad y Normaniad i Gymru yn ddygiad i mewn annhrefn o'r fath waethaf. Canys yr oedd pob Barwn a orchfygai wlad neu ranbarth, yn ymarferol yn benadur o fewn ei diriogaeth ei hun, a byddai mor fynych mewn rhyfel â Barwniaid cyfagos ag â'r tywysogion a'r penaethiaid brodorol; ac yn fynych yn ychwanegol at hynny oll, gwrthodai ufudd-dod i'r Penarglwydd, y *Lord Paramount*, Brenin Lloegr.

Yr un modd â'r Rhufeinwr a'r Saxon, adeiladai y Normaniad ei gastell ar y tir cyfoethocaf oll o fewn y gwledydd. Ymdarawai y brodor fel y gallai ymysg llochesau anhygyrch y mynyddoedd. Dylid sylwi fod Gerald Gymro, *Giraldus Cambrensis*, yn dweyd wrthym fod y Cymry, yn ei amser ef, yn byw mewn bythod neillduedig yng nghanol y coedwigoedd; ond y mae ei ddywediad yn rhy ysgubol i'w dderbyn yn gwbl.

Pwy all ddisgrifio, neu hyd yn oed ddychmygu trueni y brodorion! Yr oedd yr estron arglwydd, ar yr un amser, mewn rhyfel â'r brodorion o amgylch ei gastell ei hun, â'r arglwyddi o waed Normanaidd oedd yn gyfagos, â'r Tywysogion Cymreig, ac â'r Brenin Seisnig. Yr oedd cymdeithas mewn ystad o ymddatodiad. Ffoai y brodorion i'r mynyddoedd, a dilynai eu gelynion hwynt hyd yn oed i'r Fforest Fawr.

Y mae Symonds, gan ddyfynnu Gerald, yn dweyd wrthym fod Rhys ap Gruffydd ym Mhen Cader, wedi rhoddi ei feibion i fyny fel gwystlon i Harri II., yr hwn, ddwy flynedd wedyn, am fod ei fyddin wedi ei gorchfygu gan y mynyddwyr dewr, a dywalltodd ei ddïal ar y gwystlon truain. "Fe wnaeth gyfiawnder ar feibion Rhys, a hefyd ar feibion a merched pendefigion ereill oeddynt gynghreiriaid iddo, yn dra llym; gan

beri i lygaid y bechgyn ieuainc gael eu tynnu allan, a'u trwynau eu torri ymaith neu eu hollti." "Och!" ebe Symonds, "am gytundeb Pen Cader a chyfiawnder Brenin!"

Anrheithiodd Huw Flaidd sir Fflint i fod yn anialwch, ebe Green; "lladdodd Robert o Belesmo y Cymry fel defaid, gorchfygodd hwynt, gwnaeth hwynt yn gaethion, a blingodd hwynt â gwinedd o haiarn." Dywed Hume wrthym y daeth cestyll y pendefigion yn gyrchleoedd ysbeilwyr trwyddedol, y rhai, gan droi allan ddydd a nos, a ysbeilient yn y wlad agored, yn y pentrefi, a hyd yn oed yn y trefi; rhoddent y caethion dan artaith er cael ganddynt ddatguddio eu trysorau; gwerthent hwynt i gaethiwed, a rhoddent eu tai ar dân, wedi ysbeilio o honynt bopeth oedd o werth." Ychwanega y carient ymlaen eu difrod gyda chynddaredd adnewyddol, gan ddangos dialedd anghymmodlon y naill at y llall, ac na osodent derfynau ar eu gormes ar y bobl.

Dyma engraifft ddyblyg o natur ddychrynllyd yr amseroedd. Yn 1176 gwahoddodd William de Breos, Arglwydd Aberhonddu, Sitsyllt ap Dyfnwal, ei fab Gruffydd, a nifer mawr o benaethiaid Gwent, i Gastell Abergafenni, ac wedi gwledda, lladdodd bob un o honynt. Rhydd Gerald awgrym bur amlwg fod Harri II. wrth waelod y gyflafan waedlyd hon, yr hon, sut bynnag, nid aeth heb ei dial. Saith mlynedd yn ddiweddaraeh, darfu i Seisyll ap Eudaf a nifer o feibion y penaethiaid llofruddiedig, bellach wedi tyfu i oedran, ymgynnull yn Abergafenni. Un prydnawn cyfarfyddodd Seisyll Lywodraethwr y Castell, a dywedodd, "Ni a fyddwn yma heno." Cyffrôdd y gair yma, —a ddywedid wrth bob tebyg mewn cellwair,—ofnau y Llywodraethwr, ac am hynny cadwodd ei holl ddynion dan arfau, ac yn barod at beth bynnag a ddigwyddai yn ystod y nos. Ond pasiodd y noswaith heb ddigwydd nac ofn na dychryn, ac ymhell wedi toriad dydd aeth y Llywodraethwr a'i ddynion i'w gwelyau. Cyn gynted ag yr oedd popeth o fewn y castell yn dawel, a'r gwylwyr wedi syrthio i gysgu, Seisyll a'i gymdeithion a ddringasant y muriau; bu ymrysonfa ofnadwy; lladdwyd llawer o'r naill ochr a'r llall, a llosgwyd y castell i'r llawr, oddieithr un tŵr. Am De Poer, Sirydd Henffordd, yr hwn fel goruchwyliwr y Brenin Harri y tybid ei fod wedi cynnorthwyo De Breos, ymosodwyd arno wedyn yn fore un diwrnod yn ei drigfa gerllaw Mynwy. Yr oedd y tŷ yn llawn o westeion ar y pryd. Bu ymrysonfa waedlyd, a syrthiodd nifer mawr, yn cynnwys naw o brif ddynion Sir Henffordd.

Mae Mr. James Davies o Henffordd, yn garedig yn fy nghynorthwyo i osod ger bron ddarlun sydd, debygaf fi, yn gryf iawn, o sefyllfa pethau yng nghyffiniau Gorllewinol Henffordd. Parotôdd Mr. Davies a Mr Bevan o Vowchurch, fap o'r sir, yn dangos y gweddillion Cyn-Rufeinig, Rhufeinig, Anglo-Saxon, a Normanaidd, sydd eto ar gael. Cyhoeddir y map yn fuan dan nawdd Cymdeithas Hynafiaethwyr Llundain. Mae y gweddillion Normanaidd yn 29; y rhai Saxon yn ddim ond 3; y rhai Rhufeinig yn 14; a'r rhai Cyn-Rufeinig yn 28. Am y gweithiau milwrol pur, mae y rhai Normanaidd yn 23; y rhai Saxon yn 3; y rhai Rhufeinig yn 3; a'r rhai Cymreig yn 13.

Mae yn hynod fod gennym yn Brampton Bryan gastell Normanaidd, castell Anglo-Saxon, gwersyll Rhufeinig, a gwersyll Cymreig yn ymyl eu gilydd,—ffaith dra arwyddocaol o'r ymrysonau diddiwedd a gymerent le yn y fan honno.

Fe ddywedwyd gan ysgrifennydd hanesyddol Cymreig galluog, yn ystod y pedwar can mlynedd rhwng ymadawiad y Rhufeiniad a'r Goncwest Normanaidd, nad oedd braidd droedfedd ysgwâr o'r wlad nad ydoedd wedi ei staenu a gwaed dynol.

Y pwynt y dymunwn alw sylw ato ydyw fod yr holl amddiffynfeydd hyn wedi eu codi wrth draed y mynyddoedd Cymreig. Mae y ffaith yn dra arwyddocaol am wir sefyllfa yr achos. Ond nid ydym heb dystiolaeth uniongyrchol a chlir sydd yn profi y rhaid fod poblogaeth fawr ar fryniau Brycheiniog,—gan mwyaf mae'n debyg, yn y Fforest Ddu a'r Fforest Fawr.

Y mae mynachod Llanthony wedi datgan mewn geiriau eglur fod y "Cymry Gwyllt" yn dyfod i lawr o'r mynyddoedd o bryd i bryd, yn dinystrio rhannau helaeth o'r Fynachlog, yn anrheithio y meusydd, ac yn gwneyd y lle yn anamddiffynadwy. Ysgubai y "Cymry Gwyllt" i lawr o'r mynyddoedd, dinystrient bopeth o'u blaen cyn belled a Henffordd, a thrachefn a thrachefn gwnaethant y ddinas honno ei hun yn lludw.

Ond yn awr, sylwer,—nid oes dŷ, nid oes fwthyn, nid oes fur i'w gweled yn unlle ar lethrau y Mynyddoedd Du.

Ple ynte yr oedd y "Cymry Gwyllt" yn byw? Onid yw y ffeithiau hyn ynddynt eu hunain yn ffurfio coel-brawf fod y cylchoedd y gelwir sylw atynt yn lleoedd pentrefi Cymreig, a ffurfiwyd gyntaf, feallai, mewn amseroedd diweddar yn oes y cerrig, *neolithic*, ac a adgyweiriwyd fel yr oedd achos yn galw o oes i oes ac o ganrif i ganrif. Mae'n bosibl y gellir eto brofi eu bod yn Ddinasoedd Noddfa i ba rai y ffoai y Cymry yn ystod goresgyniadau olynol. Gallai fod yn ddyddorol ychwanegu fod presenoldeb dyn o'r cyfnod *neolithic* yn y rhan yma o'r wlad wedi ei brofi gan Symonds a Boyd Dawkins.

Ni pherthyn i mi siarad yn bendant, ond yn fy meddwl fy hun ni allaf lai na chysylltu y cylchoedd a ddisgrifiais ag amddiffynfeydd y Gaer, Crug Hywel, a Chaer Cwmyoy, â'r gweithiau milwraidd a'r cestyll Rhufeinig, Saxon, a Normanaidd sydd wedi britho yr holl fynyddoedd a'r dyffrynoedd ydynt mor hynod am eu nerth ag ydynt am eu nifer.

Yr ydwyf yn gwybod yn dda nad ydwyf ond wedi gosod ger bron nifer o bwyntiau sydd yn debygol. Ni cheir prawf ond yn unig trwy gloddio. Trwy gloddio, a thrwy gloddio yn unig, y gallwn egluro y dirgelwch.

Mae y cylchoedd hyn yn rhanbarth gweithrediadau Cymdeithas Naturiaethwyr Caerdydd. Hyderaf y cymer i fyny dasg y cloddio mor fuan ag y bo yn bosibl, oblegid y mae y gwrthrychau hynafiaethol hyn, y rhai yn genedlaethol o hanesyddol ydynt o gymaint dyddordeb, yn diflannu yn dra phrysur: pa mor brysur, ni a allwn i ryw fesur ddyfalu pan feddyliwn nad oes heddyw ond tri o weddillion yng Ngorllewin Sir Henffordd o weithiau Saxoniaid teyrnas Mercia, prif ddinas pa rai yn nyddiau y Brenin Offa oedd Henffordd ei hun.

Nid yw sefyllfaoedd y trefi Rhufeinig mawrion Magna ac Ariconium, yn awr ond materion o amcandyb.

Gofynna y gwaith o gloddio yr amynedd a'r gofal mwyaf.

Dylid ei ddechreu yr wyf yn meddwl o fewn amddiffynfeydd y Gaer a Chrug Hywel. Gallai cynnwys y cylchoedd ddwyn profion o lawer o

ffurfiau ar wareiddiad yn ymestyn yn ol at gyfnod yr Iaafonau, y *Glacial period.* Gallai archwiliad trwyadl o ddyffrynoedd a mynyddoedd Mynwy a Henffordd ddwyn pethau i'r golwg cystal ag a gaed eisoes yn Sir Henffordd ac a nodir ar fap Clwb Woolhope, yr hwn, fel y dywedais, a gyhoeddir yn fuan gan Gymdeithas yr Hynafiaethwyr; a thaflant oleuni mawr ar fesur a nodwedd dylanwad y Cymro, y Rhufeinwr, y Saxon, a'r Normaniad o fewn y gwledydd hyn. Gellid cael rhyw syniad am natur a mesur y dylanwad hwnnw oddiwrth nifer y gweddillion a ddarganfyddwyd eisoes yn Sir Henffordd. Eu nifer ydyw,—Cyn-Rufeinig neu Gymreig, 67; Rhufeinig, 31; Anglo Saxon, 15; Normanaidd, 43. Po fwyaf a feddyliwn uwch ben y ffigyrau hyn mwyaf awgrymiadol y deuant.

*Coleg y Brifysgol, Caerdydd.* IVOR JAMES.

# LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. THOMAS CHARLES O'R BALA AT BAR IEUANC OEDD NEWYDD BRIODI.

[Cafwyd y Llythyr hwn yn ddiweddar ymysg papurau perthynol i deulu Perthëos, Dolwyddelen. Ni ellir gwneyd allan yn sicr at bwy yr ysgrifennwyd ef, ac y mae yn amlwg mai copi ydyw, wedi ei wneyd yn ofalus ond nid gan law gelfydd. Nid oes amheuaeth nad Mr. Charles a luniodd y llythyr, ac y mae yn dda genym gael ei ddiogelu.]

ANWYL GYFEILLION,—

Heddyw im hysbyswyd o'r digwyddiad hapus o'ch prïodas. Bydded wiw gennych dderbyn oddiwrth Mrs. Charles a minnau ein didwyll a'n gwresog gydlawenychiad ar yr achlysur gorfoleddus. Hefyd dymunaf eich derbyniad o ychydig arwydd o'n gofal a'n gwir ddymuniad am eich dedwyddwch dyfodol. Diameu nad oes arnoch eisieu Beiblau; ond ni allaf feddwl am eich anrhegu â dim llai ei werth.

Mae ei wisg yn ddiddarfod, ac y mae yn ddiogel yn erbyn effeithiau difäol holl lyfr-bryfaid y byd.

Ond nid ydyw ei arddull oddiallan yn wrthrych i syllu arno pan ei cymharer â'i gynnwys tufewnol. Mae yn air Duw!—gair y bywyd! Mae yn abl, o'i gredu, i gadw yr enaid. Mae yn cynnwys tystiolaeth fawr Duw am ei Fab, a pherffaith gyfarwyddiadau ymhob sefyllfaoedd, ac yn ddigonol gynhaliaeth ymhob caledi a blinderau.

Yn eich sefyllfa newydd bydd arnoch eisieu dau beth yn feunyddiol, sef cyfarwyddyd a chynhaliaeth. Yn newidiad eich amgylchiadau gelwir arnoch at ddyledswyddau newyddion, ac i brofedigaethau newyddion. Ni fydd i chwi o ddisgwyl yn wahanol ond eich twyllo eich hunain.

Nid wyf yn ameu nad yw y naill a'r llall o honoch wedi eich cynysgaeddu â phob cymwysterau angenrheidiol er gwneyd y sefyllfa brïodasol yn hapus; ond eto caniatewch i mi ameu fod eich uniad ynghyd yn rhy angylaidd. Goddefwch i mi gredu eich bod yn fab a merch i Adda syrthiedig, ac fel y cyfryw eich bod yn llawn o wendidau a cholliadau. Bydd ar y naill a'r llall o honoch eisieu cymorth, amynedd, a dioddefgarwch. Ie, llai na chymorth Dwyfol sydd yn ddiffygiol at bob

un o'ch eisieu. Bydd i chwi y ddoethineb uchaf, fel y mae yn ddyledswydd arnoch, i rodio yn agos at yr Arglwydd. "Ef, gan hynny, a wasanaethwch, ac wrtho Ef y glynwch." Byw heb Dduw yn y byd a raid fod yn wir yn fywyd truenus, ïe, er bod yn nghanol llawnder. Bydded ei ras, ei ffyddlondeb, ei wasanaeth, ïe a'i groes, eich cysur a'ch ymffrost trwy eich bywyd. Gwnaeth ereill brawf o hono ymhob cyflwr ac amgylchiad posibl mewn bywyd (Heb. x.); cawsant Ef yn ddigonol iddynt hwy, ac yn gynhorthwy tra phresennol ymhob trallod. Dilynwch hwynt, y rhai trwy ffydd ac amynedd a etifeddasant yr addewidion. Fy nghyngor yw, ceisiwch gymaint o ddaioni ag a ellwch. Y Beibl a'ch cyfarwydda pa fodd i gyrraedd y naill, a pha fodd i gyflawni y llall. Gadewch iddo yn feunyddiol fod eich llogell-gydymaith, a'r ffynhonnell i ba un y byddwch yn edrych am eich holl gysuron. Ei ffrydiau byth ni sychant, ac ni ellir byth ddihysbyddu ei drysorau. Mae yn cynnwys darluniad o'n hetifeddiaeth anllygredig, yn gystal â disgrifiad o'i gogoniant anniflanedig. Anwyl gyfeillion, edrychwch i mewn iddo hyd nes y bo y ddaear a'i hoferedd yn diflannu o'ch gwydd, a golygfeydd nefol yn gorlenwi eich calonnau. Nid rhaid i mi ychwanegu; fy rhodd fechan a ddywed i chwi bob peth, ïe "dyfnion bethau Duw." Ymataliaf, fel y caffoch wrandaw arno ef.

Gyda'n hunedig barch i chwi,
Ydwyf anwyl gyfeillion,
Eich serchog gyfaill a gwas,

*Bala, Rhagfyr* 12, 1809. THOMAS CHARLES.

---

## ADGOFION DR. STOUGHTON.

*The Recollections of a Long Life.* By Rev. JOHN STOUGHTON, D.D. London: Hodder and Stoughton. 6s.

Y MAE enw Dr. Stoughton yn adnabyddus fel awdwr y gwaith llafurfawr, *Religion in England*, Hanes Crefydd yn Lloegr o'r flwyddyn 1640 hyd diwedd y ddeunawfedd ganrif; a hefyd fel un o weinidogion mwyaf amlwg a llwyddiannus yr Annibynwyr am ysbaid maith yn Llundain. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1807, ac felly y mae wedi cyrraedd oedran mawr. Yn ddiweddar gorffennodd yr hyn a ddechreuasai ers talm, sef ysgrifennu ei Adgofion, ac y mae wedi eu cyhoeddi yn gyfrol hardd a thrwchus o yn ymyl pedwar cant o dudalennau. Ymhlith yr adgofion hyn y mae llawer o bethau tarawiadol a hyfryd iawn. Wrth ddarllen y gyfrol brydferth, hollol deilwng o'r Meistri Hodder a Stoughton, yr oeddym yn cael ein hunain yn ymdroi mewn cymdeithas uchel a diwylliedig, ac yma a thraw yn cael agoriad i dai urddasol, a chyfrinach rhai o bobl oreu y byd. Bu Dr. Stoughton mewn "teithiau lawer" dros fôr a thir, a rhoddir i ni ddisgrifiadau grymus a bywiog o rai o'r golygfeydd rhyfeddaf ar wyneb y ddaear. Ac y mae'r naws grefyddol sydd yn rhedeg trwy y llyfr yn ychwanegiad mawr at ei werth. Er na fwriadwyd i'r gwaith fod yn hunan-gofiant, eto o angenrheidrwydd yr ydym yn cael ynddo nid ychydig o hanes Dr. Stoughton ei hun.

Yn Norwich y ganwyd ef. Cyfreithiwr oedd ei dad, ac ym mlynyddoedd olaf ei fywyd addolai gyda'r Wesleyaid. Perthynai ei fam i'r

Crynwyr, a magesid ef gyda'r enwad hwnnw gan ei fam, ond yr oedd ei dad yn Wesleyad, ac yr oedd yn cofio John Wesley. Yr oedd yn byw gyda'r teulu pan yr oedd efe yn fychan, foneddiges a adwaenai George Whitfield yn dda, ac yr oedd yn hoff o adrodd am dano. Yr oedd ei dad a'i fam yn darllen llawer, ac yn dra gwybodus a deallus. Derbyniodd eu mab elfennau addysg mewn ysgolion fel plant ereill; ond y mae yn priodoli ei ddiwylliad yn bennaf i'w waith yn "llyncu llyfrau, i ymddiddanion adeiladol, a'r pleser a gymerai mewn talu sylw i natur, ac mewn edrych ar bethau hynafol." Ar ol gorffen ei ysgol, gosodwyd ef mewn swyddfa cyfreithiwr, yr hwn oedd yn Babydd, ac wedi canfod y chwilfrydedd oedd yn y llanc a ddechreuodd ymresymu âg ef mewn perthynas i draws-sylweddiad, purdan, ac erthyglau ereill yng nghredo yr Eglwys Rufeinig. Ond yn lle siglo ei ffydd, bu y dadleuon yn foddion i'w symbylu i ddarllen a meddwl, ac yn y diwedd i gadarnhau ei enwyddorion Protestannaidd. Eithr fe gafodd ei gyffyrddiad boreuol â Phabyddion, ac â phersonau rhagorol yn perthyn i'r gwahanol enwadau crefyddol, yr effaith o'i wneuthur dros ei fywyd yn dra ëang ei ryddfrydigrwydd gyda golwg ar y rhai a ddalient olygiadau gwahanol i'r iddo ef, ac y mae wedi gallu ymdroi yn esmwyth yn eu plith a gwneuthur defnydd mawr o'r fantais a enillodd trwy hynny,—yn enwedig ym mharatoad ei waith pwysig ar Hanes Crefydd yn Lloegr. Pan yn un ar bymtheg oed, symudwyd ef i swyddfa arall, gyda'r amcan o'i rwymo i fod yn gyfreithiwr, lle y daeth i gyffyrddiad â gwr ieuanc o gymeriad rhagorol ac wedi cael addysg dda, yr hyn a fu yn gymorth mawr iddo. Yn fuan ar ol hyn, daeth ei droedigaeth, yn gyntaf oll trwy ddarllen pregeth Dr. Chalmers ar Rhuf. v. 10, a gwrando pregeth arall gan weinidog Wesleyaidd ar y testyn mawr, Ioan iii. 16. Yn y flwyddyn 1826, gwnaeth ei ymweliad cyntaf â'r brifddinas, pryd y cafodd gyfleustra i wrando y Doctoriaid Adam Clarke a Collyer, a dyfnhawyd ei argraffiadau crefyddol. Yr oedd y syniad eisoes wedi meddiannu ei feddwl mai y gwaith goreu mewn bod yw pregethu yr Efengyl a bugeilio praidd Duw, a theimlai awydd cryf yn y cyfeiriad hynny. Ar ol ei argyhoeddiad daeth ei dueddiad yn benderfyniad. Ond gyda pha enwad? Ar ol ystyried y cwestiwn yn ddifrifol, a darllen yr hyn oedd o fewn ei gyrraedd ar hanesiaeth a ffurf-lywodraeth eglwysig, gwnaeth ei feddwl i fyny i fwrw ei goelbren gyda'r Annibynwyr, ac ymunodd a'r Eglwys Gynulleidfaol yn Norwich. Amlygodd i'r gweinidog ei ddymuniad am fyned i'r weinidogaeth. Yn 1828 aeth i Athrofa Highbury. Yma cafodd yn gyd-efrydydd yr enwog arhraw, Henry Rogers, awdwr amryw weithiau adnabyddus, a'r hwn a olygodd argraffiad Cymdeithas y Traethodau Crefyddol o weithiau John Howe. Fel hyn yr ysgrifenna Stoughton am dano: "Rhwystrwyd ef gan ei lais gwan i fod yn bregethwr effeithiol; ond yr oedd ei ddysgeidiaeth a'i allu yn ei gymhwyso yn amlwg i fod yn Athraw. Yn y swydd honno gwnaeth wasanaeth mawr yn Spring Hill, Birmingham, ac wedi hynny yn y Lancashire College, Manchester. Edmygid ef yn fawr gan Arglwydd Macaulay, a chan Archesgob Whately. Gostyngeiddrwydd gormodol yn unig a'i cadwodd allan o'r cylchoedd llenyddol uchaf. Meddai ar alluoedd meddyliol cryfion, ac yr oedd yn ymresymwr cadarn. Hyd ddiwedd ei fywyd yr oedd Rogers yn gristion gostyngedig a defosiynol. Bu ein cyfeillgarwch mewn blynyddoedd dilynol yn ddymunol, ac i mi yn gefnogol o'r mwyaf." Un arall o'i gydefrydwyr yn Highbury

ydoedd Samuel Bergne, wedi hynny am flynyddoedd un o brif ysgrifennyddion Cymdeithas y Beiblau. Ymdaflodd Stoughton yn egnïol i'w efrydiau, ac ymbarotodd yn gydwybodol ar gyfer gwaith mawr ei fywyd. Derbyniodd hefyd lawer o symbyliad oddiwrth y cynhyrfiad politicaidd oedd yn ffynnu yn ystod y pedair blynedd y bu yn yr Athrofa. Yn 1828 y pasiwyd y ddeddf Seneddol yn diddymu y llwon yr oedd raid i aelodau y Cynghorau Trefol eu cymeryd, ac yn 1829 y mesur yn ffafr rhyddid helaethach i'r Pabyddion. Yn 1830 bu farw George y Pedwerydd, ac esgynodd William ei frawd i'r orsedd yn ei le. Y flwyddyn ddilynol, sef 1831, dygwyd i mewn y Mesur Diwygiadol. Ond rhan bwysicach o'i addysg ydoedd y cyfleusterau mynych a gafodd yn y blynyddau hyn i wrando rhai o brif gewri y pulpud yn Lloegr. Yn achlysurol bu yn gwrando Daniel Wilson yn Islington, ar ol hynny esgob Calcutta. Byddai yn aml yn myned drosodd i Camberwell, i wrando Henry Melvill, yr hwn oedd ar y pryd yn anterth ei nerth a'i boblogrwydd; a dywed am dano: "Ei ddull oedd hynod—siglai ei ben mewn modd nodweddiadol, a goslef llais dieithr ar ddiwedd brawddeg, yr hyn a dynnai ac a gadwai sylw y gynulleidfa. Gyda golwg ar ei arddull, yr oedd yn eithafol o gelfyddydol; pob paragraff yn ymddangos yn cael ei ffurfio ar yr un cynllun, yn diweddu gyda geiriau y testyn, megis esgyneb wedi ei throi yn dda. Y pregethwr a ysgubai ei wrandawyr o'i flaen gyda grym llifeiriant o bwynt i bwynt." Yr oedd Rowland Hill yn parhau i lanw capel Surrey. Clywodd Stoughton ef yn traddodi pregeth, yn yr hon yr anogai bobl ieuainc ar fin priodi i brynu un celfigyn neillduol, sef drych cydwybod dda, fel gan ei gadw yn lân y gallai gwr a gwraig weled eu hunain ynddo gyda diolchgarwch a llawenydd. Byddai John Angell James weithiau yn ymweled â'r brifddinas; ac yn amlach William Jay o Bath, yr hwn a feddai lais soniarus, ac a draddodai bregethau tarawiadol ac argraffiadol (*pithy and impressive*). Arno ef y disgynnodd y gorchwyl o bregethu pregeth angladdol Rowland Hill. Y Saboth canlynol i hynny gweinyddodd Dr. Stoughton yng nghapel Mr. Jay yn Bath, ac yr oedd rhai yno yn rhyfeddu fod y gweinidog yn anfon llanc mor ieuanc i bregethu iddynt. Ond yr oedd Mr. Jay wedi gweled Stoughton. "Yn 1886, pan yn fy hen ddyddiau yn gweinyddu yn yr un pulpud," ysgrifenna Dr. Stoughton, "dywedodd boneddiges wrthyf ei bod yn cofio y buaswn yno dros hanner can mlynedd yn ol, pan y rhyfeddai y bobl fod eu gweinidog yn anfon y fath fachgen i gymeryd ei le." Y mae yn enwi hefyd James Parsons o York, Edward Irving, a Dr. Chalmers ymysg y rhai a wrandawodd pan yn efrydydd, ac a wnaethant argraff ddofn arno. Dywed am yr olaf ei fod "yn gweithio ei hunan i gynhyrfiad tu hwnt i ddim erioed a welsai. Yr oedd yn ofnadwy, ac eto ymddanghosai yn naturiol. John Knox ydoedd drosodd drachefn, John Knox mewn dull, ond yn fwy na John Knox mewn meddwl a hyawdledd ymadrodd. Yr oedd yn symud megis cwmwl, yn symud oll os yn symud o gwbl. Y ffaith yw, yr oedd yn teimlo yr hyn a ddywedai. Yr oedd yn myned i lawr i ddyfnderoedd ei enaid ei hun, ac am hynny fe gyrhaeddai eneidiau ereill."

Derbyniodd Stoughton alwad oddiwrth yr eglwys Annibynnol yn Windsor i fod yn gynorthwywr i'r Parch. A. Redford, a dechreuodd ar ei ddyledswyddau bugeiliol yn 1832. Yr oedd yn Windsor, fel y gallesid disgwyl, lïaws o draddodiadau am y brenin George III. Yn

un peth yr oedd yn arfer codi yn fore, yn rhoi tro allan cyn brecwast, a galwai mewn siop lyfrau, ac edrychai ar y cyhoeddiadau ar y bwrdd; ond un bore gwelodd yno waith gan Tom Paine, a dyna y tro diweddaf iddo alw. Yr oedd un neu ddau o dylwyth y brenin yn arfer addoli yn y capel Annibynnol, a chlywyd ei fawrhydi yn dweyd:—"Y mae y clerigwyr yn cael eu talu gan y wlad am weddïo drosof fi, ond y mae Mr. Redford yn gweddïo drosof yn ddidâl." Yr oedd yr hen weinidog mewn parch mawr yn y dref. Cyfrannodd pob dosbarth o'r trigolion, yr offeiriaid yn eu plith, tuag at y capel newydd a agorwyd yn Mai 1833,—y ddau aelod Seneddol £50 yr un, ac un o honynt oedd Mr. Stanley, ar ol hynny Iarll Derby. Y dydd ar ol yr agoriad neillduwyd Mr. Stoughton; diwrnod mawr a phwysig yn ei hanes, a phan yn ysgrifennu yr adgof ymhen hanner can mlynedd a throsodd, yr oedd ei ddylanwad sanctaidd yn aros yn newydd ar ei ysbryd. Mae yn ymddangos i'r gweinidog ieuanc ymdaflu yn galonnog i'w waith, ac iddo yn fuan ennill sylw a pharch ei gyd-drefwyr. Yr oedd yn bresennol yng nghladdedigaeth William IV., a hefyd yng ngwasanaeth coroniad ein Grasusaf Frenhines yn Westminster Abbey; ac yn un o'r personau a benodwyd i gyflwyno cyfarchiad dros dref Windsor i'r Frenhines wedi ei phriodas. Cydweithiodd yn egnïol yn sefydliad ysgol babanod yn Windsor. Ymunodd â changen y Feibl Gymdeithas, ac ymhlith ei adgofion am y rhan yma o'i waith, y mae y ddau lythyr sydd yn dilyn. Yr oedd yn byw yn ymyl Windsor offeiriad cyfrifol o'r enw Sydney Godolphin Osborne ("S.G.O."), yr hwn a ysgrifennodd at Arglwydd John Russell i geisio ganddo i ofyn i'r Frenhines am ei henw fel noddydd i'r Gymdeithas. Dyma'r atebiad:

SYR,—Y mae gennyf yr anrhydedd i gydnabod derbyniad eich llythyr ynghylch Cangen Feibl Gymdeithas Windsor, yr hwn a gyflwynais i'r Frenhines, ac er nad yw ei Mawrhydi yn arfer cyfrannu at y sefydliadau ag y mae yn rhoddi ei nodded yn unig iddynt, eto gan ystyried fod y sefydliad hwn yn ymyl Castell Windsor, y mae y Frenhines yn rasol wedi fy ngorchymyn i anfon ugain gini o rodd at y gymdeithas. Byddwch mor garedig a chydnabod derbyniad y swm amgauedig.

Y mae genyf yr anrhydedd, &c.,
H. WHEATLEY.

Danfonwyd y llythyr uchod at Mr. Stoughton gyda'r nodyn canlynol:—

Ysgrifennais at Syr H. Wheatley gyda golwg ar rodd oddiwrth y Frenhines at y Feibl Gymdeithas. Yr wyf wedi derbyn ateb boddhaol, ynghyda chyfraniad o ugain gini. Os byddwch yn cydweled, mi garwn na byddo neb yn cael gwybod y ffaith ond ni ein dau ar hyn o bryd. Ar y foment bresennol mae y wlad mor ynfyd ei phleidiaeth, fel y mae yn benderfyniad i ddal ar unrhyw beth er mwyn amcanion plaid, ac am hynny yr wyf yn bryderus i beidio rhoddi mantais i'r naill ochr na'r llall mewn mater nad oes a fynno o gwbl â gwleidyddiaeth. Yr wythnos ddiweddaf yr ysgrifennais o Gymru, a chefais atebiad ar unwaith, yr hwn wyf wedi ei gydnabod, gan ddweyd yr un pryd yr anfonir cydnabyddiad mwy swyddogol ar ol y cyfarfod blynyddol.

Yr eiddoch yn wir,
GODOLPHIN OSBORNE.

Ar y 12fed o Fai, 1835, priododd Mr. Stoughton wraig, merch un Mr. George Cooper, blaenor yn y capel, a Gaius yr eglwys. Pan fyddai Rowland Hill ar ei ffordd i lawr i Wotton-under-edge, byddai yn aros yn ei dŷ, a rhoddai bregeth yn y capel. Yr oedd bechgyn Eton bob amser yn dyfod i'w wrando (yr oedd efe ei hun yn un o hen ysgolorion

Eton). Yr oedd Mr. Hill yn hoff o glywed cynulleidfa Windsor yn canu emym Watts ar y ganfed Salm, a phan y deuid at y llinell olaf,—

When rolling years shall cease to move,

byddai llanciau Eton yn ei chyfnewid gan weiddi,—

When Rowland Hill shall cease to move.

Yr adeg y buasai y gwr hynod hwnnw yn ysgol Eton, arferai fyned i gyfarfod gweddi yn nhy gwraig dduwiol oedd yn byw gerllaw. Ar ol hynny rhoddodd Mr. Hill swm blynyddol at ei chynhaliaeth. Un arall a fuasai yn lletya yn nhy tad Mrs. Stoughton, pan oedd hi yn ferch fechan, ydoedd Charles Wesley, mab yr emynydd, yr hwn oedd yn chwareuydd medrus ar y piano, ac arhosodd yr olwg ar ei fysedd byrion tewion yn symud gyda'r fath gyflymdra dros yr offeryn yn adgof byw yn ei meddwl. Yn ystod ei arhosiad yn Windsor, gwnaeth Stoughton lawer o waith eglwysig a chyhoeddus, a ffurfiodd gyfeillgarwch gydag amryw bersonau o hynodrwydd, ac yn eu plith Samuel Bagster, cyhoeddwr y *Polyglot Bible*. Yr oedd ganddo ef wynepryd siriol a bywiog, ac yr oedd yn llawn o asbri a charedigrwydd, ac nis gallai yn amgen na gwneyd argraff ddymunol. Yr oedd yn gydymaith siaradus a diddan, ac yr oedd ganddo gyflenwad diddiwedd o hanesion. Yr oedd wedi byw ar lyfrau, a llyfrau oedd ei hyfrydwch; ac adroddai yn ddi-drai amgylchiadau mewn cysylltiad â'r llyfrau a brynasai ac a werthasai, ac yn enwedig yr hanes gyda golwg ar ei *Polyglot* a'i *Hexapla*, a'r tân a gymerasai le yn ei dŷ yn Paternoster Row, mewn modd hollol nodweddiadol ac effeithiol. Siaradai lawer am y Chwyldroad yn Ffrainc, ac am bethau cysylltiedig â'r chwyldroad hwnnw yn y wlad hon. Ffurfiwyd clybiau chwyldroadol yn Llundain. Ar wahoddiad un o'i gyfoedion, aeth i gyfarfod un o'r clybiau hynny, lle yr oedd byrddau o bob tu i'r ystafell, a bwrdd arall ar ei thraws y naill ben iddi, a llonaid yr ystafell o ddynion yn barod i yfed, nid iechyd da, ond dinystr i frenhinoedd a phob math o awdurdod a threfn. Ymadawodd Bagster yn ddioedi, gan fyned ar draws yr ystrydoedd heb wybod ffordd yr oedd yn myned, fel nas gallai ddigrifio mangre y gymdeithas druenus. Yr oedd gan ei dad was o'r dosbarth hwnnw, a phan ymliwiai y meistr ag ef ynghylch hynny, atebodd ef, gan godi y llodrau tlawd oedd am dano a dywedyd, "Syr, beth sydd gen i i'w golli?" Wedi gorffen ei *Comprehensive Bible*, cafodd Bagster ganiatâd George IV. i wneuthur cyflwyniad o gopi yn bersonol i'r Brenin. Cyflwynwyd ef gan Archesgob Canterbury, a rhoddwyd y derbyniad mwyaf grasol i Samuel Bagster gan y penadur.

Wedi penodiad Dr. Vaughan o Kensington i fod yn Brifathraw Coleg Lancashire, etholwyd Stoughton o Windsor i fod yn olynydd iddo. "Ymddengys megis breuddwyd," meddai mewn llythyr at ei ragflaenydd. "Ydyw," ydoedd ateb Dr. Vaughan; "ond y mae fel eiddo Joseph,—breuddwyd oddiwrth yr Arglwydd." Yn 1843 y symudodd o Windsor i Lundain. Yr oedd un person wedi bod mewn cysylltiad a dechreuad y ddwy eglwys yn Windsor a Kensington, ac yr oedd y person hwnnw yn gerbydwr i George III. Yr oedd gan y Brenin olwg fawr arno, ac ymddiddanai ag ef am grefydd. Byddai y gwas weithiau yn gosod traethodau yn y cerbyd, ac ar ol eu darllen

byddai ei fawrhydi yn gofyn am ychwaneg. Y cerbydwr hwnnw a fu yn foddion i gasglu ychydig eneidiau i gynnal moddion crefyddol mewn ystafell a elwid "Hole in the Wall;" a dyma ddechreuad yr achos Annibynol yn Windsor. Yn gyffelyb yn Llundain, pan fyddai y teulu breninol yn y brifddinas, elai y cerbydwr i ystafell gyffredin yn Kensington i addoli, yr hon a brofodd yn gawell yr eglwys ag y bu Dr. Vaughan a Dr. Stoughton yn weinidogion iddi. Ar ol ei ymneillduad o'r gwasanaeth brenhinol, aeth y cerbydwr i fyw i Kensington, a phob tro y byddai y Brenin yn pasio y ffordd honno, byddai yn gwneuthur y sylw mwyaf caredig o hono. Ymhen ychydig amser ar ol symudiad Dr. Stoughton i Lundain, barnwyd yn angenrheidiol cychwyn achos newydd mewn adran o'r brifddinas, yn agos i Kensington, a gollyngwyd amryw deuluoedd da o'i gynnulleidfa ef i ffurfio yr eglwys newydd; eithr ni fu y capel yn hir cyn cael ei lanw drachefn. Un o'i wrandawyr am beth amser fu y Parch. Michael Maurice, tad yr awdwr a'r pregethwr adnabyddus, y Parch. F. D. Maurice. Mae yn cydnabod na fu yn ymddiddan âg ef o gwbl, ond trwy ymholi daeth i wybod ychydig o'i hanes. Buasai Mr. Maurice yn gweinyddu mewn amryw gapelau Undodaidd, ac un adeg fel cynorthwywr i Dr. Priestley. Ar ol rhoddi i fyny bregethu, bu yn byw am beth amser yn Southampton, ac ymunai â'r Ymneillduwyr uniongred. Yr oedd yn wr defosiynol, ac yn meddu mesur helaeth o ysbryd yr efengyl. Gair ein hawdwr am ei fab, y Parch. F. D. Maurice, yw: "Yr oedd yn gweled cymaint fel ag yr oedd yn cael anhawster i fynegi ei feddwl. Yr oeddwn yn ei barchu yn fawr fel meddyliwr gonest, yn fwy awyddus i ennill cymeradwyaeth Chwiliwr y calonau nag eiddo ei gyd-ddynion." Cyfarfyddasant â'u gilydd yn achlysurol yn Neondy Westminster, ac ym mhreswylfod Mr. Baldwin Brown. Tua'r flwyddyn 1847, penodwyd Mr. Stoughton yn un o ymddiriedolwyr William Coward, masnachwr a adawsai swm mawr o arian dan ofal Dr. Watts, Mr. Guyse, Mr. Neal, hanesydd y Puritaniaid, a pherson arall o leygwr, at ddibenion elusennol. Yr oedd Philip Doddridge yn gyfaill mawr i Coward, yr hwn a gynnorthwyai efrydwyr ieuainc oeddynt dan ofal y gwr mawr a da hwnnw. Yr oedd William Coward yn hynod brydlawn gyda'i drefniadau, nid oedd Doddridge yn gymaint felly. Os byddai y duwinydd ar ol yr amser yn myned i giniaw i dŷ y masnachwr, nid oedd yn cael derbyniad; ond yn ffodus yr oedd cyfaill i'r ddau yn byw yr ochr arall i'r ffordd, yr hwn a ofalai anfon ei was i gyrchu Doddridge i giniawa gydag ef pan welai ei fod yn rhy hwyr i giniaw Mr. Coward. Ysgol yr hen Ddr. Doddridge o'r diwedd a ymddadblygodd i'r sefydliad a adnabyddid hanner can mlynedd yn ol fel y Coward College, Llundain. Ymhen dwy flynedd ar ol penodiad Stoughton yn ymddiriedolwr, unwyd y tri choleg Annibynol yn Llundain, sef Homerton, Highbury, a Coward, yn un athrofa dan yr enw New College, yn yr hwn y mae nifer mawr o weinidogion mwyaf galluog a diwylliedig yr Annibynwyr wedi derbyn eu haddysg. Sefydliad addysgol arall ag y bu Dr. Stoughton mewn cysylltiad ag ef ydoedd yr Ysgol Frytanaidd yn Kensington. Gwnaeth y pwyllgor gais at weddw y Duc o Sussex, yr hon oedd yn trigiannu ar y pryd ym Mhalas Kensington, am gymorth ariannol. Arweiniodd hyn i wahoddiad i'r gweinidog fyned i'r palas. Meddai:—"Dangoswyd fi i ystafell hynafol, y muriau yn cael eu haddurno â darluniau o George III. ac aelodau ereill o'i deulu. Yr ydoedd myned i mewn i'r

ystafell hon megis camu yn ol drigain mlynedd. Yn y man ymddanghosodd boneddiges fechan, mewn sidan du a chap bychan, a dechreuodd ymddiddan siriol am ei diweddar briod, ac am Mr. Ramsbottom, yr A.S. dros Windsor, yr hwn a adwaenwn yn dda. Yr oedd y ddau yn Freemasons. Yr oedd ei Gras wedi derbyn cryn fesur o'u hysbryd, mor bell ag y gallai boneddiges wneyd, a gofynodd i mi a oeddwn yn Mason. Pe gallaswn ateb yn gadarnhaol, diau y buaswn yn sefyll yn uwch yn ei golwg. Bu fy ymweliad yn ffrwythlawn gyda golwg ar ein hysgol, oblegid hi a ddanfonodd rodd o £20, gan ymesgusodi yn herwydd peidio gwneyd mwy y pryd hwnnw."

Dechreuodd y flwyddyn 1850 gyda storom fawr yn erbyn gwaith y Babaeth yn rhannu y deyrnas hon yn esgobaethau. Edrychid ar y symudiad fel ymgais ymosodol, a gwnaed y gwrthdystiad cryfaf gan Eglwyswyr ac Ymneillduwyr. Anfonodd y tri enwad yn Llundain, sef yr Annibynwyr, a'r Bedyddwyr, a'r Henaduriaethwyr, ddirprwyaeth at y Frenhines yn yr achos, o ba un yr oedd Dr. Stoughton yn aelod. Ar ol cyflwyno eu hanerchiad gwahoddwyd hwynt i gymeryd lluniaeth. Deallasant fod dau neu dri ereill wedi cael gwahoddiad cyffelyb yr un amser. Yr oedd yn naturiol iddynt deimlo yn chwilfrydig i wybod pwy oeddynt, ac yr oedd yr unrhyw chwilfrydedd yn meddiannu y lleill. Yn y man dygwyd hwy at eu gilydd, a phwy oedd cymdeithion y ddirprwyaeth Ymneillduol ond dau neu dri o uchelwyr Pabaidd, y rhai a ddaethant i gyflwyno anerchiad o deyrngarwch i'r Frenhines oddiwrth chwarter miliwn o'u cyd-grefyddwyr. Ar ol cyfarch ac eglurhad y naill ochr a'r llall, bwytasant eu lluniaeth yn gysurus, gyda chydymddiddan dedwydd. Mae yn ddiameu i'r Protestaniaid trwy y deyrnas wneyd mwy o symudiad newydd y Babaeth nag oedd angen; ond bu yn foddion i lawer ymchwilio i wirionedd eu daliadau ac i ymgydnabyddu yn llwyrach â'r gwahaniaeth rhwng Protestaniaeth a Phabyddiaeth, a thrwy hynny i gael eu cadarnhau yn y ffydd. Ychwanega Dr. Stoughton: "Traddodais yr amser hwnnw yn Kensington gyfres o bregethau ar y ddadl Rufeinig. Aethum dros brif rannau y ddadl, gan ochel camliwiad ac anghariad. Nid oeddwn yn ddigon gwresog i foddloni rhai Protestaniaid eithafol, ond cefais y boddlonrwydd o glywed fod dau Babydd wedi troi yn Brotestaniaid, ac wedi cael help i hynny trwy y pregethau. Yr wyf wedi cyfarfod yn ystod fy mywyd ag amryw bersonau yn perthyn i'r Eglwys Rufeinig, y rhai a ymddanghosent i mi yn gymeriadau teilwng. Bu yn fy nghynulleidfa foneddiges ieuanc, un o deulu yn cynnwys Cardinal ymysg ei aelodau, a mam yr hon a arhosodd yn Babyddes; yn ei chystudd diweddaf yr oedd yn glynu wrth Grist fel ei Hiachawdwr, gan ddweyd yng ngeiriau Caniad Solomon: 'Deliais ef, ac nis gollyngais.'"

Yn y flwyddyn 1867, y cyhoeddodd Dr. Stoughton y gyfrol gyntaf o'i *Ecclesiastical History of England.* Yr oedd wedi dechreu ei efrydiau mewn hanesiaeth eglwysig yn union ar ol ei ymsefydliad yn Windsor. Ffrwyth cyntaf yr efrydiaeth hon ydoedd cyfres o ddarlithiau wythnosol ar y testyn i'w gynulleidfa. Ar anogaeth ei hen athraw, Dr. Henderson, aeth rhagddo gyda'i efrydiaeth. Yn yr adeg a grybwyllwyd dechreuwyd gohebiaeth rhyngddo â'r Deon Hook o Chichester, a derbyniodd wahoddiad i ymweled ag ef yn y ddinas honno. Wedi cyrraedd yno, gofynnodd y Deon iddo, "Pa beth y cawn siarad am dano? Pe meddyliwn y gallwn eich troi chwi yn Eglwyswr mi gynhygiwn ar

hynny; a phe meddyliech chwithau y gallech fy ngwneyd i yn Ymneillduwr chwi wnaech y cynyg." Atebodd Dr. Stoughton ef: "Dim o'r fath beth; gadawn allan ddadleuon eglwysig, a siaradwn am faterion llenyddol a chrefyddol, ar ba rai yr ydym yn cytuno yn lled dda; a phan fyddwn wedi eu dyhysbyddu, ni a gymerwn i fyny bwyntiau o wahaniaeth." Dywedodd y Deon ei fod ef a'i gyfaill, Arlwydd Hatherley, wedi cydgerdded mewn etholiad i roddi pleidleisiau gwrthwynebol heb dorri dim ar eu cyfeillgarwch; ac ychwanegodd, "Felly ninnau, gallwn gytuno i ryw bellter; a phan ddeuwn at raniad y ffordd, ni a gymerwn bob un ei lwybr ei hun gydag ewyllys da y naill tuagat y llall." Bu y ddau yn ffyddlawn i'r cytundeb, ac fe gafwyd llawer o ymddiddan hyfryd. Yr oedd y Deon Hook yn fore-godwr ac elai yn gynnar i orffwys. Tra yn Leeds yr oedd ei waith cyhoeddus mor fawr ac amrywiol fel ag i gymeryd i fyny bron yr oll o'r dydd; a'r unig amser allai gael i ddarllen ac ysgrifennu oedd oriau'r bore. Yr oedd yn siaradwr hyfryd, yn Sais hyd asgwrn y cefn, yn hollol rydd ac agored. "Nid oedd na defodwr, na Phuritan, nac Erastiad; ond dyn duwiol a Christion cynes-galon, yr hwn yr ydoedd yn fraint i'w adnabod." Ar ol hynny daeth Stoughton i gydnabyddiaeth gyfeillgar a'r Deon Alford o Caergaint. Yr oedd eisoes ar y teleran goreu a'r Deon Stanley, o Westminster, a thalai ymweliadau mynych a'r Deondy; ac yng nghladdedigaeth yr Arglwyddes Augusta Stanley, yr oedd yn un o'r *pall bearers*. Un arall ag y daeth i gyffyrddiad cyfeillgar ag ef ydoedd Dr. Matthew Arnold. Yr oeddynt yn cael eu graddio yr un pryd yn Edinburgh. Fel hyn y dywedir am dano yn y gyfrol ger ein bron:—"Nid oedd mewn un modd yn boblogaidd gydag Ymneillduwyr o herwydd rhai pethau ag oedd wedi eu dweyd yn ei lyfrau am danynt. Gwerthfawrogent ei allu, ond yr oeddynt yn anghymeradwyo yr ysbryd a ymddanghosai yn ei feirniadaethau. Gwnaeth fy nghydnabyddiaeth i âg ef fy argyhoeddi ei fod mewn rhyw ystyriaethau yn cael ei gamfarnu. Pan ddaethum i'w adwaen yn lled dda, cyfeiriais yn chwareus at bethau ydoedd wedi ysgrifennu, y rhai ydoedd wedi chwerwi pobl a adwaenwn. 'Ond nid wyf fi cynddrwg,' meddai, 'ag y mae'r Ymneillduwyr yn meddwl.' 'Nac ydych,' atebais, 'ond mae'r Ymneillduwyr yn edrych arnoch trwy eich llyfrau; yr wyf fi yn edrych ar eich llyfrau trwoch chwi, ac y mae hynny yn gwneyd gwahaniaeth mawr.' Cefais ef bob amser yn garedig, boneddigaidd, a thyner galon. Cydymdeimlai â mi mewn trallodion teuluaidd, ac yr oedd yn cael ei foddhau mewn rhyw bethau a ysgrifenaswn."

Sylwer ar yr ymadrodd "trallodion teuluaidd" yn y dyfyniad diweddaf. Bendithiwyd Dr. a Mrs. Stoughton â theulu lliosog, un ar ddeg o blant. Ganwyd chwech yn Windsor, a phump yn Llundain. Collasant dri o honynt yn y blynyddau o 1843 hyd 1849. Bu farw pedwar ereill mewn blynyddoedd diweddarach, a hefyd eu mam ym mis Tachwedd, 1879. Y mae yn cymhwyso ati y geiriau a ddywedasai Dr. Hodge o'r America am ei briod ymadawedig yntau:—"Addolydd gostyngedig i Grist, hi a fu fyw mewn cariad ac a fu farw mewn ffydd. Fenyw ymddiriedgar, gydymaith hyfryd, gyfeilles wresog, wraig ymroddedig, fam hunan-aberthol, yr ydym yn eich dodi yn dawel yma, ein mwyaf hoffus gariad, i gasglu nerth a phrydferthwch erbyn dyfodiad ein Harglwydd." Nis gallai Dr. Stoughton gael ei hunan i ysgrifennu ond ychydig mewn cyfeiriad at yr amgylchiad diweddaf hwn. Ond y mae

wedi manylu yn yr adgofion y mae yn roddi am un o'i blant, sef mab un ar hugain oed a gladdwyd yn 1863. John Howard oedd enw y bachgen. Yr oedd yn llawn arabedd, a meddai chwaeth naturiol gref at y celfau; gosodwyd ef dan un Mr. Thomas, cerflunydd, yr hwn oedd yn gwneyd llawer o waith yng Nghastell Windsor. Ymroddodd y llanc gyda'r fath benderfyniad a diwydrwydd i'w efrydiau fel ag i andwyo ei iechyd. Yn 1861 cymerwyd ef i Hastings, a chynghorodd y meddyg yno fod iddo gymeryd hir seibiant, a theithio ar y Cyfandir, lle y gallai weled a dysgu llawer mewn celfyddyd heb dreulio dim ar ei nerth corfforol. Felly y bu, ac arhosodd yn Rhufain y gauaf dilynol. Cafodd ail ymosodiad yn y gwanwyn, a bu raid iddo symud o Rufain i rannau ereill o Itali. Cyn diwedd haf 1862, dychwelodd adref, i bob ymddanghosiad yn well; ond fel yr oedd y gauaf yn agoshau, ail-ddeffrowyd ofnau y teulu. "Yn raddol aeth y claf yn wannach; ond yr oedd ei ffydd yn y Tad Anweledig a Dwyfol yn myned yn gryfach. Treuliodd y bachgen Nadolig siriol gyda ni; eithr yn y gwanwyn daeth yn amlwg nad oedd i fod yn hir yma. Fel yr oedd y diwedd yn neshau, ymddiddanai yn dawel gydai'i frawd ar y mater, gan fod y ddau yn unedig yn rhwymau ffydd Mab Duw, yn gystal a serch naturiol. Nis gallaf byth anghofio y cymun sanctaidd a fwynhasom ni—mam, tad, brawd, chwiorydd—mewn ystafell yn edrych allan ar ein gardd, pan yr oedd toriad allan y blagur yn arwyddo dychweliad bywyd natur, a'r dioddefydd anwyl yn dwyn arwyddion eglur o farwolaeth agoshaol. Ond yr oedd efe yn dawel a siriol, a chymerai ddyddordeb dwfn yn yr ordinhad rasol. Gweinyddid hi gyda dwyster gan ein hanwyl gyfaill Harrison, yr hwn oedd yn hoffi Howard fel pe buasai yn fab iddo ei hun. Bu farw ar y dydd olaf o Fawrth, 1863." Yr ydym yn cyflwyno yr uchod fel esiampl o grefydd deuluaidd ac o dduwioldeb boreuol, ac am hynny yn deilwng o sylw hynafgwyr a phobl ieuainc.

Rhoddodd Dr. Stoughton i fyny ei ofal bugeiliol yn 1874, a chyflwynwyd iddo anrheg o dair mil o bunnau ar ei ymneillduad. Ymhlith y cyfranwyr yr oedd y Deon Stanley a'r Archddiacon Sinclair, a gwnaeth y blaenaf araeth deilwng o hono ei hun ar achlysur y cyflwyniad. Wrth derfynu ei adgofion am ei gysylltiad â Kensington, rhydd y Doctor fraslun o gynllun ei weinidogaeth. Dywed mai ei brif amcan mewn pregethu ydoedd egluro Gair Duw. Profai ffrwyth ei efrydiaeth wrth yr Ysgrythyrau. Pa beth bynnag a fynegir yn eglur a diamheuol yn y Beibl, yr oedd hynny yn derfynol ganddo. Amcanai gael gafael yn rhediad meddyliau yr ysgrifenwyr ysbrydoledig. Byddai yn hoff o edrych ar olygfeydd ëang, a chymerai yn destynau adnodau yn ymgodi megis bryniau ynghanol y golygfeydd. Ymhoffai mewn adnod sydd yn agoriad i baragraff. Traddododd gyfres dan y teitl "Ser y Dwyrain, sef Proffwydi ac Apostolion." Ac weithiau cyflwynai i'w gynulleidfa bortreadau o gymeriadau y tu allan i'r Beibl. Rhoddodd gyfres ar "Daith y Pererin" a dynnodd gryn sylw. Dewisai ei faterion ddechre yr wythnos; ac yna byddai trwy sylw a darllen llyfrau yn casglu defnyddiau i adeiladu y bregeth. Nos Sadwrn byddai yn adolygu ac yn addrefnu yr oll, fel ag i fod yn barod i dywallt ei barotoadau yn newydd i'r gynulleidfa ar y Saboth. Mae yn amlwg mai y pwnc mawr ganddo ydoedd mater, ac nid ffurf y bregeth; ac nid oedd yn ddiystyr ynghylch y dull o'i thraddodi.

Nid ydym wedi cyfeirio at ei adgofion am ei deithiau lliosog, yn y wlad hon, yn yr America, ar Gyfandir Ewrop, ac ym Mhalestina. Buasai hynny yn arwain i feithder mawr. Digon yw yr hyn a dynnwyd o'r llyfr yn y tudalenau uchod—ac nid yw ond cyfran fechan o'r defnyddiau dyddorol sydd ynddo—ni a hyderwn, i sicrhau i'r darllennydd mai da y gwnelai yn prynu y gyfrol brydferth a'i darllen. Unwaith y dechreua, bydd yn rhaid iddo fyned o glawr i glawr; ac y mae yn sicr, trwy hynny, o gael budd a bendith.

WILLIAM EVANS.

---

# Y PARCH. D. EVANS, M.A., AR STRAUSS A RENAN.

[DANFONWYD i ni yr ysgrif ganlynol gyda dymuniad am iddi gael ei chyhoeddi yn y TRAETHODYDD. "Feallai," meddai yr awdwr, "yr ystyriwch rai brawddegau yn eithafol, ond rywfodd yr wyf yn teimlo fod yna wirionedd ynddynt, a bod yn angenrheidiol ei ddweyd mewn llythrenau breision, fflamgoch. Ond gadawaf hyn at eich doethineb chwi. Gan fod y TRAETHODYDD wedi cyhoeddi erthygl y Parch. D. Evans, yr wyf yn ystyried mai teg ydyw cyhoeddi atebiad iddi. Mae y TRAETHODYDD, rwyf yn siwr, yn credu mewn rhyddid barn, ac er fod yr erthygl yma yn wahanol i'r rhai arferol, yr wyf yn gobeithio y gwnewch le iddi, gan fod yn deg dweyd y ddwy ochr. Ond prin y rhaid i mi ddweyd hyn; yr wyf yn sicr eich bod yn credu yng nghyngor Gamaliel, ac os o'r drwg y mae yr erthygl ni wna ei gyhoeddi neb; ond feallai yr egyr lygaid rhywun i weld y gwirionedd yn gliriach. Os penderfynwch ei rhoddi i mewn byddai yn well gennyf i chi beidio rhoi fy enw personol wrthi, o herwydd gan mai Outis ydwyf, fe allai y gwnai fy enw ddrwg i'r erthygl."

Nid oes ar y TRAETHODYDD yn sicr ofn unrhyw oleuni newydd, o ba gyfeiriad bynnag y delo. Ac nid allai lai na dwfn gydymdeimlo ag unrhyw un fo mewn anhawster gyda golwg ar y cwestiynau mawrion. Ond prin y gall ddeall y cyfaill tirion a ysgrifennodd y llith hon. Dywed "Nid wyf yn ystyried ei fod o'r pwys lleiaf pa un a wyf yn credu yr hyn yr wyf yn ei ysgrifennu ai peidio," eto ei fod "yn ymrestru ar hyn o bryd ym myddin Mephistopheles," ac am wadu popeth; ac y teimla fod gwirionedd yn ei frawddegau ag y mae "yn angenrheidiol ei ddweyd mewn llythrennau breision, fflamgoch." Fe ymddanghosai yn bur glir i ni fod y casgliadau yr arweiniwyd ef iddynt yn dra phell o gael eu profi gan y rhesymau a ddefnyddia i'w hategu; a chan mai rhy brin y gwnai gyfiawnder â Mr. Evans, mwy nag â'r mater yr ymdrinai ag ef, barnasom mai gwell oedd i Mr. Evans gael gweled ei ysgrif a'i hateb, "gan fod yn deg," chwedl yntau, "dweyd y ddwy ochr." Caiff ein darllenwyr, gan hynny, fantais, wedi darllen yr Ymosodiad a'r Amddiffyniad, i farnu drostynt eu hunain.

Truth, like a torch, the more it's shook it shines.]

Yn credu yn gryf yn rhinwedd amcan yr egwyddor honno sydd yn y byd a elwir yn "ddrwg," yr wyf yn mentro anfon i chwi, Mr. Golygydd, wrthddadl i syniadau y gwr parchedig uchod yn ei erthygl yn NHRAETHODYDD Mawrth. Nid wyf yn ystyried ei fod o'r pwys lleiaf pa un a wyf yn credu yr hyn wyf yn ei ysgrifennu ai peidio. Yr wyf yn ymrestru ar hyn o bryd ym myddin Mephistopheles, a chydag ef,—

> No! say I, No! to everything that tries
> To bubble into being.

Na theflwch, Mr. Golygydd, yr ysgrif fechan hon i'r fasged ysgymun. Megis ag y deffrôdd y pryfyn bychan Hume y cawr Kant gyda'i bigiadau bychain, feallai y bydd i minnau fel pe hefo phluen godi amrantau rhyw gawr o Amddiffynydd y Ffydd yng Nghymru, yr hwn a ymddeffry

ac a gyfyd megis "cawr i redeg gyrfa." Nid oes a ŵyr. Onid y ni, plant y nos, sydd yn rhoi bod i'ch holl wybodaeth chi, plant y goleuni —i'ch rhinwedd ac i'ch cadernid? Cenir clod byddin pawb ond ein byddin ni; nid teg hyn; ond at y pwnc.

Yn gyntaf oll, paham y rhaid i'r Parch. D. Evans enllibio ei wrthwynebwyr a hintio eu hamcanion? "Ni feiddiai Strauss yn 1864 gyfarch y dysgedigion." Ai tybed? Feallai na wnaeth. Ond pa ddyn all ddarllen calon ei gyd-ddyn, a dweyd yr hyn a faidd a'r hyn na faidd? A ddarfu i awdwr *Ecce Homo* wneyd peth "o dan gochl?" Nid oes ond Chwiliwr y calonnau a ŵyr. Sonia y Parch. D. Evans hefyd am Renan fel pe na fai calon y dyn yn yr hyn a ysgrifennodd. Er engraifft: "Ymddengys ei edmygedd [Renan] o hono [Crist] yn ddiderfyn;" ac hefyd, "ceisia roddi argraff." Nid "ceisio" ac "ymddangos" ddarfu Renan; ond gwneyd argraff, a chreu edmygedd. Gwell lawer yw cyngor Iesu o Nazareth, "Na fernwch." Gan hynny, y gosodiad cyntaf yw: Yr oedd Strauss, Bauer, Renan, a'r Tubingen School, am a wyddom ni, mor onest, mor gywir yn eu hymchwiliad am wirionedd ag ydyw y Parch. D. Evans, neu unrhyw ymchwiliwr arall.

A phasio heibio i'r hyn a ddywedir ganddo am Strauss, Bauer, &c., a hefyd ganiatau fod y dynion yma wedi methu profi y rhan fwyaf o'u haeriadau, eto nis gellir byth wrthbrofi nad oedd cnewyllyn eu gwrthddadl yn wirionedd. Cnewyllyn eu gwrthddadl oedd hyn, fod *myths* (chwedlau) neu ystraeon yn codi o amgylch hanes bywyd dynion mawr. Er mwyn ymresymiad fe wnawn ganiatau, ar hyn o bryd, fod Iesu o Nazareth yn "ymgnawdoliad o'r Duwdod yn y Dyn." Yr oedd felly yn ddyn, pa faint bynnag mwy oedd, ac yn ddarostyngedig i barch ac amharch ei gyd-ddynion fel pob dyn arall. Yn wir, yr oedd mor debyg i ddyn fel mai barn gyffredin y bobl oedd mai dyn oedd, ond ei fod yn ddyn mawr—yn Elias, Jeremias, Ioan Fedyddiwr, neu un o'r proffwydi. Yn awr, fe wyddom oll fod yna ystraeon (yn ol llafar y werin) neu chwedlau yn cael eu dweyd a'u croniclo am bob dyn mawr, rhai yn wirionedd, a rhai fel arall. Fe all ein pregethwyr ieuainc, a hen hefyd o ran hynny, ddweyd toraeth o hanesion am John Elias, Williams o'r Wern, Christmas Evans, Stephens o Danymarian, Dr. Hughes, Evans o'r Eglwysbach, ac yn y blaen. Pwy allai ddweyd mwy o hanesion difyr am hen wleidyddwyr Prydain na Mr. Gladstone? Ond ni all hyd yn oed Mr. Gladstone sicrhau fod pob un o'r ystraeon a ddywed yn wir. Feallai eu bod, feallai nad ydynt. Gan fod yr Iesu wedi byw fel dyn yng ngwlad Palestina, a chan ei fod yn ddyn mawr a hynod, fe fuasai bron yn wyrth i liaws mawr o ystraeon neu hanesion beidio cael eu hadrodd am dano ar hyd a lled y wlad. Dywedir gan Matthew, "Ac aeth son am dano trwy holl Syria." Nid oes dim yn amharchus mewn dweyd mai llyfr o hanesion am yr Iesu yw y pedair Efengyl. A oedd pob hanesyn a ddywedid am y dyn rhyfedd hwn yn wir? Nid oes yr un dyn yn fyw heddyw all brofi eu bod, na phrofi nad ydynt. Dyma gnewyllyn gwrthddadl Strauss a'i barti. Y mae un hanesyn yn codi i fy meddwl yrwan nad yw wedi ei groniclo yn y Testament Newydd. Nid wyf yn ei gofio yn iawn. Dywedir, 'rwyf yn meddwl, fod rhyw arlunydd unwaith wedi cymeryd napcyn i sychu gwyneb yr Iesu, a bod darlun o'i wyneb wedi myned ar y napcyn. Wrth gwrs, nid oes neb heddyw yn credu fod yr hanesyn yma yn wir. Ac eto y mae mor hawdd gen i gredu yr hanesyn yma a chredu yr hanesyn fod y dŵr wedi troi yn

win. Y mae yn amlwg felly fod yna un hanesyn, un ystori, beth bynag, wedi dod i lawr i'n hoes ni sydd heb fod yn wir, neu, o'r hyn lleiaf, ni chredir ynddi yng Nghymru. Dyma gnewyllyn gwrthddadl Strauss, &c., wedi ei phrofi. Dyma ni yrwan wedi dod i bwynt; un o ddau beth: un ai ysgrifenwyd y pedair Efengyl gan ddynion ffaeledig heb ddim help uwchlaw iddynt hwy eu hunain, neu ynte yr oedd Bod uwchlaw dyn yn eu harwain wrth ysgrifennu. Os y cyntaf, y mae Strauss wedi profi eu bod fel pob hanesiaeth ddynol yn agored i gamgymeriadau. Os o dan arweiniad Bod uwchlaw dyn yr ysgrifenwyd hwy, oferedd ac ynfydrwydd hollol yw y drafferth o ymresymu yn erbyn Strauss nac yn erbyn neb arall. Nid yw "prawfion Cristionogaeth" yn dda yn y byd. Nid oes eu heisieu, ac nis gallant brofi dim. Y mae y prawf yn gorwedd mewn cylch hollol wahanol. Ynfydrwydd oedd i'r Parch. D. Evans wneyd sylw o na Strauss na Renan. Pe deuai dyn ataf fi gan ddweyd, "Dyma lythyr oddiwrth hwn a hwn," y mae yn amlwg nad oes ond *un* prawf yn bosibl i brofi llythyr pwy ydyw, sef tystiolaeth y dyn a'i cafodd o law yr "hwn a hwn." Ond atolwg a oes gennym ni sicrwydd fod y pedair Efengyl wedi eu hysgrifennu dan arweiniad Bod uwchlaw dyn? Cofier, sicrwydd sydd arnaf eisieu, nid tebygolrwydd. Yr unig sicrwydd y gwn i am dano yw, fod yr ysgrifenwyr eu hunain neu eu cydysgrifenwyr yn dweyd hynny. Felly daw y cwbl i un gair: y mae Cristionogaeth Hanesyddol yn sefyll neu yn syrthio ar y grediniaeth a rown ni i dystiolaeth pysgotwyr Mor Galilea. Y mae y pysgotwyr hyn yn dweyd eu bod dan ddwyfol arweiniad wrth ysgrifennu eu hefengyl. A wnawn ni eu coelio? Nid oes neb yn dweyd hynny ond nhw eu hunain, ac aelodau ereill o'r un grefydd a hwy. Nid yw Duw ei hun yn dweyd dim yn uniongyrchol. A wnawn ni eu coelio, a sylfaenu ein holl grefydd (hanesyddol) ar yr hyn ddywed pysgotwyr tlawd, anllythrenog Mor Galilea? Barned pawb drosto ei hun! Ond chwareu teg hyd yn oed i bysgotwyr tlawd, nid ydynt hwy yn honni, cyn belled ag yr wyf fi yn cofio, eu bod o dan ddim arweiniad. Camgymeriad a wnes i. Paul a'r duwinyddion freuddwydiodd am Ysbrydoliaeth y Beibl, ac y maent wedi moedro Ewrop am yn agos i ddwy fil o flynyddoedd.

Ond beth yw barn Renan am yr Iesu? Mentrwn ddweyd fod barn Renan, o ran sylwedd, yr un yn hollol a barn yr Iesu am dano ei hun. Gwelir oddiwrth Efengyl Ioan fod yr Iesu yn siarad am dano ei hun, fel un dwyfol, mae'n wir, ond nid fel yn Dduw, neu yn ymgnawdoliad o Dduw. Ystyria ei hun yn adlewyrchiad o'r Tad, yn ddatguddydd o hono, yn fab anfonedig, yn ddisgleirdeb, yn ddwyfol. A dyma farn Renan am dano. Nid yw yr Iesu byth yn dweyd, "yr wyf yn Dduw," neu "fe ymgnawdolodd Duw ynof fi." Yn hytrach na hynny dywed yn Ioan xiv. 28, "Y mae y Tad yn *fwy* na myfi." Edrych hefyd Matth. xix. 17. Cawn yn Ioan x. 33 a 34 brawf amlwg iawn o farn yr Iesu am dano ei hun. Y mae yr Iuddewon yn bygwth ei ladd am iddo siarad am Dduw mewn dull cariadus, fel pe bae yn Dad iddo, am "dy fod di, a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw." Beth yw atebiad yr Iesu iddynt? A yw yn dweyd, "Yr wyf yn Dduw?" Dim o'r fath beth, ond hollol wahanol. Y mae ei atebiad wrth ei aralleirio yn dod i hyn: "Y mae cenhadon Duw, sef y dynion y daeth gair Duw atynt, anfonedigion Duw, wedi cael eu galw yn 'dduwiau' cyn heddyw. Yn yr ystyr yma yr wyf finnau yn un o'r duwiau." Dyma gyfleustra

arbennig i'r Iesu wneyd honiad diamwys o'i fod yn Dduw. Ond yn lle gwneyd hynny, a selio y mater unwaith am byth, y mae yn boddloni ar yn unig restru ei hun ymysg "y rhai y daeth gair Duw atynt," sef y rhai a elwid yn "dduwiau." Oddiwrth y Salm y mae yr Iesu yn dyfynnu o honi (Salm 82. 6), ni a welwn fod y gair "duwiau" yn gyfystyr a "meibion y goruchaf" neu "feibion Duw." Hefyd gellir casglu oddiwrth yr adnod gyntaf fod y gair "duwiau" yn gyfystyr a "barnwyr," neu reolwyr, neu broffwydi y genedl. Felly, yr unig beth a olygai yr Iesu wrth alw ei hun yn "fab Duw," neu yn "Dduw" (un o'r duwiau, os darfu iddo erioed alw ei hun felly), oedd ei fod yn arweinydd neu yn broffwyd i'r genedl. Yr wyf yn addef ei fod fel pe yn ystyried ei hun yn genad mwy mynwesol ac anwyl gan Dduw na'i ragflaenoriaid. Naturiol iawn oedd iddo ef gyda'i Efengyl lawn o gariad a thadolaeth Duw, alw ei hun yn genad mabaidd, yn fab Duw. Ond ni fuasai neb mor ddiniwed a chymeryd y geiriau yn llythrennol ond duwinyddion. Am fod y Caniedydd yn galw gwaredydd y genedl "yn lili y dyffrynnoedd ac yn rhosyn Saron," a oes rhywun mor syml ei feddwl a thybied mai trwy wneyd physig o'r lili ac o'r rhosyn yr oedd achub y genedl? Y mae yn wir fod Ioan yn galw yr Iesu yn "uniganedig," ond nid yn yr ystyr mai fe oedd yr unig fab; o achos dywed Paul mai "cyntaf-anedig" ydyw "ymysg *brodyr* lawer" (Rhuf. viii. 29). Nid oedd Paul felly yn ystyried yr Iesu fel yn *Dduw*, neu yn gyfartal a Duw. Ond pa un bynnag, nid oes dim yn fwy amlwg i feddwl diduedd na hyn, mai cenad oddiwrth Dduw, a dim ond cenad, oedd yr Iesu yn ei ystyried ei hun. Nis gallaf fi weled ei fod wedi dweyd yr un gair na'r un sill erioed a'n harweinia ni i gredu ei fod yn ystyried ei hun yn Dduw. Ni ddychmygodd yr Iesu erioed y buasai neb mor ynfyd a'i wneyd ef yn gyfartal a Duw. Ond i ni astudio y Testament Newydd yn ddi-duedd, ac heb esboniad, ni a welwn nad oedd yr Apostolion a'r Cristionogion cyntefig yn ystyried yr Iesu yn gyfartal a Duw. Dywed awdwr yr Epistol at yr Hebreaid fod Duw wedi anfon llawer cenad i'r byd erioed, ac mai yr Iesu oedd cenad eu hoes hwy: "Duw wedi iddo lefaru lawer gwaith. &c." Yna cymer drafferth fawr i brofi fod y cenad yma, yr Iesu, yn uwch na'r *angylion.* Os oedd yr awdwr yn credu fod yr Iesu yn Dduw, yn sicr ni fuasai yn cymeryd trafferth i brofi ei fod yn (ddim ond) uwch na'r angylion. Dywed hefyd gyda phwyslais arbennig, fel pe i ddangos urddas neillduol y cenad hwn, fod "*Duw* hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion a rhyfeddodau" Amcan mawr yr Apostolion oedd profi fod yr Iesu a groeshoeliwyd fel drwgweithredwr, yn ffafr Duw ac yn cael arwyddion o foddhad Duw ar ei fywyd. Ond ni ddarfu iddynt ddychmygu erioed fod yr Iesu yn Dduw. Ni ddywedir byth yn y Testament Newydd fod yr Iesu wedi adgyfodi ei hun, ond bob amser mai Duw a'i cyfododd ef. Yn wir y mae holl rediad yr Epistolau yn rhoi ar ddeall i ni fod yr Iesu yn is na Duw, ond ei fod yn un agos iawn at Dduw, a pharchus iawn ganddo. A dyma hefyd syniad yr Eglwys Foreuol am yr Iesu. Daeth Arius allan i amddiffyn y ffydd (yn ol ei dyb ei), ac i ddadleu fod y "Mab" yn "greëdig," mewn gair, yn "greadur" (yr Iesu yn "greadur"), ac yn is-raddol i Dduw. Dywed Neander fod Arius yn credu ei fod yn amddiffyn hen athrawiaethau yr Eglwys, ei fod yn credu mai efe oedd yn uniawngred (orthodox). Felly ystyriai yr Eglwys foreuol yr Iesu yn "greadur" ac yn is-raddol i Dduw. Y mae yn wir mai Arius gollodd y dydd yn y ddadl

fawr honno, ond nid yw hynny yn profi nad ei syniadau ef oedd y rhai agosaf at rai yr Iesu, yr Apostolion, a'r Eglwys Foreuol. Ond yr wyf yn dod i olwg maes eang iawn, ac nid oes amser i fyned yno i gloddio ar hyn o bryd. Yr ydym wedi cael barn yr Iesu am dano ei hun, a barn yr Apostolion a'r Eglwys Foreuol am yr Iesu; yn awr beth yw barn Renan am dano? Yn tudalen 310 (People's Complete Edition) dywed: "Gallwn alw hwn yn ddwyfol . . . nid yn yr ystyr fod yr Iesu wedi cronni ynddo ei hun yr oll o'r dwyfol, neu ei fod yn gyfartal iddo, . . . . ond yn yr ystyr mai yr Iesu yw yr un sydd wedi achosi i'w gyd-ddynion gymeryd y cam mwyaf tuagat y dwyfol." Dyna rydd-gyfieithiad. Hefyd tudalen 176, dywed fod yr Iesu pan ddywedodd y frawddeg honno, "yr addolwch y Tad mewn ysbryd a gwirionedd," wedi gosod sylfeini crefydd dragwyddol, crefydd bur pob oes a phob gwlad. Y gwahaniaeth felly rhwng barn Renan am yr Iesu a barn y rhai a elwir yn Uniawngred yw hyn:—dywed Renan fod yr Iesu yn llawn hyd yr ymylon o Dduw; dywed y rhai Uniawngred nad oes mwy o Dduw yn bod nag oedd yn Iesu o Nazareth; mewn gair, darfu i'r Iesu ddihysbyddu Duw ynddo ei hun. Ond atolwg, pwy a faidd dynhu cylch a dweyd, "Hyn yw Duw." "Ni ellir chwilio allan ei synwyr Ef." "Cyfuwch a'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? dyfnach nag uffern yw, beth a elli di ei fesur?" Pwy gan hynny a faidd ddweyd am Iesu o Nazareth, "Dyma Dduw." Na, ar fater fel hyn, tewi yw ein lle ni. Yr oedd yr Iesu yn fawr, yn ogoneddus, yn un o'r dynion mwyaf a fu yn ein byd erioed, yn sefydlydd y Wir Grefydd, y grefydd ysbrydol, ar yr hon ni bydd terfyn; ond a oedd ef yn Dduw? Wyddom ni ddim, ac nid oes yr un dyn a wyr. Nis gellir cyrraedd syniad uwch na syniad Renan.

"Ond y gwyrthiau?" meddai rhywun. A chaniatau fod yna wir wyrthiau wedi cymeryd lle, yr unig beth y maent yn ei brofi ydyw fod yr Iesu wedi gallu gwneyd yr hyn na allwn ni yn yr oes hon eu gwneyd. Gan nad yw ein llinyn mesur ni yn ddigon mawr i fesur Duw yn ei hanfod, felly nid yw y gwyrthiau yn help yn y byd i ni wybod a yw yr Iesu yn dod i fyny à'r safon. Ond dywedir fod yr Iesu wedi honni fod y gwyrthiau yn profi ei fod yn Dduw. Cyn y gallwn ni gymeryd geiriau yr Iesu fel o awdurdod ddwyfol, mae'n rhaid i ni yn gyntaf brofi ei fod yn Dduw, neu ei fod wedi cael awdurdod ddwyfol i ddweyd hyn, ac felly nis gall y gwyrthiau fod yn brawf. Ond nid yw cwestiynau diles fel hyn hyd yn oed yn dod i feddwl yr Iesu.

"Wel," meddai rhywun, "os ydyw Renan wedi profi ei bwnc, ac wedi argyhoeddi dynion di-duedd mai dyn, a dim ond dyn, oedd Iesu o Nazareth, y mae yn *all over* arnom; y mae crefydd wedi ei dinystrio o'r tir; awn a galarwn wrth afonydd Babilon." Ie, dos, os ryw hen babwyr o beth fel yna yw dy grefydd, yn dibynnu ar arwyddion a rhyfeddodau a swyngyfareddau o'r fath. Gallai y ddafad sydd yn gweled y ffarmwr yn tynnu y cloddiau i lawr dybied ei fod yn symud y cae i ffordd, ac fod gobaith am ymborth iddi hi a'i hŵyn wedi diflannu. Ond y ffolog! Lledu y cae y mae y ffarmwr! Felly Renan, chwala ymaith niwl dychmygion oesau boreuol y cyfnod Cristionogol. Gall y plisgyn ddweyd wrth y cyw iâr, "Ti a'm gwrthodais i;" gall y dillad ddweyd wrth y bachgen sydd yn tyfu, "Ti a'm gadewaist i;" gallai Mesopotamia ddweyd wrth Abraham, "Ti a'm gadewaist i;" gall crefydd Charles o'r Bala ddweyd wrth fechgyn Cymru, "Chwi a'm gadawsoch i." Gallant!

Ond tyfu wna'r cyw iâr, a thyfu wna bechgyn Cymru, dan arweiniad Cadfridog yr Oesoedd! Clywsom fod "cynddaredd dyn yn moliannu Duw." Ydyw! Ond nid yw Duw yn dryllio ei arfau wrth eu harfer. Ac er i ddyn ddweyd fod "nod gwrthodedigaeth" yn anfeidrol ar dalcennau dynion megis Voltaire, Tom Paine, Bradlaugh, Strauss, Bauer, Renan, ac yn y blaen, eto sicr yw eu bod ymysg etholedigion Duw. Dylem ni y Cymry fod yn falch o'r dysgedig a'r swynol Ernest Renan, o achos y mae yn gefnder, os nad hanner brawd i ni, wedi ei eni yn Llydaw; a rhyw ddiwrnod feallai y gwelir cofgolofn iddo yng Nghymru. A oes perygl darllen ei *Vie de Jesus?* Oes, os oes perygl myned allan i'r goleuni. Llawer gwaith y daroganwyd diwedd y byd, dinystr crefydd, ac y ceisiwyd sathru goleuni newydd. Ah!

God's in his heaven
All's right with the world.

MEPHISTO.

---

# ADOLYGIAD AR YR ADOLYGIAD.

MAE yn gofus gan lawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, ddarfod i ni tua diwedd ein hysgrif flaenorol, yngwyneb lledaeniad cyflym addysg uwchraddol yn ein gwlad, a chydnabyddiaeth cynhyddol ein hieuenctid ag iaith ein cymdogion y Ffrancod, ddatgan ein pryder rhag y byddai i rai o honynt gael eu cipio ymaith drwy y swyn sydd yn perthyn i arddull Renan i gofleidio ei syniadau, heb ystyried yn ddyladwy gynnwys, a rhediad, a chanlyniadau anocheladwy ei ddamcaniaethau. Erbyn hyn, fel y gwelir oddiwrth yr ysgrif uchod, nid arweiniwyd ni gan ein hofnau i ddychmygu yr hanner: oblegid dyma un, o leiaf, yn ymddangos, nid yn unig wedi ei swyno gan syniadau Strauss a Renan, ond yn meiddio dyfod allan i'w hamddiffyn hefyd gyda rhyw gymaint o sêl, beth bynnag am wybodaeth.

*Ymddangos* a ddywedasom; oddiwrth ffurf ac ysbryd y cyfansoddiad ni fuasai gennym y petruster lleiaf i'w restru gydag amddiffynwyr mwyaf didwyll y dysgawdwyr hyn; un frawddeg yn unig yn nechreu yr ysgrif sydd yn peri i ni ameu ei ddidwylledd. Dywed, "Nid wyf yn ystyried ei fod o'r pwys lleiaf pa un a wyf yn credu yr hyn wyf yn ei ysgrifennu ai peidio." Os nad oes rhyw ystyr gyfriniol i'r geiriau hyn, tuhwnt i'n gallu ni i'w hamgyffred, dywedem yn hytrach ei fod o'r pwys mwyaf iddo *fod* bob amser yr hyn y mae yn *ymddangos*, i beidio ag ysgrifennu ond yr hyn y mae yn ei gredu, fel y gallo felly gredu yr hyn y mae yn ei ysgrifennu. Os nad oes pwys yn y byd ei fod yn credu yr hyn y mae yn ei ysgrifennu, dymunwn wybod pa beth yw ei amcan yn ysgrifennu? Y mae yn gam ag ef ei hun, â'r gwirionedd, ag ieuenctid ein gwlad, ac a ninnau, iddo lefaru fel pe yn credu yr oll a ddywed (canys dyna ffurf ei holl frawddegau), ac wedi'r cwbl yn rhoddi rhagocheliad, y gallai nad ydyw ef ond cellwair o'r dechreu i'r diwedd. Nid yw yn ffyddlawn iddo ei hun os yw yn gosod allan haeriadau fel ei eiddo ei hun, ac yntau heb eu credu; ac un ffordd iddo ddyfod i gredu yr hyn nas mynnai, ydyw arferiad mynych o adrodd twyll. Nid yw ffyddlawn i'r gwirionedd, oblegid hanfod gwirionedd ydyw cysondeb rhwng y mewnol a'r allanol,—cyfatebiaeth rhwng bod ac ymddanghosiad. Nid yw ffyddlawn i ieuenctid ei wlad, oblegid dywed tua diwedd ei adolygiad,

"Y gall crefydd Charles o'r Bala ddweyd wrth fechgyn Cymru, 'chwi a'm gadawsoch i';" a dyma un, o'r hyn lleiaf, yn honni y gall ef *ddweyd* ei fod yn gadael crefydd Charles o'r Bala, ac nad yw o'r pwys lleiaf ei fod yn credu hynny ai nad yw. Nid ydyw yn ffyddlawn tuag at y rhai a fynnent ei ddwyn yn ol drachefn i'r iawn, oblegid y mae yn dewis eu gadael yn y tywyllwch, pa un a ydyw wedi ei ennill yn hollol gan y cyfeiliornadau hyn, ai dychmygu hynny y mae. Canys nid yr un dadleuon a ddylid arfer gydag ymofynydd pryderus am y gwirionedd, a chydag un wedi gwneyd ei feddwl i fyny ar unrhyw bwnc, ac yn enwedig un yn cellwair yn hollol gyda phob gwirionedd,—yn cymysgu yn anobeithiol a'u gilydd dwyll, rhagrith, a gwirionedd. Oni bai ein bod yn ofni mai ychydig o ddylanwad sydd gan yr Apostol Paul arno, fel y cawn sylwi eto, buasem yn cyflwyno i'w sylw, ei esiampl ragorol ef o lefaru yn unig yr hyn oedd yn ei gredu, yn ol cynllun y Salmydd o'i flaen. "Yn ol yr hyn a ysgrifennwyd," meddai ef, "credais am hynny y lleferais; yr ydym ninnau hefyd yn credu, ac am hynny yn llefaru" (2 Cor. iv. 13). A phan byddai Paul yn dyfynnu crediniaeth un arall, ac nid yr eiddo ei hun, gofalai bob amser ddynodi hynny â'r geiriau, "Eithr fe ddywed rhywun," neu ymadroddion cyfystyr. Ond os na wrendy ar Paul, feallai mai nid diystyr ganddo gyngor Polonius i Laertes yn Hamlet, i beidio a honni bod yr hyn nad ydyw, ar un llaw; ac i geisio bod yr hyn y mae yn ei honni ar y llaw arall:—

This above all: to thine own self be true,
And it must follow as the night the day,
Thou canst not then be false to any man.

Ond i ddyfod at rai o'r "pwyntiau" mewn dadl, ys dywed ein Hadolygydd. "Cnewyllyn gwrthddadl Strauss oedd hyn," medd Mephisto, "fod *myths* (chwedlau) neu ystraeon yn codi o amgylch hanes bywyd dynion mawr." Y mae hyn yn gamddarluniad dybryd o safle "Strauss a'i barti," yn eu perthynas â'r ysgrifeniadau sanctaidd. Nid oedd yn bosibl i hyn fod yn wrthddadl, canys ni fu dadl erioed gan neb o amddiffynwyr Cristnogaeth am y posibilrwydd i *myths* godi o gwmpas hanes bywyd dynion mawr. Yn wir y mae yr Efenylydd Ioan yn cyfeirio at "lawer o bethau ereill a wnaeth yr Iesu" heblaw a gofnodir yn yr Efengylau, "y rhai ped ysgrifennid hwy bob yn un ac un, na chynhwysai y byd y llyfrau a ysgrifennid" (Ioan xxi. 25). Y mae hyn yn cyfeirio at bethau *gwirioneddol* a allesid nodi am dano; ac ni a wyddom yn dda fod gau-Efengylau wedi eu cyhoeddi yn gynnar yn hanes yr eglwys. Y mae ein Hadolygydd wedi anwybyddu yn hollol yr hyn a ddywedwyd gennym fel hanfod haeriadau Strauss, sef mai "chwedlau wedi eu dyfeisio gan yr Eglwys ar ol marwolaeth yr Iesu, i gyfateb i'r proffwydoliaethau am y Messiah yn yr Hen Destament ydyw cynnwys y Pedair Efengyl;" ac felly cnewyllyn y ddadl ydyw, nid fod *myths* wedi codi o gwmpas bywyd yr Iesu, ond pa un ai hanesion *gwirioneddol* ai chwedlau ydyw cynnwys yr Efengylau? I egluro ei osodiad y gallant fod yn chwedlau, cyfeiria Mephisto ni at y dybiaeth ganlynol,—"Pwy allai ddweyd mwy o hanesion difyr am hen wleidyddion Prydain na Mr. Gladstone? Ond a all hyd yn oed Mr. Gladstone sicrhau fod pob un o'r ystraeon a ddywed yn wir?" Nid y cwestiwn yw, a all Mr. Gladstone sicrhau fod pob ystori a ddywed yn wir, ond pa rai y mae efe yn eu gwarantu ar sail ei eirwiredd ei hunan sydd yn ffeithiau. Nid

ydym yn tybied y gwrthodai Mephisto gredu ystori y dywedai Mr. Gladstone ei fod yn llygad-dyst o honi, neu fod ganddo bob lle i gredu ei bod yn wirionedd. Dyna yn gymwys berthynas cynnwys yr Efengylau â bywyd yr Iesu. Nid fel *myths* y mae yr hanesion yn cael eu cyflwyno i sylw gan y pedwar Efengylwr, ond fel geiriau gwirionedd a sobrwydd. Dyna Mathew yn un o'r Apostolion, ac felly yn llygad-dyst o'r rhan fwyaf o'r hyn a adrodda; Luc yn ysgrifennu wedi iddo "ddilyn pob peth yn *ddyfal* o'r dechreuad," er mwyn i Theophilus gael gwybod sicrwydd am y pethau y dysgwyd neu y cateceisiwyd ef ynddynt; Efengyl Marc yn arbennig yn meddu profion mewnol o fod yn *ail*-adroddiad un fu yn dyst byw a dyddorus o'r holl amgylchiadau; ac Ioan yn gwarantu holl gynnwys ei Efengyl gyda'i eirwiredd ei hunan; "Hwn yw y disgybl sydd yn tystiolaethu am y pethau hyn; . . . ac ni a wyddom fod ei dystiolaeth ef yn wir." Fel geiriau gwirionedd a sobrwydd y derbyniwyd hwynt gan yr Eglwys ar y pryd, a chan Gristionogion o oes i oes, o'r dyddiau hynny hyd yn awr. Os *myths*, y maent yn wahanol hollol yn eu tarddiad i'r hyn a ddywedir am y duwiau paganaidd, neu am ddechreuad teyrnasoedd Groeg a Rhufain, neu Gaerdroia. Ymhen canrifoedd lawer ar ol y digwyddiadau hynny, y ceir y cofnodion boreuaf am danynt mewn ysgrifen; ond yma honnir i *myths* gael eu dyfeisio hyd yn oed yn yr un oes â gwrthrych y *myths*, a chan ddynion oeddynt yn bwyta ac yn yfed ger ei fron; ac yn myned i fewn ac allan o dan ei arweiniad. Profwyd tu hwnt i bob dadl, yn ol y syniadau a goleddid ar y pryd yn yr Eglwys Iuddewig am Natur Duw a'r disgwyliadau am y Messiah, nas gallasai y cenhedliad goruwch-naturiol, neu ymweliad y doethion, gael bodolaeth fel chwedlau, ond fel ffeithiau amhlygadwy; ac y mae holl gynnwys yr Efengylau yn eu symledd a'u gonestrwydd, yn anghyson hollol a damcaniaeth y *myths*. Ond ofer fyddai i ni gynnyg rhoddi crynhodeb o'r modd y cyfarfyddwyd â haeriadau Strauss; nid un rhifyn o'r TRAETHODYDD gynnwysai draian y lenyddiaeth. Os ydyw Mephisto yn anhysbys o'r maes toreithiog hwn, dim ond iddo apelio at y Golygydd parchedig, gwyddom yn dda y bydd yn hyfryd ganddo ei gyfarwyddo i'r porfeydd gwelltog hyn.

Y mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywed Mephisto am chwedl y "darlun ar y napcyn" fod elfennau mwyaf syml beirniadaeth Ysgrythyrol a phrofion Cristionogaeth yn hollol ddieithr iddo, neu ynte fel pantheist nad ydyw yn gofalu nemawr am y pethau hyn. "Wrth gwrs," meddai, "nid oes neb heddyw yn credu fod yr hanesyn yn wir. Ac eto y mae mor hawdd gen i gredu yr hanesyn yma a chredu yr hanesyn fod y dwr wedi troi yn win." Nid ydyw Mephisto yn ymostwng i ddweyd wrthym paham y mae mor barod i gredu y naill a'r llall. Am danom ni, cyn y gallasem feddwl am gredu chwedl, buasai yn angenrheidiol i ni gael hanes ei tharddiad; Pwy ydyw ei hawdwr gwreiddiol? Ym mha lyfr neu ysgrif-lyfr y mae i'w chael? Beth yw oed yr ysgrif-lyfr hynaf y mae i'w chael ynddo? A dderbyniodd rhywun heblaw Mephisto hi fel yn wir, yn enwedig rhai yn byw yn oes yr Iesu? Beth oedd amgylchiadau y digwyddiad? Pa amcan oedd yn cael ei sicrhau yng nghyflawniad y wyrth?—a llawer o fanylion ereill. Ond nid yw cyfansoddiad meddwl Mephisto yn gyffelyb i'r eiddom ni, gan ei fod yn gosod yr hanes yn Ioan lle y ceir y manylion uchod am droi y dwr yn win, i'r boddlonrwydd perffeithaf, ar yr un tir yn gymwys â chwedl sydd yn gorffwys yn unig ar ei chymeriad disglaer ei hunan am ei chymeradwy-

aeth. Fel gwir ddisgybl Strauss, nid oes arno ef angen am brofion allanol, gan ei fod yn pwyso a mesur popeth yn ol ei *subjective consciousness* anffaeledig ei hunan. Clywsom ninau chwedl am yr Iesu pan yn fachgen, ei fod gyda bechgyn ereill yn arfer gwneyd delwau o adar mewn clai, ond am adar yr Iesu y byddent oll yn magu adenydd ac yn ehedeg ymaith yn yr awyr, tra yr arhosai y lleill yn barhaus yn ddelwau meirwon. Nid ydym yn credu y chwedl, a hynny nid am ein bod yn meddwl fod y peth yn amhosibl ynddo ei hun, ond am fod yr hanes yn hollol groes i dystiolaeth Ioan—yr hwn sydd yn gwystlo ei eirwiredd ei hun ar ei dystiolaeth—na chyflawnodd yr Iesu wyrthiau yn ystod ei fachgendod, ac mai troi y dwr yn win, y mae Mephisto yn meddwl mor ychydig o honi, ydoedd yr amlygiad cyntaf o'i allu dwyfol (Ioan ii. 11); a'i bod, yn gystal a napcyn Mephisto, yn wahanol ei nodwedd i'r gwyrthiau a gofnodir yn y llyfrau awdurdodedig.

Yn nesaf y mae Mephisto yn traethu ei lith ar y profion o ysbrydoliaeth yr Efengylau. Ond o'r geiriau, "Dyma ni yrwan wedi dod i bwynt, un o ddau beth, &c.," hyd "wedi moedro Ewrop am agos i ddwy fil o flynyddoedd," nid oes gennym ond gwaeddi uwchben yr holl ymresymiad *Lux fiat!* Darllenasom y brawddegau yn fanwl fwy nac unwaith, ond rhaid i ni addef nas gallwn wneyd pen na chynffon o'r ymresymiad. Mewn un lle dywed, "Y mae y pysgotwyr hyn yn dweyd eu bod o dan ddwyfol arweiniad wrth ysgrifennu eu hefengyl. A wnawn ni eu coelio?" Yn ymyl hynny, megis *in uno flatu*, y mae yn galw y cwbl yn ol: "*Nid* ydynt hwy yn honni cyn belled ag yr wyf fi yn cofio eu bod o dan ddim arweiniad." Pa angen am y fath fwnglerwch? Ai er mwyn rhoddi *ocular demonstration* o'r hyn faentumiodd o'r blaen, fod Strauss wedi profi "fod yr efengylau *fel pob hanesiaeth ddynol yn agored i gamgymeriadau?*" Nid eisieu profi eu bod yn agored i gamgymeriadau oedd, ond profi beth oedd yn gamgymeriadau ynddynt, os oedd rhai; ac mai chwedlau wedi eu dyfeisio oedd y rhannau mwyaf hynod o honynt. Ymhellach, gyda golwg ar yr unig ffordd, yn ol ei farn ef, i gael boddlonrwydd am wirionedd ysbrydoliaeth, dywed, "Pe deuai dyn ataf fi gan ddweyd 'dyma lythyr oddiwrth hwn a hwn,' y mae yn amlwg nad oes ond un prawf yn bosibl i brofi llythyr pwy ydyw, sef tystiolaeth y dyn a'i cafodd o law yr 'hwn a hwn?'" Gadewch i ni newid y gair *llythyr* am *lyfr*. Y mae yn bosibl fod Mephisto wedi darllen *De Bello Gallico* Cæsar, neu *Germania* Tacitus, neu *Iliad* Homer. Ai am ei fod wedi clywed ei hunan gan yr awdwyr hynny mai hwy gynhyrchodd y llyfrau sydd ar eu henw y mae yn eu derbyn? Yr ydym yn cymeryd yn ganiataol ei fod yn eu derbyn, os nad ydyw yn mabwysiadu arwyddair ei gynenwad ymhob peth,—"No, say I to every thing." Neu os yw yn eu gwrthod, y mae yn wahanol i ddysgedigion ereill ymhob oes a gwlad. Os yw yn eu derbyn, a fydd yn rhyfedd ganddo glywed, fod y profion mai Matthew, Marc, Luc, a Ioan, ydynt awdwyr y gwahanol Efengylau a briodolir iddynt, yn annhraethol gryfach na'r hyn sydd yn cysylltu yr un o'r awduron ereill gyda'i weithiau? Wedi cael boddlonrwydd ar yr awduriaeth a'r dilysrwydd, cam bychan sydd oddi yno at ysbrydoliaeth. Y mae Mephisto mewn cryn lawer o gymysgfa, a ydyw yr awdwyr eu hunain yn honni ysbrydoliaeth; gan fod ei gof mor gymysglyd, feallai mai gwell i ni ei gynorthwyo. Er nad ydynt yn honni ysbrydoliaeth yn uniongyrchol i'w Hefengylau, y mae'r casgliad eu bod, yn anocheladwy. Fel hyn: Sonia y tri *Synoptist* am addewid yr Iesu

i fod yn enau a doethineb iddynt wedi iddo eu gadael: nad oeddynt i ragfyfyrio pa beth a ddywedent ger bron brenhinoedd a llywodraethwyr; nad hwy fyddai yn llefaru ond *yr Ysbryd Glan yn llefaru ynddynt* (Matth. x. 19, 20; Marc xiii. 11; Luc xxi. 14, 15). Cyfeiria Ioan ymhellach at yr addewid am yr Ysbryd yn dwyn ar gof iddynt eiriau yr Iesu, ac yn eu dysgu ymhob peth ynglyn â'i deyrnas (Ioan xiv. 26, xvi. 13); ac yn eu tywys i bob gwirionedd. Wel mae'r casgliad yn anocheladwy,—os ydoedd yr ysbryd yn eu dysgu yn eu tystiolaeth ger bron eu gelynion, diau ei fod yn enau a doethineb iddynt ynglyn â'r dystiolaeth ysgrifenedig ydoedd a'i chyfeiriad nid yn unig at "Jerusalem, Judea, a Samaria," ond hefyd "hyd eithaf y ddaear." A dyma gred yr Eglwys hefyd o'r dechreuad am gymeriad eu hysgrifeniadu.

Ond cydnebydd Mephisto ei hunan fod Paul yn dweyd rhywbeth ynghylch ysbrydoliaeth yr Efengylau; er ei fod wedi cael allan rywfodd mai "*breuddwydio*" yr ydoedd pan yn llefaru. Y mae yn deg i ni gasglu oddiwrth y disgrifiad hwn o'r Apostol Paul fod Mephisto wedi llyncu yn hollol syniadau Renan am alluoedd disgybl Gamaliel. Dyn oedd Paul yn ol ei fantoliad ef, "heb wybod nemawr am reolau ymresymiad Aristotle; yn anghyfartal boenus yn ei arddull; o ran ei gymeriad moesol yn falch, awdurdodol, a nwydog i eithafion" (*Les Apôtres*, Chap. x.). Ond a chydnabod na ddaw Paul i fyny â Renan, fel amddiffynydd y grefydd ag y mae Renan yn ei chondemnio, nac â Mephisto yn ei amddiffyniad i Renan a Strauss—er nad ydym yn gwybod am un ran o weithiau yr Apostol sydd yn dwyn y tebygolrwydd lleiaf i'r tryblith yn y dyfyniad diweddar,—eto nis gall Mephisto na Renan wadu fod gan Paul fantais amlwg arnynt hwy ar fater ysbrydoliaeth yr Efengylau. Yr oedd ef yn gydnabyddus â'r holl Efengylwyr; gwyddai yn dda am eu cymeriad, eu galluoedd, a'u hymroddiad yng ngwasanaeth eu Harglwydd; yr oedd wedi gallu cymharu tair o'r hyn leiaf o'r Efengylau a'u gilydd; gwyddai yn dda beth a olygid wrth ysbrydololiaeth; sonia am lefaru ei hunan yn ol ei farn bersonol, a gwahaniaethai oddiwrth hynny gyfryngiad yr Ysbryd; y mae yn honni ei hunan ei fod yn llefaru o dan arweiniad goruwchddynol. Ac nid ydym yn gofyn am uwch na gwahanol ysbrydoliaeth i'r Efenyglau nag y mae Paul yn dangos ei fod yn ei feddu ei hunan. Nid oes dim tebyg i *freuddwydio* ynglyn â'i fynegiad am ysbrydoliaeth yr holl Ysgrythyr, yn ail lythyr Timotheus, y drydedd bennod. Yn wir condemnia rith duwioldeb yn adn. 5; apelia at ei ddysgeidiaeth a'i fuchedd yn adn. 10; nid *brenddwydio* yr ydoedd pan yn dwyn ymlaen yr erlidiau a'r dioddefiadau yn adn. 11; a rhagfynega hanes y "drwg ddynion yn myned rhagddynt waeth waeth, gan dwyllo a chael eu twyllo," adn. 13. Nid rhyfedd ar ryw olwg i frodyr Joseph ei alw yn "freuddwydiwr," canys yr oedd a fynnai *breuddwydio* gryn lawer â'i hanes ef ar y pryd; ond am ddweyd fod Paul yn *breuddwydio* ar pwnc pwysig ysbrydoliaeth, pan ar fin cael ei aberthu, ac amser ei ymddatodiad wedi agoshau, y mae yn fwy tebyg i haeriad Ffestus nac i ddim arall,—"Paul, yr wyt ti yn ynfydu, llawer o ddysg sydd yn dy yrru di *yn ynfyd*." Gwell, mae'n ymddangos, gan Mephisto gwmni brenhinoedd a rhaglawiaid i ddweyd fod Paul yn *breuddwydio*,—canys math o freuddwyd effro yw ynfydrwydd, —na chwmni'r "duwinyddion" i "foedro Ewrop" ar derfyn yr eilfed fil, trwy *brofi* nad yw Paul yn deall ysbrydoliaeth yr Efengylau. Ac eto, cyn hir fel y gwelwn, y mae Mephisto yn gwneuthur defnydd o Paul

fel o ryw werth heblaw megis *breuddwydiwr*, pan yn selio dadl ar yr hyn a ddywed yn Rhuf. viii. 29. Rhy debyg i ddynion penrydd ymhob oes, fel Achilles,—"Jura negat sibi nata, nihil non arroget armis,"—a llawer o frenhinoedd a rhaglawiaid, eisieu hela gyda'r bytheuaid, a rhedeg gyda'r ysgyfarnog hefyd!

Bellach yr ydym wedi dyfod at y "pwynt" pennaf, mwyaf, a phwysicaf yn *apologia* ein cyfaill, sef "Fod barn Renan, o ran sylwedd, yr un yn hollol a barn yr Iesu am dano ei hun." A barn Renan, meddai, yw, "fod yr Iesu yn llawn hyd ei ymylon o Dduw," ond "nid yn ddwyfol yn yr ystyr o fod yn gyfartal â Duw;" "yn Efengyl Ioan, fod yr Iesu yn siarad am dano ei hun fel un dwyfol, mae'n wir, ond eto, nid fel yn Dduw, neu yn ymgnawdoliad o Dduw." Yn y fan yma, nid ydym wedi anghofio cerydd tadol Mephisto i ni tua dechreu ei ysgrif, am i ni feiddio meddwl "nad oedd calon Renan yn yr hyn a ysgrifennodd," ac mai "*ymddangos* yn unig yr oedd ei edmygedd o'r Iesu, a *cheisio* gwneyd argraff, ond heb ei gynhyrchu." Yr unig ateb sydd gennym i hyn ydyw, a all Mephisto gysoni parch *gwirioneddol* ac edmygedd *diledryw* tuagat yr Iesu, â'r ffeithiau anghymeradwy a ganlyn, sef "ddarfod iddo gymeryd ei dwyllo gan ei ganlynwyr," iddo mewn canlyniad "droi i'w twyllo hwythau;" iddo "ffugio ei rinweddau a chuddio ei ffaeleddau;" "nad oedd safon ei foesoldeb gyfuwch ag eiddo rhai o'r paganiaid;" "ei fod islaw ysgol Renan ei hun yn ei ddull o chwilio am y gwirionedd;" ac ymhellach, iddo "arfer ystrywiau iselwael er mwyn ennill neu gadw ei boblogrwydd?" Feallai nad ydyw Mephisto yn gydnabyddus â'r cyfeiriadau uchod yn y *Vie de Jesus*, ac er mantais iddo ef a'r darllennwyr, nid anfuddiol, o bosibl, fyddai i ni ddyfynnu rhai o honynt. Mewn un man gesyd yr Iesu ar yr un tir a Joan d' arc yn ei ddull o ddylanwadu ar ei ddisgyblion. "Yr oedd yr Iesu yn ddyledus am y buddugoliaethau hyn [sef ar ei ddilynwyr] i swyn diderfyn ei berson a'i air. Byddai gair treiddiol, neu edrychiad, yn syrthio ar gydwybod ddysyml, yr hon nid oedd eisieu ond ei deffro, yn gwneyd iddo ddisgybl gwresog. Weithiau gwnai ddefnydd o *ddyfais ddiniwed tebyg i ddull Joan d'arc.* Ffugiai ei fod yn gwybod ynghylch peth yr ewyllysiai gael allan y manylion am dano; neu dygai i gof un amgylchiad anwyl gan ei galon. Fel hyn y cyffyrddodd â Nathanael, â Phetr, ac â'r wraig o Samaria." (*Edition Populaire*, tudal. 93). Aiddgarwch ei ddisgyblion oedd yn peri iddo fabwysiadu teitlau y gwyddai nad oedd ganddo hawl iddynt. "Yr oedd edmygedd ei ddisgyblion," meddai, "yn ei oresgyn a'i lusgo ymaith." (Tudal. 156). Cymerodd y teitl o "Fab Dafydd" yn unig er mwyn diogelu ei lwyddiant. "Canlyniad uniongyrchol y gosodiad 'Iesu yw y Messiah' ydoedd y llall, 'Y mae Iesu yn Fab Dafydd.' Caniataodd iddo ei hun gymeryd teitl heb yr hwn nis gallai obeithio ennill llwyddiant, *a diweddodd fel yr ymddengys mewn cymeryd pleser ynddo*" (*Ibid*, tudal. 152). Y mae'r dyfyniadau canlynol yn dangos syniadau Renan am yr Iesu yn ymroddi, i ddechreu, i ddatganiadau penboeth ei ganlynwyr, ac yn diweddu mewn twyllo ei hunan: "Yn naturiol po fwyaf y credent hwy ynddo ef, mwyaf y credai yntau ynddo ei hun" (*Vie de Jesus*, Paris, 1863, tudal. 130). "Nid oedd y chwedl am dano [sef yr Efengylau] ond canlyniad cydfwriad mawr a hollol wirfoddol, wedi ei wau o'i gwmpas gan ei gydoeswyr" (*Ibid*, tudal. 240). Cymeryd ei dwyllo a wnaeth i wneyd ymddanghosiad o feddu gallu gwyrthiol. "Gallwn

felly gredu iddynt gael gosod arno ei glod fel ffug-wyrthofydd (*thaumaturge*), *yr hyn ni wrthwynebodd yn ddigonol*, ond na wnaeth, y mae'n wir, ddim i'w gynorthwyo, *a'i fod ar bob cyfrif yn canfod oferedd eu syniad* yn yr ystyr hon" (*Ibid*, tudal. 265). Ond ynglyn ag adgyfodiad Lazarus, y mae Renan wedi arwain yr Iesu i'r dyfnderoedd pellaf mewn ffugiaeth ac uchelgais. Dyma ei gyfrif ef am yr olygfa fawr honno ym mhentref Bethania:—"Yr oedd ar gyfeillion yr Iesu eisieu un wyrth ardderchog, yr hon a darawai yn fywiog yn erbyn anghrediniaeth Jerusalem. Yr oedd adgyfodiad dyn adnabyddus yn Jerusalem yn rhwym o ymddangos yr hyn a fuasai fwyaf argyhoeddiadol. Yn ninas aflan a thrymaidd Jerusalem nid ydoedd yr Iesu mwyach yn efe ei hunan. Yr oedd ei gydwybod, trwy fai dynion, ac nid yr eiddo ei hun, wedi colli rhyw gymaint o'i thryloewder cyntefig. . . Cymerodd le yn Bethania rywbeth ystyrrid fel adgyfodiad. Feallai i Lazarus, yn welw eto gan ei afiechyd, beri cael ei amgylchu â rhwymau fel un marw, a chael ei gau ym meddrod y teulu. Dymunai yr Iesu gael golwg unwaith eto ar yr hwn yr ydoedd yn hoff o hono; ac wedi symud y maen, daeth Lazarus allan yn ei rwymau, a'i ben wedi ei gylchynu â napcyn. Daeth yr ymddanghosiad hwn i gael ei ystyried gan bawb yn naturiol, fel adgyfodiad. . . Am yr Iesu, nid oedd mwyach yn ddigon o feistr i allu cymedroli gwanc y dyrfa, a'i ddisgyblion ei hunan, am y rhyfeddol. Heblaw hynny, yr oedd marwolaeth ymhen ychydig ddyddiau yn myned i roddi iddo ef ei ryddid dwyfol, ac i'w gipio oddiwrth angenrheidiau terfynol personoliad [neu ymddangosiad] oedd bob dydd yn dyfod yn fwy hawliol, ac yn fwy anhawdd ei gadw i fyny" (*Ibid*, tudalenau 359, 360, 363).

Wedi'r disgyniad uchod i Avernus, nid rhyfedd clywed Renan yn dweyd fod Mark Aurelius a Spinoza yn rhydd oddiwrth gyfeiliornadau ag yr oedd yr Iesu yn eu llochesu (tudal. 451). Ie, fod gan Renan ei hun a'i ysgol, trwy eu *didwylledd hollol a'u cariad an-hunangar at feddylddrych pur*, fantais ar yr Iesu; a bod cysylltiadau dwyreiniol yr Iesu yn ei anghymhwyso i adnabod gwirionedd sylweddol, *ac y gallai fe ly fod amryw safonau hyd yn oed i ddidwylledd* (tudal. 252). Yn wir diwedd y paragraff, yr hwn a ddyfynna Mephisto, fel yn disgrifio yr Iesu ar ben y golofn a gyrhaeddodd uchaf at Dduw, ydyw, "*fod yn bosibl i lawer o'i ffaeleddau fod wedi eu cuddio*" (tudal. 458). Rhyfedd felly, onide, nad Renan ei hun fuasai uchaf ar ben y golofn, ac Aurelius a Spinoza yn nesaf ato. Yngwyneb y dyfyniadau hyn, onid priodol i ni ofyn eto, pa le mae'r cysondeb o ganmol un fel yn llawn o Dduw at yr ymylon, ac ar yr un pryd ei wneyd yn euog o bechodau ag y buasai miloedd o'i ddilynwyr yn dychrynu rhagddynt? Gan hynny, yr ydym, gan i Mephisto ein herio, yn ychwanegu y gallasai yr Iesu ddweyd wrth Renan nid yn unig eiriau'r Salmydd, "Ti a'm codaist i fyny ac a'm teflaist i lawr," ond hefyd ei gyfarch, megis ag y dywedodd wrth Judas Iscariot, "Ai a chusan yr wyt ti yn *bradychu* Mab y Dyn?"

Ond beth am "farn yr Iesu am dano ei hun, yr un â barn Renan am dano, na ddarfu iddo erioed honni ei fod yn Dduw?" Y mae'n debyg fod ein darllenwyr, fel ninnau, yn methu gwybod pa un ai tosturio wrth anwybodaeth Mephisto, ynte gwrido wrth ei hyfdra a wnawn pan y dywed, "Nis gallaf fi weld ei fod wedi dweyd yr un gair, na'r un sill erioed a'n harweinia ni i gredu ei fod yn ystyried ei hun yn Dduw. Ni ddychmygodd yr Iesu erioed y buasai neb mor ynfyd a'i wneyd ef yn

gyfartal â Duw." Onid ydyw Efengyl Ioan yn dryfrith o eiriau a sillau i'r perwyl hwn? Y mae'n wir na chawn ef yn dweyd, "Yr wyf fi yn Dduw;" ond ai dyma yr unig ddull iddo allu mynegi ei safle? Ai Renan a Mephisto sydd i *ddictatio* i'r Iesu pa ffurf o ymadrodd i'w arfer yn ei ymwneyd â phlant dynion? Onid dyna gais yr Iuddewon yn barhaus, ar iddo arfer y ffurf bendant yna? Ond y mae Efe yn eu cyfeirio at ei weithredoedd, ei athrawiaeth, a'i gymeriad, ac yn eu hannog i orchfygu eu rhagfarnau fel ag i gyrraedd y casgliad yna eu hunain. Onid fel honiadau un yn gwneyd ei hun yn gyfartal a Duw yr edrychai ei elynion ar ei eiriau, er nad oeddynt yn eu credu, ac y derbyniai ei gyfeillion hwynt yn llawen? Ymhlith llïaws ereill dymunem alw sylw Mephisto at yr ychydig a ganlyn:—Yn Ioan vi. 21 y mae yn hawlio cyfartaledd â'r Tad yn ei allu i fywhau yn naturiol; ac yn dweyd yn Ioan v. 28, 29, y gwnai hynny â'r holl hil ddynol yn yr adgyfodiad diweddaf. Yn yr adn. 17 o'r un bennod, y mae yn honni ei gydweithrediad â'r Tad yng nghreadigaeth a chynhaliaeth y byd a'r bydoedd. Beth yw ystyr amlwg y fath adnodau a Ioan x. 29, 30, ond ei fod yr un o ran hanfod â'i Dad, gan mai yr un gallu sydd yn ei law Ef ag yn llaw ei Dad tuag at ddiogelwch ei bobl? Onid yw yn hawlio yr un anrhydedd yn hollol â'i Dad yn Ioan v. 22, 23, ac onid rhyfyg fuasai hynny oni bai ei fod yn gyfartal iddo? Yn Ioan viii. 58, iii. 13, vi. 33, y mae yn mynegi ei fodolaeth cyn ymddangos yn y cnawd, a'i fod tra yn llefaru ar y ddaear, er hynny yn preswylio yn y nefoedd. Yn y Synoptiaid oll, ac yn Ioan v. 22, 27, y mae yn honni mai Efe fydd barnwr byw a meirw yn y dydd diweddaf. Ac er mai am ei fod yn Fab Dyn y cafodd yr awdurdod fawr honno, a allwn ni feddwl y gallai neb llai na Duw, sydd yn gwybod dirgelion calon holl filiynau dirifedi deiliaid y farn, gyflawni yr ymddiriedaeth honno? Ac onid am honni ei fod yn Fab Duw—nid yn yr ystyr a ddyry Renan i'r gair fel un "*llawn* o Dduw"—ond fel un *cystal*, *cyfartal*, â Duw—y condemniwyd ef i farw gan yr Iuddewon, Ioan xix. 7? A glywyd son am neb o blant dynion, y rhai y tybia Renan y gellid eu galw yn feibion Duw yn yr ystyr o feddu Ysbryd Duw, ac mewn cymundeb ag Ef, erioed wedi meiddio arfer yr un o'r ymadroddion uchod i ddangos eu perthynas â Duw? Ond i ba beth y llïosogwn gyfeiriadau; onid yw Ioan ei hun, a glywodd holl eiriau yr Iesu, a fu yn dyst o'i holl ddadleuon â'r Iuddewon, yr hwn oedd wedi pwyso ar ei fynwes ac yn deall ei fynegiad yn well na'r holl ddisgyblion ereill, wedi rhoddi ei farn am dano yn hollol yn y geiriau y dymunai Renan a Mephisto i'r Iesu ei hun fod wedi eu harfer i setlo'r mater? Nid oes, ni a obeithiwn, eisieu adgoffa y darllenydd o'i eiriau aruchel yn nechreu ei Efengyl:—"Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, *a Duw oedd y Gair;*" ac ychydig ymhellach: "*Yr unig-anedig oddiwrth y Tad*, yn llawn gras a gwirionedd." *Y Logos*, y gair ydoedd, i ddangos ei gyd-hanfodiad â'r Tad, a'i fod yn adlewyrchiad o hono. Nid "yn y dechreuad" fel "creadur," y cyntaf o'r holl greadigaeth; oblegid i gywiro hynny gofala Ioan am ychwanegu, "a *Duw* oedd y Gair;" a dywed ei fod "yn *unig-anedig* Fab" i ddangos ei bersonoliaeth er tragwyddoldeb, yn gystal â'r amlygiad o hono i feibion dynion.

Ond beth am esboniadau Mephisto, er profi na honnodd yr Iesu erioed ei fod yn gyfartal â Duw? Beth am ei esboniad ar Ioan x. 33 a 34, y mae yn ymhelaethu cymaint arnynt? Pe buasai Mephisto yn dwyn

ei syniadau ger bron un o'r dosbarthiadau cyffredin yn yr Ysgol Sabothol, buan y danghosid iddo nad oedd ganddo dir i sefyll arno. Yn lle ceisio profi mai un *tebyg* i'r "duwiau" y cyferir atynt yn y Salm yr oedd yr Iesu; yr holl gymhwysiad yw ei fod yn *wahanol* iddynt. Buasai un o'r llafurwyr amaethyddol mwyaf gwledig yn dwyn ar gof iddo y dylasai ef, ac efe yn wr dysgedig, yn sicr ddeall mai ymresymu yr ydoedd yr Iesu o'r lleiaf at y mwyaf. Os gallai yr Iuddewon gyd-ddwyn a phriodoli yr enw "duwiau," i farnwyr y ddwyf-lywiaeth,—a rhai o honynt yn ddigon llygredig—am eu bod fel swyddogion yn cynrychioli Duw, yn sicr nis gallent wadu ei ddwyfoldeb Ef, pan yr oedd ei waith yn cyflawni gwyrthiau, a'i gymeriad sanctaidd yn ei nodi allan mor amlwg. "A ddywedwch chwi," meddai, "am yr hwn a sancteiddiodd y Tad, ac a'i hanfonodd i'r byd; Yr wyt ti yn cablu, am i mi ddywedyd Mab Duw ydwyf?" Ac yna y mae yn ail adrodd mewn geiriau ereill yr un syniadau â'r rhai y mynnent ei labyddio am danynt yn y cychwyn; "Y mae y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau." Nis gall y geiriau, mae'n eglur, yma olygu yr hyn a ddywedir am breswyliad Duw mewn enaid sanctaidd; oblegid nid oes yma son am briodoleddau moesol, ond unoliaeth yr Iesu â'r Tad mewn cyflawni gweithredoedd nerthol. Golygai ei unoliaeth â'r Tad ei hollalluogrwydd hefyd fel Duw. Hyn a ddeallai yr Iuddewon, ac am hynny y maent eto am ei ddal, ond fel y dihangodd efe allan o'u dwylaw (adn. 39).

Ond beth am haeriad Mephisto oddiwrth Ioan xiv. 28, a Mat. xix 17, lle mae yr Iesu yn dweyd "fod ei Dad yn fwy nag ef," nad oedd yr Iesu yn honni bod yn Dduw? Onid ydyw yn gweled fod y fath ymddiheurad ynddo ei hun yn ei godi uwchlaw dyn? Oblegid pa ddyn fuasai yn meiddio awgrymu i neb ei fod yn gyfartal â Duw, heb gael ei ystyried yn wallgof? Ond hyn y mae yr Iesu yn ei ddweyd yn barhaus, yn gadarnhaol ac yn nacaol. Am isafiaeth yr Iesu i'w Dad, y mae hynny yn cael ei esbonio yn berffaith naturiol fel ag yr ydoedd yn ddyn, ac hefyd yn anfonedig y Tad i ddwyn oddiamgylch waith mawr y prynedigaeth. A hyd yn oed fel person dwyfol, fel yn genhedledig gan y Tad, y mae y syniad o isafiaeth yn cael ei awgrymu o ran trefn, megis y dywedai y tadau, Theos ek theou, *deus de deo*—fod y Tad yn ffynhonnell dwyfoldeb ym mywyd tragywyddol y Drindod fendigedig. "Pater, Divinitatis quæ in Filio est, fons origo ac principium est:" y Tad ydyw ffynnon a tharddiad a dechreuad y Duwdod sydd yn y Mab.

Beth hefyd am yr esboniad ar Rhuf. viii. 29, gan mai "*cyntafanedig*" ddywed Paul, nas gallai felly ystyried Iesu fel yn Dduw? "Y mae'n wir," meddai, "fod Ioan yn galw yr Iesu yn '*unig*-anedig,' ond nid yn yr ystyr mai fe oedd yr unig fab; o achos dywed Paul mai 'cyntafanedig' ymhlith brodyr lawer." Ymha ystyr, ynte, y mae'r Iesu yn "unig-anedig?" Pa fodd y gall fod yn "*unig*-anedig yn yr un cysylltiad ag y mae yn gyntafanedig? Os gall Mephisto feddwl am rhyw ystyr arall i "*unig*-anedig," heblaw bod yr Iesu yn Fab yr hanfod mewn cymeriad nas gall neb arall gyfranogi o hono; ac yn "*gyntaf*-anedig" ymysg rhai a ddygir i "deulu Duw" drwy ei brynedigaeth, buasem yn dra diolchgar am ei oleuni arno. Yn lle hynny nid oes ond distawrwydd hollol o'i ran ef. Am Paul yn gwrthod yr Iesu fel Duw, fe ddywed yn gynharach yn yr Epistol (Rhuf. i. 4), "Ac a *eglurwyd* yn Fab Duw mewn gallu yn ol ysbryd sancteiddiad, trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." Nid dweyd y mae, y *gwnaed* ef yn Fab Duw

yn yr adgyfodiad, ond "a *eglurwyd*," yr hyn oedd yn cadarnhau honiadau yr Iesu am dano ei hun cyn dioddef o hono. Ond dywed Mephisto hefyd, "na ddywedir byth yn y Testament Newydd fod yr Iesu wedi ei adgyfodi ei hun, ond bob amser mai Duw a'i hadgyfododd ef." Y mae'n debyg nad ydyw Mephisto yn deall ymadroddion ffigyrol, onide buasem yn ei gyfeirio at eiriau'r Iesu ei. hunan. "Dinystriwch y deml hon ac mewn tridiau y cyfodaf hi" (Ioan ii. 19). Ac yn wir heb ffigyr: "Nid oes neb yn cymeryd fy einioes oddi arnaf . . . y mae genyf feddiant i'w dodi i lawr, a meddiant i'w chymeryd hi drachefn" (Ioan x. 18). Am y crybwylliadau mynychach, mai y Tad a'i hadgyfododd, yr ydym yn hyderu fod Mephisto yn ddigon hyddysg yn nuwinyddiaeth y Testament Newydd i ddeall mai yn y cyfamod rhwng yr Iesu a'r Tad, un prawf o gyflawniad yr holl amodau i foddlonrwydd y Tad oedd ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Ac y mae arnom ofn, gan mor barod yw y tylwyth hwn i gecraeth, pe na roddasid pwys gan yr apostolion ar hyn, y clywsem yn bur fynych nad oedd yr Iesu wedi derbyn cymeradwyaeth derfynol y Tad i'w gyflawniadau fel Meichniydd.

Un esboniad sydd gennym eto oddiwrth Mephisto ag sydd yn teilyngu sylw, sef ar Helb, i. 1—3, a ii. 4. Y mae deiliaid ein Hysgolion Sabothol mor gyfarwydd bellach â'r llythyr hwn, fel y mae yn ddiau gennym eu bod yn synnu at fâsder yr esboniad. "Os oedd yr awdwr" meddai Mephisto, "yn credu fod yr Iesu yn Dduw, yn sicr ni fuasai yn cymeryd trafferth i brofi ei fod yn (ddim ond) uwch na'r angylion." Ond ai hynny y mae yn ei brofi? Onid yw yr ymadrodd hwnnw yn yr adn., "a lefarodd wrthym ni yn *ei Fab*," neu mewn Mab? Ac yna, fel Renan yn hollol, y mae Mephisto yn pasio heibio yr hyn nad yw wasanaethgar i'w ddamcaniaeth, at ii. 4, ac yn gwrthod ein helpu i ddeall cynnwys dwfn i. 3. Beth a all geiriau fel hyn ddysgu i ni, ond tragywyddol fabolaeth yr Arglwydd Iesu? "Yr Hwn, ac efe *yn ddisgleirdeb ei ogoniant ef*, ac *yn wir lun ei berson ef*, ac yn cynnal popeth trwy air ei nerth, wedi puro ein pechodau ni drwyddo ef ei Hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd."

Wel, yngwyneb y fath honiadau uchel gan yr Iesu ei hun, a thystiolaeth bendant yr Apostolion, ai tybed nad ydyw Mephisto yn gweled fod cymeriad yr Iesu fel dyn yn myned dan gwmwl, os nad *ydyw* yr hyn y mae yn honni ei fod, sef yn "Dduw bendigedig yn oes oesoedd?" I Renan y mae'n wir, nid yw ei gymeriad fel dyn o nemawr bwys, canys gwelsom eisoes iddo ei bardduo fel twyllwr, rhagrithiwr, a deddfwrthodwr. Clywsom am arlunydd unwaith oedd yn gwneyd portread o olygfa yn agos i ddibyn erchyll, ei fod, yn ei edmygiad o'i waith, heb yn wybod yn cilio yn ol gan edrych arno, nes bod ar fin cwympo dros y dibyn; ond i gyfaill oedd gerllaw gipio y brwsh a'i anurddo y darlun, er mwyn dwyn yr awdwr ato ei hun, a'i waredu o ddinystr. Felly Renan, wedi gwneyd darlun mor brydferth o'r Iesu,—ei fod "yn llawn o Dduw hyd yr ymylon,"—rhag i'w ddarllenwyr dybio ei *fod* yn Dduw mewn gwirionedd, ac felly ddinystrio ei gyfundrefn, y mae yn tybio mai gwell iddo wneyd anferthlun o hono fel dyn; a'i ddangos yn foesol yn fwy gwrthun na darlun y bardd o fenyw brydferth yn y rhan uchaf, ond yn terfynu yn bysgodyn du a ffiaidd;—

Ut turpiter atrum
Desinat in piscem mulier formosa superne.

Ond os nad ydyw cymeriad yr Iesu fel dyn o nemawr bwys i Renan, y mae yn annrhaethol felly iddo ef ei Hunan, ac i'r Apostolion. Wedi ei arddangos mor bur, mor ddisglaer, yn gallu herio unrhyw un ei argyhoeddi o bechod, yr hwn y dywedodd Pilat am dano, "Nid wyf fi yn cael dim bai yn y dyn hwn;" os nad ydyw yn Dduw megis ag y mae yn honni, yna y mae ei gymeriad fel dyn yn fwy gwrthun ganwaith nag y mae hyd yn oed Renan ei hun wedi ei bortreadu. Gwir, yn ddiau felly, fyddai y gosodiad cynhwysfawr hwnnw, *Christus, si non Deus non bonus:* os nad ydyw Crist yn Dduw, nid ydyw yn ddyn da. Onid ydyw wedi honni mai ei neges yn dyfod i'r byd oedd *tystiolaethu i'r gwirionedd;* oni ddywedodd ei fod yn addfwyn a *gostyngedig o galon;* ac nad ydoedd yn ceisio ei ogoniant ei hun, na'i les ei hun, ond yn hytrach yr eiddo ereill; ond y mae y cwbl yn syrthio i fod fel "efydd yn seinio neu symbal yn tincian," os nad ydyw "y dyn a'r Duwdod ynddo yn trigo." Na, yng ngeiriau cryfion un awdwr, gallwn ymdawelu y bydd ei gyfiawnder bob amser fel y goleuni a'i farn fel hanner dydd. Iesu tragwyddol! ychwanega, "tydi dy hun a beraist i ni fel hyn, naill ai dy ddirmygu neu dy addoli. Mynnet i ni dy ddirmygu fel ein cyd-ddyn, oni wnawn dy addoli fel ein Duw. Wrth syllu ar dy brydferthwch dynol, a gwrando ar dy eiriau, nis gallwn wadu mai ti yw Unig Fab y Duw Goruchaf; ond os ameu dy ddwyfoldeb, nis gallwn mwyach adnabod yn eglur dy berffeithderau dynol. Ond os ein clustiau a ogwyddant i'th ddatguddiadau o'th fawredd, y mae ein heneidiau yn barod wedi eu hennill i ti, trwy dy ddidwylledd, dy ostyngeiddrwydd, a'th gariad. Wedi ein hargyhoeddi gan y rhai hyn,—dy ogoniantau moesol, a chan dy weithrediad aruchel o allu creadigol ac iachaol, yr ydym yn credu, ac yn *sicr*, fod gyda thi eiriau bywyd tragwyddol. Er wrth ddadenhuddo dy hun o flaen dy greaduriaid, dy fod yn sefyll o oes i oes ger bron llys tybiaeth elyniaethus ac amheus; eto yn ddiamheuol, o oes i oes, trwy ymosodiadau dy elynion, ddim llai nac yn ffydd dy Eglwys gredinol, yr wyt yn cael dy gyfiawnhau pan leferych, ac yn bur pan y'th farner. Mewn gwirionedd, ti yw Brenin y gogoniant, O Grist; ti ti yw Mab tragwyddol y Tad."

Buasai yn hyfryd gennym wneuthur rhai sylwadau yma ar athrawiaeth Mephisto ar y gwyrthiau; ond gan fod ein hadolygiad eisoes wedi rhedeg yn faith, a'n bod yn gobeithio cael hamdden eto cyn hir i gyhoeddi ein hail erthygl ar Renan a'i anghysonderau, ymataliwn ar hyn o bryd, er mwyn helaethach trafodaeth eto. Nyni a awn heibio ar hyn o bryd i'r "lili" a'r "rhosyn" y tybia Mephisto y gallai rhywun feddwl am wneyd physig o honynt i iachau y cenhedloedd, a dameg "y ddafad" a'r "cyw iar," gyda hyn o sylw: beth bynag am i "ddafad" a "chyw iar" ymresymu mor ffol ag y tybia Mephisto, yr ydym yn gobeithio na fydd i neb o ieuenctid Cymru, oddieithr Mephisto (os yn ieuanc hefyd) feddwl fod Renan wedi "chwalu ymaith niwl dychmygion oesau boreuol y cyfnod Cristionogol;" ond yn hytrach ei fod wedi pentyrru arnynt dywyllwch mwy, ïe, tywyllwch y gellir ei deimlo. Ond y mae un mater neu ddau eto o'i eiddo yn gofyn sylw mwy arbennig, rhag na cheir cyfleustra cystal rhagllaw i ddangos gwreiddiolder yr ymresymiad. Sylwa Mephisto "y dywed Neander fod Arius yn credu ei fod yn amddiffyn hen athrawiaethau yr Eglwys, a'i fod yn credu mai fe oedd yn uniawngred (*orthodox*)." Casgliad Mephisto am hynny ydyw, "felly ystyriai yr Eglwys foreuol yr Iesu yn 'greadur,' ac yn

israddol i Dduw!" Y cwestiwn yw,—nid a oedd Arius yn credu ei fod ei hun yn uniawngred, ond a ydyw Neander yn credu ei fod felly? Y mae Mephisto eisieu i ni feddwl, gan fod Neander yn *dweyd* fod Arius yn credu, fod Neander hefyd yn credu yr un peth; ac am Arius yn credu ei fod yn cynrychioli syniadau'r Eglwys foreuol, onid dyna haeriad awdwr pob heresi am ei ddaliadau? Pwy oedd yn fwyaf tebyg i fod yn cynrychioli syniadau yr Eglwys, o'r 318 o esgobion a ymgynullasant yn Nicea, ai Arius a'i ddeunaw cydymaith a gynygiasant y credo gwrthwynebol, ynte y trichant a arwyddasant y credo a dderbyniwyd yn derfynol Sulgwyn 325 o.c.? Os oedd Ariaeth yn cynrychioli syniadau yr Eglwys foreuol, paham y dirywiwyd wedyn i *hanner* Ariaeth, a chynnyg yr *homoiousion* yn lle'r *homoousion?* A phaham y treiglodd Ariaeth i'r gwahanol ffurfiau dilynol, o Apolinariaeth, Nestoriaeth, Eutychiaeth, ac erbyn hyn Swedenborgiaeth, Sociniaeth, Unitariaeth,—yn diweddu (ond bid sicr heb "foedro Ewrop") mewn *Straussiaeth* a *Renaniaeth?*

Sylw arall o eiddo Mephisto yw, "Mai y gwahaniaeth rhwng barn Renan am yr Iesu a barn y rhai a elwir yn uniawngred ydyw hyn: dywed y rhai uniawngred nad oes mwy o Dduw yn bod nag oedd yn Iesu o Nazareth." Buasem yn disgwyl i Mephisto fod wedi astudio mwy ar y daliadau uniawngred cyn ymgymeryd a bod yn oracl i'w mynegu. Nid ydym yn cofio fod yr eglwys uniawngred erioed wedi mabwysiadu y fath osodiad. Deil yr eglwys hon fod tri pherson yn yr hanfod Ddwyfol, ac yn ol gosodiad Mephisto felly, yr oedd y *tri* pherson yn aros yn Iesu o Nazareth; yr hyn sydd yn arwain ar unwaith i Fonarchiaeth, Patripassiaeth, a Sabeliaeth. Oddiyma y mae Mephisto yn ymollwng i ryfeddu dyfnder dirgelion yr hanfod Ddwyfol. Ond pwy, atolwg, sydd wedi ymhelaethu fwyaf yn y cyfeiriad hwn, ai yr eglwys uniawngred, ynte Renan, yr hwn nid yw yn credu mewn *Un Bod Goruchaf?* "The category of the ideal" ydyw Duw Renan, ac nid unrhyw fod personol. (Gwel ei *Questions Contemporaines*, t.d. 224). Ond er eu rhyfeddod uwchben mor diderfyn yr hanfod Ddwyfol, nid ydynt heb gofio gyda diolchgarwch eiriau Ioan: "Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes y Tad, *hwnnw a'i hysbysodd ef.*" (Ioan i. 18).

Bellach yr ydym yn tynu tua'r terfyn. Proffwyda Mephisto ddyfodol dysglaer i "fechgyn Cymru," o dan arweiniad "Cadfridog yr oesoedd," —Renan, gallem feddwl. Llawenhâ yn yr olwg ar i "gofgolofn gael ei chodi ganddynt i Renan yng Nghymru, am ei fod yn 'gefnder' os nad yn 'hanner brawd' i ni;" ac nid ydyw yn gofidio nemawr oherwydd y ffaith, yn ol ei haeriad ef, eu bod yn gadael crefydd Charles o'r Bala, er ei fod ef yn frawd cyfan i ni, ïe yn dad ac yn athraw. Ond druan o Mephisto, y mae yr arwyddion yn dywyll ac anffafriol iawn hyd yn oed yn eu perthynas ag ef ei hun i hynny byth gymeryd lle. Dyna awdwr *Ecce Homo* wedi aros yn guddiedig o'r cychwyn, er fod deng mlynedd ar hugain wedi mynd heibio er pan addawodd ddychwelyd at ei bwnc. Dyma Mephisto eto heb feddu digon o wroldeb i amlygu ei hun wrth ei enw priodol fel yn ddisgybl i Renan. Ai Iesu Renan ydoedd Iesu Charles o'r Bala? Ai dynion tebyg i awdwr *Ecce Homo* a Mephisto a droisant y byd a'i wyneb yn isaf, er mwyn yr Iesu yn yr oes apostolaidd? Ai rhai tebyg iddynt hefyd oedd Charles o'r Bala a'i frodyr a dreuliasant ac a ymdreuliasant i leshau Cymru yn yr oes o'r blaen? Y mae'n

rhywyr i Mephisto ddyfod allan fel y "cyw iar" o'r "plisgyn," onide ni chawn y fraint o'i weled yn dadorchuddio cofgolofn Renan cyn ei farw. A hyfryd fyddai cael golwg ar ei ddynsawd allanol, canys pwy a wyr nad oes gwell arwyddion yn ei bresenoldeb corfforol nag yn ei gynnyrch meddyliol, o arwr a gorchfygwr; onide, fel popeth Renan, mwy a phellach bob amser y pery yr *ideal* na'r *real*.

Nis gallwn ar y diwedd beidio gwahodd y darllennydd unwaith eto at y dechreu, oblegid fe'n gogleisiwyd yn ddirfawr gan gyhuddiad Mephisto ein bod wedi "enllibio" Strauss wrth ddweyd "na feiddiai gyfarch y dysgedigion yn 1864." Tipyn yn ddigrifol hefyd ydyw gweled un sydd wedi galw Paul yn "freuddwydiwr," heb na rhaith na phrawf, mor groendeneu yn achos Strauss a Renan. Nis gwyddom ai fel "*libel*" ai ynte fel "*slander*" y mae Mephisto yn defnyddio y gair "enllib;" ond yn ein byw nis gallwn weled fod y naill ystyr na'r llall i'r hyn a wnaethom ni. Yn ol cyfraith Prydain Fawr nid yw beirniadaeth deg ar unrhyw fater, a hynny er mwyn y daioni cyffredinol, yn cael ei gyfrif yn "*libel:*" ac os nad *dychmygol* yw y cyhuddiadau ni chyfrifir yn "*slander*" ychwaith. Edryched Mephisto unwaith eto. Fel casgliad teg o ffeithiau oeddynt yn gwbl eglur y rhoddasom ein rheithfarn yn erbyn Strauss. Yn 1835, cyhoeddodd ei *Leben Iesu* i'r dysgedigion. Atebwyd ef gan y dysgedigion, ond erbyn yr ail ymddanghosiad yn 1864 nid oes son am y dysgedigion, dim ond ymgais eglur i wenwyno meddyliau y werin yn erbyn Cristnogaeth, gan ddweyd mai y gweinidogion oedd yn cadw i fyny y "gwyrthiol" yn yr Eglwys. Ac er mwyn symud y gwyrthiol y rhaid gwneyd *crusade* yn erbyn y bugeiliaid, a'u halltudio o derfynau Germani yn gwbl. Yr ydym ni wedi dwyn ein casgliad a'n seiliau ger bron, ac od oes gan Mephisto rywbeth amgen i'w gynnyg traethed ei len, neu ynte derbynied yr eiddom ni;—

Siquid novisti rectius istis,
Candidus imperti; si non, his utere mecum.

Ac heblaw hynny, oni wel Mephisto mewn barn cariad, yn ein syniadau wawr dyner o obaith fod Strauss cyn ei angeu wedi dringo, o bosibl, i fyny i'r goleuni. Oblegid fe ddywed Neander yn ei ragymadrodd i'r trydydd argraffiad o'i "Leben Christi" ef, fod Strauss ar ol gweled llyfr Neander "wedi esmwytho i lawr ei ddamcaniaeth chwedlonol o fywyd Crist mewn llawer pwynt, a dod i gydnabod gwirionedd llawer o'r casgliadau y daethai ef [Neander] iddynt yn ei ymchwiliadau hanesyddol." Bu Strauss fyw ar ol ymddanghosiad ei argraffiad i'r werin Germanaidd am ddeng mlynedd, hyd 1874; ac yn ol ei gynnydd o 1835 hyd 1864, onid oedd yna ddigon o gyfleustra iddo allu gorchfygu pob rhagfarn a chyrraedd goleuni hyfryd y gwirionedd?

Felly am Mephisto, pe buasai yn ymofynydd pryderus am y gwirionedd, ni buasem yn anobeithio am ei lwyddiant yntau i gyrraedd "sicrwydd ffydd" yr Efengyl. Ond nid drwy gael y "sicrwydd hollol," y sicrwydd *mathematical* y mae efe yn son am dano. Nid dyna'r "sicrwydd" sydd yn perthyn i brofion Cristnogaeth; ond "sicrwydd" yn tarddu o gydgasgliad gwahanol brofion. A chofied Mephisto hefyd mai y "sicrwydd" uchaf yw y sicrwydd sydd yn codi o brofiad—yr *experimental*,—teimlo darpariaethau yr Efengyl yn cyfarfod yn hollol âg anghenion amrywiol dyn fel pechadur. Llafuried Mephisto am y "sicrwydd" hwn. Ei arwyddair fyddo, "*Credo ut intelligam*" ac nid

"*Intelligo ut credam.*" Fel y gallai y fwthyn-wraig dlawd yn nyddiau Cowper gyrraedd uwch sicrwydd na Voltaire heb ei ddysgeidiaeth, yn unig oddiar brofiad; felly hefyd gall Mephisto heddyw ragori ar Renan ond iddo lafurio am y sicrwydd hwn:—

"Just knows, and knows no more, her Bible true,
A truth the brilliant Frenchman never knew;
And in that charter reads with sparkling eyes,
Her title to a treasure in the skies."

*Abermaw.* D. Evans.

---

# "A MARWOLAETH NI BYDD MWYACH."

Marwolddyn rhwng y beddau ydwyf fi,
Mewn byd sy'n llawn marwolion drwyddo oll;
Marwolaeth sy'n teyrnasu ymhob man,
Marwoldeb yw sefydlog ddeddf y tir.

A all fod tranc i fod ar dranc ryw ddydd?
Oes bywyd ar amodau uwch yn bod?
A bywyd heb farwolaeth wrtho ynglyn,—
Tragwyddol fywyd iach, na thrŷ yn wyw?

"Marwolaeth ni bydd mwyach" yw y gair
Sy'n disgyn yn berseiniol ar ein clyw;
Ac O! mae rhywbeth yn y syniad hwn
Sy'n meddu ar gydgordiad pur a dwfn—
Yn cynganeddu â dyfnderoedd bod
Fy natur. O na cheid datguddiad clir!
Mae awel dyner ysbrydoliaeth Duw—
Sancteiddiol chwâ—i anial fyd yn dwyn
Y genadwri hon, ac arogl gardd
Y nef yn sawru ar ei haden hi.
Pa le? Pa bryd? Ac ymha hinsawdd bur
Y gall fath berffaith uch-anianol ddeddf
Reoli bywyd? Pa ryw fyd yw'r hwn
Na chafodd Angeu osod troed o'i fewn?

Mae ef yn meddu gorsedd amlwg iawn
O fewn y byd lle mae ein trigias ni:
Ac onid Angeu ydyw'r cryfa'i nerth
O'r holl frenhinoedd sydd o dan yr haul?
Mae dyn yn ddeiliad iddo er y cwymp,
Yr erchyll gwymp a gaed yn Eden ardd.
Mae ser disgleiriaf y ddynoliaeth oll
Yn syrthio dan ei law fel dim i'r llawr.
Un wedd yw'r doeth a'r annoeth—pawb yr un
Gyd-syrthiant i briddellau oer y bedd.
Marwolaeth ydyw'r osodedig ddeddf,
Ac Angeu ydyw'r teyrn gormesol sydd
Yn llwyr ddarostwng pawb, yn fawr a mân,
Y gwych a'r gwael, heb arbed neb mewn bod.

Yr un yw'r ddeddf i bob creadur byw,
I'r gwar anifail ac i'r bwystfil coed—
I holl ehediaid nef—i'r gwybed mân—
I bysg y môr, a phob ymlugiad sydd.
Ac er mor brydferth ydyw blodau'r ardd,
A'r byd llysieuol a'i amrywiaeth llawn,
O'r derw hên a'r cedrwydd mwyaf preiff,
Hyd at yr isop ir o'r pared dŷf,
Mae teyrnas Angeu yn eu bywyd hwy,—
A deifiol chwâ Marwolaeth wywa'u gwedd.

A welir rywbryd, tybed, ddydd ac awr
Pan fydd Marwolaeth wedi peidio bod?
A phan fydd Angeu wedi colli ei
Lywodraeth a'i ormesol sedd am byth?
Mae'n anodd credu! Teimlaf allu deddf
Marwoldeb drwy fy nghyfansoddiad gwan,
Yn rhaghysbysu'n groew'r funud hon,
Mai syrthio'n ebrwydd wna'r daearol dŷ:
Ac eto awdurdodol lais sy'n dweyd—
"Marwolaeth ni bydd mwyach." Hefyd gwn
Na wnaeth y llais rhyfeddol hwn erioed
Lefaru twyll, na cham-broffwydo chwaith.
Er hyn mae rheswm ar ymddrysu'n llwyr
Wrth geisio olrhain y dirgelwch dwfn.
"Gan farw ti a fyddi farw" yw
Gosodiad cyffredinol Awdwr bod;
Ac nid oes perchen anadl dan y nef
All ddianc rhag y ddedfryd echrys hon.

Ai tybed fod rhyw arall fyd i'w gael,
O fewn ehangfaith greadigaeth Ior,
Lle na chadd Angeu roi ei droed i lawr,
A lle na chadd Marwolaeth weld ei dir?
Ai tybed fod sefydlog seren glaer—
Difesur ei maintioli— neu ryw haul,
Yn crogi yn ehangder pella'r nef,
Yn llawn trigolion—byd na bu o'i fewn
Yr un preswylydd farw er yr awr
Y seiniodd awdurdodol "Fydded" Duw?
"Nid oes na llef na neb yn ateb" gair;
Distawrwydd sy'n teyrnasu ar bob llaw.
Nis gwyddom ni am fawrion ser y nef,
Pa un ai heuliau byth-losgedig ŷnt,
Neu fydoedd wedi eu poblogi'n llawn.
Os gall fod ynddynt hwy drigolion fyrdd,
Nis gellir pontio'r gwagle; nid oes ffordd
O'r pell sefydlog sêr i'n daear ni;
Nid oes cymundeb, nid oes modd i gael
Yr un frys-neges oddi yno i lawr.

Mae'n rhaid mai marwol wrth naturiaeth yw
Trigolion y materol fydoedd oll.

Sut gall Marwolaeth felly beidio bod?
A all fod geiriau Duw ei Hun yn dwyll?

O na; mi welaf drwy'r dirgelwch mawr;
Mae arall fyd yn bod, a bywyd uwch,
Tu hwnt i derfyn mater, ac uwchlaw
Pell nenfwd ucha'r greadigaeth hon;
Ac yno y mae bywyd noeth a phur
Fel bywyd Duw—yn fyth-barhaol, a'i
Amodau yn ysbrydol a dilwgr,
Mewn gwlad heb feddrod ac uwch cyrraedd tranc.
Mae bywyd yno heb adnabod poen,
Na llesgedd, gwywdra, cystudd, anadl fer,
Na'r un o'r brau nodweddion hynny sydd
Yn gwneuthur bywyd daear weithiau'n faich.
Mae'r awyr yno yn dragwyddol bur,
Ysbrydion didranc sy'n preswylio'r lle;
Mae bywyd yno megis tonnau'r môr
Yn llanw ac yn llifo byth ymlaen
Heb draeth na glan, heb graig lle gall y don
Ymdorri'n drochion ac yn ewyn gwyn,
Ac yna beidio bod. Dragwyddol ffaith:
"Marwolaeth ni bydd mwyach" yn y nef!

Ond sut mae hyn yn bod? Pan ddaeth i mewn
Lifeiriant pechod megis llanw mawr,
Nes cario y ddynoliaeth oll o'i flaen,
A llanw'r byd â gwenwyn—gwenwyn sarff;
Pan syrthiodd dyn, marwolaeth ddaeth i mewn,
A bythol farn condemniad gydag ef.
Tragwyddol gosb—tragwyddol wae a fydd
Canlyniad pechod; ac y mae yn ffaith
Fod pechod a marwolaeth wedi cael
Eu byth gysylltu gan y dwyfol IOR.
Ac os yw y gosodiad hwn mewn grym,
Rhaid i farwolaeth ganlyn pechod byth,
A rhaid i r faner ddu ymchwifio'n hyf
Yn awyr deneu pell ysbrydol fyd.
Yn araf! Hollalluog ydyw Duw;
EFE, â'i air, fu'n galw'r byd i fod,
Yn creu y ser, yn trefnu iddynt hwy
Eu llwybrau yn yr eangderau maith.
EFE fu 'n llunio ac yn cynneu'r haul;
EFE sy'n dal y cread yn ei law;
A llawn mor hawdd i'r Duw anfeidrol Hwn
Yw rhoddi bod i fyd ar raddfa uwch—
Ysbrydol fyd—o fewn yr hwn nis gall
Marwolaeth yn dragywydd ddod i ran
Y rhai a fuont yn droseddwyr gynt.

Fe all Anfeidrol Gariad drefnu ffordd
I gadw pechaduriaid rhag y gosb
Haeddiannol iddynt am bechodau oes.

Mae hyn yn ffaith; mae ffydd yn credu'r oll;
Ond rheswm beunydd fyn gwestiyno'r drefn,
A gofyn sut y gall y Dwyfol FOD
Ymddangos fel yn ebargofi deddf
Osodwyd unwaith ganddo EF ei Hun?
Ond DUW yw DUW, a'i air a'i ddeddf yn dda;
Rhyw adlewyrchiad cywir ydynt hwy
O egwyddorion dyfna'r Hanfod Fawr.

A ydyw'n bosibl i anfeidrol ras,
A chariad na fu dechreu iddo'n bod,
I beidio cosbi drwg, a llawn ryddhau
Troseddwyr brwnt ac euog daear lawr,
Heb gaffael Iawn? O na, mi glywa'r llef
Yn dweyd mai *perffaith gyfiawn* yw EFE.
"Yr enaid becho, marw fydd" yw'r ddeddf
Sydd byth mewn grym, ac nis gall cariad pur
Fyth anwybyddu'r Ddwyfol gyfraith hon;
Tragwyddol farw sydd i fod heb Iawn.
Ddirgelwch dwfn! Pa le mae'r allwedd aur
All roi agoriad i'w gyfrinion cudd?
Datguddiad ydyw y goleuni clir
Sy'n troi tywyllwch Angeu'n llachar ddydd,
Gan ddangos inni, y tuhwnt i'r llen,
Gartrefle sanctaidd Anfarwoldeb glân;
Ac yng ngoleuni'r Gair y gwelaf ffordd,
A phif-ffordd deg i uch-anianol fyd.

Os syrthiodd Adda ym Mharadwys gynt,
Os aeth marwolaeth felly ar bob dyn,
Os trodd yr Ardd ei hun yn anial gwyllt,
Os ydyw'r byd o feddau'r meirw'n llawn,
Fe ymddanghosodd Adda'r Ail; ac O!
'Roedd annherfynol Fywyd ynddo EF.
Y meirw aent yn fyw yn swn ei lais;
Ffynhonnell bywyd ydoedd Hwn, a thrwy
Gyffyrddiad ffyddiog ag ymylon gwisg
Y Dwyfol Ddyn, âi pawb yn iach heb feth,
A phrofent fywyd newydd—bywyd pur—
Na chenfydd tragwyddoldeb arno dranc.
Bu farw CRIST, ac yn ei farw EF
Caed Iawn i lanw'r nef, i brynu'r byd.
Ac er ei farw, y mae eto'n fyw,
Yn eiriol dros droseddwyr yn y nef.
Anfeidrol Gariad! Perchen cywir ffydd
Ni bydd, nis gall byth bythol farw mwy.
Fe syrthia'r corff i'r bedd, ond eto i gyd
Bydd *ef* yn fyw ac iach mewn byd di-dranc.
Yn angeu CRIST fe lyncwyd Angeu 'i hun,
Ac ar Farwolaeth buddugoliaeth gaed.
Y gronyn gwenith syrthiodd yn y maes,—
Bu farw, ond toreithiog fydd ei ffrwyth.

Fe adgyfododd Iesu 'n flaenffrwyth hardd
Y dorf a adgyfodir ar ei wedd
O oeraf lwch y llawr ryw ddydd a ddaw,
Mewn gwisgoedd gwynion fel eu Blaenor mawr.
Deheulaw Duw a'u derbyn; gwelir hwy
Yn berffaith ger ei fron, ac fel Efe
Yn fyth anfarwol, ac amodau gwell
Eu bywyd gwell yn ddi-gyfnewid mwy,
"Marwolaeth ni bydd mwyach." Bywyd ac
Anllygredigaeth berffaith, dygwyd hwy
I glaer oleuni trwy Efengyl Crist.
Nis gall y gwaredigion farw mwy;
Ond byddant fyw ac yn dragwyddol iach,
Yn heirdd drigfannau Nef y Nefoedd fry.

Chwilfrydedd gwyd, Ai dim ond bythol fod
Yw'r Anfarwoldeb hwn? Ai dim ond deddf
O ddwyf osodiad rhag difodiant yw?
Ai nid yw'n meddwl dim ond *byth-barhad?*
O na; nis gall mai hynny ydyw'r oll;
Nid ydyw byth-barhad yn rhoddi dim
Ond y nacäol am ddyfodol dyn:
A gall nad ydyw yn golygu ond
*Marwolaeth* sy'n dragwyddol ei pharhad,
Rhyw farw beunydd ac heb farw byth.
Nid *bythol fôd* yw'r Anfarwoldeb hwn;
Ond rhyw *anfarwol Fywyd,* a'i fwynhad
Fel boreu ddydd yn byth ymledu ymlaen
Dan wenau Duw a'i lawn foddlonrwydd Ef.

I'r saint, o fewn terfynau'n daear ni,
Mae Angeu heb ei golyn; a thu draw
I'r lan, fel blodyn yn ei gyflawn dwf,
Dadblyga bywyd i'w berffeithrwydd llawn.
Yn llewyrch Haul Cyfiawnder, O, fe fydd
I'r gwaredigion fyd tragwyddol wyn!
Ysbrydol fodau, uwchlaw Angeu! Ple
Y byddant yn cartrefu? Ymha ran
O ymerodraeth fawr anfeidrol Ior
Mae eu preswylfod hwynt? Ai fry yn Nef
Y Nef, lle nad oes dim o afiach dawch
Ein byd materol ni; ond lle mae'r oll
Yn fywyd ac ieuenctid ysbryd pur
Yn anifiannol hardd, a lle mae'r Haf
Yn Haf nad ydyw'n gweled gwywdra byth;
Lle mae aroglau gras yn bêr o hyd,
Ac engyl-weision yn ei chyfri'n fraint
Cael gweini'n wastad ar anwyliaid Duw;
A lle y mae'r Anfeidrol Fod ei Hun
Yn dedwydd ymhyfrydu yn Ei saint?
Neu ynte fydd y ddaear wedi cael
Ei llwyr draws-newid gan ei Hawdwr mawr,

Nes dyfod yn ysbrydol fangre lan,
Lle gall y sanctaidd deulu gael y fraint
O fyned ar wib-deithiau'n llawen lu
I Fethlehem, i Gethsemane ardd,
A'r waedlyd Groes ar Fynydd Calfari?
Fath "Nef a Daear Newydd" ddaw i fod?

Arafwn ennyd awr; fe ddaw y dydd
Cawn weld yr oll mewn goleu perffaith glir,
Pan na fydd cwmwl du ar ael y Nef,
A phan mai profiad y preswylwyr fydd,—
Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust,
Ni ddaeth i galon dyn ddychmygu erioed
Y pethau a ddarparodd Duw i'w bobl,
Mewn gwlad na fydd o'i mewn Farwolaeth byth.

*Llundain.* J. E. Davies.

---

# "ESGYNIAD DYN."

*The Ascent of Man.* By Henry Drummond. London: Hodder and Stoughton. 7s. 6d.

Ychydig ydyw nifer yr ysgrifenwyr mewn unrhyw gangen o wybodaeth all hawlio darlleniad mor eang i'w gweithiau â'r Proffeswr Henry Drummond. Y mae mewn modd arbennig yn ffafr-awdwr y dyddiau hyn, ac y mae ganddo ei edmygwyr ymhlith pob dosbarth o ddarllenwyr, o'r athrawon blaenaf mewn gwyddoniaeth i lawr hyd y gweithwyr mwyaf cyffredin eu cyraeddiadau. Rhoddir lle i'w lyfrau yn llyfrgelloedd gwych a detholedig y dysgedig a'r cyfoethog, a gwelir hwynt yn fynych hefyd yng nghegin y bwthyn, yng nghwmni y Beibl a Bunyan. Y mae yn amheus gennym a oes neb yn fyw wedi llwyddo i ennill clust a chalon cynulleidfa o wrandawyr mor amrywiol o ran chwaeth a gwybodaeth. Ac nid yw hynny i ryfeddu ato; oblegid y mae Proff. Drummond ei hunan yn wyddonwr o safle ddiamheuol, yn gyfarwydd yn arbrofion y fferyllfa a chyda datguddiadau diweddaraf y chwyddwydr, ac ar yr un pryd yn meddu ar allu i ddisgrifio ei weledigaethau mewn modd sydd ar unwaith yn atynnu ac yn caethiwo sylw pawb o'i ddarllenwyr. Pan yn ymdrin â'r dirgelion gwyddonol mwyaf dyrys ac anhawdd, gwna hynny mewn dull clir a deniadol. Nid yw byth yn digalonni ei ddarllenydd trwy bentyrru termau celfyddydol ac anghyfiaeth; nid yw byth yn ei arwain i ddrysni a thywyllwch. Ond bob amser y mae ei arddull yn oleu fel y dydd, ac yn byrlymio yn ddiflinio gan amrywiaeth a bywyd.

Un nodwedd amlwg yng ngweithiau Proff. Drummond ydyw yr ymdrech a wneir ynddynt i gysoni, neu yn hytrach i unoli, gwirioneddau gwyddoniaeth gyda gwirioneddau crefydd. Yr oedd gennym bob amser athronwyr crefyddol, ond ychydig ydyw nifer y gwyddonwyr crefyddol. Yn ddiweddar y daeth y gwyddonau i fri, a thybir yn gyffredin fod eu dysgeidiaeth naill ai yn amherthynasol i grefydd, neu ynte yn elyniaethus iddi. Gwrthbrofi y syniadau hyn ydyw nod pennaf Proff. Drummond, ac yn ddiamheuol y mae ynddo lawer o gymwysterau i'r gwaith.

Ar un llaw, y mae ganddo hawl i lefaru yn enw gwyddoniaeth, oblegid fel y dywedwyd, y mae ei hun yn wyddonydd proffesedig ac adnabyddus. Nid oes neb yn fwy ei frwdfrydedd wrth son am fuddugoliaeth gwyddoniaeth yn y gorffennol, na neb yn fwy eiddgar ei ddisgwyliadau am ei llwyddiant yn y dyfodol. Ar y llaw arall, y mae ganddo genadwri grefyddol i'w oes. Nis gall neb o'i ddarllenwyr lai na theimlo fod ei lyfrau wedi eu trwytho gan syniadau a chan ysbryd Cristionogaeth. Yn wir, y mae y rhai sydd yn ei adnabod oreu, ac wedi bod yn eistedd dan ei ddysgeidiaeth, yn edrych arno fel proffwyd wedi ei anfon oddiwrth Dduw. Meddiennir ef gan ffydd ac ysbrydiaeth yr hen ddiwygwyr, ac i ychydig yn ddiau y rhoddwyd y fath ddawn i argyhoeddi ac i ysbrydoli yr ieuenctid sydd o dan ei ofal. Ceir ynddo gyfuniad o'r gwyddonydd gyda thân y cenhadwr. Y mae mewn cydymdeimlad agos â theithi meddyliol mwyaf eang a beirniadol yr oes, ac ar yr un pryd yn ysu gan sel dros ddwyn y byd at Grist. Iddo ef y mae gwyddoniaeth yn ddatguddiad o Gristionogaeth, a Christionogaeth yn esboniad ar wyddoniaeth.

Yr ydym yn barod wedi crybwyll am yr amrywiaeth a'r prydferthwch sydd yn nodweddu ei weithiau. Y mae agos bob brawddeg yn feichiog gan farddoniaeth a chyffelybiaethau, a'r rhai hynny drachefn yn fyw gan dlysni a naturioldeb. Nid ydym yn cofio i ni erioed ddarllen llyfr mwy prydferth na'r hwn sydd yn ein llaw yn awr. Beth bynnag a ddywedir am ei gywirdeb, nid oes amheuaeth am ei brydferthwch. Os breuddwyd ydyw, heb seiliau digonol i'w brif ddadleuon, yr ydym yn ddiolchgar am dano. Gwir neu beidio, y mae ynddo ryw gyfaredd sydd yn swyno calon pwy bynnag a'i darllenno. Y mae mor llawn o ffydd, gobaith, a chariad, a hynny ynghanol cymaint o anhawsterau ac amheuon. Pwy na hoffai edrych ar y ddynoliaeth ac ar y byd trwy wydrau Proff. Drummond? Hwyrach fod y gwydrau wedi eu lliwio; ond y mae yn gwneyd lles i galon dyn i edrych trwyddynt a gweled y byd hwn mewn lliwiau mor ddeniadol; yr hen fyd sydd yn gartref cymaint o ymryson, trueni a gwae,—hwnnw wedi ei droi yn Baradwys, ac yn fagwrfa cariad a thangnefedd.

Nid gwaith hyfryd ydyw ceisio beirniadu cyfrol fel hon. Ymddengys yn rhy debyg i falurio y blodeuyn, neu roddi y gyllell yn y gloewyn byw, er mwyn cael golwg ar y peirianwaith o'u mewn. Ond gan ein bod wedi ymgymeryd ag adolygu y llyfr, yr ydym yn teimlo arnom rwymau i nodi allan rai o'r brychau, yn gystal â'r prydferthion sydd ynddo. O safle lenyddol, nid oes ond canmoliaeth i'w roddi i iaith ac arddull yr awdwr; ond o safle gwyddoniaeth y mae llawer i'w ddweyd yn ei herbyn. Y mae y ffigyrau a'r cyffelybiaethau yn fynych, yn lle gwneyd y gwirionedd yn fwy eglur, yn ei orliwio ac yn ei ŵyrdroi. Aberthir manylder a chywirdeb ar allor ffraethineb; llyfr ydyw, nid o wyddoniaeth fel y cymer arno fod, ond o farddoniaeth. Anfynych iawn y rhoddir y ffeithiau yn syml fel y ceir hwynt mewn natur; gwisgir hwynt yn hytrach, a gweddnewidir hwynt i ddelwau tra gwahanol gan ddarfelydd y poet. Canfyddir ar unwaith yr hyn a olygir gennym gan bwy bynnag a ddarlleno bennod neu ddwy o un o weithiau Darwin neu Spencer. Y mae lled y byd o wahaniaeth rhwng gwyddoniaeth fel ei dysgir ganddynt hwy, â'r hyn a geir yma gan Proff. Drummond.

Testyn y llyfr ydyw "Esgyniad Dyn," neu mewn geiriau ereill, dadblygiad dyn. Yr oedd disgwyliad mawr am gyfrol yr awdwr ar y testyn

hwn, oblegid hwn ydyw prif faes ei efrydiaeth. Y mae wedi treulio blynyddoedd lawer i astudio y cwestiwn, a naturiol ydoedd disgwyl y byddai i feddwl clir ac annibynnol, fel yr eiddo ef, lwyddo i gasglu rhai ysgubau newyddion mewn tir mor doreithiog. Ac nid yw y disgwyliad wedi profi yn siomedig. Y mae yr awdwr wedi dwyn i sylw ddamcaniaeth hollol newydd o berthynas i ddadblygiad dyn. Yn y gyfrol hon ceir, nid yn unig grynhodeb o ddysgeidiaeth ei ragflaenwyr, ond hefyd ychwanegiad ganddo ef,—ychwanegiad, os yn wirionedd, o'r pwysigrwydd mwyaf, yn atodi ac yn cywiro y syniadau blaenorol. Ni chaniatâ gofod i ni ddilyn yr awdwr bennod ar ol pennod: yr hyn yr amcanwn at ei gyrraedd ydyw, gosod ger bron y darllenydd, mor gryno ag y gellir, brif linellau yr ymresymiad.

Deddf dadblygiad yn ddiamheuol ydyw darganfyddiad mawr y ganrif hon. Ysgrifennir llawer o ddychmygion a ffolineb o berthynas iddi; ceisir ei chymhwyso yn fynych at wrthrychau ac mewn moddau sydd yn waeth nag anghywir. Ond a rhoddi o'r neilldu bob syniad eithafol ac amheus, y mae digon yn aros i osod y ddeddf hon ymysg darganfyddiadau mwyaf gorchestol y meddwl dynol. Eisoes y mae wedi taflu diluw o oleuni ar rai o'r cwestiynau mwyaf dyrys; ac heblaw hynny, y mae wedi gwneyd llawer tuag at ddwyn i'r golwg y berthynas a'r cysondeb sydd yn bod rhwng yr amrywiol wybodaethau a'u gilydd. Gwneir ganddi un byd allan o ddarnau oedd o'r blaen, i feddwl dyn, yn ddidrefn ac anghysylltiol. Ond y ffaith fod dyn ei hun o dan y ddeddf sydd yn ei gwneyd yn destyn o gymaint dyddordeb. Y mae yn proffesu rhoddi esboniad ar y gorffennol a phroffwydoliaeth am y dyfodol yn hanes y ddynoliaeth. Ofer yn wir ydyw pob ymdrech i wadu ei pherthynas â dyn. Un o ddeddfau bywyd ydyw,—pob bywyd yma ar y ddaear o leiaf. Y mae olion esgyniad dyn, o ris i ris, o ddelw i ddelw, wedi gadael eu nodau arno, ac i'w gweled hyd heddyw. Pa un a ydyw yr oll o ddyn, h.y., y rhannau ysbrydol yn gystal a'r rhannau anifeilaidd o hono, yn gynnyrch dadblygiad, sydd gwestiwn ddaw eto i sylw yn ddiweddarach.

Awgrymwyd teitl y llyfr hwn, "Esgyniad Dyn," gan deitl llyfr arall o eiddo Darwin, sef "Disgyniad Dyn." Amcan y llyfr hwnnw ydoedd olrhain achyddiaeth dyn yn ol i'r byd anifeilaidd. Nid creadur ydyw dyn wedi ei greu yn ei ffurf bresennol, allan o bridd y ddaear, trwy un weithred oruwchnaturiol, fel y gellid tybied oddiwrth yr hanes yn llyfr Genesis. Y modd y crewyd ef, yn hytrach, ydoedd trwy ddadblygiad naturiol. Yr oedd y gwaith o'i lunio o bridd y ddaear, ac anadlu yn ei ffroenau anadl einoes fel ag i'w wneyd yn enaid byw, ac ar lun ei Greawdwr, yn waith oedd yn ymestyn yn ol dros filiynau o oesau, a thrwy filiynau o wahanol ffurfiau o fywyd. Y mae pob bywyd yma ar y ddaear, meddir, yn berthynasau agos i'w gilydd, ac wedi hanu, i ddechreu, o'r un cŷff. Canghennau o'r un pren ydyw yr oll o'r amrywiol rywogaethau, ac o'r canghennau hynny yr uchaf a'r fwyaf godidog ydyw y ddynoliaeth. Nid oedd Darwin trwy y ddysgeidiaeth hon yn bwriadu darostwng dim ar ddyn; ei amcan ef ydoedd rhoddi cyfrif gwyddonol am ei darddiad. Ond gan y tybid gan lawer fod dwyn dyn i berthynas mor agos â'r byd anifeilaidd, yn enwedig â'r mwnci, yn ddiraddiad arno, daeth yr athrawiaeth am "ddisgyniad dyn" fel ei dysgid gan Darwin, i gael ei hystyried fel yr athrawiaeth am ei ddarostyngiad. Ceisio osgoi y camsyniad hwn ydoedd amcan y Proff. Drummond wrth roddi

enw newydd ar y ddamcaniaeth, sef "esgyniad dyn." Yr un ydyw eto o ran sylwedd, ond ymdrecha yr awdwr i wneyd allan yn fwy eglur mai cwrs o esgyniad, ac nid disgyniad, ydyw hanes dadblygiad dyn. Dadleua ef fod y dyrchafiad graddol hwn trwy ddadblygiad, yn gosod mwy o urddas ar y natur ddynol, ac hefyd yn ddatguddiad llawer mwy disglaer o ogoniant y Creawdwr, nag a fuasai creadigaeth uniongyrchol trwy un weithred oruwchnaturiol.

Fel y gŵyr y darllenydd, Darwin ydoedd y cyntaf, neu o leiaf un o'r ddau gyntaf, i ddarganfod deddf dadblygiad. Yr oedd y syniad o ddadblygiad yn wir yn ddigon adnabyddus ers oesau cyn hynny; ond yn y llyfr "The Origin of Species," yr hwn a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1859, yr amcanwyd gyntaf at egluro dadblygiad fel deddf gyffredinol a hanfodol yn hanes pob bywyd. Dywedir wrthym gan Darwin ei hunan pa beth a awgrymodd y syniad hwn i'w feddwl i ddechreu. Yn y flwyddyn 1798, cyhoeddwyd traethodyn bychan ar "Boblogiad," gan glerigwr o Eglwys Loegr o'r enw Malthus. Nid oes neb all ddweyd gymaint o ddyled sydd ar y ganrif hon i'r llyfryn bychan hwnnw. Y mae y cwestiynau a godwyd trwyddo wedi bod yn destynau dadleuon ymysg meddylwyr ar hyd y ganrif, nid yn Lloegr yn unig, ond trwy wledydd Ewrop ac America. Mewn rhan fawr, bu yn foddion i greu chwyldroad yng ngwleidyddiaeth ac yn neddfau y deyrnas hon. Ac yn ben ar y cwbl, darllen y traethodyn hwnnw awgrymodd i feddwl Darwin egwyddor fawr deddf dadblygiad. Amcan uniongyrchol Malthus ydoedd dynoethi ynfydrwydd a drygioni y gyfundrefn oedd mewn bri y pryd hwnnw tuag at gynorthwyo y tlodion, trwy roddi gwobrau i'r bobl am briodi yn ieuainc, ac am liosogi nifer eu plant. Yr oedd deddfau y tlodion yn gweithredu yn y fath fodd fel ag i gynhyddu y boblogaeth o ran nifer, a hynny ar draul ei darostwng o ran ei hansawdd. Ceisiai Malthus brofi fod tueddiadau naturiol y bobl yn sicr o achosi i'r boblogaeth gynhyddu mor gyflym, os nad yn gyflymach, na'r moddion tuag at eu cynhaliaeth, a dadleuai mai dyledswydd arweinwyr y bobl ydoedd gwneyd eu goreu i ddyrchafu ansawdd y boblogaeth, ac nid i'w lliosogi o ran nifer. Danghosai ymhellach, trwy ffeithiau anwadadwy, fod cynnydd y boblogaeth ymhob gwlad, yn rhwym o gael ei gadw mewn terfynau neillduol, naill ai trwy hunanlywodraeth wirfoddol o du y bobl, neu ynte trwy newyn, heintiau, a rhyfeloedd. Yr oedd ymresymiad Malthus yn dwyn i'r golwg wirionedd ag yr oedd Darwin yn ei ymchwiliadau bywydegol wedi sylwi arno, ond hyd yma heb sylweddoli ei bwysigrwydd, sef mai yr ymdrechfa am foddion cynhaliaeth sydd yn penderfynu ansawdd a chynnydd y boblogaeth. Yr ymdrechfa hon o hyn allan ydoedd yr agoriad oedd ganddo i ddatgloi dirgelion y byd bywydol.

Ymdrechfa am fywyd, gan hynny, ydyw achosydd pob dadblygiad. Pe unwaith y gallai bywyd fyw heb ymdrech, byddai yn rhwym o aros yn ddigynnydd, os nad o suddo mewn dirywiad. Ac i ba gyfeiriad bynnag y trown ein llygaid, y mae yr ymdrechfa am fywyd yn myned rhagddi yn ddiseibiant ac yn ddiarbed. Ar bob llaw y mae y gwan a'r anfedrus yn cael eu gorchfygu, ac yn y diwedd yn diffygio ac yn marw; y mae y cryf a'r cyflym yn ennill y dydd, ac mewn canlyniad yn lliosogi eu hiliogaeth. Trwy y moddion yma y mae natur yn gweithio fel ag i ddileu yr anghymwys allan o'r tir, ac i symbylu y cymwys i fwy o ymdrech a chynnydd. Un maes o frwydr waedlyd a didrugaredd ydyw

natur drwyddi; y trechaf yn treisio ac yn goroesi, y gwannaf yn gwaeddi ac yn trengu. I'r ymdrechgar y rhydd y ddaear ei thrysorau a'i chynnyrch; rhaid wrth ymdrech i gadw ymaith y gwres a'r oerni, clefydon a heintiau. Rhaid i bob bywyd wrth gamu ymlaen gamu trwy rwystrau a gelynion: ei unig ffordd i ddianc ydyw trwy orchfygu. Dyma'r gwirionedd am bob bywyd, o'r distadlaf hyd yr uchaf. Un ymdrech fawr ydyw bywyd dyn; ymdrech i ennill bywoliaeth trwy lafur a dyfais; cydymgais mewn gwaith a masnach; rhyfel rhwng personau unigol, rhwng teuluoedd, llwythau, a chenhedloedd. Yr ymladdfa hon sydd yn gwneyd dadblygiad yn bosibl. Hon sydd yn llethu yr anaddas rhag ffynnu a lliosogi, a gwaith hon ydyw pigo allan y bywydau mwyaf cymwys tuag at boblogi y dyfodol. Canlyniad yr oll ydyw *the survival of the fittest.*

Y mae Proffeswr Drummond yn credu gymaint â neb yn yr "ymdrechfa am fywyd" fel ffaith hanfodol i ddadblygiad. Ond fel y cawn sylwi eto, y mae ganddo ef erthygl arall yn ei gredo o bwysigrwydd cyfartal. Yn y pump neu chwech pennod gyntaf o'i lyfr y mae gan mwyaf yn dilyn yr hen lwybrau sydd bellach yn gochion gan ôl traed gwyddonwyr y ganrif hon. Ei nôd ydyw gosod ger ein bron seiliau y grediniaeth fod dyn yn gynnyrch dadblygiad. Rhoddir mewn cwmpas byr amlinelliad o daith y ddynoliaeth o iselder y ddaear i fyny at uchder llwch y byd. I ddechreu, cawn hanes ffurfiad y corff dynol, fel yr adeiladwyd ef, ar hyd miliynau o oesau, trwy ychwanegu cell ar ol cell, aelod ar ol aelod, cyfaddaster ar ol cyfaddaster. Arweinir ni i edrych ar y rhyfeddodau a ddatguddir gan fil-rithiaeth (*embryology*). Dywedir wrthym fod y plentyn dynol, tra yn y groth, yn pasio drwy lawer, os nad yr oll, o'r ffurfiau afrifed yr aeth y ddynoliaeth trwyddynt tra ar ei ffordd i'w safle bresennol. Cymerodd lawer o oesau i'r hil ddynol esgyn o un ffurf i ffurf uwch; ond y mae y baban yn y groth yn awr mewn ychydig oriau yn myned trwy yr un cyfnewidiadau. Trwy sylwi ar gynnydd y milrith yn y bru, gallwn weled ar raddeg fechan, orymdaith enfawr bywyd trwy gyfnodau meithion y gorffennol, o'i gartref yn y trychfilyn dilun ac afrosgo, hyd nes cyrraedd ei deml wech yn y corff dynol. Y mae yn wir fod tyfiant yr hedyn yn y groth mor gyflym a dirgeledig, fel mai amhosibl yn awr ydyw dilyn ei holl gamrau; ond er hynny y mae digon wedi ei ddarganfod i brofi yn ddiamheuol fod y baban yn pasio trwy ffurfiau tebyg i'r pysgod, y dwyelfeniaid, yr ymlusgiaid, ac yn ddiweddaf y mamoliaid. Ac ar ol cyrraedd y dosbarth olaf, gwelir olion ynddo, y naill ar ol y llall, yn dwyn tebygrwydd i rai o'r creaduriaid sydd yn awr yn adnabyddus, hyd nes o'r diwedd yr ymddengys yn ei ffurf derfynol,—yng nghorff tyner a lluniaidd y baban bach. Y fath gwrs rhyfedd i fyned trwyddo! Y mae y plentyn dynol, cyn ei enedigaeth, wedi teithio o'i anelwig ddefnydd—defnydd cyntaf pob bywyd—megis gyda chyflymdra y frys-gludres, yr *express*, ar hyd cledrau sydd wedi eu gosod i lawr gan ddadblygiad, trwy ddioddefaint a gwasgfa, ymdrech a choncwest, ar hyd oesau y greadigaeth.

Ac ar ol genedigaeth y plentyn, y mae llawer o ffeithiau yn wybyddus i wyddoniaeth sydd yn cytuno â, ac yn cadarnhau, dysgeidiaeth milrithiaeth. Ni chawn gyfeirio yma ond at un neu ddwy o'r ffeithiau a gofnodir gan yr awdwr. Er engraifft, ar ol gwneyd lliaws mawr o arbrofion, y mae yn awr yn wybyddus fod gewynau dwylaw y baban

newydd-anedig, yn meddu ar allu eithriadol i wasgu a dal gafael. Fel rheol, gall y baban ar unwaith gydio mewn ffon neu wialen a hongian ei holl gorff wrthi am ddeg neu ugain o eiliadau. Mewn rhai engreifftiau gwna hynny am funud gyfan, heb ddangos dim arwyddion o flinder na phoen. Pan yn bythefnos neu dair wythnos oed, gall rhai babanod ymhongian felly am ddau a thri munud o amser; gormod o orchest i'r rhan fwyaf o rai mewn oed. A ydyw y ffaith hon, tybed, yn adgof o'r amser pan yr oedd y plentyn dynol yn cael ei eni ymysg gwylltfilod y coedwigoedd? Drachefn, dywedir fod peirianwaith tagell y pysgodyn yn aros eto, er yn guddiedig, yng ngwddf dyn. Y mae pob un o honom yn meddu ar y gewynau angenrheidiol tuag at ysgwyd y glust a chroen y pen, a gwelir ambell ddyn yn gallu eu defnyddio i ryw raddau. Y mae olion cynffon i'w gweled eto yn ysgerbwd pob dyn, ac y mae yr holl beirianwaith tuag at ei hysgwyd yn aros heb ei wisgo ymaith. Y mae y ffeithiau hyn a'u cyffelyb yn anhawdd iawn eu hesbonio ond yn ol goleuni dadblygiad.

I lawer o ddarllenwyr, diau yr ymddengys y drydedd bennod neu ddarlith yn y llyfr fel y fwyaf grymus a boddhaol. Ceisir profi ynddi fod y corff dynol o'r diwedd wedi cyrraedd y perffeithrwydd uchaf sydd yn bosibl i gorff ei gyrraedd, ac felly fod dadblygiad yn y cyfeiriad hwn wedi ei ddwyn i derfyniad. Y mae yr "ymdrech am fywyd" o hyn allan yn dibynnu, nid ar egnïon y corff, ond ar alluoedd y meddwl; a chan fod y corff wedi gorffen ei ymdrech, y mae hefyd wedi gorffen ei ddadblygiad. Mewn trefn, er engraifft, i wneyd peiriant mwy cywrain, nid yw mwyach yn angenrheidiol perffeithio y llaw ddynol; yn hytrach y mae y meddwl yn dyfeisio offerynau i wneyd y gwaith yn lle y llaw. Mewn trefn i weled y bychan a'r pell, ni raid aros wrth ddadblygiad i berffeithio y llygad; y mae galluoedd y meddwl wedi dwyn i fod lygaid celfyddydol llawer mwy treiddgar yn yr ysbienddrych a'r chwyddwydr. Yn y gwledydd mwyaf gwareiddiedig, gwelir arwyddion amlwg fod rhai o synhwyrau y corff yn dirywio, ac nid yn dadblygu. Y mae y synwyr i arogli yn gryfach yn y barbariaid, ac yn gryfach drachefn mewn rhai o'r creaduriaid direswm. Y mae y croen, y dannedd, a'r asgwrn gên, yn myned yn fwyfwy tyner, ac oblegid hynny, yn fwyfwy agored i adfeiliad. Mynych y cwynir fod y galluoedd i deithio yn dirywio yn gyflym. Ac yn ol Proff. Drummond, dylai y ffeithiau hyn fod yn achosion o lawenydd, ac nid o dristwch; oblegid y maent yn arwyddion ein bod ni yn awr wedi ein rhyddhau oddiwrth ormes y corff, ac yn byw o dan deyrnasiad y meddwl. Yn hytrach nag i ddadblygiad wneyd y corff yn beiriant mwy cywrain a theimladol, y mae y meddwl yn gallu gwneyd natur a'i holl ddeddfau yn un peiriant at ei wasanaeth, a hynny heb achosi traul na phoen i ewynau a chyhyrau y corff. Diau fod llawer o wirionedd yn y pethau a ddywedir yn y bennod hon, ond y mae y brif ddadl ynddi yn amheus, a dweyd y lleiaf. Yn ol barn rhai o'r prif wyddonwyr sydd wedi adolygu y llyfr, nid oes dim sail i'r dybiaeth fod y corff dynol wedi cyrraedd ei nod uchaf. Hyd yma, beth bynnag, y mae y corff a'r meddwl wedi cyddyfu a chyd-ddadblygu, ac nid yw gwyddoniaeth yn gwybod am un rheswm dros gredu fod y drefn yn debyg o newid yn y dyfodol. Mor bell ag y gellir canfod, y mae pob cyfnewidiad a chynnydd meddyliol yn gysylltiedig â chyfnewidiadau cyfochrog yn y corff, yn enwedig yn yr ymennydd. Yn y bennod hon, yn wir, fel mewn rhai rhannau ereill, y

mae y Proffeswr yn llefaru gyda gormod o awdurdod. Gesyd y ddeddf i lawr, heb ddadl na chwestiwn, fel dyfarniad terfynol gwyddoniaeth, a hynny pan y mae holl ddysgeidiaeth gwyddoniaeth, ar wahân iddo ef, yn tystio yn erbyn.

Yn awr yr ydym yn agoshau at gwestiynau mwy anhawdd. A ydyw yr oll o ddyn yn gynnyrch dadblygiad? Hyd yma yr ydym wedi bod yn ymwneyd â'r corff: beth am alluoedd y meddwl? Beth am enaid ac ysbryd dyn? A ydyw y rhai hyn, tybed, wedi tyfu allan o elfennau anifeilaidd a daearol? Nid oes llawer o amheuaeth wedi ei adael o berthynas i atebiad Proff. Drummond. Rhoddir y ddedfryd ganddo yn ddibetrus o blaid dadblygiad, a dadblygiad yn unig. Dyma drefn creadigaeth dyn yn yr oll o hono, ei ddeall a'i reswm, ei serchiadau, ei gydwybod, a'i ewyllys,—dadblygiad graddol heb naid na bwlch yn yr holl hanes. Addefa yn wir fod yr awdurdodau uchaf yn methu cytuno â'u gilydd; fod Darwin a Wallace wedi ffurfio dwy ysgol wahanol; fod Weismann yn groes i'r ddau, a Spencer yn groes i Weismann. Ond o'r holl ddadleuwyr, nid oes neb yn credu yn fwy trwyadl mewn dadblygiad na Proff. Drummond. Nis gallasai Huxley neu Schmidt ddymuno defnyddio iaith gryfach i osod allan oll-fanylrwydd ac oll-ehangder y ddeddf yn ei pherthynas â dyn. Rhaid cau o dani gynheddfau yr enaid yn gystal a synhwyrau y corff; trwyddi hi yn unig y gellir rhoddi cyfrif boddhaol am ei deimladau a'i feddyliau uchaf, am ei foesoldeb a'i grefydd. Wrth ddarllen ymlaen yr oeddym yn methu peidio meddwl am hen dadau a duwinyddion yr eglwys. Yr oedd Awstin a llu mawr ar ei ol yn credu fod enaid pob plentyn yn greadigaeth newydd o law y Goruchaf; bron na fuasai rhai o honynt yn gallu nodi y dydd a'r awr pan yr oedd yr enaid a'r corff yn cael eu huno yn groth. Hyd yn ddiweddar, yr oedd yr hanes am greadigaeth dyn fel y rhoddir ef yn Genesis yn cael ei dderbyn gan bawb fel gwirionedd llythrennol. Dywed un, o'r enw Dr. Case, mewn llyfr o'i eiddo, fod Adda wedi ei greu am 12 o'r gloch y nos ar y 24ain o Ebrill, yn y flwyddyn 4002 c.c. Mor wahanol ydyw y cyfrif a roddir yn awr gan ddadblygiad!

Nid oes lawer o newydd-deb na neillduolrwydd yn perthyn i'r ffeithiau a ddygir ymlaen gan yr awdwr fel profion o blaid dadblygiad y meddwl. Rhaid i bawb addef fod y meddwl dynol, o fewn rhyw derfynau, o dan y ddeddf hon. Nis gall fod amheuaeth, er engraifft, nad ydyw meddwl y plentyn, tra ar ei ffordd i oedran gwr, yn myned trwy gwrs o ddadblygiad; ac felly hefyd am feddyliau cenhedloedd barbaraidd tra ar eu ffordd i wareiddiad. Y cwestiwn mewn dadl ydyw, i ba le yr ydym i edrych am ddechreuad y dadblygiad. A ydyw tarddiad y meddwl yn gyfoediog â tharddiad bywyd? A oes meddwl, o ran ei elfennau cyntaf, o fewn y pryfyn distadlaf? Ymddengys fod gwyddoniaeth yn tueddu at ateb y cwestiynau hyn yn gadarnhaol, ond nid heb raddau o amheuaeth. Cydnabyddir gan ei dysgawdwyr mwyaf cyfrifol nad oes yr un prawf uniongyrchol o blaid yr atebiad yn gyraeddadwy, a rhaid dibynnu yma bron yn gwbl ar gasgliadau oddiwrth gyfatebiaeth. Y mae y creigiau a haenau y ddaear, gwelyau yr afonydd a'r moroedd wedi cadw gweddillion o *gyrff* dynion ac anifeiliaid o'r cyfnodau boreuaf, fel y gallwn ni yn awr eu harchwilio a'u cymharu â'u gilydd, a thrwy hynny ddarllen hanes eu dadblygiad. Ond ofer fyddai disgwyl darganfod gweddillion o *feddwl* yng nghoffrau y ddaear. Y mae'n wir fod ar gael lawer o gynhyrchion meddwl, megis offerynnau,

adeiladau, dyfeisiau, llenyddiaeth, &c. Ond nid yw y rhai hyn, ar y goreu, yn ymestyn yn ol ond dros gyfnod cymharol ddiweddar. Heblaw hynny, rhaid fod y meddwl wedi esgyn o gylch yr anifail, i gylch bod rhesymol; mewn geiriau ereill, rhaid ei fod eisoes wedi myned trwy y rhan fwyaf annirnadwy o'r dadblygiad, cyn ei fod yn alluog i adael dim o'i gynhyrchion ar ol; cyn ei fod yn alluog, hyd yn oed, i ffurfio yr arf cyntaf, pa mor dlawd ac afrwydd bynnag ydoedd. Nid oes, gan hynny, yr un danghosiad ar gael o ddadblygiad meddwl yn ei agweddau boreuaf. Rhaid boddloni ar ymresymu oddiwrth ffeithiau cymharol ddiweddar, a chydnabod fod graddau o ansicrwydd yn y casgliad mwyaf gochelgar oddiwrthynt.

Y mae y prawf, o'r fath ag ydyw, yn cael ei grynhoi gan Proff. Drummond o dan bum penawd (1). Y ffaith fod meddwl y plentyn yn dadblygu, ac yn gwneyd hynny, fel y tybir, yn ol yr un drefn ag y dadblygodd meddwl y ddynoliaeth o'r dechreuad. (2) Yr hyn ellir gasglu oddiwrth yr arwyddion o feddwl a welir yn y byd anifeilaidd. Trwy ymchwiliadau Mr. Romanes, ac ereill, y mae erbyn hyn yn weddol sicr fod y creaduriaid a elwir yn ddireswm yn meddu ar alluoedd meddyliol, a bod y galluoedd hynny yn dyfod i'r golwg yn yr un drefn ag y deuant yng nghynnydd y plentyn. Drachefn (3) gellir dysgu rhywbeth am ddadblygiad meddwl dyn yn y cyfnodau cyn-hanesyddol, oddiwrth yr olion o feddwl a geir mewn hen arfau cerrig, pres, a haiarn. (4) Efrydiaeth arall lawn o ddyddordeb ac addysg ydyw cyflyrau y cenhedloedd anwaraidd yn awr. Trwy ymweled â gwahanol barthau y ddaear gall y teithiwr gael golwg ar ddyn yn ei wahanol raddau o ddadblygiad, o'r barbariaid tywyll ac anfedrus sydd bron yn gydstâd a'r anifail, i fyny hyd at yr uchaf mewn dysg, moesoldeb a chrefydd, ymysg y cenhedloedd gwareiddiedig. Ac yn olaf (5) y mae ieithoedd y ddaear yn cadw coffa am esgyniad graddol y meddwl. Ieithyddiaeth, o bosibl, ydyw yr astudiaeth fwyaf cyfoethog o berthynas i ddadblygiad meddyliol dyn. Y mae seiliau dros gredu fod meddwl, hyd yn oed yn ei ffurfiau boreuaf, yn meddu ar ryw fath o iaith; naill ai trwy swnio â'r llais, neu ynte trwy ystumiau y corff. Gwelir digon o brofion fod yr adar, yr anifeiliaid, a bwystfilod y maes, yn gallu mynegi eu meddyliau i'w gilydd. Ymddengys, gan hynny, fod y meddwl, bron yn ei raddau cyntaf o ddadblygiad, yn gallu ffurfio ryw fath o iaith iddo ei hun; ac fel yr esgyna i raddau uwch, y mae yr iaith hefyd yn cyfoethogi ac yn perffeithio. Oblegid hynny y mae treigliad a thyfiant ieithoedd yn cadw cofnodau rhagorol o gynnydd y meddwl ei hunan.

Yr ydym yn awr wedi bwrw golwg frysiog dros y rhannau hynny o waith Proff. Drummond yn y rhai y mae, ar y cyfan, yn cytuno ag ymchwiliadau naturiaethwyr blaenorol. Ond fel yr ydym wedi awgrymu fwy nag unwaith, y mae yn y gyfrol hon ddamcaniaeth ychwanegol yn cael ei dwyn i sylw, hollol newydd a gwreiddiol; ac wrth y ddamcaniaeth honno yn bennaf y rhaid beirniadu safle yr awdwr. Mewn trefn i ddwyn y rhan hon yn glir o flaen y darllenydd, ceisiwn yn gyntaf osod ger bron y cwestiwn mewn dadl, ac wedi hynny byddwn ar well tir i ystyried yr atebiad a roddir gan Proff. Drummond.

Yr ydym yn barod wedi galw sylw at yr egwyddor fawr sydd yn gorwedd o dan ac yn achosi dadblygiad, yn ol fel ei dysgwyd gan Darwin a'i ddisgyblion, sef yr ymdrech am fywyd. Oddiyma y tardda pob symbyliad i gynnydd ac esgyniad. Ond wedi ychydig fyfyrdod,

gellir yn hawdd weled fod un anhawster amlwg yn perthyn i'r ddysgeidiaeth hon. Yr anhawster hwnnw ydyw, pa fodd i roddi cyfrif am deimladau ac ymdrechion an-hunangar dyn. Y mae "yr ymdrech am fywyd" yn rhoddi cyfrif gweddol foddhaol am gynnydd dyn fel bod unigol, ar wahân i bawb a phopeth arall, yn ceisio ei les a'i ddaioni personol ei hunan yn unig. Ond pa fodd y gall yr "ymdrech am fywyd" roddi cyfrif am y teimladau o dynherwch, cydymdeimlad, a chariad? Pa fodd y mae ymladdfa barhaus i amddiffyn ei fywyd ei hun yn foddion i ddadblygu mewn dyn barodrwydd i amddiffyn ereill ac i aberthu ei hunan er eu mwyn? Mewn geiriau ereill, anhawdd iawn ydyw esbonio moesoldeb a chrefydd yng ngoleuni dadblygiad wedi ei achosi gan ymdrech hunangeisiol. Ymddengys yn wir fod y rhai hyn yn dadblygu yn ol ryw ddeddf hollol wahanol i'r ddeddf a ddysgir gan wyddoniaeth. Yr hyn a gynhyrchir yn ol y ddiweddaf ydyw *the survival of the fittest;* y trechaf yn goroesi a'r gwanaf yn cael ei lethu. Ond y mae dylanwad egwyddorion moesoldeb a chrefydd yn myned yn uniongyrchol yn erbyn, ac yn gwrthweithio yr effeithiau hyn; oblegid y maent hwy yn amddiffyn y gwan, yr afiach, a'r anafus; y maent yn dysgu y rhieni i ofalu am y plentyn yn ei faboed, a'r plentyn i ofalu am ei rieni yn eu henaint. Y maent yn dysgu y cyfoethog i gyfrannu i angenrheidiau y tlawd; y cryf a'r iach i gynorthwyo y llesg a'r gwael. Ymddengys, gan hynny, fod yn anhawdd iawn, os nad yn amhosibl, edrych ar y teimladau dyngarol fel wedi eu dadblygu allan o'r ymdrech am fywyd.

Yr oedd yr anhawster hwn yn cael ei deimlo ers tro bellach gan y prif feddylwyr. Mewn darlith o'i eiddo, flwyddyn a hanner yn ol, gwnaeth Proff. Huxley ddatganiad barodd syndod a braw nid bychan yn rhengoedd amddiffynwyr eithafol dadblygiad. Yr oedd ef wedi arfer cael edrych arno fel un o wroniaid cadarnaf Darwiniaeth; ond yn ddisymwth, yn ei ddarlith ar "Evolution and Ethics," amlygodd ei amheuon o berthynas i'w hen gredo, a cheisiai ddangos fod dadblygiad moesoldeb yn tarddu o rhyw ffynhonnell dra gwahanol i'r ymdrech am foddion cynhaliaeth. Y mae Herbert Spencer drachefn yn ei "Introduction to Social Science" yn ymdeimlo â'r anhawster; ond y mae ef yn meddu ar ddigon o wroldeb i amddiffyn trefn natur o ddadblygu, ac i gondemnio yr egwyddorion moesol sydd yn tueddu at amddiffyn y gwan. Mewn un frawddeg dywed:—"Y mae dynion sydd yn ymgymeryd ag amddiffyn yr analluog, a'u cymeryd fel corff, yn gwneuthur anghyfiawnder diamheuol,—y maent yn rhwystro y cwrs o ddilëad naturiol, trwy yr hwn y mae cymdeithas yn barhaus yn glanhau ei hunan." Ceir llu o frawddegau i'r un perwyl gan Haeckel yn ei "Evidence of Evolution."

Yn yr anhawsterau hyn, fel rheol, y mae duwinyddion yr eglwys yn canfod amddiffynfeydd i athrawiaethau crefydd. Addefant hwy fod dadblygiad yn wirionedd o fewn rhyw derfynau; ond dadleuant fod bylchau yng ngraddeg bywyd yn aros heb eu hesbonio, a'u bod yn anesboniadwy, yng ngoleuni dadblygiad yn unig. Nid oes dim llai nag ymyriad goruwchnaturiol yn ddigon i effeithio rhai o'r camrau a wnaed yn esgyniad bywyd. Y mae dadblygiad yn analluog, meddant hwy, i roddi cyfrif, nid yn unig am ddechreuad bywyd,—addefir hynny gan y rhan fwyaf o'r dadblygwyr eu hunain,—ond hefyd am esgyniad bywyd o fyd y llysieuyn i fyd yr anifail, o fyd yr anifail direswm drachefn i'r byd rhesymol, ac o fyd y rheswm i'r byd moesol ac ysbrydol. Y maent hwy

yn canfod y fath agendor rhwng pob un o'r rhai hyn fel nad oes dim ond creadigaeth yn ddigon i gamu drosto. Rhaid ydoedd i Dduw gyfryngu mewn trefn i wneyd dyn allan o greadur direswm; a rhaid drachefn ydoedd wrth ddatguddiad goruwchnaturiol mewn trefn i wneyd dyn yn greadur moesol a chrefyddol. Cafodd y syniadau hyn amddiffyniad cryf, o gyfeiriad hollol annisgwyliadwy yn ddiweddar, mewn cyfrol o eiddo Mr. Benjamin Kidd ar "Social Evolution,"* un o'r llyfrau hynotaf a gyhoeddwyd ers blynyddoedd. Daeth allan o'r wasg ychydig wythnosau yn flaenorol i lyfr Proff. Drummond, ac y mae yr olaf yn gwneyd rhai sylwadau arno yn y rhan ddiweddaf o'i ragarweiniad. Y mae Kidd, yn gystal a Drummond, yn credu mewn dadblygiad; ond er hynny anhawdd fuasai cael dau lyfr mwy gwahanol o ran mater ac arddull, ac yn tueddu yn fwy uniongyrchol i ddinystrio eu gilydd. Ceir mwy o dlysni ac amrywiaeth yng ngwaith Drummond, ond y mae Kidd yn fwy manwl a gafaelgar ei ymresymiad. Dadl fawr Mr. Kidd ydyw, fod dadblygiad yn rhoddi cyfrif hollol foddhaol ar y rhannau hunangeisiol o ddyn; ond fod y teimladau anhunangar, y rhai sydd yn rhwymo cymdeithas wrth eu gilydd, yn tyfu allan o'r ysbrydol a'r anweledig.

Yn awr ni a geisiwn grynhoi yr atebiad a roddir gan Proff. Drummond i'r un anhawster. Ei ddysgeidiaeth ef ydyw, fod yr oll o ddyn wedi ei gynhyrchu trwy ddadblygiad, a'r dadblygiad hwnnw yn un llinell ddidor a difwlch, o'i dechreu i'w diwedd. Ond yn ol ei gyfundrefn ef, y mae dwy egwyddor yn gorwedd o dan, ac yn achosi y dadblygiad,—ac nid un fel y dysgwyd gan Darwin,—sef yr "ymdrech am fywyd" ac hefyd "yr ymdrech am fywyd ereill." Nid newydd-bethau, wedi eu dwyn i'r golwg yn ffurfiau diweddaf ac uchaf bywyd yn unig, ydyw cydymdeimlad, cariad, a hunan-aberthiad. Gwir fod mwy o honynt yn dyfod i'r amlwg yn agweddau uchaf bywyd; eto, er hynny, y maent o ran eu helfennau yn gorwedd wrth wreiddiau cyntaf bywyd. Hyd yn hyn y mae naturiaethwyr wedi cau eu llygaid ar un ochr i ddadblygiad; edrychant yn unig ar effeithiau yr ymdrechfa am fywyd: ond yn ol Drummond, y mae ochr arall yn bod, lawn mor bwysig, a gellir ei dilyn i lawr hyd at darddiad cyntaf bywyd. Y mae efe yn gallu canfod y ddwy ymdrech yma yn dechreu ar eu gwaith yn yr hedyn bywydol mwyaf anelwig. Y mae i bob bywyd, pa mor elfennol bynnag, ddau waith i'w gyflawni, sef maethu ei hunan (*nutrition*), ac adgynhyrchu ei hunan (*reproduction*). Ar y ddwy ffaith yma mewn bywydeg y mae yr awdwr yn adeiladu ei gyfundrefn. Amcan y *maethiant* ydyw sicrhau bywyd yr unigol; amcan *adgynhyrchiad* ydyw diogelu bywyd yr hiliogaeth. *Hunan* ydyw nod y cyntaf, ond *arall* ydyw nod yr ail. Ffrydiau o'r ddwy ffynhonnell yma, wedi eu cymysgu â'u gilydd, ydyw holl afon bywyd. O waith bywyd yn maethu ei hun y mae pob hunangais a hunan-gariad wedi tarddu; ond o waith bywyd yn adgynhyrchu ei hunan, y mae pob arall-gais ac arall-gariad wedi cychwyn.

I'r weithred o genhedliad, gan hynny, yr ydym i edrych am ddechreuad y rhannau uchaf o fywyd. Oddiyma y tyfodd cariad a dyngarwch, moesoldeb a chrefydd,—yr holl deimladau sydd yn rhoddi bod i'r teulu, cymdeithas, a'r wladwriaeth. Canfyddir y rhai hyn o ran eu hadau yn dechreu ymagor i lawr wrth odreu bywyd. Y mae y gell fywydol ddistadlaf, ar ol tyfu wrthi ei hunan am ychydig, yn ymrannu yn ddwy;

* "Social Evolution," by Benjamin Kidd. Macmillan & Co. 10s. 6d.

rhaid iddi wneyd hynny, neu ynte suddo i drancedigaeth. Os am barhau i fyw, rhaid iddi hunan-aberthu. Yr un modd am y llysieuyn; rhaid iddo yntau aberthu y blodeuyn arno, mewn trefn i gadw yn fyw ac addfedu yr hâd. Cawn lu o engreifftiau, drachefn, drwy holl gyrrau natur, o fywydau yn cydweithredu â'u gilydd i amcanion penodol; a dywedir wrthym fod cydweithrediad, pa le bynnag y byddo, gan mwyaf yn ffrwyth yr ymdrech am fywyd ereill. Oddiwrth esiamplau o'r naturyma, y ceisir profi gan yr awdwr fod y byd bywydol drwyddo yn llawn o hunan-ymwadiad, a phob bywyd, yn ol deddf ei fodolaeth, yn ymdrechu, nid drosto ei hunan yn unig, ond dros ereill hefyd.

Yr oedd athronwyr wedi arfer tybio mai y lle i chwilio am ddechreuad cariad, ydoedd yn y berthynas rhwng y ddau ryw a'u gilydd. Nage, medd Proff. Drummond, ond yn y berthynas rhwng y fam a'i phlentyn. Nid oes ond y nwydau anifeilaidd yn unig yn cael eu deffro gan dueddiadau naturiol y ddau ryw; nid rhyngddynt hwy ond yn y crŷd, gyda'r baban, y mae cariad yn dechreu magu. Mae'n wir fod y ddau ryw o wasanaeth dirfawr tuag at hyrwyddo dadblygiad. Y rheswm am hynny ydyw fod trefniant natur yn gyfryw fel ag i wneyd y tad yn gynrychiolydd yr ymdrech am fywyd, tra mai gwaith y fam ydyw cynrychioli yr ymdrech tros fywyd ereill. Lle y tad ydyw dadblygu y rhannau hunangeisiol o fywyd; lle y fam ydyw dadblygu y rhannau arall-geisiol. Trwy i'r ddau ymbrïodi â'u gilydd, y mae nodweddion cymeriadau y ddau yn cael eu cyfuno yn yr hiliogaeth; a'r canlyniad ydyw, cadw i fyny y cydbwysedd angenrheidiol rhwng y ddwy ochr yn y dadblygiad. Rhoddir yma le annrhaethol bwysig i'r fam yn nyrchafiad y ddynoliaeth. Drwyddi hi y dygwyd i mewn y rhannau mwyaf dyrchafedig o fywyd. Y fam ydoedd y nôd mawr mewn golwg trwy holl ymdrechion natur o'r dechreuad hyd yn awr: gwneyd mam dda ydyw campwaith pennaf holl gwrs dadblygiad. Nis gall dim fod yn fwy prydferth na'r amlinelliad a roddir gan yr awdwr o'r drefn a gymerwyd gan natur i berffeithio y fam. Y mae i'r tad hefyd ei swyddogaeth yn esgyniad bywyd. Ond cynnyrch diweddar mewn cymhariaeth ydyw tad, yng ngwir ystyr y gair. Trwy y fam y gwnaed y tad, oblegid trwyddi hi y ganwyd cariad i'r byd. Nodweddion y fam wedi eu trosglwyddo i'w phlentyn sydd yn gwneyd y plentyn hwnnw wedi hynny yn brïod ac yn dad; hynny yw, y nodweddion hynny sydd yn ei alluogi i garu ei wraig a'i blentyn.

Y mae y darllenydd yn awr yn feddiannol ar gnewyllyn damcaniaeth Proff. Drummond. Fel y gwelir, y mae yn proffesu dwyn i'r golwg egwyddor newydd mewn dadblygiad—egwyddor sydd yn gallu cyfrif i foddlonrwydd am y rhannau uchaf o fywyd dyn,—y rhannau oedd o'r blaen yn anesboniadwy i wyddoniaeth. Y cwestiynau a ofynnir yn awr ydynt, a yw y ddamcaniaeth yn wirionedd? Ac os yn wirionedd, beth fydd ei dylanwad ar Gristionogaeth? O berthynas i'r cyntaf, gallwn yn ddiogel ateb nad ydyw y llyfr hwn, beth bynnag, yn profi ei gwirionedd. Nid oes ond ychydig iawn o ffeithiau yn cael eu dwyn ymlaen i brofi fod hunanaberthiad, neu ymdrech o blaid ereill, i'w ganfod trwy holl natur; ac y mae yr ychydig a grybwyllir, a dweyd y lleiaf, yn amheus iawn eu tystiolaeth. Er esiampl, y mae gwaith y gell fywydol yn ymrannu yn ddwy, yn ymddangos ar y wyneb yn fwy tebyg i engraifft o ymdrech am fywyd, nag o ymdrech am fywyd ereill. Y mae y gell yn ymrannu,

nid er mwyn arall, ond am y rhaid iddi wneyd hynny mewn hunan-amddiffyniad. Drachefn y mae y rhan fwyaf o'r engreifftiau a grybwyllir am wahanol fywydau yn ymuno â'u gilydd ac yn cyd-weithredu i gyrraedd amcanion penodol, yn esiamplau, nid o gariad a chydymdeimlad, ond o ymgais reddfol at hunan-ddiogelwch. Cymerodd Darwin flynyddau lawer i gasglu ffeithiau o bob congl yn y byd bywydol, ac ar ol astudio a threfnu y rhai hynny, ffurfiodd ei *theory* fel ac i gynnwys ac esbonio yr oll o honynt. Y mae Proff. Drummond yn ceisio profi damcaniaeth, bron mor bwysig ac eang ag eiddo Darwin, a hynny gydag ychydig iawn o ffeithiau; a gellir yn hawdd ddadleu yn erbyn pob un o'r rhai hynny. Ond os nad ydyw ef wedi profi gwirionedd y ddamcaniaeth, dichon y daw rhywun arall i wneyd y gwaith. Hwyrach fod Drummond yma wedi gwneyd gwaith y bardd, sef awgrymu y gwirionedd, tra yn analluog i'w brofi.

Ymddengys i ni, fodd bynnag, fod y ddamcaniaeth, nid yn unig heb ei phrofi, ond yn amhosibl ei phrofi. Yr ymdrech am fywyd ydyw egwyddor dadblygiad. Yr ydym ni yn gallu gweled y rheswm am hynny, oblegid trwy yr ymdrech yma y mae natur yn dileu yr anghymwys, ac yn dethol y cymwys. Hyn yn wir ydyw hanfod dad-blygiad, sef fod y cymhwysaf yn unig yn cael ei oddef i liosogi ei hâd. Unwaith y goddefir i'r anghymhwysaf barhau a chynhyddu, fel y cymhwysaf, nid yw yn bosibl i ddadblygiad fyned gam ymlaen. Ond yn ol Proff. Drummond, y mae yn un o ddeddfau natur i bob bywyd ymdrechu, nid drosto ei hunan yn unig, ond dros ereill hefyd. Mewn geiriau ereill, y mae natur yn amddiffyn y gwan yn gystal a'r cryf; y mae ganddi ddarpariaeth i ddiogelu yr anghymwys yn gystal a'r cymwys. Yn awr, os ydyw yr ymdrech dros ereill yn un o ddeddfau natur, y mae yn hollol sier mai deddf ydyw sydd yn gwrth-weithio ac yn dadwneyd gwaith dadblygiad. Deddf dadfeiliad a marwolaeth ydyw, ac nid deddf dadblygiad a chynnydd. Gwaith hollol amhosibl ydyw dwyn dau allu mor wrthwynebol o dan yr un iau, a'u hennill i gydweithio tuagat ddyrchafiad dyn.

Ond beth ydyw perthynas y ddysgeidiaeth â Christionogaeth? A oes lle o gwbl i'r goruwchnaturiol o'i mewn? Nid oes yr un atebiad uniongyrchol i'r cwestiynau hyn yn cael eu rhoddi yn y llyfr ei hunan; ond os ydyw y syniadau a ddysgir ynddo yn wirionedd, y mae yn anhawdd iawn gweled pa fodd y gellir amddiffyn y rhan fwyaf o athrawiaethau Cristionogaeth. Os nad oes yr un bwlch ym mywyd y ddynoliaeth, os ydym i wadu pob ymyriad gwyrthiol a goruwch-naturiol, pa ystyr a roddir i ymgnawdoliad, iawn, ac adgyfodiad Crist? Pa fodd y gwneir lle i bechod yn y gyfundrefn, a beth ydym i ddeall wrth ddatguddiad goruwchnaturiol? Nid oes yr un llewyrch o oleuni wedi ei roddi ar y cwestiynau hyn, ac eithrio yr hyn a geir yn y bennod ddiweddaf, ac nid yw honno ond aneglur a chymysglyd. Gofynir, beth yn y diwedd a feddylir wrth ddadblygiad? O herwydd mai dadblygiad difwlch ydyw hanes dyn, a ydym i dybied fod dyn wedi tyfu yn gwbl allan o'r daearol a'r anifeilaidd? Am atebiad, cyfeirir ni at gynnydd y llysieuyn. Y mae hwnnw yn tyfu, nid yn gymaint o'r gwreiddyn, nac ychwaith o'r pridd, ond trwy sugno iddo ei hunan elfennau yr awyrgylch. Y mae twf y planhigyn yn fwy o blygu i mewn nag o ddadblygu. Felly hefyd am gynnydd dyn. Nid y ddaear, ac nid yr anifail yn unig sydd wedi cyfrannu i achosi tyfiant

dyn; ond hefyd, ac yn fwy o lawer, yr ysbrydol a'r tragwyddol. Y mae dyn yn troi mewn awyrgylch o foesoldeb a chrefydd, ac y mae ei ddadblygiad yn cymeryd lle trwy sugno i mewn elfennau o'r rhai hynny.

Rhaid i ni addef mai y bennod ddiweddaf ydyw y fwyaf swynol i mi o'r holl lyfr, ond y mae felly o herwydd ei bod wedi taflu gwyddoniaeth a rhesymeg dros y drws, a dianc am noddfa i gyfriniaeth a dirgelwch. Yr ydym, unwaith eto, wedi ymgolli yn yr ysbrydol a'r anweledig, ac y mae swn tonnau y tragwyddol a'r anfeidrol yn curo yn ein clustiau. Yr ydym eto yn diolch i'r Proff. Drummond am ei lyfr; ond wrth ei osod ar yr astell, yr ydym yn teimlo fod yr hen gwestiynau yn aros mor ddyrys a thywyll ag erioed. "Rhyfedd ac ofnadwy ym gwnaed." Bydded i ni ymostwng ac addoli, a chydnabod nad ydym yn gwybod dim.

W. O. JONES.

---

# MESUR DADSEFYDLIAD A DADWADDOLIAD EGLWYS LOEGR YNG NGHYMRU.

Y MAE y grediniaeth yn uniondeb egwyddor Cydraddoldeb Crefyddol yn aros yn sefydlog a chadarn yn fy argyhoeddiadau gonestaf a dyfnaf ers llawer dydd. Byth er y gwybûm rywbeth am y mater ac y meddyliais yn ei gylch—ac y mae hir amser er hynny, bellach—y mae fy anghymeradwyaeth i'r meddylddrych o Eglwys Sefydledig yn angherddol. Deffrowyd y teimlad hwn ynof ar y cyntaf pan ddeallais mai o dan ddeddf goddefiad yr oeddwn yn cael myned i'r capel i addoli, ac yn cael bod yn aelod o eglwys fy rhieni, ac eglwys fy newisiad fy hun! Yr oedd y syniad yn annioddefol i mi, pan nad oeddwn ond llencyn deunaw oed. Ond gwelwn yn eglur mai ofer oedd i mi wingo. Yr oedd yn amhosibl i mi fod yn Wesleyad yn y wlad ym ganed ynddi, ond yn unig trwy oddefiad, am ac oblegid fod eglwys arall yn sefydledig ynddi trwy gyfraith! Ychydig a wyddwn y pryd hwnnw am ddrygedd ymarferol y Sefydliad. Ond yr oedd yr egwyddor ynddi ei hun yn cymell fy nghondemniad llwyr a chwbl iddi. Ac y mae cydnabyddiaeth well o hanes yr Eglwys byth wedi iddi ddyfod yn Sefydliad Gwladol, yn fy nghadarnhau fwyfwy yn fy argyhoeddiadau cyntaf. Y mae y ffrwythau drwg yn profi mai drwg ydyw y pren. Saif y mater i mi yn syml fel hyn: na pherthyn i Lywodraeth Wladol sefydlu Eglwys i'w deiliaid. Y mae Teyrnas Nefoedd yn ysbrydol, ac y mae y ddeiliadaeth ynddi i'w heffeithio trwy gyd-ddeall personol rhwng y dyn unigol â Brenin y deyrnas ei Hun. Y cwbl sydd gan y llywodraeth wladol i'w wneyd â'r mater ydyw diogelu rhyddid a chwareu teg dirwystr i'r eglwys ennill ei deiliaid ei hun—eu hennill yn nhrefn Iesu Grist: trwy bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw Ef; eu hennill trwy air y gwirionedd. Gwn fy mod yn awr yn ymdrin â'r egwyddorion cyntaf. Ond gadawer i hynny fod: y mae yn werth i ddarllenwyr y dyddiau hyn eu cadw mewn cof. Tra mae y mater yn bwnc ymarferol y dydd, a phob math o ddadleuon yn cael eu dwyn ymlaen o bob ochr iddo, y mae o bwys peidio colli golwg ar yr egwyddorion cyntaf. Nid mater o gyfleustra, neu o gymhwyster mewn amgylchiadau penodol ydyw Dadsefydliad yr Eglwys. Y mae yn llawer iawn mwy na hynny: yn wadiad

pendant o briodoldeb a chyfiawnder y Sefydliad ynddo ei hun, o dan bob amgylchiad. Gwir fod yr amgylchiadau yn datguddio yr egwyddor, ac yn rhoddi mantais i ymwneyd â hi yn ymarferol. Ond yr egwyddor ei hun sydd yn cyfiawn haeddu y condemniad cyntaf a phennaf.

Y mae Eglwys Sefydledig yn y wlad hon yn ffaith—yn hen ffaith. Ac y mae yr anghyfiawnder a'r gorthrwm, a'r rhwystrau i ffyniant a chynnydd crefydd yr Iesu Bendigedig, a ddeillia yn naturiol o hynny, wedi eu teimlo a'u dioddef am lawer oes. Dywedir yn y dyddiau hyn mai "trwy ei gwaddol yn unig y mae yr Eglwys yn dyfod i gysylltiad â llywodraeth gwlad, a daw pob enwad mewn meddiant o eiddo i gysylltiad o'r un natur o ran ei amcan, sef diogelu eiddo ar seiliau ei gred!" (*Yr Haul*, Mehefin 1894, tudal. 185). Ond mewn difrif, a ydyw y gwŷr da a ddywedant beth fel hyn yn meddwl beth y maent yn ei ddwedyd! Ai dyna ystyr, "Fod ei Fawrhydi y Brenin yn gyfiawn ac uniawn fel y dylai fod yn brif ben Eglwys Loegr . . . Bydded yn ddeddf trwy awdurdod y Senedd hon, fod y Brenin, ein Goruchaf Arglwydd, ei etifeddion a'i olynwyr ar orsedd y Deyrnas hon i'w gymeryd, ei gymeradwyo, a'i gyfrif yn unig ben ar y ddaear i Eglwys Loegr, a'i fod i gael a mwynhau yn gysylltiedig ac yn unol a Choron y Deyrnas hon, yr enw a'r cyfenw hwnnw. . . . A bod i'r Goruchaf Arglwydd, ei etifeddion, a'i olynwyr, brenhinoedd y Deyrnas hon, gael cyflawn allu, ac awdurdod, o'r naill amser i'r llall, i ymweled, adgyweirio, atal, diwygio, trefnu, ffrwyno a gwellhau pob rhyw gyfeiliornad," &c. (Hen. VIII., Act. 26 c. 1). Ai hynny ydyw meddwl "Declarasiwn y Brenin" o flaen "Y namyn un deugain erthyglau crefydd?" Dechreua y "Declarasiwn" fel hyn: "Gan ein bod wrth ordinhad Duw, yn ol ein cyfiawn Ditl, yn Ymddiffynnydd y Ffydd, a Goruwch-lywiawdwr yr Eglwys, yn ein Harglwyddiaethau hyn, yr ydym yn cyfrif yn dra chytunol i'n swydd Frenhinol hon, a'n sel grefyddol ein Hun gadw ac ymddiffyn yr Eglwys a roddwyd dan ein gofal," &c. Ai cysylltiad "o'r un natur" â'r un y "daw pob enwad mewn meddiant o eiddo" yw y cwbl a olygir yn y geirian hyn? Neu, ai dyna ystyr yr ymadroddion canlynol yn y "Declarasiwn": "Y rhai [yr Erthyglau] yr ydym gan hynny yn eu sicrhau ac yn eu cadarnhau, gan orchymyn i'n holl ddeiliaid caredig barhau yn yr Unffurf hono o Broffes, a gwahardd yr Annghydfod lleiaf oddiwrth y dywededig Erthyglau, y rhai i'r diben hynny yr ydym yn gorchymyn eu Printio o newydd, a chyhoeddi ein Declarasiwn hwn gyda hwynt"? Eto: "Ein bod yn Oruwch-Lywiawdwr Eglwys Loegr; a bod, os cyfyd dim Ymryson ynghylch y Llywodraeth oddiallan, am Orchymynau, Canonau, a Gosodedigaethau ereill pa rai bynnag yn perthyn iddi, i'r Eglwyswyr yn eu Cymanfa eu trefnu a'u gwastadlu, wedi cael Cenad yn gyntaf dan ein Sel Lydan i wneuthur felly, a Ninau yn cymeradwyo," &c. Ac nid yw hyn oll yn golygu dim mwy na "chysylltiad o'r un natur o ran ei amcan" â'r hwn y "daw pob enwad mewn meddiant o eiddo" iddo gyda'r Llywodraeth! Rhyfedd iawn! Pwy sydd yn pennodi yr Esgobion? Am ba reswm y mae yr Esgobion yn cael lle ymhlith gwneuthurwyr ein deddfau? Ai o herwydd cysylltiad eu Heglwys â'r Llywodraeth —"cysylltiad o'r un natur" a'r un y "daw pob enwad mewn meddiant o eiddo" iddo? Y mae Eglwys Esgobol Brotestanaidd yr Iwerddon "mewn meddiant o eiddo" y dydd hwn. Ond ai yr "un natur o ran amcan" yw ei chysylltiad presennol a'r Llywodraeth â'r hyn ydoedd am yr wyth mlynedd a thrigain cyntaf o'r ganrif sydd yn nesbau i derfynu?

Neu, ai yr "un natur o ran ei amcan" ydyw cysylltiad Eglwys Loegr a'r Llywodraeth ag ydyw cysylltiad presennol Eglwys (Esgobol) Brotestanaidd yr Iwerddon â hi? Dim o'r fath beth. Paham yr amlheir cwestiynau? Pa achos am chwaneg o dystiolaethau? Gellir dwedyd yn hyf, "Yng ngwyneb [yr] *Haul* a llygad goleuni" fod y cysylltiad rhwng Eglwys Loegr a'r Llywodraeth ymhell iawn o fod "o'r un natur o ran ei amcan" â'r cysylltiad y "daw pob enwad mewn meddiant o eiddo" iddo—ei fod yn cynnwys llawer iawn mwy na "diogelu eiddo ar seiliau ei gred." Paham yr ysgrifennir mor anghywir? Paham y siaredir mor ffol? Y gwir yw, a'r gwir a ŵyr golygwyr parchedig yr *Haul* yn eithaf da, fod cysylltiad Eglwys Loegr a'r Llywodraeth yn hollol a chwbl ar ei ben ei hun: heb un cysylltiad arall tebyg iddo mewn natur ac amcan fodd yn y byd. Ac y mae y cysylltiad neillduol hwn yn peri anfantais ddybryd i'r Eglwys ei hun fel gallu ysbrydol yn y tir, ac yn ei gwneyd yn orthrwm a thramgwydd i'r eglwysi ereill, ac yn graig rhwystr cydraddoldeb crefyddol—un o hawliau cyntaf cydwybod dyn.

Yn yr amgylchiadau fel y maent, gan hynny, nis gall deiliaid Llywodraeth Prydain Fawr, sydd heb fod yn Gydffurfwyr, gymeryd eu rhyddid fel mater o hawl i addoli Duw yn ol cymhellion eu hegwyddor a'u cydwybod. Rhaid iddynt foddloni i gymeryd eu braint gynhennid gyfreithlon trwy oddefiad yn unig! Y mae yn ddigon sicr nad ymostyngasid i sefyllfa fel hyn gael ei dechreuad yn y ganrif bresennol, yn arbennig yn yr hanner olaf o honi. Ac i mi y mae y rhesymau a fuasent yn ddigonol dros atal ei dechreuad yn ddigonol hefyd dros atal ei pharhad. Gwir fod yn fwy anhawdd tynnu hen adeilad i lawr, a gwneyd y tir yn glir ac yn lan, nag atal codi adeilad anghymwys ar dir a fo eisoes felly. Y mae y buddiannau a'r rhagfarnau a amgylchynant hen sefydliadau, pa mor wrthun bynnag y byddont, yn chwanegu yr anhawsterau i'w trafod. Ond beth er hynny? Y mae hawliau cynhennid yr hyn a ddylai fod, yn aros yn ddigyfnewid, beth bynnag fyddo yr hyn sydd, ac fel y mae. Nis gall breintiau personau na phleidiau, a dyfasant allan o furiau llaith a phydredig hen adeilad na ddylesid erioed ei sylfaenu, gyfiawnhau parhad yr adeilad honno. Nid oes iddynt unrhyw werth na phwysigrwydd mewn cymhariaeth i'r hyn sydd iawn a phriodol ynddo ei hun, sef na ddylai yr adeilad na ddylasai fod gael ei pharhau. Gwneler y goreu a aller i bobl y breintiau a'r buddiannau, ond na pharhaer yr hyn na ddylai ac na ddylasai fod er eu mwyn. Y mae hawliau Cydraddoldeb Crefyddol yn seiliedig ar berthynas foesol dyn a'i Greawdwr; a chan ba hawliau y mae y flaenoriaeth ar y rhai hynny? Ni ddylasai fod, ac ni ddylai fod unrhyw sefydliad yn rhwystr ac atalfa iddo.

With ystyried hyn oll yr wyf yn mawr lawenhau am fod y Llywodraeth wedi dwyn ymlaen Fesur "i derfynu y sefydliad o Eglwys Loegr yng Nghymru a Sir Fynwy, ac i wneuthur darpariadau gyda golwg ar ei thymorolion." Y mae y gydnabyddiaeth hon i egwyddor Cydraddoldeb Crefyddol gan Lywodraeth y wlad, a'r cam pwysig hwn o'i heiddo tuag at ei ddygiad yn ffaith, yn fy nghyfrif i, yn werth llawer iawn. Yr wyf yn teimlo mai fy mherygl ydyw bod yn rhy ddiofal parth y darpariadau gyda golwg ar y Tymorolion, neu yn rhy haelfrydig gyda hwynt i'r Eglwyswyr, gan faint fy llawenydd yn y rhagolwg ar "Eglwys Loegr, mor bell ag y mae hi yn sefydledig trwy gyfraith yng Nghymru neu Sir Fynwy, yn peidio a bod yn sefydledig

felly;" ac felly y rhwystr mawr i gydraddoldeb crefyddol yn fy ngwlad wedi cael ei symud. Pe byddai hyn o dan sel ei Mawrhydi mewn pryd i fod yn ffaith ar y dydd cyntaf o Ionawr, 1896, myfi a deimlwn yn nodedig o foddhaol. Ac yr wyf yn berffaith sicr na byddai i mi am un eiliad "ddeisyfu oes" nac esgob na pherson o Fon i Fynwy er mwyn y "tymorolion." Mi a ddywedwn o ddyfnder cywirdeb fy nghalon, Hir oes i Esgob Llanelwy i fod yn ddefnyddiol a llwyddiannus, ac yn llawer iawn doethach dyn nag y bu efe erioed o'r blaen!

Ymddengys y Mesur i mi, a chymeryd golwg gyffredinol arno, yn un tra rhagorol. Yr wyf yn dweyd hyn, wrth gwrs, gan gofio yr amgylchiadau a'r anhawsterau yr oedd yn rhaid eu gwynebu wrth ei lunio. Cyn belled ag y mae Dadsefydliad yn y cwestiwn, y mae efe bron yn bopeth a allaswn ei ddymuno. Nid oes dim yn well na chymeryd Cymru ddaearyddol, gan gynnwys ynddi Sir Fynwy, fel y mae yn briodol, i mewn i'w gylch. Cyfiawn a phriodol ydyw i'r pedwar Esgob golli bob un ei sedd yn Nhy yr Arglwyddi pan ddaw y Mesur yn gyfraith. Ac nid oes dim yn erbyn iddynt fwynhau eu teitl a'u blaenafiaeth—hwynthwy a'r deoniaid a'r archddiaconiaid—am eu hoes. Nid yw hynny nac yma nac acw i neb arall. Eithr beth sydd yn galw am i Esgobion Seisnig gymeryd lleoedd yr Esgobion Cymreig yn Nhy yr Arglwyddi? Nid yr hyn a ddylai fod yn ol natur a phriodoldeb pethau. Dylid gadael eu lleoedd yn wag, i aros Dadgysylltiad yn Lloegr; canys rhaid i hwnnw ddyfod yn y man. Yr unig reswm dros gyfyngu am y presennol i Gymru ydyw fod Cymru yn addfed iddo, a Lloegr heb fod felly.

Eithr nid yw dadsefydlu yr Eglwys ynddo ei hun ond mater syml. Gyda "throsglwyddiad a threfniad y meddiannau" y cyfyd yr anhawsterau. Darparu yn foddhaol gyda golwg ar y "*Temporalities*" ydyw y gamp fawr. Dyma y lle y mae eisieu gwybodaeth a doethineb, medr a phwyll mewn modd neillduol. Ac ymddengys i mi fod y pethau hyn wedi bod ar lawn waith yn ffurfiad y Mesur hwn. Yn wir, y mae yn syndod i mi fod trefniadau a ymddanghosant mor gyson wedi eu gwneyd o'r fath dryblith. Y peth cyntaf a'm tarawodd wrth ddarllen araeth Mr. Asquith, ac wrth ddarllen y Geisddeddf (chwedl Caerfallwch) wedi hynny, oedd haelfrydedd mawr y darpariadau tuag at yr Eglwys a'r Eglwyswyr. Ac ni ddymunaswn iddo fod yn groes i hynny. Gwell gennyf wrando ar y Pregethwr yn yr achos hwn, a pheidio bod yn "rhy gyfiawn." Ond, o'r tu arall, A ydyw y Mesur yn peidio rhedeg yn rhy bell mewn haelfrydigrwydd? Os oes "rhy" ynddo hefyd, rhy haelfrydig ydyw hwnnw, yn ol fy meddwl i. Nis gwn fod dim i'w ddwedyd yn erbyn i'r flwyddyn 1703 fod yn llinell derfyn rhwng yr hen waddoliadau a'r haeleddau preifat a fwynheir gan yr Eglwys. Hyd y gwelaf fi, y mae hynny mor gyfiawn o'r naill ochr a'r llall, ag y mae modd i neb yn bresennol eu trefnu. Nid oes neb a fynnai gymeryd oddiar yr Eglwys "yr un ddimai goch y delyn" ag y mae ganddi fel Eglwys hawl gyfreithlon iddi. Ac ni warafunir iddi yr eglwysi chwaith. Ond gwnaeth y Llywodraeth yn dda wrth drefnu yr hen waddoliadau, y meddiannau cenedlaethol, felly, ymochelyd rhag myned i'r pwll yr aethpwyd iddo wrth ddadwaddoli yr Eglwys yn yr Iwerddon. Cafwyd gwers yn ysgol profiad yn yr achos hwnnw ag yr oedd yn werth ei chadw mewn cof. Cedwir a diogelir y meddiannau hyn at wasanaeth cyhoeddus parhaol y genedl, a hynny yn y lleoedd y

perthyna y meddiannau hynny iddynt. Nis gellir meddwl am ddim cyfiawnach nag egwyddorion y gosodiadau hyn. Ond cyn y daw y meddiannau hyn i wasanaeth y genedl, rhaid iddynt yn gyntaf wasanaethu eu meddianwyr presennol cyhyd ag y gwnant y gwaith a wneir ganddynt yn bresennol am danynt. Gwelir felly mai gwaith graddol, a gymer lawer o flynyddau i ddyfod i orffeniad fydd y dadwaddoliad. Y mae hynny ynddo ei hun yn annymunol. Eithr y mae yn anhawdd gwybod pa fodd i'w ochelyd. Ni fynnwn fod yn galed wrth y personiaid ar un cyfrif: yn hytrach byddai yn dda gennyf iddynt gael pob haelfrydigrwydd rhesymol sydd yn bosibl. Ond yn ddiau, byddai yn ddymunol pe gellid cytuno ar daledigaeth iddynt am eu buddiannau ar delerau haelfrydig tuag atynt hwy, ac o fewn terfynau priodoldeb a chyfiawnder o'r ochr arall. Eithr onid ellir gwneuthur hynny rhaid boddloni i bethau gymeryd eu cwrs. Ar yr un pryd, nid annoeth fyddai gwneyd cais teg i gael allan gynllun o daledigaeth gyfiawn a rhesymol mewn rhai dosbarthiadau o achosion o leiaf. Wrth edrych, modd bynnag, ar y rhan hon o'r Mesur fel y mae, y mae yn rhaid dwedyd ei fod yn dra haelfrydig a thyner wrth y rhai y mae ganddynt fuddiannau yn y Sefydliad. Gwn fod rhai ysgrifenwyr hynod o feddylgar a thosturiol wedi cymeryd i fyny gŵyn y curad. Nid oes iddo ef, druan, meddynt, gyda dagrau (debygid) lond eu llygaid,—nid oes i'r curad tlawd ddim i'w ddisgwyl o dan y Mesur anghyfiawn hwn! Ond, atolwg, ymha beth y mae buddiannau presonnol y curad yn gynwysedig? Pwy a rydd iddo daledigaeth pan na bydd galwad am ei wasanaeth yn bresennol? Na, gyda phob dyledus barch i'r curad, a phob dymuniadau da iddo, rhaid dweyd nad oes ganddo un math o gysgod hawl i daledigaeth o'r gwaddol mewn cwestiwn. Dengys y cri hwn yn achos y curadiaid fod yn rhaid i wrthwynebwyr y Mesur fyned i drafferth i ddychmygu anghyfiawnderau ynddo.

Ymddengys y peirianwaith sydd i weinyddu y meddiannau ynghwrs y dadwaddoliad, ac wedi hynny, mor naturiol a chyfaddas i'r gwaith ag y dichon iddo fod. Ac nid oes gyfiawn air i'w ddwedyd yn erbyn yr amcanion gosodedig i ddefnyddio y meddiannau er eu mwyn. Y mae y Mesur, ar y cyfan, ac yn yr amgylchiadau, yn un tra rhagorol. Nis gallaf weled ynddo yr un egwyddor amhriodol. Y mae ei brif-linellau yn uniawn. Dichon y gwelir y bydd yn iawn ddullweddu rhai o'i fanylion. Ond o ran ei hanfodolion, y mae yn anhawdd meddwl pa fodd y gallesid ei well. Ac y mae cwestiynau y boneddigion prysur-hebddiolch sydd wedi bod yn difrodi amser Ty y Cyffredin, yn awgrymu praffder a chadernid egwyddorion y Mesur. Nid oes un o'r gwyr anrhydeddus hynny wedi meiddio ymosod ar ei egwyddorion, eithr ymholant pwy sydd wedi talu am adgyweirio yr Eglwysi Cadeiriol, a chwestiynau mawrion o'r dosbarth hwnnw!

Diameu y derbynia Cymru y Mesur yn galonnog. Byddai yn ddoeth i'r Eglwyswyr hefyd wneuthur felly. Canys er y dichon iddynt beri "oedi yr amser" am ryw gymaint, eto y mae yn ddigon sicr na chânt byth gynnyg ar Fesur mor haelfrydig ar ol hyn. Ac y mae y Mesur fel y mae, tra yn hynod o dyner wrth yr Eglwys, yn cynnwys yr egwyddorion y mae yr Anghydffurfwyr yn rhoddi y gwerth mwyaf arnynt, ac wedi ymladd galetaf am danynt. Byddai iddo ddyfod yn gyfraith y tir yn un o'r buddugoliaethau enwocaf a enillodd yr egwyddorion ardderchocaf ers llawer dydd—egwyddorion rhyddid a chydraddoldeb crefyddol.

Dylai yr Anghydffurfwyr fod yn falch o hono, a defnyddio pob dylanwad a gallu a feddant i gymell y Llywodraeth i'w wasgu ymlaen. Dylai y deiliad gwladol ei werthfawrogi am ei fod yn trefnu ar iddo gael meddiant o'i eiddo ei hun, a gadwyd oddiwrtho am amser mor faith. Y *Times* a'i geilw yn *gigantic bribe* i'r trethdalwyr. Ond y mae y papur hwnnw yn gallu dirnad *bribes* yn well nag egwyddorion. Gŵyr y Cymry yn well am egwyddorion. Y maent yn hollol ddieithr i "gigantic bribes." Eithr gwyddant beth yw ffyddlondeb i'w hegwyddorion. Y mae eu haberthau gwirfoddol i gynnal eu heglwysi eu hunain wedi bod yn *gigantic*, os mynnir. Ac os oes Cymry a dderbyniant lwgrwobrwyon, y mae yn ddrwg gennyf ddywedyd fod swm enfawr o euogrwydd am gymell a meithrin y duedd honno ynddynt yn gorffwys ar liaws o bersoniaid yr hanner canrif diweddaf. Na, nid *bribe* ydyw Mesur y Dadgysylltiad—nid ydyw yn amgen na Mesur o gyfiawnder syml a phur; ac nid ydyw trefnu meddiannau cyhoeddus y genedl yn y modd goreu i wasanaethu y genedl, yn fwy o lwgrwobrwyaeth nag oedd i minnau dalu am y copi o'r *Times* sydd ar y bwrdd o'm blaen. Ac nid yw son am gysegr-ysbeilio, a defnyddio meddiannau cysegredig i bwrpas gwladol, ond gwag-siarad ofer a diystyr. Y camwri ydyw defnyddio eiddo y genedl at wasanaeth sect sydd yn cael ei gwneuthur i fyny o'i lleiafrif. Y mae y Mesur hwn, fodd bynnag, yn gais teg i ddyfod a phethau i'w lle. Eithr wrth geisio unioni hen gamwri nid ydym i synnu fod ochain a chrochwaedd i'w clywed. Ond aiff y dymestl heibio, a cheir hindda wedi hyn.

*Rhyl.* W. H. EVANS.

---

# TRYSORAU CUDDIEDIG.

## I.

YR ydym yn byw mewn oes o ddarganfyddiadau hynafiaethol, pob un yn fwy cyffrous na'r un oedd yn ei ragflaenu. Ninefeh, Halicarnassus, Caerdroia, Mycenae, Cyprus, Thebes,—y maent oll yn eu tro yn rhoi i fyny eu rhyfeddodau mewn cerfiadaeth, mewn arfau, mewn gemau, mewn papyrus, mewn meirwon wedi eu claddu ers hir amser. Eto mae y darganfyddiadau hyn yn llai pwysig, wedi'r cyfan, na rhai ereill a gafwyd, heb gloddio am danynt â chaib a rhaw, gan efrydwyr iaith. Nid yw Champollion wrth ysgrifennu ei lythyr nodedig at Dacier, na Syr Henry Rawlinson wrth beri i'r graig yn Behistun ddatguddio iddo gyfrinach oesau, na Sayce trwy fflachiad o ysbrydoliaeth yn cael allan ystyr ysgrifen oedd ar foglyn o arian, yn apelio at ddychymyg y cyhoedd, nac yn cyfoethogi ein hamgueddfeydd ag ysbail o fynor, o bres, nac o aur. Ond y maent yn datgloi i ni lenyddiaeth cenhedloedd mwyaf y cynoesau, ac yn adferu i ni y rhan fwyaf gwerthfawr o'r etifeddiaeth a adawyd gan hynafiaid y teulu dynol.

Pan soniwn am Drysor Cuddiedig, ni olygwn ei fod o angenrheidrwydd o'r math ag sydd yn temtio ysbeilwyr temlau a beddrodau. Fe gymer y frawddeg ei hesbonio mewn mwy nag un ffordd. Y mae ysgrifau wedi eu cerfio mewn iaith na chafwyd agoriad iddi eto, cofnodion wedi eu hysgrifennu mewn dull sydd wedi ei anghofio mor

llwyr a'r fath dywyllwch ynglŷn â hwy ag sydd yn drysu y gwyddonwyr galluocaf, yn drysorau wedi eu claddu mor wirioneddol yn orielau ein hamgueddfeydd ac ar estyll ein llyfrgelloedd â phe buasent yn gorwedd yn y gudd-gell ddirgelaf yn un o feddrodau Thebes. Mae trysor felly, oedd wedi ei gladdu a bod mewn ebargofiant am yn agos i chwe chanrif ar hugain, wedi ei adferu yn ystod y deuddeg neu y deunaw mlynedd diweddaf; ac eto, nid oes ond cylch bychan yn gwybod fod y fath ddarganfyddiad wedi ei wneyd. Mae y cyhoedd yn gyffredinol yn Ewrop—yr un cyhoedd deallus ag a fu gyda'r fath ddyddordeb yn dilyn ymchwiliadau Schliemann a Cesnola, ac yn ddiweddar a arddanghosai y fath awydd i wybod am y darganfyddiadau a wnaed yn Thebes—yn anhysbys, nid yn unig o'r gwaith a wnaed, ond hyd yn oed o enw y maes y bu y gweithwyr yn llafurio ynddo. Y maes y cyfeiriwn ato ydyw Ysgrifen Boblogaidd neu Werinaidd yr Aifft,—yr *Egyptian Demotic*.

Yr oedd ysgrifau yr hen Aifftiaid o dri math, ac yn perthyn i dri chyfnod; yr arwyddluniol, yr offeiriadol, a'r boblogaidd neu y werinaidd. Mae yr arwyddluniol, hynafiaeth yr hon sydd mor fawr fel y mae ei dechreuad yn anhysbys, wedi parhau trwy yr oesau i gael ei harfer ar gofadeiladau; yr offeiriadol, ffurf rwydd gyflym o ysgrifennu yr arwyddluniol, a ddechreuwyd yn adeg y chweched teyrnach; a ffurf fer o'r offeiriadol yw y werinaidd, a ddygwyd i arferiad tua chyfnod y 26ain teyrnach,—oddeutu C.C. 700.

Mae yr olaf, yr hon a ellir ddisgrifio fel math o law fer, yn dra anhawdd i'w dehongli. Nid yn unig y mae yn fynych i'r un nôd amryw ystyron, ond y mae y nodau wedi eu gosod mor agos i'w gilydd, a'r ysgrifwaith, y rhan amlaf, yn dangos diofalwch ac annhrefn. Cyn cyhoeddi gwaith enfawr Brugsch (1867—1880) yr oedd llenyddiaeth Werinaidd yr Aifft yn anhysbys; a hyd yn oed yn awr, pan y mae cryn nifer o ddysgedigion Ewropaidd yn treulio eu hamser i egluro y lenyddiaeth arwyddluniol ac offeiriadol, nid yw rhetr y rhai sydd yn hyddysg yn y werinaidd yn cynnwys mwy na hanner dwsin o enwau. Y ddau enwocaf o honynt yw Brugsch a Revillout. Mae y blaenaf, trwy ei *Demotic Grammar and Dictionary*, wedi agor y ffordd i efrydwyr y dyfodol; a'r llall, trwy ei *Chrestomathie Demotique*, a chyfieithiadau ereill, wedi gwneyd cymaint o waith yn ystod y pedair blynedd diweddaf ag a allai y rhan fwyaf o ddysgedigion gyflawni mewn oes. Wedi ei benodi yn 1877 i swydd yn y Louvre, troes yr ysgolhaig Aifftaidd gwych hwn ei sylw at y papyrus gwerinaidd oedd yn y casgliad cenedlaethol Ffrengig. Er gwaethaf yr anhawsterau oedd ar ei ffordd i ddeall yr hen ysgrifau, ymgymerodd M. Revillout ag efrydu yr hyn a elwir "Cytundebau Gwerinaidd" oedd yn y Louvre i ddechreu, ac wedi hynny i archwilio yn ofalus ysgrifeniadau cyffelyb pa le bynnag y ceid hwy. Felly fe aeth oddiamgylch i weled y casgliadau oedd ym Mhrydain, Leyden, Turin, a Berlin, gan ddosbarthu ac adysgrifennu amryw filoedd o ysgrifau, a rhoddi barn am y waith gyntaf ar werth a phwysigrwydd trysorau gwerinaidd Ewrop. Profasant eu bod o ddyddordeb a phwysigrwydd mawr. Cynhwysent weithredoedd o werthiant, o drosglwyddiad, o bartneriaeth, o waddol; prydlesoedd tai a thiroedd; arwystlon, ysgrifrwymau, derbynebau am drethoedd a thaliadau ereill; cytundebau priodasol, hawl-ysgrifau, rhestrebau (*inventories*), &c.

Ymysg yr ysgrifau nad ydynt gyfreithiol na masnachol, gellir nodi casgliad o addysgiadau moesol, casgliad o chwedlau, traethawd athronyddol ar ffurf ymddiddan, llawlyfr dewiniaeth, a chwedl dra hynod, hanner-hanesyddol, hanner-swynyddol, a elwir "Rhamant Setna." Yr oedd rhai o'r ysgrifeniadau hyn wedi bod yn malurio yn amgueddfeydd Ewrop am fwy na chanrif; ereill wedi eu darganfod o fewn y pymtheg neu yr ugain mlynedd diweddaf. Yn ffodus, gwyddom pa le y cafwyd y rhan fwyaf o honynt. Cafwyd "Rhamant Setna" yn 1865 ym medd mynach Coptaidd yn Thebes. Mae yr ysgrifau cyfreithiol a masnachol oll yn dyfod o Memphis neu Thebes. Cafwyd y rhai o Memphis yn adfeilion teml y Serapeum yn 1778, ac yr oeddynt mewn rhan wedi eu llogi gan yr Arabiaid. Y rhai o Thebes,—cyfres anghyffredin o gofysgrifau yn perthyn i deulu unigol o offeiriaid israddol i Amen,—mewn llestr pridd yn 1820. Cafwyd ereill yn ddiweddarach gan amryw deithwyr. A chymeryd y naill gyda'r llall, gellir dweyd fod y papyri hyn yn cyrraedd dros gyfnod o tua phum canrif, yn dechreu gyda theyrnasiad Darius I., gan gynnwys yr oll o gyfnod y Ptolemiaid, ac yn diweddu tuag amser y Gorchfygiad Rhufeinig.

Gwelir ar unwaith y bydd i'r fath ysgrifau, wedi eu hadferu o ebargofiant oesau, agor ffynhonnell ddihysbydd bron o wybodaeth am gyfnod a chymdeithas na wyddem hyd yma ond ychydig neu ddim yn eu cylch. Nid oes yr un cyfnod yn hanes yr Aifft, mewn oesoedd cymharol ddiweddar, yn fwy tywyll na'r cyfnod o ddirywiad y perthyna y papyri hyn iddo. Yr oedd annibyniaeth yn darfod ynddo; adeg ydoedd o ormes, o wrthryfel, o gyfnewidiad. Yr oedd yr hen grefydd yn prysur ddiflannu, yr hen iaith yn cael ei llygru gan ddylanwadau estronol, yr hen ddull o ysgrifennu yn fuan i gael ei roi o'r neilldu. Yr oedd yr Assyriaid a'r Persiaid wedi gorchfygu a difrodi a myned ymaith; yr oedd y Groegiaid mewn meddiant; a'r Rhufeiniaid yn fuan i ddyfod. Yn y cyfamser beth am gyflwr cymdeithasol pobl yr Aifft? Beth am eu cyfreithiau gwladol a throseddiadol? Beth am eu trefniadau cyllidol a masnachol, eu pwysau a'u mesurau, eu harian bathol, eu moesau, a'u cysylltiadau teuluaidd? Ar y pethau hyn yr oedd hanes yn ddistaw. Nid oedd gan y cofadeiliau oedd yn mynegi am fuddugoliaethau neu haelioni y naill ormeswr tramor ar ol y llall, ddim i'w ddweyd am y bobl y teyrnasai y gormeswyr hynny arnynt. Yn wir, prin y byddai yn ormod dweyd ein bod hyd y dydd o'r blaen yn gwybod llai am yr Aifftiaid brodorol yn ystod y pum canrif rhwng teyrnasiad Darius I. a dyfodiad Augustus Cesar, nag a wyddem am arferion a defodau Aifftiaid yr Hen Ymerodraeth. Yn awr, trwy ymdrechion efrydwyr yr ysgrifen werinaidd, mae y cwmwl hwn o anwybodaeth yn cael ei chwalu. Wrth droi dalennau *Chrestomathie* Revillout, gwelwn yr offeiriaid a'r ysgrifenyddion hyn, sydd wedi marw a myned ymaith ers cymaint o amser, wrth eu gwaith dyddiol,—yn prynu ac yn gwerthu, yn rhoddi ac yn cymeryd benthyg, yn priodi ac yn rhoi i briodas. Mae eu husuriaeth, eu hachosion cyfreithiol, a'u hachosion o ysgariaeth yn cael eu dwyn ger ein bron gyda'r fath fanylder a phe yn cael eu hadrodd yng ngholofnau newyddiadur dyddiol. Caniateir i ni hyd yn oed i fyned i mewn i ddirgelion y fangre bruddaidd a chyfriniol lle y trigai y peraroglwyr a'r gwneuthurwyr eirch, neu y *mummy cases*, a'r offeiriaid a gyflawnent y gwasanaeth coffadwriaethol dros y marw. Y cyfryw o ran eu gwerth ydyw yr ysgrifeniadau gwerinaidd, a'u cymeryd wrthynt

eu hunain; ond a'u cymeryd mewn cysylltiad â'r rhai Groegaidd, sydd yn fwy diweddar, ac â'r rhai Coptaidd, sydd yn ddiweddarach fyth—oll o'r un nodwedd ac wedi eu cael o'r un cymdogaethau—y maent yn cyrraedd pwysigrwydd llawer mwy. Y maent mewn gwirionedd yn dyfod yn ddolennau cyntaf mewn cadwen ddidor, bron, o gofnodion cyfreithiol a masnachol dros ysbaid 2000 o flynyddoedd, ac yn cynnwys cyfnodau y gorchfygiad Ethiopaidd, y ddau orchfygiad Persiaidd, y gorchfygiad Groegaidd, y rhyfel ddiweddaf am annibyniaeth, y gorchfygiad Rhufeinig, ac amryw deyrnachau o'r llywodraeth Arabaidd.

Gellir rhannu y papyri gwerinaidd i ddau ddosbarth,—yr Amrywiol a'r Cyfreithiol. Bwriadwn gyfyngu ein hunain yn bresennol i'r ysgrifau cyfreithiol, y rhai ellir ddisgrifio fel trafodaethau mewn perthynas i'r Byw, a thrafodaethau mewn perthynas i'r Marw.

Gan fod bron yr oll o'r ysgrifau cyfreithiol hyn yn dyfod o un ffynhonnell, dichon y byddai yn briodol crybwyll eu bod yn ddi-eithriad yn dal perthynas ag amgylchiadau teuluaidd a galwedigaethol llwyth o Choachytes Thebaidd oedd yn trigo mewn maesdref berthynol i Djem, ar lan orllewinol y Nilus. Dosbarth o offeiriaid israddol oedd yn gofalu am y gladdfa yn Thebes oedd y Choachytes neu y Colchytes hyn, y rhai a elwid yn swyddol Pastophori Amen; a'u gwaith ydoedd cyflawni y gwasanaeth claddu a'r gwasanaeth coffadwriaethol. Ymddengys eu bod yn ddosbarth o bobl ddiwyd a llwyddiannus, heb fyw ar eu gwaith cysegredig yn unig, ond yn graff mewn prynu a gwerthu, ac yn hyddysg yn nirgelion usuriaeth. Yn y casgliad o gytundebau a geir yn y Louvre, canfyddwn amryw ysgrifau yn dal perthynas â benthyciadau a llôg, oll wedi eu gwneyd gan rai oedd wrth eu galwedigaeth yn gwneyd pethau felly, ac wedi eu harwyddo gan nifer o dystion. Gan adael allan a thalfyrru llawer o'r hyn sydd yn hollol ffurfiol, yr ydym yn adgyfieithu dwy o'r *bonds* hyn o gyfieithiad Ffrengig M. Revillout, un mewn perthynas i fenthyciad gwenith, a'r llall mewn perthynas i fenthyg arian:—

1. (Dyddiad, y bumed flwyddyn i Cleopatra-Circe a'r ail flwyddyn i Ptolemi-Alexander, ei mab). Y derbynydd trothi a'r nwyddau, Thoth, mab Amenhotep, mam yr hwn yw Tanoum, wrth Pastophorus Amen-Api Claddfa Djem, Neckhtmouth, mab Hoarus, mam yr hon yw Chachperi, a ddywed.—Am y gwenith a fenthyciaist i mi, mae gennyt hawl i gael ad-daliad oddiarnaf o naw aureus, gan gynnwys y llog. Yr wyf yn ymrwymo i dalu i ti dy naw aureus a grybwyllwyd mewn gwenith pur heb ei falu [gwerth yr arian dywededig], wedi ei dalu yn ol a'i gludo a'i drosglwyddo i ddwylaw dy weision yn dy dŷ yn Djem, yn ddi-draul a di-drafferth, ar y 30ain dydd o'r mis Pakhous. Ac nis gallaf dalu i ti unrhyw gyfran o'r hyn a enwyd uchod hyd y 9fed o Pakhous, ar yr adeg a'r dydd a nodwyd. Nis gallaf ddweyd wrthyt, Yr wyf eisoes wedi gadael gwenith gyda thi, neu, Yr wyf wedi gwneuthur taliad i ti ar gyfrif dy wenith. Nid oes ryddhad [o'r ddyled] ond yn ol telerau y weithred hon, canlyniadau cyfreithiol yr hon sydd yn gorffwys arnaf fi ac ar fy mhlant. Mae yr holl eiddo sydd yn awr yn fy meddiant, a'r holl eiddo a all ddyfod i'm meddiant ar ol hyn, yn cael eu gwystlo i ti fel diogelwch am dy naw aureus; ac os pallaf a gweithredu yn ol yr ysgrifen hon, bydd yr holl ganlyniadau neu ddirwy yn ddyledus, a bydd raid i mi roddi i fyny i ti heb wrthwynebiad nac oediad yr hyn oll a wystlir trwy hyn.

2. (Dyddiad, y 15 flwyddyn i Euergetes I.). Yr wyt wedi rhoddi benthyg mi bump argentei, yr hyn a wna un outen o arian. Yr wyf wedi derbyn yr arian hyn o'th law. Mae y swm yn gyflawn heb weddill ar ol. Mae fy nghalon yn cael ei boddloni. Ar yr adeg a nodwyd gennyt, am dy bump argenteus, y rhai a fenthyciaist i mi, mi a'u talaf. Mae gennyf 30 diwrnod o goel cyn amser yr addaliad. Rhoddaf i ti, heb y llog, dy bump argenteus yr hyn a wna un outen, drannoeth wedi y 30ain dydd a grybwyllwyd uchod, heb gyfrif costau neu log, a

hynny yn ddioed. Nid yw y weithred hon yn darparu unrhyw ryddhad arall o'r ddyled. Mae yr ysgrifen gyfreithiol uchod yn dy law am dy bump argenteus, ynghyd a'r costau a'r llog fydd yn dyfod. Mae yn gorffwys arnaf fi ac ar fy mhlant. Mae yr holl eiddo sydd gennyf neu a all ddyfod i fy meddiant, yn cael eu gwystlo i ti fel diogelwch am dy argenteus, a'r costau a'r llog fydd yn dyfod. Gall dy weision ddefnyddio yn fy erbyn unrhyw foddion o orfodaeth mewn perthynas i'r hyn a ysgrifennir yma, a hynny heb wrthwynebiad ar fy rhan.

Yn awr, wrth gymharu y rhai hyn ag ysgrifau ereill, cawn dair prif ffaith:—1. Fod yr hen gyfraith Aifftaidd yn parhau mewn grym ochr yn ochr â'r gyfraith Facedonaidd yn adeg y goresgyniad Groegaidd. 2. Fod benthyciadau bob amser yn cael eu gwneyd am amser byr. 3. Y gorfodid i'r ad-daliad gael ei wneyd ar ddiwrnod penodol, cyn yr hwn na dderbyniai yr echwynwr ddim, ac ar ol yr hwn, pe na byddai ond oediad o bedair awr ar hugain, y byddai y benthyciwr yn agored i ddirwy oedd yn gyfartal â'i lwyr ddinystr. Mae ty y dyledwr yn fynych yn cael ei nodi fel y ddirwy am beidio talu, ac yr oedd yn cael ei sicrhau i'r gofynnwr trwy weithred debyg i *bill of sale*. Weithiau, fel yn y cytundebau blaenorol, mae y benthyciwr yn rhoi atafaelaeth ar ei holl feddiannau; tra yr ymddengys mai 50 y cant oedd y llog arferol, pa un bynnag ai mewn arian ai mewn nwyddau y telid. Gellir sylwi yn arbennig mai yr offeiriaid, y Choachytes,—oedd yr echwynwyr bob amser, a'u bod felly yn uno y ddau beth ffieiddiaf yng ngolwg pobl yr Aifft,—sef usuriaeth a gorfaeliaeth. A chan mai ar y fath delerau celyd yr oedd echwynwyr Aifftaidd yn ymddwyn at ddyledwyr, nid ydym yn synnu wrth ddeall ei bod yn galetach ar y brodorion anffodus a fenthycient gan y Groegiaid. Mae yn yr Amgueddfa Brydeinig bapyrus gwerinaidd ar ffurf atafaelaeth, trwy yr hwn y mae y tad, am y swm truenus o 50 sekels (tua 1p. 15s.) yn gwystlo nid yn unig ei etifeddiaeth, ond rhyddid personol ei blant.

Gallwn sylwi yn y cysylltiad yma mai i M. Revillout y perthyn yr anrhydedd o gael allan werth perthynasol a gwirioneddol arian Aifftaidd y cyfnod hwn,—mater oedd wedi peri llawer o ddyryswch i'r rhai mwyaf cyfarwydd mewn bathofyddiaeth. Danghosir yn awr fod y sekel Aifftaidd — y sicl Hebreaidd — yn gyfartal mewn gwerth i'r drachma Roegaidd. Yr oedd pump sekel yn gyfwerth ag un argenteus; hanner cant argenteus yn gyfartal i un aureus, a'r aureus oedd yr outen cenedlaethol, yr hwn a osodid allan yn arwyddluniol fel llafn teneu o aur wedi ei blygu ddwywaith. Tybir mai pwysau yn unig o arian, heb ei fathu, oedd argenteus.

Er mor orthrymus oedd Usuriaeth yn yr Aifft yn y cyfnod yma, nid oedd arferion Dyweddïad a Phriodas ond ychydig esmwythach. Mewn gwirionedd, mae deddfau priodasol y genedl, fel eu hamlygir yn y papyrus gwerinaidd, yn dra hynod. Canfyddwn gymdeithas yn yr hon yr ymddengys bywyd teuluaidd megis wedi ei droi a'i wyneb i waered. Pan yn ol ein gwasanaeth priodasol ni y mae y prïodfab yn addaw cynysgaeddu gwrthddrych ei ddewisiad â'i holl olud bydol, gwyddom nad oes yn fynych ddim pellach oddiwrth ei fwriadau, a chymerir ei broffes am yr hyn ydyw o werth. Ond yr oedd yr hen Aifftiaid yn cyflawni yn sicr yr hyn a addewir yn unig gan y prïodfab Prydeinig; fel y dengys y cytundeb priodasol canlynol, a gymerwyd o bapyrus gwerinaidd yn y Louvre:—

(Dyddiad, y 33ain flwyddyn i Ptolemi Philadelphus). Pastophorus Amen-Api, Pauta, mab Pchelkhous, mam yr hwn yw Tahet, a ddywed wrth y ferch

W

Tavutem, merch Relvu, mam yr hon yw Tanetern. *Yr wyf wedi dy gymeryd di i fod yn wraig i mi.* Yr wyf wedi rhoddi i ti un argenteus, mewn sekels pump, un argentus o gwbl, yn rhodd briodasol i ti. Yr wyf i roddi i ti chwech o boli, eu hanner sydd dri; heddyw chwech; yn y mis tri, yn y mis dwbl chwech, yn y flwyddyn un ar bymtheg ar hugain, yn gyfartal i un argenteus ac un ran o bump o gwbl, yn arian dillad i ti yn y flwyddyn. Heblaw hynny, un ran o ddeg o argenteus yn arian llogell i ti yn y mis: yr hyn a wna un argenteus ac un ran o bump fel arian llogell i ti yn y flwyddyn. Mae dy arian llogell dros ben ac ar wahan i dy arian dillad. Rhoddaf hynny i ti bob blwyddyn. Arnat ti y bydd gofyn am i dy arian dillad a dy arian llogell gael eu talu, am y rhai yr wyf fi yn gyfrifol.

Rhaid i mi dalu hynny i ti. Dy fab hynaf di, fy mab hynaf i, a fydd yn etifedd i fy holl eiddo presenol a dyfodol. *Yr wyf yn dy sefydlu fel fy ngwraig.* Os dirmygaf di, os cymeraf i mi wraig heblaw dydi, rhoddaf i ti 20 argenteus, mewn sekels 10, 20 argenteus o gwbl. Mae fy holl eiddo, o bob math, sydd gennyf yn awr, neu a all ddyfod i fy meddiant ar ol hyn, yn cael eu gwystlo fel sicrwydd am y geiriau uchod, y bydd i mi eu cyflawni yn ol eu hystyr. Mae y gweithredoedd sydd wedi eu gwneyd gan y wraig Tahet, fy mam, mewn perthynas i hanner yr eiddo oedd yn perthyn i Pchelkhous mab Panas, fy nhad, a'r cytundebau a wnaed drosodd ganddi hi y rhai sydd yn awr yn dy law di, oll yn eiddo i ti, a phob hawl perthynol iddynt hefyd. Maent oll yn eiddo i ti. Os daw pleutyn yn hanu o honof fi i aflonyddu arnat gyda golwg ar y mater hwn, efe a dâl i ti 20 argenteus. Efe a dâl yn llawn heb ddim gwrthwynebiad. Mae wedi ei ysgrifennu fel hyn gan yr ysgrifennydd Horpneter, mab Nesmin, &c.

Un arall o'r casgliad sydd yn Turin sydd fel y canlyn:—

Taricheute Djem, Horus, mab Petnefhop, mam yr hwn yw Senerius, a ddywed wrth y ferch Set-ef-ankh, merch Psemout, mam yr hon yw Tsetamen. *Yr wyf wedi dy gymeryd yn wraig i mi.* Yr wyf yn rhoddi i ti ddeg argenteus, mewn sekels 50, deg argenteus o gwbl, fel rhodd briodasol. Yr wyf i roddi i ti 24 outen yn arian dillad am un flwyddyn. Yr wyf i roddi hynny i ti. Dy fab hynaf di, fy mab hynaf i, a fydd y meistr ar fy holl eiddo presennol a dyfodol. *Mi a'th sefydlaf di fel fy nwraig.* Os diystyraf di, os cymeraf i mi wraig arall heblaw tydi, mi a dalaf 100 argenteus dros ben ac uwchlaw y deg argenteus yr wyf yn ei roddi i ti yn rhodd briodasol. Rhestreb o dy eiddo priodasol, y rhai a ddygi gyda thi i'm ty:—Un pâr o ddillad, gwerth 50 argenteus; pethau ereill, 50 argenteus; un gist, 50 argenteus; un rereh (?) 50 argenteus; un gadwyn aur, 50 argenteus; un fodrwy a sêl a dau wyneb iddi, 25 argenteus; un . . . (?), 35 argenteus; y cyfan 300 argenteus, mewn sekels 1500, mewn argenteus 300 o gwbl, gyda chymysgedd o ddau mewn 24, gwerth dy eiddo priodasol a ddygi gyda thi. Mae fy nghalon yn cael ei boddloni. *Mi a'th sefydlaf di fel fy ngwraig.* Os na wnaf, mi a dalaf yn ol i ti dy eiddo priodasol a enwir yma uwchlaw a thros ben yr hyn a ysgrifenwyd yn flaenorol. Y pris a fydd mewn arian fel yr ysgrifenwyd uchod. Nid oes gennyt lw i'w gymeryd am dy eiddo priodasol a enwyd yma, fel pe y gallwn ddweyd Ni ddygaist hwy gyda thi i fy nhy. Arnat ti y gorffwys eu hawlio. Arwyddwyd, Taricheute Djem, Horus, &c.

Gwelir wrth ddosrannu y cytundebau hyn, ac ereill tebyg iddynt, eu bod yn cynnwys wyth o adranau:—1. Cymeryd y ferch gan y dyn yn wraig iddo. 2. Y rhodd brïodasol a gyflwynid i'r wraig gan y gŵr. 3. Yr addewid am swm blynyddol o arian at ddillad, a phwys arbennig yn cael ei roddi ar daliad y flwyddyn gyntaf. 4. Datganiad y byddai i fab hynaf y ddau etifeddu holl eiddo y gŵr. 5. Addewid ffurfiol ar ran y dyn i sefydlu y brïodferch fel ei wraig. 6. Ymrwymiad ar ran y dyn i dalu swm pênodol o iawn os cymerai wraig arall. 7. Rhestr o'r eiddo a ddygid gan y briodferch i'w chanlyn. 8. Ymrwymiad ar ffurf atafaelaeth ar ei holl eiddo a roddid gan y gŵr i'r wraig. Oddi wrth hyn oll mae yn amlwg fod y "cymeryd" prïodasol, a'r "sefydlu" prïodasol, yn ddwy weithred ar wahân; y "cymeryd" am flwyddyn yn unig, a'r "sefydlu" am oes. Blwyddyn o brawf oedd y flwyddyn "o gymeryd,"

a gallai y pleidiau ar ei therfyn ymwahanu yn anrhydeddus; tra wedi i'r wraig gael ei "sefydlu" yn ffurfiol, yr oedd y cwlwm, nid yn unig yn annatodadwy, ond wedi ei lunio mor gaeth yn ei ffafr hi, fel yr oedd anffyddlondeb neu brïodi un arall yn peri i'r gwr golli yr oll a feddai. Bob amser yr oedd mab hynaf y pâr, pa un bynnag ai yn ystod blwyddyn y prawf, ai ar ol y weithred ffurfiol o sefydlu y byddai wedi ei eni, yn cael ei gydnabod fel etifedd i holl feddiannau ei dad. Yr oedd prïodi, gan hynny, yn fater pwysig iawn; mor bwysig, mewn gwirionedd i'r gwr, fel y mae y flwyddyn o brawf,—pa mor groes bynnag ydyw i syniadau diweddar,—yn ymddangos yn drefniant rhesymol ac angenrheidiol, trwy yr hwn y galluogid ef i farnu cymwysterau cymhares yn ffafr yr hon yr oedd yn rhaid iddo roddi i fyny reolaeth ei feddiannau. Wedi i'r wraig unwaith gael ei "sefydlu," yr oedd ef yn cael ei ddifreintio gartref. Yr oedd ty a thir a dïogeliadau yn eiddo iddi hi, i wneyd â hwy fel y gwelai yn dda; ac os buasai y gwr yn dymuno gwerthu rhan o'r etifeddiaeth ei hun, nis gallai wneyd hynny ond yn enw ei fab hynaf. Gallesid tybied na allai yr ormes briodasol fyned ymhellach; eto dengys ereill o'r cytundebau hyn y gellid gwneyd yr iau yn drymach a'r baich yn fwy anhawdd ei ddwyn. Gweler, er engraifft, papyrus Rhif 2439, o gasgliad y Louvre, ymha un y ceir un o'r enw Petorpra yn trosglwyddo i'w wraig Neshorpehrat, nid yn unig ei dŷ a'i holl feddiannau tirol presennol a dyfodol, ond hefyd ei arian a'i brês bathol, ei ddodrefn, a'r holl weithredoedd a'r ysgrifeniadau mewn perthynas i'w eiddo, nid yn unig yn ninas sanctaidd Thebes, ond ymhob rhan arall o'r wlad. Nid ydyw yn gadael dim iddo ei hun. Mae yn trosglwyddo ei hunan, wedi ei rwymo draed a dwylaw i awdurdod y wraig, heb wneuthur ond un amod yn ei ffafr ei hun,—sef fod iddi ddarparu ar ei gyfer tra y byddai byw, a thalu am y gwasanaeth claddu ac am berarogli ei gorff pan fyddai farw. Ac nid achos unigol ydyw hwn. Yn Rhif 2428 (Louvre) gwelwn un Pchelchons, yn yr wythfed flwyddyn i Ptolemi Soter, yn rhoddi ei holl eiddo presennol a dyfodol i Neschous, ei wraig sefydledig, a mam ei blant. Saith mlynedd wedi hynny, ni a'i cawn ef yn etifeddu tai a thir yn Hermonthis, ac ar hynny, yn unol â thelerau cytundeb blaenorol, yn cyflwyno drosodd i Neschous trwy weithred arall yn diweddu gyda'r geiriau canlynol:—

> Mae yn rhwymedig arnat i ofalu am danaf yn ystod fy mywyd, ac i dalu treuliau fy mherarogli a'm capel coffadwriaethol ar ol fy marwolaeth.
> Nid oes gan na mab na merch unrhyw hawl yn y weithred hon. Arnaf fi y mae dy amddiffyn rhag eu hawliau hwy. Cymer, gan hynny, y trosglwyddiad hwn o fy eiddo am byth.

Yr oedd Neschous, mewn gwirionedd, yn myned i le Pchelchous, ac yn etifeddu ei eiddo yn ystod ei fywyd, ac yntau yn dyfod yn ddim ond offeryn yn ei dwylaw hi, heb ddim i'w wneyd ond gweithredu fel ei goruchwyliwr, ac ufuddhau i'w gorchmynion.

Nid rhyfedd fod y Groegiaid yn cael llawer o ddifyrrwch yn y pethau hyn; nac ychwaith fod rhai ysgrifenwyr, megis Sophocles a Herodotus, yn arfer gormodiaeth wawdlyd pan yn haeru mai y gwragedd oedd yn masnachu ac yn marchnata y cwbl, tra'r oedd y gwŷr yn eistedd wrth y gwŷdd gartref. Ond mae Diodorus yn cadw yn fanwl o fewn terfynau y gwirionedd wrth ddweyd fod y gwŷr Aifftaidd yn addaw yn eu cytundebau prïodasol i ymostwng ymhob peth i awdurdod y gwragedd. A phrofir yn llawn, mewn amryw ysgrifeniadau gwerinaidd ereill, fod y

gwragedd yn masnachu ar eu cyfrifoldeb eu hunain, a hynny i raddau lled eang, lle yr ymddanghosant fel yn prynu ac yn gwerthu, yn rhoi benthyg arian, ac hyd yn oed fel cymerwyr yn gwneuthur cytundebau â'r llywodraeth. Ymhellach, yr oedd y prïodfab Aifftaidd yn cymeryd enw y wraig, yn lle rhoi ei enw ei hun iddi hi; ac yr oedd y meibion, yn lle cael eu galw ar enwau eu tadau, yn cael eu galw ar enwau eu mamau, fel y gwelir yn y cytundebau uchod.

Mae'n ddiau fod cyfundrefn o gyfraith wladol oedd yn rhoddi cyfoeth y dosbarthiadau canol ac uchaf yn hollol yn nwylaw gwragedd prïod y wlad, yn rhwym o arwain yn aml i helbulon difrifol. Yn wir mae yn anhawdd meddwl am unrhyw sefyllfa ar gymdeithas, pa mor oleuedig bynnag, y gallai trefniant teuluaidd mor anaturiol beidio arwain i helyntion blinion. Ac nid oes gennym le i gredu fod y merched wedi eu haddysgu yn briodol ar gyfer y fath gyfrifoldeb. Yn wir, nid oedd merched yr Aifft gynt yn ddim gwell na'r rhai sydd yno yn bresennol. Mae Ctesias a Lane, a mwy na thair canrif ar hugain rhyngddynt, yn rhoddi iddynt yr un cymeriad yn hollol, fel yn gwbl anghymwys i arfer awdurdod o'r fath. Ond nid ydym yn cael ein gadael i ddibynnu ar ddychymyg a dyfaliad yn y mater hwn, oblegid mewn papyri Groegaidd-Aifftaidd a ysgrifenwyd yn amser Ptolemi Philometor, cawn dystiolaeth gyfreithiol am ganlyniadau drygionus cyfraith prïodas y cyfnod hwn. Cynhwysa yr ysgrifeniadau hyn gyfres o ddeisebau at Ptolemi ar ran dwy chwaer, Thaves a Taous, gefeilliaid, oedd wedi cymeryd nodded ym Memphis o dan yr amgylchiadau canlynol. Yr oedd rhyw Aifftwr o Memphis wedi "cymeryd," ac ymhen y flwyddyn wedi "sefydlu" un o'r enw Nefer-t fel ei wraig. Yn unol â'r hen gyfraith, yr oedd wedi rhoddi i fyny ei holl eiddo iddi, ond yn unig ei bod i ofalu am dano yn ystod ei fywyd, ac ar ei farwolaeth i ofalu ar ei fod yn cael ei berarogli a'i gladdu yn briodol, ac i adeiladu y capel arferol i gynnal y gwasanaeth coffadwriaethol. Ymddengys eu bod wedi byw yn hapus yn ystod y flwyddyn brawf, a Nerfer-t erbyn hynny yn fam i ddwy efeilles, a'r gwr yn foddlawn i gadarnhau y briodas. Ond mor fuan ag y cafodd Nerfer-t weithredoedd ei "sefydliad" i'w dwylaw, dechreuodd baratoi i roddi ei hunan a'i meddiannau i filwr Groegaidd o'r enw Phylip, yr hwn oedd wedi bod yn ei charu yn ddirgelaidd ers peth amser. Penderfynodd Nerfer-t a Phylip fynnu ymwared o'r gwr. Nid oedd ond un ffordd i wneyd hynny, oblegid yr oedd priodasau "sefydledig" yn annatodadwy. Felly gosododd Phylip ei hun wrth ddrws y ty, yr hwn oedd mewn lle dymunol ar lan yr afon. Yn fuan daeth yr Aifftwr allan; ond pan welodd y cleddyf noeth, neidiodd i'r afon a nofiodd i ynys oedd yn ei chanol, ac ymhen ychydig amser cymerwyd ef oddi yno mewn cwch oedd yn myned heibio. Gan na feiddiai fyned yn ol i Memphis, aeth y dyn druan i Heracleopolis, lle y clafychodd ac y bu farw. Dygwyd ei gorff gan ei frodyr i Memphis, lle y bu—mewn rhyw le cyhoeddus i dderbyn cyrff, mae'n debyg—am amryw flynyddoedd heb ei gladdu, oblegid pan ffurfiwyd y deisebau y cyfeiriwyd atynt, dywed y ddwy ferch, y rhai oeddynt erbyn hyn wedi tyfu i oedran, nad oedd eu mam wedi claddu gweddillion eu tad. Yn y cyfamser, yr oedd eiddo Nerfer-t wedi ei atafaelu gan y llywodraeth, ac ar daliad dirwy wedi ei ryddhau. Yna hi a droes y gefeilliaid dros y drws; a dyna lle yr oedd hi a'i gwr newydd yn byw mewn llwyddiant a thawelwch ar arian y gwr blaenorol. Beth a ddaeth o'r gefeilliaid a

ddywedir oreu yn eu geiriau hwy eu hunain:—"Mae hi wedi ein troi o'n cartref, a'n gadael i farw o newyn. Yna meddyliasom am Ptolemi, un o'r rhai sydd yn trigo mewn neillduaeth yn y Serapeum fawr. Yr oedd ef yn gyfaill i'n tad. Felly, ni a aethom ato ef, ac efe a'n cynhaliodd. Wedi hynny yr oedd yno alar am Apis, a chofrestrwyd ni ar gyfer galar y duw hwn." Hynny yw, cawsant eu penodi i ryw swydd israddol yng ngwasanaeth y deml, i ganu, mae'n bosibl; ac felly yr oeddynt yn cael cyflog, yn gystal a dogn blynyddol o olew, llian, &c. Hyd yn oed yma, dilynwyd hwy ymhen ychydig gan elyniaeth eu mam, yr hon a lwyddodd i gael meddiant o'r ysgrif oedd yn rhoddi hawl iddynt i'r pethau hyn, a defnyddiodd hwynt at ei gwasanaeth ei hun.

Y cyfryw ydoedd cyfraith priodas yr Aifft yn adeg y goresgyniad Groegaidd. Gelwid hi y pryd hwnw "yr hen gyfraith," a diameu ei bod wedi parhau yn ddigyfnewid o ddyddiau y brenhinoedd boreuol. Mae'n debyg na ddeuwn byth i wybod pa fodd y daeth arferion mor ddieithr a gwrthun i gael eu harfer gan bobl mor enwog yn y cynoesoedd am eu doethineb a'u dysgeidiaeth. Eto mae gennym le i gasglu; a phan edrychwn yn ol i gofadeiliau yr Hen Ymerodraeth, a chanfod fel yr oedd merched ac wyresau y Pharoaid a adeiladasant y pyramidiau, wedi priodi gydag archadeiladwyr, ac ysgrifenyddion, a boneddigion gwledig syml, yr ydym fel yn gweled y gallai y priodasau anghyfartal hyn fod wedi rhoddi bodolaeth, nid yn unig i'r gyfraith adnabyddus trwy ba un yr oedd y plant yn etifeddu o ochr eu mam, ond hefyd y deddfau priodas hynny a roisant uchafiaeth hollol i'r wraig Aifftaidd, gan ddarostwng y gwr Aifftaidd i fod yn ddim ond rhywbeth mewn enw yn unig.

Tra o dan awdurdod y Groegiaiaid, yr oedd pobl yr Aifft, fel y gwelsom, yn cael eu llywodraethu yn ol eu cyfreithiau eu hunain; ac wrth y cyfreithiau hynny, y rhai oeddynt o hynafiaeth anhysbys, yr oeddynt yn glynu yn ddiball. Ymhen amser, wrth weled fel yr oedd y sefydlwyr Groegaidd dan y cyfreithiau Groegaidd, gallwn dybied fod y brodorion wedi dechreu cymharu y deddfau hynny â'u "hen gyfraith" hwy eu hunain, a gweled rhagoriaeth y flaenaf. O leiaf, y mae ysgrifeniadau diweddarach yn dangos fod amryw gyfnewidiadau wedi eu gwneyd yn yr "hen gyfraith," yn unol, mae'n debyg, â chais y bobl. Mae M. Revillout o'r farn fod rhyw fath o gyfraith wedi ei gwneyd rhwng yr 21ain flwyddyn i Euergetes I., a'r seithfed flwyddyn i Ptolemi Philopator, trwy yr hon na allai gwraig briod drosglwyddo eiddo ei gwr tra fyddai efe byw heb ei gydsyniad. Beth bynnag am hynny, mae yn sicr fod rhaniadau ar eiddo rhwng plant o'r un tad a'r un fam, yn cael eu gwneyd o dan y llywodraethwyr Groegaidd boreuaf gan y wraig yn unig; tra, o dan Philometor ac Euergetes II., mae hynny yn cael ei wneyd gan y gwr gyda chydsyniad ysgrifenedig y wraig. Felly, yn ol papyrus dyddiedig y seithfed flwyddyn i Ptolemi Philopator, mae Colchyte Amenhotep, er ei fod ar adeg ei briodas wedi gwneyd y weithred arferol yn ffafr ei wraig, yn rhannu etifeddiaeth rhwng dau o'i blant, a'i enw ef ar ddiwedd y gweithredoedd yn cael ei ddilyn gan y llinellau canlynol:—

Dywed y wraig Aukhtanofre, merch Pahos, mam yr hon yw Tahap, dderbyn y rhodd uchod o law fy ngwr, dy dad, Amenhoteb, fel y gwneler y cyfan yn ol y geiriau blaenorol. Mae fy nghalon yn cael ei boddloni â'r geiriau hyn. Yr wyf yn

gadael i ti, hefyd, yr hawl i'r gweithredoedd a wnaeth efe yn fy ffafr i. Yr wyf yn rhoddi i fyny i ti yr oll a ddywedwyd uchod yn ddiwrthwynebiad.

O'r pryd hwn, gwelir y gwr bob yn ychydig yn cymeryd safle o ryw gyfrifoldeb cyfreithiol. Mae ei enw yn dechreu ymddangos mewn amryw gytundebau, ac yn fuan mae ei lawnodiad yn dyfod yn anhepgorol ar bob achlysur o bwys, megis pan fydd eiddo tirol yn cael ei brynu neu ei werthu, neu pan roddir cydnabyddiaeth am arian wedi eu derbyn. Uwchlaw y cwbl, mae yr adran hynod trwy yr hon yr oeddid gynt yn darpar fod y wraig i ofalu am dano tra yn fyw, a gwneyd popeth angenrheidiol er lles ei gorff a'i enaid wedi iddo farw, yn awr yn diflannu am byth o'r cytundebau priodasol.

Yn ddiweddarach fyth, mae y *rhodd* hefyd yn diflannu; y naill a'r llall o'r pleidiau, fe ymddengys, yn cadw ei hawl ar ei feddiannau ei hun, a rhestr fanol o honynt yn cael eu rhoddi yn y cytundebau.

Yn ddiweddaf oll, yn papyrus arall, canfyddwn yr olygfa gyffrous o Aifftwr o Memphis, wedi gadael traddodiadau ei dadau mor bell fel ag nid yn unig i beidio rhoddi anrheg briodasol i'r briodferch, ond i dderbyn cynysgaeth led fawr gan ei rhieni. Mae'n amlwg fod cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle erbyn hyn ym marn y cyhoedd; oblegid fel y dywed awdwr y *Chrestomathie*, fe ystyrrid fod y dyn a dderbyniai arian gyda'i wraig yn cael ei ddianrhydeddu a'i warthruddo. Yr oedd yr Aifftiaid, mewn gwirionedd, mor bell o fod yn edrych ar gynysgaeth fel amod anhepgorol bron mewn priodas—yr hyn oedd y syniad Rhufeinaidd—hyd yr adeg yma yn ei ystyried fel tâl am werth a dderbyniwyd. Felly, yr oedd y dyn a'i derbyniai yn gwerthu ei hun i gaethiwed gwirfoddol, ac yn dyfod yn eiddo i'w wraig. Gan hynny, nid am gyfnewidiad yn unig yn yr "hen gyfraith" y mae y papyrus yma o Leyden yn dwyn tystiolaeth, ond am chwyldroad o'r radd flaenaf.

*Bethesda.* H. R. JONES.

---

# COMTE.

GANWYD Auguste Comte yn gynnar yn y flwyddyn 1798. Pabyddion tanbaid oedd ei rieni. Yn fore yn ei fywyd danghosodd glirder a chraffder meddwl anghyffredin. Cafodd ei ddysgu yn yr *Ecole Polytechnique* yn Paris, ond diarddelwyd ef oddiyno am ymyrryd â rhyw broffeswr trwstan. Yna dychwelodd i Montpellier, a phenodwyd ef yn athraw mewn *mathematics* yn un o'r prif-ysgolion; ac er mor ienanc, ceir ei fod yn traddodi cwrs o ddarlithiau yn y materion hyn i rai fuont unwaith yn athrawon iddo ynddynt. Bu am dair wythnos yn ysgrifennydd cyfrinachol i Perier, ariannydd, gwladweinydd, a rhyfelwr a enillodd enwogrwydd ym mrwydrau Itali; a bu am chwe blynedd mewn cysylltiad agos a Saint Simon, sylfaenydd y symudiad Sosialaidd yn Ffrainc.

Dyn a gwefr cynnen a chynnwrf yn ei enaid oedd Saint Simon. Fel y sycheda hydd am ddwfr, felly sychedai yntau am anrhydedd. Gwnai geuffordd fel twrch trwy ddefion ac arferion ei wlad. Rhuai fel llew mewn magl dan hualau athrawiaethau cyfundrefnol y Babaeth. Enynnai dialedd o'i fewn pan welai rysedd a rhwysg y cyfoethogion. Gwreichionai ei eiriau o'i enau pan ddadleuai achosion y weddw a'r amddifad. Dysgai y dylai pob Llywodraeth chwilio am waith i'r rhai oedd hebddo, estyn cymorth i'r anghenus, a darpar ymborth i'r newynog. Taerai mai

trwy ddeddfau natur y gellid deall dadblygiad moesol dyn. Edrychai ar y Canoloesoedd fel oesau goleu y byd, oblegid i'r Eglwys ynddynt golli ei safle, ei hawdurdod, a'i rhagorfreintiau. Gwawdiai yr offeiriaid am nad oeddynt mewn cydymdeimlad nac yn gallu cydgerdded â chynnydd gwybodaeth wyddonol; a dadleuai y dylesid ad-drefnu cymdeithas trwy roi swyddi a safleoedd yr offeiriaid i'r gwyddonwyr. Ac er na lwyddodd i ennill cydolygiad a chydweithrediad Comte ym mhopeth, eto dylanwadodd ei gwmni a'i syniadau yn helaeth arno.

Yn y flwyddyn 1824 torrodd M. Comte bob cysylltiad a Saint Simon; ac y mae mewn llythyr a anfonodd at gyfaill yn dweyd ei syniadau am dano. "Y mae gan M. de Saint Simon," meddai, "y fath syniad goruchel am dano ei hun fel y mae yn gwbl argyhoeddedig nad oes neb ond efe yn ddigon galluog i ddarganfod fod drychfeddyliau; ac nas gall pobl ereill wneyd dim ond cario i weithrediad, neu gynnyg gwelliantau dibwys ar y darganfyddiadau a wnaeth. Nid oes ond dyn o alluoedd hollol gyffredin, neu un a all ymfoddloni i fod yn ddim ond offeryn yn ei law, a ddichon gydweithio âg ef." Yn awr, y cwestiwn y dadleuir cryn lawer arno yw, Gan bwy y cafodd Comte ei ddamcaniaethau? Gan Saint Simon, medd rhai. Nage, medd ereill. Gwâd Comte hynny yn bendant. Dyma ddywed Mr. John Morley yn yr *Encyclopædia Britannica*:—"Comte is in no true sense a follower of Saint Simon, but it was undoubtedly Saint Simon who launched him, to take Comte's own words, by suggesting to his strong and penetrating mind the two starting points of what grew into the Comtist system—first, that political phenomena are as capable of being grouped under laws as other phenomena; and second, that the true distinction of philosophy must be social, and the true object of the thinker must be the reorganization of the moral, and political systems."

Nid ein gwaith ni yw penderfynu pwy sydd yn barnu barn gywir; yn unig nodwn y ffaith fod y syniadau a geir yn ei *System of Positive Politics*, ei *Positive Catechism*, a'i *Subjective Synthesis*, y rhai gyhoeddodd rhwng 1851 ac 1856, yn cael eu dysgu ganddo pan nad oedd ond pedair ar hugain oed, yr hyn a â ymhell i gadarnhau cywirdeb golygiad Mr. Morley.

Nodwedd arbennig meddwl Comte oedd pendantrwydd (*positiveness*). Y *Positivist* oedd yr enw a hoffai alw ei hunan arno, a chael ei adnabod wrtho. Nis gallai feddwl am i anrhydedd uwch na chysur gwell byth ddod i'w ran na bod pawb a ddefnyddiai neu a glywai yr enw hwn ar unwaith ym meddwl am M. Auguste Comte. Ond beth oedd ystyr bod yn *Positivist?* Golygai fod dyn i fwrw allan o'i feddwl bob cred na ddaliai brwf gwyddonol. Os na allai brofi y bod o Dduw ac anfarwoldeb yr enaid, fel y profai ffeithiau natur, nid oedd dim i'w wneyd ond eu gwadu. A'u gwadu a wnaeth. Ond fe gostiodd hynny ymdrech galed iddo. Cariai ei ddychymyg byw, ei dueddiadau rhamantus, a'r greddfau ysbrydol sydd ymhob dyn, ef i fyd o ddrychfeddyliau y gwyddai nas gallai ei reswm ei ddarganfod na'i resymeg ei egluro, a bu am amser lled faith yn cloffi rhwng y ddau feddwl, a oedd, ai nid oedd Duw yn bod; a oedd ai nid oedd Datguddiad yn bosibl; ac a oedd ai nid oedd yr enaid yn anfarwol. Ond trwy hir wingo yn erbyn y symbylau hyn, er y dywed rhai nas gellir dweyd ei fod yn pendant wadu y bod o Dduw—canys ni fyn *agnostics* eu bod yn gwadu—y mae yn sicr iddo golli golwg ar Dduw fel gwrthrych i'w addoli; iddo

weled dyn yn Dduw; a'i fod yn edrych ymlaen at amser pryd y byddai y ddaear a'i thrigolion wedi eu hadnewyddu a'u cysegru i addoli a gwasanaethu dyn, ac y mae hyn yn gyfystyr a gwadu Duw. Pan wawriai y cyfnod hwnnw, boddheid teimladau twymn y galon trwy addoli dyn, a diwellid ei dyhëadau trwy ei wasanaethu. Swm a sylwedd cyfundrefn Comte oedd dyrchafiad dyn trwy ddyn, yr hyn a ddygid oddiamgylch trwy ddadblygiad a chynnydd y gwybodaethau naturiol. Ond a ddyrchefir dyn trwy ddarostwng Duw? Na wneir. Onid ydyw pob cwmwl o amheuaeth a ymddanghosodd yn ffurfafen feddyliol y byd ag oedd i ryw fesur yn cuddio y drychfeddwl o Dduw, wedi cuddio yr un faint o ogoniant y drychfeddwl o ddyn? Ac y mae pob dyrnod roes anffyddiaeth i Dduw a chrefydd, o ddyddiau Celsus yn yr ail ganrif hyd y dydd hwn, wedi dychwelyd yn ol gan ddisgyn yn ddyrnod drymach drymach ar ddyn. Cyll pob dyn barch i ddyn, unwaith y cyll ei barch i Dduw. A thyna pam y condemniai yr athronwyr feirdd Groeg, am iddynt briodoli nwydau, chwantau, ac ystrywiau i'r duwiau. A chan fod hanes gwledydd paganaidd yn dwedyd wrthym nas gall yr addolwyr ymddwyn tuag at eu gilydd yn well nag yr ymddygant at eu duw, y mae yn dilyn fod yn rhaid dyrchafu Duw cyn y gellir dyrchafu dyn. "Oblegid cariad, o Dduw y mae; a phob un a'r sydd yn caru, o Dduw y ganwyd ef."

Drachefn: dyrchefid dyn, yn ol Comte, nid yn unig trwy roi iddo le Duw; ond hefyd trwy ei gynysgaeddu â syniadau cywir a chlir, y cyfryw a ddalient brawf gwyddonol. Yn awr, a chaniatau y gellir profi y gwyddorau naturiol, a'u cael yn gyson â deddfau rheswm, a ydyw meddu syniadau clir yn sicrhau ymarweddiad glân? A ydyw meddu gwybodaeth fanol am weithrediadau deddfau natur yn sicrhau manylder moesol i feddwl, gair, a gweithred, ei pherchennog? A ddiwygiwyd ymddygiadau cyffredinol y bobl pan y cyhoeddodd Copernicus mai yr haul oedd yn sefyll, ac nid y ddaear? A ellir priodoli afradlonedd Aristotle i'r camgymeriadau y dywed Eucken a Lange iddo wneyd pan ddywedodd mai calon dyn yn unig oedd yn curo, fod ochr aswy y corff yn oerach na'r ochr ddehau, fod gan feibion fwy o ddannedd na merched, a bod lle gwag y tu ol i ben bob dyn? Neu a fuasai Awstin yn rhagorach Cristion pe nas gwadasai fod yr ochr arall i'r ddaear heb ei phoblogi? Nid ydym yn tybied. Oblegid nid i gyfeiliornadau deallol y rhaid priodoli anallu dyn i fyw yn "sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon," eithr i rywbeth dyfnach na deall, ïe, dyfnach nag ewyllys, rhywbeth y rhaid i ddyn gael ei greu o newydd mewn trefn i gael gwared o hono. Fel y dywed Mr. Herbert Spencer yn ei *Sociology* am Comte:—"When he speaks of the 'intellectual anarchy which is the main source of our moral anarchy'—when he thus discloses the faith pervading his '*Course of Positive Philosophy*,' that true theory would bring right practice; it becomes clear that the attributes of cityzens and the phenomena of societies is incorrectly seen by him; the relation is far too deep a one to be changed by a mere change of ideas."

Dosbarthai Comte y gwyddorau naturiol i ddau ddosbarth, sef, y dansoddol (*abstract*) a'r cytyrol (*concrete*). Wrth y dansoddol y golygai y deddfau a reolant weithrediadau y byd naturiol; wrth y cytyrol, y gweithrediadau a reolid ganddynt. Gwyddor ddansoddol ydyw deddf dysgyrchiant; gwyddor gytyrol ydyw cwymp yr afal. Ffrwyth

ymchwiliad i reddfau creaduriaid yw Anianyddiaeth; eglurhad ar y greddfau hynny yn eu gweithrediadau ydyw Llysieuaeth a Milodaeth. Pethau mewn drychfeddyliau ydyw y naill; pethau i'w gweled, eu teimlo, neu eu clywed yw y lleill. Hefyd trefnai y gwyddorau dansoddol fel y trefnir achau, a danghosai y modd yr oedd un yn cael ei chynhyrchu gan arall, ac fel y dibynnent oll ar eu gilydd. Sylfaen y cyfnod oedd *mathematics*, y rhai a ddosrannai i'r dansoddol a'r cytyrol yr un modd. Wele bump o'r gwyddorau dansoddol :—

1. Seryddiaeth, yr hon a gynhwysa wybodaeth o ddeddfau rhif, ffurf, symudiad, a dysgyrchiant.

2. Anianaeth, yr hon a ragdybia wybodaeth o Seryddiaeth, gan fod y pethau nefol yn effeithio ar y pethau daearol.

3. Fferylliaeth, yr hon heb wybodaeth o Anianaeth nis gellid ei deall.

4. Anianyddiaeth, yr hon a gynhwysai Fywydeg. Yn ol Comte yr oedd Bywydeg yn cynnwys yr oll a ddeallid wrth feddwl ac enaid; oblegid yn ol ei syniad ef nid oedd Eneideg *(Psychology)* o gwbl yn wyddor.

5. Cymdeithasaeth, yr hon a ddibynnai ar Fywydeg. Dysgai fod dadblygiad cymdeithasol y ddynoliaeth yn cael ei ddwyn ymlaen yn unol â deddfau Bywydeg; a chan fod y rhai hyn yn sefydlog, ac organiaeth dyn yn anghyfnewidiol, yr oedd yn rhaid i nodweddion naturiol, meddyliol, a moesol cymdeithas ymhob oes, aros yn ddigyfnewid.

Yn y pumed paragraff gwelir fod Comte yn cyffwrdd â damcaniaeth oedd y pryd hwnnw yn neillduol ddieithr, sef "fod yr uchaf wedi dadblygu o'r isaf," yr hyn a ddengys ei fod yn feddiannol ar wreiddiolder a chraffder meddwl pell tu hwnt i'w gydoeswyr. Dywed Mr. Herbert Spencer mai efe oedd y cyntaf i ddangos y cysylltiad rhwng Bywydeg a Chymdeithasaeth. Ond er dangos y berthynas sydd rhyngddynt, nid efe, yn ol Mr. Fiske, ydyw sylfaenydd y wyddor o Gymdeithasaeth.

Ond beth yw y cysylltiad? Hyn: fod y deddfau a ddygant yr "uchaf o'r isaf" ymysg anifeiliaid a llysiau, yn dwyn yr "uchaf o'r isaf" hefyd mewn cymdeithas. Hynny yw, trwy gwrs o ddadblygiad y daeth cymdeithas i fod yr hyn ydyw.

Gellid rhannu Cymdeithasaeth yn ddwy ran, sef yn 1, Cymdeithas fel y mae yn gyfansoddedig o ddynion mewn cysylltiad a'u gilydd; ac yn 2, Cymdeithas fel y mae wedi wedi tyfu o radd i radd, ac esgyn o sefyllfa is i sefyllfa uwch. Wrth edrych yn ol, gwelwn mai un ddeddf fawr fu yn gweithredu; ond dygodd ei gweithrediadau oddiamgylch dri chyfnod, neu dair sefyllfa yng nghwrs dadblygiad cymdeithas, sef y Dduwinyddol, yr Uchanianol, a'r Benodol.

Wrth y cyfnod Duwinyddol y meddyliai, y sefyllfa honno yn nadblygiad cymdeithas y mae y byd, pan ynddi, yn addoli duwiau dychmygol, ac yn priodoli galluoedd a digwyddiadau iddynt. Er engraifft, priodola y barbariaid fywyd i bob boncyff, enaid i bob maen, a dychmyga ef glywed ysbrydion yn sïad dail y coed. O'r dychmygion hyn y tarddodd Ffetis-addoliad, y grefydd a ddechreuodd ac a gynhyddodd yn ddirfawr ymysg y Ffautiaid. Un o gredöau y grefydd hon oedd, fod y "Bod Goruchaf, o drugaredd at yr hil ddynol, wedi cynysgaeddu amryw wrthrychau, yn fyw a marw, â phriodoleddau dwyfol, a'i fod Ef ei Hun yn cyfarwyddo pob dyn yn ei ddewisiad o wrthrych

i'w addoli, yr hwn wedi y dewisir ef, sydd yn dyfod yn *Souman*, neu yn eilun i'r addolydd. Gall mai coeden, maen, afon, llyn, afanc, neu fwrnel o garpiau fydd. Boed a fyddo, cyflwyna yr addolydd ei roddion, ei aberthau a'i ddiolchiadau iddo; ac at yr eilun hwn yr â am ymwared o'i drallodion, heb gyfeirio o gwbl at y Bod Goruchaf a'i gwnaeth yr hyn ydyw." A dywedir mai olion Ffetis-addoliad yw y "fo" a'r "hi" ddefnyddiwn ninnau wrth siarad am yr haul a'r lleuad, y mor a'r llestr, &c. O'r grefydd Ffetisiaidd y tarddodd y grefydd aml-dduwiaidd, yr hon a edrychai ar y duwiau fel bodau gwahanol i wrthrychau natur, er yr ymddanghosent yn fynych ar ffurf dyn ac anifail, ac y llefarent yn aml yn y daran a'r daeargryn. O aml-dduwiaeth cyfododd Un-dduwiaeth; a cheir y grefydd hon yn y ffurfiau o Iuddewiaeth, Cristionogaeth, a Mahometaniaeth.

Yr ail gyfnod neu sefyllfa yn hanes cymdeithas ydoedd yr Uchanianol, pryd y dechreuodd dynion briodoli codiad yr haul, lleithder y gwlaw, cynnydd clefydon, &c., nid i Dduw, ond i ryw achosion cuddiedig oedd yn y pethau eu hunain, y rhai a weithredent yn annibynnol ar bob gallu deallol a moesol a allai fod y tu allan iddynt.

Y trydydd, ydyw y Cyfnod Penodol –*Positive*,—yn yr hwn y daw cymdeithas i wybod pa faint ellir ei wybod, ac ymha le y mae terfynau pob gwybodaeth sydd ganddi.

I egluro y tair sefyllfa y bu meddwl cymdeithas ynddynt, cawn engraifft yn hanes y cwsg a gynhyrchir gan opiwm. Priodolai yr Aifftiaid y cwsg i ewyllys Duw; tra y dywed y myfyriwr meddygol yn un o chwareugerddi Moliere mai effaith rhyw achos yn yr opiwm ei hun ydyw; ond gŵyr y gwyddonydd diweddar nas gall gyfrif am y cwsg o gwbl, oblegid fod yr hyn sydd yn yr opiwm yn ei achosi, yn ddirgelwch iddo. Trwy gydnabod hyn dengys ei fod wedi darganfod terfynau ei wybodaeth am dano. Ac y mae cymdeithas wedi myned trwy yr un cwrs, fel y gwelir yn hanes Paganiaeth, Athroniaeth Groeg, a Gwyddoniaeth y dyddiau diweddaf.

Ac nid yn unig aeth meddwl cyffredinol cymdeithas trwy y cyfnodau hyn, ond y mae meddwl unigol pob un o'i haelodau wedi rhedeg yr un yrfa; ac y mae hyn drachefn yn wir, nid yn unig am feddwl dyn, ond hefyd am ei ddrychfeddyliau, oblegid dygir dadblygiad y meddwl cyffredinol, y meddwl unigol, ynghyd a phob drychfeddwl ymlaen, yn unol a threfn sefydlog gweithrediad yr un ddeddf. A'r ddeddf ydyw hon: Fod dealltwriaeth dynolryw ynghyd a phob cangen o wybodaeth yn mynd trwy'r ystad Dduwinyddol neu Ffugiol; yr Uchanianol neu Ddansoddol; a'r Wyddonol neu Benodol. Mewn geiriau ereill, duwinydd ydyw dyn pan yn blentyn; uchanianydd pan yn llanc; a gwyddonydd pan yn ddyn. Dechreu ymagor y mae'r meddwl yn y cyntaf; mewn ystad drosfynedol y mae yn yr ail; cyrraedd perffeithrwydd wna yn y trydydd. A chredai Comte, ond i rieni ac athrawon addysgu eu plant yn unol â'r drefn y dadblygai eu meddyliau, y ceid dynion boneddigaidd, heddychlawn, a hawdd eu trin, ac y llanwai *Positivism* y lle a roddid i Dduw.

Ond a ydyw y ddamcaniaeth hon yn ddeddf? Os ydyw, disgwyliem ei chael yn gyson â'r hyn ddywed gwyddonwyr am ddeddfau natur, heb eithriad na damwain na gwyrth i'w chroesi. Ond nid ydyw felly. Oblegid dechreuodd Auguste Louis Cauchy, y *mathematician*, ei yrfa feddyliol gyda gwyddoniaeth, a gorffennodd

hi gyda duwinyddiaeth; a gwnaeth Michael Faraday y fferyllydd, Herschel, Ellen Watson, ac ereill yr un peth.

A chaniatau mai yn ol y drefn hon y mae meddwl yn dadblygu, methwn a gweled fod yn rhaid i waith un cyfnod derfynu ar ymddanghosiad cyfnod arall, neu fod yn amhosibl i'r duwinydd a'r gwyddonydd gydfyw yn yr un dyn; oblegid y mae gan y ddau gwestiynau nas gall y naill eu hateb heb y llall. Er engraifft, gofynna y Gwyddonydd, Beth yw dechreuad y greadigaeth, hanfod ei deddfau, ei nerth a'i symudiad,—ac aiff yn fud. Ai rhesymol ynddo ydyw gwrthod yr eglurhad a gynhygir, hyd nes y câ ei well, sef, mai Duw "a ddywedodd, ac felly y bu; Efe a orchmynodd, a hynny a safodd." Eilwaith, gofynna paham y crewyd y ddaear, a phaham y crewyd dyn? Gall ateb y cwestiynau sydd rhyngddynt, sef fod mater wedi ei greu ar gyfer y llysieuyn; y llysieuyn ar gyfer yr anifail, a'r oll ar gyfer dyn; ond pan ofynna, paham y mae unrhyw beth yn bod, ac ar gyfer pwy y crewyd dyn,—tewi a wna. Yna dechreua y Duwinydd siarad,—a wrthyd y Gwyddonydd wrandaw? "I'm gogoniant y creais, y lluniais, ac y gwnaethum ef." "Fy nhystion i ydych chwi, medd yr Arglwydd, fel yr adnabyddoch ac y credoch fi, ac y dealloch mai myfi yw: o'm blaen i nid oedd Duw wedi ei ffurfio, ac ni bydd ar fy ol; ïe, cyn bod dydd yr ydwyf fi; ac nid oes a wared o'm llaw: gwnaf, a phwy a'm lluddia. Myfi yr Arglwydd yw eich Sanct chwi, creawdydd Israel eich brenin chwi." Yr un modd, na ddiystyrred y Duwinydd addysg y Gwyddonydd, canys amhosibl yw i Natur wrthddweyd Datguddiad, oblegid mai Duw ydyw awdwr y ddau. "The knowledge of man," meddai Arglwydd Bacon, "is as the waters, some descending from heaven above, and some springing from beneath; the one informed by the light of nature, and the other inspired by divine revelation." Am hynny cyfuner hwynt.

*Cysegr.* H. Rees Davies.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Gwlad yr Addewid a "Iesu o Nazareth." Gan* Dyfed. 2s. 6c.

Ni raid i Ddyfed wrth lythyrau canmoliaeth at ei gydwladwyr, a disgwyliwn y bydd miloedd yn y wlad hon, ac yn yr holl wledydd lle y mae cynifer o'r Cymry bellach yn "ddieithriaid y gwasgariad," yn rhoddi croesaw calonnog i'r gyfrol hon o'i eiddo. Mae ystori Gwlad yr Addewid yn newydd yn barhaus, ac nid oes dim pobl ar y ddaear a deimlai ddyddordeb dyfnach yn yr oll a berthyna iddi na phobl Cymru. Cafodd llawer o honynt bleser ac adeiladaeth neillduol wrth wrando Mr. Rees yn darlithio ac yn dweyd hanes ei ymdaith, a dywed yn y rhagymadrodd y bu raid iddo wrthod mwy o alwadau nag a atebodd i wneyd hynny. Hawdd gennym feddwl y bydd lliaws mawr o'r rhai gafodd yr hyfrydwch o'i wrando yn awchus i feddiannu ei lyfr, a naturiol fyddai i lawer iawn nad oedd hynny yn bosibl iddynt fod yn llawn mor awyddus am gael yr holl chwedl ddifyr yn eu llaw fel y gallont, wrth eu hamdden, ei llawn fwynhau. Fel "gwibdaith bleserus" y mwynhaodd efe ei ymweliad â Phalestina, ac felly yr ysgrifenna yn ei chylch. Ond er nad ydyw yn trafferthu gydag ymchwiliadau, &c., y mae ei gydnabyddiaeth â llenyddineth y Tir Sanctaidd yn peri fod ei gyfeiriadau yn gywir a deallus, ac y mae ei gynefindra â'r hanes Ysgrythyrol am

y gwahanol fannau, ynghyda'r teimladau a ddeffry ei ymweliad â hwynt yn ei fynwes, a'r farddoniaeth fyw sydd yn anadlu mor fynych yn ei frawddegau, yn gwneyd fod darllen ei lyfr yn orchwyl tra hyfryd, ac fod yr argraff a adewir trwy hynny ar y meddwl yn un y gosodir arni fawr werth. Pwy na fuasai yn hoffi bod gydag ef yn Joppa, lle'r oedd yn werth myned bob cam o Gymru, medd efe, i gael golwg ar blanhigfa *oranges* a *lemons* yn unig. "Yr oedd golwg ar y pethau mawrion, melynion, addfed ar y coed, yn ddigon i dynnu dwr hyd yn nod o ddannedd gosod. Mwy o ffrwyth o lawer nag o ddail, a choedydd cynorthwyol cryfion yn dal y brigau i fyny rhag tori. Nid rhyw ledrith sur o *orange*, yn codi dincod ar ddannedd dyn, ac ar ddannedd cenedlaethau ar ei ol; ond aurafal mawr, hirgrwn, a ffynnon felus yn tarddu o'i galon, ac yn fwyd ac yn ddiod lond eï groen." Dywed fod "hen ddinas Sychar yn nythu mewn cilfach rhwng y mynyddoedd," ac er yn cynnwys dros ddeng mil o drigolion, ei bod "yn ymddangos mor farw à cheubren." Yr oedd Jezebel "yn ellylles bob modfedd o honi," ond "bu farw dan farn, a chyflawnwyd y gwasanaeth claddu gan gŵn yr heol!" Yn nyffryn Esdraelon yr oedd yr hen adgofion yn peri i'w mintai fechan "ysbardynnu'r meirch, gan garlamu fel rhuthrgyrch ar elyn;" ond "hawdd oedd dynwared hen gadfridogion, pan y gwyddem nad oedd un saeth yn ehedeg yn y gwynt." Wrth weled Tabor, cofiai yr ymgyrch yn erbyn Jabin, a gwelai "fyddin fechan o ddeng mil yn disgyn i lawr dros y llechwedd, a nerth Duw yn nghefn bob bwa, ei gelynion mewn dychryn ac annhrefn anesboniadwy, yn dianc i bob cyfeiriad fel defaid o flaen llewod." Bob yn ail a'r penodau ceir caneuon prydferth a swynol ar y pethau sydd yn dyfod ger bron, y rhai a dalant yn rhagorol am eu darllen. Mewn cyfeiriad at y Gweddnewidiad, cana—

Y nos oedd hi; awr weddi y Messia,
Pan ymneilldua fry o swn y dyrfa
I heddwch y mynyddoedd. Llawer noson
A gefnodd ar y byd, a'i leni duon
Yn wlyb gan ddagrau Hwn; a llawer bryn
Sydd fyth yn edrych yn freuddwydiol syn,
Wrth gofio nos-ymbiliau Mab y dyn
Yn mhorth y nef hyd foreu wrtho'i hun;
  Heb unrhyw fawl o'i ddeutu
    Yn tori ar ei glyw,
  Ond swn y ser yn canu
  A'u glân galonau'n crynu
    Wrth basio gorsedd Duw.

Yn y rhan olaf o'r gyfrol ceir yr Awdl ar "Iesu o Nazareth," yr hon oedd fuddugol "yn Eisteddfod Gydgenedlaethol Ffair y Byd, Chicago, 1893. Gwobr £100, Cadair dderw gerfiedig, Tlws aur, yn nghyda darn o dir." Dymunol deall bod y tri beirniaid yn unfryd, er yn hollol anibynnol ar eu gilydd, am ei hawl i'r wobr. Y mae yn Awdl o 2000 o linellau, ac wedi ei chanu fel y dylai cyfansoddiadau o'r fath fod, nid am fod ennill y wobr yn beth mor fawr yngolwg y bardd, ond am fod y testyn wedi ei feddiannu, a gogoniant y Gwrthrych mawr yn peri fod canu yn ei gylch iddo yn wir ac yn ddwfn foddhad. Sonnid unwaith am i'r Awdl fod yn 3000 o linellau, ond wedyn tynnwyd hi i lawr i 2000. Yr oedd rhai o'r beirdd yn dychrynu wrth feddwl am gyfansoddiad o'r fath hyd; ond dywed Dyfed, "O'm rhan fy hun, buasai yn well gennyf ganu pedair mil na dwy, gan deimlo wedi'r cwbl na buaswn ond megis yn sefyll ar fin y traeth, yn gwrando yn addolgar ar swn y môr. I ba gyfeiriad bynnag yr awn, dyfnder yn galw ar ddyfnder oedd yn tori ar fy nghlust o hyd."

Darllenasom yr Awdl hon gyda mawr foddhad. Ni fuasai yn annaturiol ofni, wrth weled mawr ragoroldeb y caniadau rhyddion, y

buasai hualau y gynghanedd yn dipyn o gaethiwed i'r bardd. Ond ceir ei englynion a'i doddeliau, &c., yn canu yn naturiol a seinber,—

A hyn cyn rhwydded â'u canau rhyddion.

Mae ei gynganeddion, tra yn gywir a naturiol, hefyd nid yn anfynych yn newydd a byw. Ac y mae yntau yn gymaint o feistr arnynt fel y mae yn gallu "cuddio ei gelfyddyd," ac yn gadael y darllennydd mewn cymundeb llawn a pharhaus â'r meddyliau dyrchafedig ac â'r teimladau addolgar sydd yn crynhoi o amgylch ei destyn mawr. Mae y gân hefyd yn dra chyflawn, yn rhoddi golwg dda ar y gwahanol agweddion i'r testyn, ac ymhob ffordd yn tueddu at wneyd Crist yngolwg y neb a'i darllenno yn fwy gogoneddus, yn fwy bendigaid, ac yn fwy anwyl, gan ei adael i ymdawelu fwyfwy mewn llawn a pherffaith ymddiried yn ei ffyddlondeb a'i ras. Cymerer ychydig engreifftiau:—

O'i nef yn wyn Iehofa,—Efe'n wir
Fu yn hau diddymdra
A bydoedd, a thanbeidia
Y fwyn dorf ei enw da.

* * * *

O! wyrth ofnadwy. Feddylddrych dwyfol!
A gwyrth wynfydig o werth hanfodol;
Rhy lân yw'r syniad, rhy lawn o'r swynol
I rym un cerub ei roi mewn carol:
Ni phrofa seraph er ei fri siriol
Awen a'i graddau mor ddwfn gyrhaeddol;
O Dduw yn unig mae'r ddawn awenol
Greai feddylddrych mor wych frawychol:
Torodd yn don dosturiol, -o'i rinfawr
Eigionau erfawr hunan gynhyrfiol!

* * * *

Difesur i'n natur ni, - yw'r ceugant,
O'i glir ogoniant i wagle'r "geni;"
Ymwelwa pob ymholiad,--ar donog
Eigion dihalog yr Ymgnawdoliad.

* * * *

Mynai y ffals ymhonwr
I nef Deyrn, fel ynfyd wr,
Greu ar ddiserch lanerch lom - fara gwyn,
Neu fanna sydyn o feini Sodom;
Ond ei elyn di hawliau,—i'w lyn tân,
Yrai â tharan o'r Ysgrythyrau.

* * * *

Y glwth yn cael y glythau.—a'i noeth frad
Yn bwrw'i Geidwad dan y bargodau!

* * * *

I dy was, Geidwad Iesu,—drwy y niwl,
Dyro nerth i gredu;
A rho fodd i ryfeddu—prydferthion
A gwerth y goron a geir o'th garu.

*Hunan-gofiant, ynghyda Phregethau a Barddoniaeth y diweddar Barch. Robert Hughes, Uwchlaw'rffynnon.* Cyhoeddedig gan WILLIAM HUGHES, Tybwlcyn, Dinas, Pwllheli. 2s. 6c.

Yr oedd Mr. Robert Hughes yn gymeriad gwych, ac y mae ei fuchedd lan, ei ysbryd caredig, ei ymroddiad dan anhawsterau mawrion i gyrraedd gwybodaeth a diwyllio ei feddwl, ynghyd a'i lafur maith a ffyddlon i wasanaethu ei genedl fel gweinidog yr Efengyl, yn gwneyd ei enw yn berarogl, a'i goffadwriaeth yn fendigedig. Yn anffodus yr ydoedd newydd brïodi pan

agorwyd Athrofa'r Bala yn 1835, onide carasai yn fawr fyned yno. "Aeth fy nghyfaill John Owen," meddai, "a bu dan addysg am bythefnos, ac anogai finnau yn daer i fyned am ychydig wythnosau, y gwnai lawer o les i mi." Fe droes ei gyfaill enwog, wedyn o Dy'nllwyn, ei bythefnos i ddiben da iawn; ac fe droes yntau ei beidio myned i'r Athrofa i ddiben rhagorol. Dywed: - "Yr oeddwn hefyd yn anfoddlawn i bawb fyned o fy mlaen, a'm harwyddair o'r dechreu oedd, Os gall dyn arall wneyd peth, paham nad allaf finnau? Yr oeddwn yn awr wedi cael llawer o ofalon oddiarnaf. Yr oedd gennyf fwy o amser at fy llaw, gan nad oeddwn yn awr yn cadw lle gwas, er fod angenrheidrwydd arnaf weithio yn galed ar adegau. Yr oedd gennyf hefyd fwy o fodd i gael llyfrau, ac felly penderfynais fyned ymlaen yn ol fy nghynllun o hunan-addysgiaeth. Byddwn yn darllen gwahanol awdwyr ar yr un materion, ac ymdrechwn ganlyn yr efrydwyr yn y Bala, drwy eu holi pa lyfrau fyddent yn eu darllen y *term* nesaf, a cheisiwn hwynt. Ceisiais Ramadeg Groeg, a Lexicon, a Thestament Groeg, a daethum yn lled fuan i allu gwneyd defnydd o'r iaith bwysig honno. Gallwn hefyd ddarllen yr Hebraeg, ac yr oedd gennyf ychydig grap ar Ladin. Hefyd cydefrydwn â hwynt mewn canghennau ereill, fel na buasai ofn arnaf i gydsefyll arholiad â llawer ohonynt ymhen y flwyddyn." Yr oedd efe felly o ysbryd gwir efrydydd, ac nid rhyfedd iddo ragori. Hyderwn y bydd i bobl ieuainc ein gwlad yn y dyddiau hyn, sydd mor gyfoethog eu manteision, barhau i ddangos yr un ymroddiad i lafur a'r un gwydnwch a dyfalbarhad ag a wnaeth gynifer o'r rhai sydd wedi eu rhagflaenu yn gymaint bendith i'w cenedl. Am hanes Mr. Hughes, cyfeiriwn ein darllenwyr at y gyfrol. Yr ydoedd yn llawn natur dda, yr hon a dorrai allan nid yn anfynnych mewn ysmaldod iachus. Nid rhyfedd fod y Dr. Edwards yn torri i chwerthin â'i holl egni fel yr ydoedd y gwr o Uwchlaw'rffynnon, pan y daliwyd hwy gan Griffith Hughes yn smocio yn ddiddan o bobtu'r tân, yn cau genau yr erlidiwr trwy ddweyd am y darganfyddiad oedd newydd gael ei wneyd yn Athen o getyn yr Apostol Paul. "Wel, rwan, Griffith, camp i chwi *brofi mai nid* cetyn yr Apostol Paul oedd yr hen getyn hwnnw a gafodd yr archwilwyr ymhlith y malurion hynny yn Athen." Yr oedd efe hefyd yn fardd rhagorol, o'i ieuenctid yn gyfaill i Eben Fardd, a thrwy ei weinidogaeth ef y dygwyd Eben i feddwl am ei fater mawr, ac i ymuno â'r eglwys yn Seion, Clynnog. Mae ei gywydd ar Ddinystr Sodom a Gomorrah, a enillodd y wobr yn Eisteddfod Llanerchymedd, yn un ardderchog; mynnai y Parch. John Jones, Talysarn, ei fod "y dernyn barddonol goreu yn yr iaith Gymraeg." Am y pregethau a geir yn y gyfrol, a ysgrifenwyd gan Mr. Hughes ychydig cyn ei ymadawiad, y maent wrth reswm fel efe ei hun, ac er ei fod ynddynt yn dweyd cryn lawer o bethau ar ei gyfer, ac yn ymollwng gyda'i ffansi i ddweyd pethau y gwirionedd mewn ffordd a barasai i rai o'i wrandawyr, fel y dywedai un, deimlo "ei fod yn dweyd ystraeon" wrthynt, y maent yn dda iawn, - yn llawn o natur ac yn llawn o wirionedd. Ac y mae yn dra hyfryd gweled fod arglwyddiaeth y gwirionedd, trwy ei oes, yn gryf ar ei gydwybod, ac mai ei bryder pennaf ydoedd "rhag, wedi iddo bregethu i ereill, ei fod ei hun yn anghymeradwy." Dylasai y gyfrol fod wedi ei golygu yn llawer mwy gofalus.

*Cyfrol Goffa am ddeg o Weinidogion y Methodistiaid.* Y Bala: Davies ac Evans. 2s 6c.

Cyflwynasom dro yn ol i sylw ein darllenwyr "Yr Oriel Annibynnol," yr hon a gynhwysai ddarlun, hanes odfa, ynghyda phregeth gyflawn i bob un o nifer o weinidogion yr Annibynwyr yng Nghymru. Mae y gyfrol hon yn gyffelyb yn cynnwys darlun, amlinelliad o hanes, ynghyda phregeth bob un i nifer o weinidogion y Methodistiaid sydd yn ddiweddar wedi eu galw i'r orffwysfa. Nid oes eisieu ond dweyd fod y gweinidogion hynny yn dwyn yr enwau Lewis Edwards, Owen Thomas, David Saunders, David Charles Davies, Joseph Thomas, J. Harries Jones, Edward

Matthews, John Parry, Roger Edwards, a John Hughes, ac fod y rhai sydd yn ysgrifennu yn eu cylch yn eu hadnabod yn dda, ac yn brofedig fel ysgrifenwyr, na theimla llawer ar unwaith y dylent wneyd y gyfrol yn eiddo iddynt. Ac wedi gwneyd hynny, hawdd genym feddwl y bydd yn hoff ganddynt fynych gymdeithasu â hi, ac y tynnent o honi lawer o adeiladaeth a mwynhad. Da oedd gennym glywed yn ddiweddar am flaenor parchus, sydd yntau wedi huno, a wnelai â'i gymdogion yn fynych y caredigrwydd o ddarllen yn y cyfarfodydd gweddi—yr oedd yn ddarllennwr da—bregeth o eiddo y naill neu y llall o'r gweinidogion yr oedd eu llafur yn werthfawr yn eu golwg. Tybed nad allai llawer un wneyd defnydd rhagorol yn yr un modd o'r gyfrol werthfawr hon?

Undeb Ysgolion y Methodistiaid Calfinaidd. Gwerslyfrau Ysgrythyrol. *Llyfr yr Actau, penodau xiii. hyd xxviii. Maes Llafur yr Ysgolion o Ebrill,* 1894, *hyd Mawrth,* 1895. *Gwersi Sabbothol a Nodiadau, yn cynwys Gofyniadau Arweiniol, Adnodau i'w hadrodd, Cyfeiriadau Ysgrythyrol, Nodiadau ar Bersonau a Lleoedd, a Nodiadau Esboniadol. At wasanaeth y Dosbarthiadau Ieuengaf* (*plant o dan* 16 *mlwydd oed*), *a'r Dosbarth Canol* (*o dan* 21 *mlwydd oed*). Gan y Parch. O. J. OWEN, M.A., Rock Ferry. Caernarfon: Parch. D. O'Brien Owen.

Y mae Mr. Owen yn y llyfr hwn eto, fel yn y llyfr blaenorol ar y deuddeg pennod cyntaf o'r Actau, wedi astudio ei fater yn dra gofalus, ac wedi crynhoi ynghyd beth anferth o wybodaeth fuddiol a fydd o ddirfawr wasanaeth i'n pobl ieuainc ac i'w hathrawon. Y mae yn syndod sut y mae pobl dda y "Llyfrfa" yn mentro cynnyg y fath lyfr â hwn, o 48 o dudalennau, mewn llythyren fân, am ddwy geiniog. Dylai ledaenu yn fyrddiynau, a phrofi o fawr help yn nosbarthiadau ein Hysgolion Sabothol trwy yr holl wledydd.

*Llawlyfr ar Wersi Ysgolion Sabbothol y Methodistiaid Calfinaidd am y flwyddyn Ebrill,* 1894 — *Mawrth,* 1895, *yn cynwys Hanesiaeth Ysgrythyrol, Actau xiii.—xxviii.* Gyda *Map.* Gan EDWARD JONES, Bangor. Caernarfon: Cwmni'r Wasg Genedlaethol. 2c.

*Holwyddoreg ar Actau xiii. — xxviii., ynghyda Rhestr o'r Gwyrthiau, Teithiau, Erlidiau, ac Eglurhad ar Eiriau, Personau, a Lleoedd. Maes Llafur y Methodistiaid Calfinaidd, Ebrill,* 1894—*Mawrth,* 1895. Gan CERIDWEN PERIS. Pwllheli: Richard Jones. 2c.

"Tra yr oedd hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth": wedi ysgrifennu y nodiad uchod, dyma y ddau lyfryn yma eto i'n llaw. Croesaw mawr i'r tri! Mae'n falch gennym weled cynifer o lawlyfrau gwerthfawr a hylaw wedi eu paratoi, ac yn cael eu gosod mewn ffordd mor gyfleus yn llaw deiliaid ein Hysgolion Sabothol. "Ni wna grotiau na'm dwyn na'm gadael," meddai Goronwy Owen; ychydig iawn yn ychwaneg ydyw "y chwech," ac eto fe bwrcasai chwech y *tri llyfr,* y rhai a osodent yn ffordd y neb a'u hastudio lawer iawn o wybodaeth dra gwerthfawr. Wrth reswm ni wnant i'r Athrawon a'r Athrawesau yn lle Esboniad y Parch. J. Morgan Jones; ar yr un pryd fe fyddai yn dda iddynt hwythau fod yn ofalus, pan y mae cynorthwyon fel y rhain yn llaw y rhai sydd dan eu gofal. Gwelwn fod un o'r brodyr hyn yn galw Iago yn "esgob cyntaf Jerusalem." Dealla y llall mai yr un ydoedd â mab Alpheus, a dywed "y bernir iddo gael ei ddewis yn esgob Jerusalem." Pa sail sydd i'r fath dyb? Dywed y chwaer, beth yn fwy rhesymol, ei fod yn llywydd y cyngor yn Jerusalem; ond mewn gwirionedd nid oes le i gredu fod llywydd i'r cyngor o gwbl, heb son am esgob, na bod Iago ond yn traethu ei farn fel unrhyw frawd arall, ond y teimlid ei fod, o herwydd ei synwyr cryf a'i dduwioldeb, wedi cael ei arwain at y peth a ymddanghosai i'r brodyr yn iawn, ac mewn canlyniad eu bod yn credu ei fod o dan arweiniad yr Ysbryd Glan.

Wedi ysgrifennu yr uchod, daeth i'n llaw lyfr arall ar y Gwersi: *Llawlyfr ar Actau xiii.—xxviii., at wasanaeth y Dosbarthiadau Canol a'r Ieuengaf,*

*yn cynwys Nodiadau Eglurhaol, Bywgraffyddol a Daearyddol, Taflen Amseryddol, Cwestiynau, &c., ar Faes Llafur* 1894—1895. *Gyda Map o Deithiau yr Apostol Paul* Gan y Parch. J. G. DAVIES, Newport (Cyn-ysgrifenydd yr Undeb.) Newport: W. Jones. 3c. Y mae hwn eto yn crynhoi llawer iawn o wybodaeth fuddiol a barn addfed ar y gwahanol bethau sydd yn galw am sylw yn y maes llafur; a diameu y bydd lliaws o'n cyfeillion yn gwneyd defnydd da o hono, ac mewn canlyniad yn ennill llawer. "Llawer a gyniweiriant, a gwybodaeth a amlheir."

*Y Sillydd.* Gan y diweddar CHARLES o'r Bala. Rhannau I., II., III., Ceiniog yr un. Bala: Davies ac Evans.

CROESAW da i'n hen gyfaill y "Sillydd." Gelwir hwn yn "Argraffiad y Trydydd Jubili," a nodir pob rhan fel ar gyfer y "Safonau" cyntaf. Nid ydym yn sicr nad gwell fuasai ei gyhoeddi, fel y gwneid gan ei awdwr enwog, ac yn un llyfr. Nid all y rhannau hyn ateb diben y Safonau. Mae llawer wedi ei ddysgu er dyddiau Charles gyda golwg ar wneyd llyfrau elfennol; ond dylai bod i'r "Sillydd" le parchus iawn yn ein llenyddiaeth yn barhaus. Nid oes angen am y colofnau meithion o silliadau nad oes dim cysylltiad rhyngddynt a'r gwersi darllen sy'n eu dilyn; ac wedi i'r plant ddysgu darllen y gwersi cyntaf, prin y mae angen eu cymeryd trwy gynifer o adnodau anghysylltiol ag a geir yn y gwaith, yn lle myned at y Testament Newydd. I'w amser yr oedd y llyfr yn llawer mwy cyfaddas, ac y mae yn hyfryd iawn meddwl am y gwaith mawr a wnaed trwyddo mewn dysgu gwerin Cymru i ddarllen ac i ymgydnabyddu â'r Ysgrythyrau. Ond bydd yn hyfryd ac yn addysgiadol i lawer, ïe o'n hathrawon goreu yn y dyddiau hyn gael y llyfr i'w meddiant. Mae y gwersi yn syml ac adeiladol, ac wedi eu gosod mewn Cymraeg o'r fath oreu. Mae y Rheolau Moesau Da, Ymddygiad addas yn Addoliad Duw, ynghyda'r Ddyledswydd, y Budd, a'r Fendith o Godi yn Fore, a geir yn niwedd pob un o'r Rhannau hyn, o werth tra mawr, a dylid eu dysgu yn barhaus. Sut ddrwg, wys, y bu i Charles ddweyd "tyau" am dai? Sonia hefyd am y darllen, &c., fel "y rhan flaenorol o'r addoliad." Ond Cymraeg rhagorol sydd ganddo. Gwych gweled gwr o'i ledneisrwydd perffaith ef yn cynghori, pan fo un yn sefyll, i beidio "gorphwys yn llanastr diog ar eraill," ac yn galw dull o fyw ag y mynnai ei warthnodi, yn "ddull mochynaidd, pechadurus, a niweidiol iawn." Yn neillduol fe'n tarawyd y tro hwn o'r newydd gan werth tra mawr y gwersi yn y rhan olaf o'r llyfr sydd yn cynnwys detholiad o adnodau o'r Beibl. Am yr Ysgrythyrau, Am Dduw, Am Ragluniaeth, Am Gyfraith Duw, Am Gwymp Dyn, &c., &c.

*Cyngor Plwyf: Pa fodd i'w ethol a'i weithio* (*yn ol Act newydd* 1894). Gan BERIAH GWYNFE EVANS. Caernarfon: Swyddfa'r "Genedl." 3c.

Eglurhad boddhaol a chrynho ar ddarpariadau yr Act newydd, a diameu y bydd yn dda gan liaws o'n cydwladwyr wneyd y llyfryn yn eiddo iddynt. Da gennym ddeall fod y ddeddf yn cael ei gosod yn gyflawn mewn Cymraeg, a chan un a all ei gwneyd i'r Cymry yn llawn mor ddealladwy, a dweyd y lleiaf, ag ydyw yn ei ffurf wreiddiol i'r Saeson. Mae pobl Cymru yn arbennig wedi eu hyfforddi yn eu dull o ofalu am eu hachosion crefyddol i osod deddf fel hon mewn gweithrediad, a diameu y profa iddynt o ddirfawr werth.

*Llyfr y Tri Aderyn.* Gan MORGAN LLWYD o Wynedd. Bangor: Edward Jones, High street. Swllt.

Crybwyllasom yn ddiweddar am argraffiad newydd gan Mr. Isaac Foulkes o Liverpool o'r "Tri Aderyn;" dyma un arall ac am swllt yr un modd gan Mr. Edward Jones. Cyfrifa efe mai dyma yr wythfed argraffiad o'r hen lyfr enwog. Bydd ein cydwladwyr yn well o'i ddarllen, heblaw y dyry iddynt lawer o fwynhad.

CYFROL LI. RHIFYN CCXI

# Y TRAETHODYDD.

## TACHWEDD 1894.

CYNHWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF IONAWR 1af, 1895.*

PRIS SWLLT.

CAERNARFON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN GWMNI'R WASG GENEDLAETHOL GYMREIG (CYF.).

# Y TRAETHODYDD.

## ADDYSG A'R GWEITHIWR.

(GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN PARRY, D.D., BALA.)

[GYDA chaffaeliad siarter y Brifysgol, y mae dyheadau caredigion addysg yng Nghymru i raddau mawr wedi eu diwallu. Mor bell o leiaf ag y gall cyfundrefn o *sefydliadau* addysgawl foddloni eu calon, gallant bellach ysgatfydd "orffwys a bod yn ddiolchgar." Y mae y peirianwaith wedi ei gwblhau. Yn araf y dygwyd ef i berffeithrwydd, a llawer a fu y dwylaw a'i dygasant o ychydig i ychydig, yn ddarn ar ol darn, at ei gilydd. Pwy a weithiodd galetaf a mwyaf effeithiol yn ei luniad, nid ydym ar hyn o bryd am geisio penderfynu. Rhydd yr hanesydd ryw ddiwrnod, mae'n ddiau, eu gogoniant priodol i'r holl sêr rhwng y rhai y mae rhagoriaeth. Y cwbl a ddywedwn yn awr yw fod cryn lawer o'r clod yn perthyn yn ddiamheuol i'r dosbarth hwnnw o'n cydwladwyr a fu yn ymdrechgar o oes i oes i ennyn awydd am wybodaeth yng nghalonau y Cymry, a ddangosasant iddynt ei gwerth a'i thegwch, ac a huliasant eu byrddau â'i lluniaeth ac â'i llawenydd. Nid oes neb ond odid na chaniatâi yn rhwydd le uchel yn y dosbarth hwn i olygydd diymhongar a dysgedig y *Gwyddoniadur*—hen athraw anwyl a medrus Athrofa y Bala—y diweddar Dr. PARRY. Ac nid yn unig yn y dull anuniongyrchol hwn—pe anuniongyrchol hefyd—y gwasanaethodd efe achos addysg gyhoeddus yng Nghymru, eithr bu yn ddyfal bob amser i symbylu ei genhedlaeth gyda'r gwaith o liosogi a pherffeithio ei sefydliadau addysgawl—Sabothol a dyddiol, elfennol a cholegawl. Fel un engraifft o'i sêl yn y cyfeiriad hwn, ac ar gyfrif teilyngdod llawer o'r sylwadau o ystyriaeth ein gweithwyr ac ereill yn yr amser presennol hefyd, nid annerbyniol feallai gan ddarllenwyr y TRAETHODYDD a fydd yr anerchiad canlynol a draddodwyd ganddo oddeutu deng mlynedd ar hugain yn ol, ond na fu o gwbl mewn argraff. Mae'n debyg y gwel yr ychydig (bellach) a glywsant yr anerchiad y pryd hwnnw yn Llanberis, fod llawer o wahaniaeth rhyngddo fel ei hargreffir, rhagor fel ei traddodwyd. Y rheswm am hyn ydyw mai ysgrifennu y byddai efe i awgrymu iddo ei hun y llwybr ar hyd yr hwn y bwriadai i'w feddwl redeg, yn hytrach na'r ffurf o ymadroddi yr oedd i'w fabwysiadu wrth lefaru ar gyhoedd. I'w weddw, Mrs. Parry, yr ydym yn ddyledus am ganiatâd i adysgrifennu y llawysgrif.

W. P. W.]

DYWED Mr. Gladstone mai canrif y gweithiwr ydyw y ganrif bresennol. Ac feallai mai hon ydyw y ganrif gyntaf yn hanes y byd y gellid dweyd felly am dani. Pe'd elem yn ol o ganrif i ganrif, ni chaem mai hynodrwydd neillduol yr un ganrif o'r blaen ydoedd dyrchafiad y gweithiwr. Caem weled mai yr hyn a hynodai y nifer fwyaf o ganrifoedd hanesiaeth gredadwy ydoedd tra-arglwyddiaeth a gormes y brenin, neu y pâb, neu y bendefigaeth, neu fynachod fel y Jesuitiaid; a darostyngiad, a chaethiwed, ac anwybodaeth y werin bobl a'r gweithiwr. Ond yn awr, yn ol tystiolaeth un sydd wedi gwneyd mwy ei hun, ac os ca fyw ychydig a wna fwy eto nag odid neb i ddyrchafu y gweithiwr,—hon ydyw y ganrif ymha un y mae beichiau y gweithiwr wedi eu hysgafnhau, a'i fanteision i gynhyddu mewn cysuron bydol, mewn diwylliad meddwl, mewn purdeb moesau, ac mewn rhyddid crefyddol wedi ehangu tu hwnt i ddim a welwyd o'r blaen yn hanes y byd. Y mae Cymru wedi cyfranogi o'r holl fanteision yma, ac wedi

sugno ei bendithion allan o honynt i raddau mor bell, a dweyd y lleiaf, ag un ran o deyrnas ein Brenhines. Gan nad beth a ddywed y rhai nas gwyddant ddim, neu y nesaf peth i ddim, am danom, nis gallwn lai na chredu nad ydyw gweithwyr Cymru mor uchel mewn cysuron teuluaidd, mewn moesau, ac mewn crefydd ag un dosbarth o weithwyr yn y deyrnas.

Ond feallai y cawn fwy o les wrth edrych ar ein diffygion nes teimlo oddiwrthynt, nag a gawn wrth syllu gormod ar ein rhagoriaethau. Y peth goreu i ni ydyw gofyn i ni ein hunain ac i'n gilydd, pa gam pellach ymlaen a allwn gymeryd? Y mae ein cymdeithasau llenyddol wedi gwneuthur llawer i ddeffro ymofyniad ac i greu llafur am wybodaeth mewn llawer o ieuenctid ein gwlad. Y maent wedi cael eu sugno oddiwrth oferedd a phleserau anifeilaidd trwyddynt, ac wedi eu hennill i ymofyn pa beth ydyw llenyddiaeth, a pha beth ydyw yr athroniaeth y sonnir cymaint am dani. Y mae yn ddyrchafiad ar genedl, yn enwedig ar ei gweithwyr, ei bod yn dysgu gofyn cwestiynau fel hyn. Tybid am oesoedd lawer ei bod yn ormod o anrhydedd i roddi cleddyf yn llaw dosbarthiadau iselaf cymdeithas i amddiffyn eu gwlad. Pa mor gywir bynnag y llygad, a pha mor gref bynnag y fraich, yr oedd yn ormod o anrhydedd iddynt hwy gael ymladd dros eu gwlad, a thywallt eu gwaed yn ei gwasanaeth. Ond yn awr y mae y gweithiwr yn cael cario lamp gwybodaeth yn ei law, a threiddio i ddirgeledigaethau natur, a chymhwyso ei hun i gymdeithasu â'r meddyliau mwyaf a fu yn y byd.

Mewn llyfrau da, yr ydych yn cymdeithasu â'r meddyliau cryfaf, dyfnaf, coethaf a fu yn y byd erioed. Buasem yn ei chyfrif yn ddyrchafiad i gael ychydig o funudau yng nghymdeithas rhai o brif wleidyddion, athronwyr, barnwyr, ac areithwyr yr oes yr ydym yn byw ynddi. Nis gallwn gael hyny; a phe cawsem, feallai mai nid rhyw ennill mawr a fuasai hynny i ni. Feallai na fuasai yr ymddiddan ond ar bethau digon cyffredin. Ond mewn llyfrau da, yr ydym yn cael ymddiddan nid â goreuon un oes, ond goreuon pob oes. Ac nid ymddiddan am ychydig funudau yn unig, ond cŷd ag a fynnom. Cawn ni ein hunain ddweyd pa bryd y mae yr ymddiddan i ddechreu, a pha bryd i ddibennu. Cawn ofyn iddynt y cwestiwn a fynnom. Gwrandawant gyda'r astudrwydd mwyaf. Os bydd rhyw fater yn fwy anhawdd na'i gilydd, cewch ddewis y cymhwysaf yn yr holl fyd i ofyn am oleuni arno. Ac fe rydd yntau i chwi nid y dyb gyntaf a ddaw i'w feddwl, nid dweyd rhywbeth er mwyn eich troi chwi draw, neu grychu ei eiliau mewn gwg am i chwi feiddio cymeryd y fath ryddid ar un ag sydd yn wrthrych parch i holl wledydd goleuedig y byd; na, fe wrendy arnoch gyda'r amynedd mwyaf. Cewch ofyn y cwestiynau symlaf neu y cwestiynau dyfnaf iddo. Ac fe rydd yntau i chwi holl gyfoeth a goleuni ei feddwl ar y mater, a hynny gyda'r siriolddeb mwyaf. Os byddwch yn methu ei ddeall ar unwaith—fel y byddwch yn siwr o fod—cewch fyned ato drachefn a thrachefn. Cewch ymgynghori ag ef yn y ty, neu ar ochr y graig, neu ei gymeryd gyda chwi yn gyfaill ar y ffordd.

Y mae hyn yn ddirgelwch mawr. Y mae y gelfyddyd o drosglwyddo meddwl ar bapur yn un ddyrchafedig iawn. Y mae y meddwl fod yn bosibl trysori meddwl anweledig mewn marciau duon—trysori cyfoeth dychymyg ac athroniaeth, a holl wres a thanbeidrwydd hyawdledd—yn syndod, erbyn yr â dyn i fyfyrio uwch ei ben. Y rhyfeddod nesaf at undeb enaid a chorff, ïe rhyw gangen o'r un rhyfeddod, ydyw trysori

yr ysbryd anfarwol mewn llyfr. Nid peth marw ydyw llyfr: mae bywyd ynddo, a bywyd ysbryd y neb a'i cyfansoddodd; Ie, y mae elfen buraf meddwl a deall ei awdwr yn cael ei chadw ynddo. Y mae ysbryd dyn yn byw o oes i oes yn ei lyfrau. Y mae llyfrau dynion felly. Y mae y meddwl mor bur, mor nerthol, mor fyw yn y llyfr ag ydoedd yn ymddiddan yr awdwr pan yn fyw. Ni fedrwch wneuthur dim o ymddiddan yr awdwr heb y cymhwyster angenrheidiol. Ni fedrwch wneuthur dim o lyfr heb y cymhwyster anghenrheidiol. Yr un cymhwyster sydd yn angenrheidiol i'r ddau, sef deall ei iaith,—ei ddeall mewn ymddiddan a'i ddeall mewn llyfr. Heb ddeall yr iaith nid ydyw yr athroniaeth ddyfnaf na'r farddoniaeth uchaf ond marciau duon ar bapur gwyn. Y mae dyn wrth ddysgu iaith yn cymhwyso ei hun i ddal cymdeithas â'r dynion mwyaf, a goreu, a galluocaf a ddefnyddiasant yr iaith honno. Wrth ennill y cymhwyster hwn y mae dyn yn cael mynedfa, os bydd yn dewis, i'r gyfeillach uchaf sydd yn ddichonadwy ymysg dynion.

Y mae yn werth i ddynion ieuainc ddysgu iaith newydd er mwyn cael *takenote* – hawl—ar y trysorau sydd ynddi. Ai ni fyddai yn werth cynnyg gwobrwyon a rhoddi cymelliadau i ddynion ieuainc i ymestyn at adnabyddiaeth o iaith heblaw eu hiaith enedigol,—dywedwch y Saesneg? Y mae elfennau Saesneg yn cael eu dysgu yn yr ysgolion dyddiol. I'r bobl ieuainc sydd wedi cael manteision, nid rhaid iddynt ond myned ymlaen a chadw a chynhyddu hynny a gawsant. Y fath drysorau sydd o fewn cyrraedd dyn sydd yn deall yr iaith Saesneg! Y mae'n rhaid cyfaddef nad oes un iaith mor gyfoethog mewn llenyddiaeth â'r Saesneg.· Dywedir fod dysgu iaith yn beth sydd ynddo ei hun yn un o'r moddion mwyaf effeithiol i ddisgyblu y meddwl, i agor a chryfhau y deall. Mae y fantais hon yn annibynol ar y trysorau sydd yn yr iaith. Peth mawr ydyw ennill y trysorau sydd ynddi, ac feallai mai hyn ydyw y peth mwyaf; ac eto y mae dynion dysgedig yn dadleu mai dysgu yr iaith ydyw y peth mwyaf i ddiwylliant y meddwl,—fod yr iaith Saesneg yn well na dim sydd ynddi, ac felly am bob iaith arall. Dywedai Charles V. ei fod ef yn teimlo ei fod yn ennill enaid newydd wrth ddysgu iaith newydd; nid yr hyn sydd yn yr iaith, ond yr iaith ei hun. Rhagoriaeth dyn ydyw iaith. Y mae trwy hyn yn ymgodi ar unwaith uwchlaw y creaduriaid sydd yn amddifaid o'r gallu hwn. Y mae dirgelwch iaith yn rhy ddwfn i ddyn allu hyd yma dreiddio i'w sylfeini. Y mae yn gwestiwn pa un ai rhodd uniongyrchol Duw i'w greaduriaid ydyw, ai ynte a alluogwyd dyn i'w dyfeisio iddo ei hun. Ond pa un bynnag, y mae iaith mor gysylltiedig a gweithredoedd y meddwl fel mai y safon oreu i brofi cyrhaeddiadau dyn, ac hefyd yr offeryn goreu i sicrhau y cyrhaeddiadau hynny ydyw iaith. Yr arddanghosiad cywiraf, cywreiniaf, a chyflawnaf o feddwl dyn ydyw iaith. Y mae llawer o arddangosiadau ereill o feddwl dyn. Fel y mae y greadigaeth yn ddanghosiad o feddwl Duw, felly y mae argraff dyn ar y greadigaeth trwy gelfyddydau a gwyddoniaeth, yn ddanghosiad o'i feddwl yntau. Edrychwch ar y llong odidog, y pontydd prydferth ac aruthrol, yr ager a'r holl beiriannau sydd yn cael eu gweithio ganddo, rhyfeddodau y *telegraph*, &c. Y mae y rhai hyn oll yn ddyfeision meddwl dyn, ac yn arddangosiadau o hono. Y mae y rhai hyn yn dangos fod meddwl dyn yn meddu ar allu mawr. Ond y mae iaith, tuhwnt i bob dadl, yn offeryn ac arddanghosiad mwy rhyfedd na dim

arall. Nid oes dim yn effeithio ar feddwl dyn nac yn ei ddisgyblu yr un fath ag astudiaeth iaith, yn ei throellau, ei phrydferthion, a'i galluoedd. Y mae yn bosibl i ddyn gasglu llawer o'r trysorau sydd yn ei iaith ei hun, a bod yn llawer cyfoethocach o honynt, heb sylwi nemawr ddim ar gyfansoddiad yr iaith. Ac y mae yn naturiol i ni frysio dros iaith sydd yn adnabyddus i ni heb sylwi arni o gwbl, gan ymddifyrru yn hollol yn y perlau y mae hi yn gyfrwng i'w rhoddi ger ein bron. Ond wrth ddysgu iaith newydd yr ydych dan orfodaeth i sylwi ar yr iaith ei hun, ac y mae hyn yn rhan bwysig o addysg a deffroad meddwl. Cymerwch hyn yn gwestiwn i feddwl am dano—pa un ai yr hyn y mae iaith yn ei roddi i chwi, ai yr iaith ei hun, yw y mwyaf gwerthfawr. Y mae yn hawdd gan lawer ddweyd mai yr hyn a drosglwyddir yn yr iaith yw y mwyaf, ac mai er mwyn yr hyn sydd ynddi y dysgir yr iaith. Ond y mae mwy yn yr iaith ei hun nag a feddylir yn gyffredin. Y mae yn bosibl i ni gasglu llawer o wybodaeth trwy gyfrwng iaith a bod heb ddeall dim am fanylwch, cywirdeb, a pherffeithrwydd yr offeryn rhyfeddaf sydd gan feddwl dyn.

Ond yn ychwanegol at y manteision addysgiadol sydd mewn dysgu yr iaith, y mae manteision masnachol a gwladwriaethol yn gysylltiedig â dysgu yr iaith Saesneg. Nis gall y Cymro perffaith uniaith ennill nemawr swydd fach hyd yn oed yn ei wlad enedigol heb fedru Saesneg; a phe byddai awydd arno fyned i Loegr, nis gall fod fawr gwell na chaethwas nes y bydd wedi dysgu yr iaith.

Y mae ystyriaethau fel hyn yn peri i mi feddwl ambell waith y byddai yn werth i ieuenctid darllengar—i ddynion ieuainc ymofyngar—wneyd ymdrech i ddysgu yr iaith Saesneg ac elfennau ereill dysgeidiaeth gyffredin. Ni fyddai raid i'r rhai ieuengaf ddim ond dilyn ymlaen gyda'r hyn y maent wedi ei ddysgu yn y British School. Tybed ai amhosibl fyddai mewn cymdogaeth fel hon, lle y mae cynifer o ddynion ieuainc, sefydlu math o goleg i weithwyr? Y mae coleg felly yn Llundain. Y mae dynion ieuainc sydd gyda'u goruchwylion trwy'r dydd, yn rhoddi dwy awr neu dair bob nos, dan gyfarwyddyd dynion medrus, i ddysgu elfennau addysg gyffredin,—y pethau sydd yn cael eu dysgu mewn athrofeydd, megis yr iaith a llenyddiaeth Saesneg, Lladin, Groeg (i ddysgu darllen y Testament Newydd), daearyddiaeth, rhifyddiaeth, hanesiaeth, &c. Meddyliwch faint fuasai gwerth mantais o'r fath i Mr Griffith Davies, brodor o'r tueddau yma, cyn iddo fyned i Lundain! Y peth cyntaf a wnaeth ef yno oedd myned i'r ysgol nos,—gweithio trwy y dydd a myned y nos i'r ysgol neu'r athrofa.

Pe deuai *University* i Gymru ac i'r Cymry, nis gallech chwi, y gweithwyr, ddim cael ei manteision wedyn. I feibion y dosbarth uchaf gan mwyaf y byddai honno. Byddai manteision gweithwyr yr un fath wedyn. Nis gallant hwy roddi ond dwy awr y nos i astudio, a rhaid cael manteision i'w cyfarfod ar yr adeg honno. Fe all yr ysgolfeistr ymhob cymdogaeth wneyd llawer. Y mae ein pregethwyr yn cael dysg yn awr allai eu cymhwyso i helpu gyda gwaith fel hyn. Y mae yn bosibl fod dyn ieuanc neu ddau yn y gymdogaeth wedi cael dysg da a allant roddi cynhorthwy. A dymunol fyddai cael arholiad yn niwedd y flwyddyn yn flaenorol i gyfarfod fel hwn. Fe fyddai hyn yn wiriad ar eiriau Mr. Gladstone mai canrif y gweithiwr ydyw y ganrif bresennol.

# GWLADWRIAETH PLATO, Y TRAETHAWD CYNTAF AR ADDYSGIAETH.

*Anerchiad ar ddiwedd Tymor* 1893-4, *yng Ngholeg y Gogledd.*

GAN EDWARD CAIRD, LL.D., MEISTR COLEG BALIOL, RHYDYCHEN.

YR wyf yn dymuno yn gyntaf ddatgan yr hyfrydwch wyf yn deimlo wrth annerch aelodau y Coleg hwn, ynghyda'r rhai a deimlant ddyddordeb yn ei lwyddiant. Gan nad oes dim llai na phedwar o'r rhai sydd neu a fu yn Broffeswyr yma wedi dyfod yn uniongyrchol o Brifysgol Glasgow, ac wedi bod yn ddisgyblion i mi mewn blynyddoedd aethant heibio, yr wyf yn teimlo fel pe bai gennyf hawl i fy ystyried fy hun fel math o daid ysbrydol i efrydwyr y Coleg hwn. Ac feallai y gallwn wneyd hynny yn awr mewn hawl ddwbl, gan fod eich Prifathraw yn un o hen efrydwyr Baliol. Gallwn ychwanegu fod yr efrydwyr Cymreig yn Glasgow bob amser wedi gwneyd yn dda, ac weithiau yn rhagorol; ac os ydynt yn engreifftiau teg o'u cydwladwyr, yr wyf yn meddwl nad oes gan eich Proffeswyr achos i gwyno am y defnyddiau sydd ganddynt i weithio arnynt. Pa un a ydyw felly ai peidlo, prin y mae yn bosibl i un a fu yn Broffeswr yn Glasgow fod heb deimlad cynnes at Golegau Cymreig.

Yr wyf yn meddwl ei fod yn arferol, ar achlysuron fel yr un presennol, i ddewis fel testyn rhyw gwestiwn ymarferol ynglŷn ag Addysgiaeth; ond yr wyf fi wedi anturio dewis un yr hwn, er ei fod yn ein cymeryd ymaith oddiwrth ein cwestiynau addysgol neillduol, eto sydd yn ffrwythlon o awgrym gyda golwg ar wir natur addysgiaeth,—beth a olyga, neu yn hytrach beth a ddylai olygu. Oblegid yn y cylch uchaf o'r hyn a allwn alw yn egwyddorion addysgiaeth, nid wyf yn meddwl y gallem gael arweinydd gwell na Phlato, y mwyaf cyffredinol o'r holl feddylwyr, yr hwn a edrychai ar fywyd ar unwaith gyda gweledlad ysbrydoledig y bardd, a dealltwriaeth cyfunol yr athronydd, a'r hwn, gan sefyll megys ar wahaniad cyntaf ffyrdd diwylliad, y gellir yn wirioneddol ddweyd ei fod wedi rhagweled holl brif anhawsterau y dyfodol. Dywedai Ferrier unwaith, yn ei ffordd grynno ef, mai pob gau athroniaeth ydoedd Plato wedi ei gam ddehongli, a phob gwir athroniaeth Plato wedi ei iawn ddeall. Gyda gormodiaeth faddeuol, gallem haeru fod pob gau olygiadau ar addysgiaeth yn codi o esgeuluso egwyddorion Plato, ac nad ydyw pob gwir olygiadau yn ei chylch ond dadblygiadau naturiol o honynt. Mae hyn yn ddyledus, nid yn unig i nerth a dyfnder dealltwriaeth—feallai y mwyaf nerthol ac eang a roddwyd erioed i neb o feibion dynion,—ond hefyd i'r ffaith fod y mwyaf yma o athronwyr yn ddisgybl i Socrates, y mwyaf o ddysgawdwyr, y gwr y darfu i'w athrylith daflu fwyaf o oleuni ar y gelfyddyd anhawdd trwy ba un y gallai un meddwl ddylanwadu ar a goleuo meddwl arall heb ei gaethiwo,—ei lanw â syniadau yn y fath fodd fel ag i beidio ei orlwytho, ond galw allan ei adnoddau ei hunan. Mewn canlyniad, yr ydym yn cael Plato bob amser yn edrych ar wirionedd a gwybodaeth o saf-bwynt addysgol, *h.y.*, mewn cyfeiriad uniongyrchol at anhawsterau y rhai ag y mae ganddynt i'w hennill. Nid ydyw gwybodaeth i Plato yn draddodiad marw yr ysgolion, y gellir ei drosglwyddo ymlaen heb ei newid o'r naill i'r llall; ond yn blanhigyn byw,

sydd i'w impio mewn cyff newydd yn y fath fodd fel ag i dyfu gydag ef, a bod yn rhan o'i gyfansoddiad cynhennid. Am hynny y mae ei *ymddiddanion*, nid yn unig yn llawn o elfeniad manwl a damcaniaeth eang, ond y maent hefyd yn ddarluniau byw o'r gwaith o feddwl, ac o'r ymdrechion trwy ba rai y mae y meddwl yn graddol godi o olygiad symlaf synwyr cyffredin ar fater, at egwyddorion uchaf gwybodaeth ac athroniaeth. I hyn y maent yn ddyledus am eu gallu neillduol i gynhyrfu ac awgrymu; gallu a deimlir, ïe yn fwy ar yr ugeinfed darlleniad nag ar y cyntaf, ac sydd yn eu gwneyd ynddynt eu hunain yn fath o uchel addysgiaeth. Mewn geiriau ereill, gorwedda eu gallu, nid yn gymaint yn y dysgu pendant a gynhwysant, ag yn y ffordd yr aflonyddant ar ein cydsyniad â golygiadau arwynebol yr ymwybyddiaeth cyffredin, ac y gorfodant ni i ofyn i ni ein hunain gwestiynau newyddion, ac i weled yr hyn sydd yn angenrheidiol i'w hateb. Fel yma, bron yn ddiarwybod i ni ein hunain, dysgant ni i weled amlochredd gwirionedd, a'r amhosibilrwydd o'i ddirnad yn oddefol, neu yn wir, trwy unrhyw ddull nad yw yn galw allan holl ynni y dealltwriaeth. Am hynny nid wyf yn meddwl y gellid rhoddi cyngor gwell i wr ieuanc a ddymunai, nid yn unig gael gwybodaeth, ond y gwir ddiwylliad hwnnw o ba un y mae gwybodaeth yn rhoddi y defnyddiau, nag iddo drwytho ei hun yn ysgrifeniadau Plato. Soniai Matthew Arnold am arddull odidog na ellir ei dysgu ond trwy efrydiaeth barhaus o orchest-weithiau llenyddiaeth. Yn yr un modd, gallwn siarad am arddull odidog o feddwl athronyddol, y gellir ei dysgu oreu oll oddiwrth Plato.

Yn y ddarlith hon, bwriadaf ystyried, yn gyntaf, Beth oedd y syniad am addysgiaeth a awgrymwyd gan Socrates; ac yna, yn ail, Pa fodd y ceisiodd Plato wella y syniad hwnnw a'i ryddhau oddiwrth yr unochredd a berthynai i'w ddatganiad cyntaf. Ond bydd yn gyfleus myned at yr olrheiniad hanesyddol hwn trwy ddweyd ychydig eiriau am y saf-bwynt cyffredinol a gymerid gan Plato.

Yn y lle cyntaf, ynte, yr ydys i sylwi, pan y mae Plato yn siarad am addysgiaeth, nad ydyw yn cyfeirio ati yn yr ystyr celfyddol, *technical*, fwy cul, fel addysgiaeth yr ysgolion cyffredin, neu eiddo ysgolion athroniaeth, y rhai yn yr oes honno a ellid ystyried yn cyfateb i'n prif-ysgolion ni. Yn hytrach, y mae efe yn ystyried einioes oll fel addysgiaeth, ac addysgiaeth fel prif orchwyl einioes. Mewn canlyniad y mae yn cymeryd cyfrif, nid yn unig o hyfforddiad y dealltwriaeth, ond hefyd o ddisgyblaeth y teimladau; y mae yn ymdrin, yn wir, am addysgiaeth holl gynheddfau dyn, yn ddealltwriaethol a moesol. A chynhwysa ynddi, nid yn unig addysgiad uniongyrchol, ond yr holl ddylanwadau, crefyddol a gwleidyddol, i ba rai y mae dynion yn agored yn y teulu ac yn y wladwriaeth. Yn wir, y mae yn un o'i brif egwyddion nas gall y dysgawdwr proffesedig gynhyrchu dim effeithiau mawrion er da neu ddrwg, ond cyn belled ag y mae ei ddysgeidiaeth mewn cydgord â dylanwad cyffredinol cymdeithas. Mae ei waith yn rhan dra phwysig, ond eto nid ydyw ond rhan, o waith sydd yn dechreu gyda genedigaeth dyn, ac sydd yn myned, yn mlaen yn ac allan o ysgol, trwy yr holl einioes; ac yn unig fel y dwg y gwaith yma i ddiben mwy penodol, y gall efe gario unrhyw ddylanwad mawr. O ganlyniad y mae Plato yn gwrthod y golygiad fod llygriad ieuenctid Athen yn ei ddyddiau ef ei hun wedi ei gynhyrchu gan y Sophistiaid, i ba rai weithiau y mae cymaint yn cael ei briodoli. Yr oedd eu dysgeidiaeth *hwy*, yn

wir, fel y meddyliai efe, yn hanfodol ddrwg a llygriadol; ond gorweddai ei phrif allu er drwg yn hyn, ei bod yn rhoddi gorffeniad i'r dylanwadau oedd yn dwyn bywyd cyhoeddus Athen i ddirywiad a dinystr. Cafodd ystâd gymdeithasol lygredig ei datganiad terfynol ym mhoblogrwydd y dysgawdwyr oeddynt yn nwyfweini i'w drygau ac yn peri iddynt gynhyddu. 'Ond, pe na buasai llygredigaeth cymdeithasol ar wahan oddiwrth y Sophistiaid, ni wrandewsid ar eu dysgeidiaeth andwyol. "A ydych chwi mewn gwirionedd yn meddwl," ebai Sociates yn y Wladwriaeth, "fod ein gwyr ieuainc yn cael eu llygru gan y Sophistiaid, neu y gall Sophistiaid neillduol eu llygru mewn unrhyw radd gwerth son am dani? Ai nid yw y cyhoedd sydd yn dweyd y pethau hyn y Sophistiaid pennaf? Ac onid ydynt yn addysgu hyd berffeithrwydd yr un modd yr ieuanc a'r hen, meibion a merched, ac yn eu llunio yn ol eu calonnau eu hunain." Oblegid, "pan gyfarfyddant mewn cynhulliad, neu mewn brawdlys, neu mewn chwareudy, neu mewn gwersyll, neu mewn unrhyw gyrchle arall, ac y mae cynnwrf mawr, ac y canmolant rhyw bethau a ddywedir neu a wneir, ac y beiant bethau ereill, gan fwyhau y naill ochr a'r llall, a gwaeddi a churo eu dwylaw, ac adsain y creigiau a'r lle y maent wedi ymgynull yn dyblu swn y canmol a'r beio,—y fath amser, oni fydd calon gwr ieuanc yn neidio o'i fewn? A fydd i ddylanwad addysgiaeth atal llanw y canmol a'r beio, ac nid yn hytrach cael ei gario ymaith gan y llif?" Ar y llaw arall, pan geisia Plato syniad am addysgiaeth dda, ni feddylia am ddim llai na holl gyfansoddiad cymdeithas fel wedi ei lunio a'i drefnu gan amcan addysgol. Ymgymera, gan hynny, a darlunio gwladwriaeth berffaith, ymha un y byddai holl ddylanwad y farn gyhoeddus a sefydliadau politicaidd yn cael eu cyfeirio i'r un amcan o roddi yr addysgiaeth oreu i holl alluoedd dyn, ac ymha un na fyddai y dysgawdwr proffesedig, a siarad felly, ond dehonglydd y wers a ddysgid yn anymwybodol gan bopeth a welai y bachgen a'r gwr ieuanc o'u hamgylch.

Yn awr yr oedd y golygiad yma o eiddo Plato yn ddychweliad mewn rhan at syniadau amser blaenorol, pan nad oedd ond ychydig os dim a'r hyn mewn ystyr gelfyddol, a elwir yn *addysgiaeth*, tu hwnt i wersi symlaf plentyndod. Yn wir, yn raddol yn unig, a thrwy gamrau prawf, y mae addysgiaeth yn cael ei gwahanu oddiwrth fywyd; ac mewn ystad foreu ar gymdeithas, nid oes prin ddim rhwng chwareuon plentynaidd a'u dynwarediad o orchwylion dyndod, a gwaith dyndod ei hunan. Mae addysgiaeth ar gyfer bywyd, ynte, i'w chael bron yn gwbl oddiwrth fyw, ac y mae y tasgiau trymaf yn cael eu dysgu trwy gyflawni y rhai symlaf. Hyd yn oed yn Athen, yn amser Pericles, nid oedd ysgolion cyhoeddus, ac yr oedd addysgiaeth ei dinasyddion cyfoethocaf ac uchaf, os cymerwn addysgiaeth gelfyddol, o'r fath symlaf a mwyaf elfennol, heb gynnwys ond y *mousikē* a'r *gumnostikē*,—swm neillduol o hyfforddiant campwraidd, ac ychydig o ymarferiadau mewn cerddoriaeth ac mewn adrodd barddoniaeth. Yr oedd addysgiaeth dinesydd o Athen, mewn ystyr ehangach, yn cael ei hennill ym mywyd y ddinas, yn y brawdlys a'r cynhulliad, yn y chwareudy, lle'r oedd gweithiau mawrion celfyddyd ddramäyddol yn barhaus yn cael eu cynhyrchu, ac yn y seremoniau a'r arddangosiadau lliosog a rhwysgfawr oeddynt yn gysylltiedig â chrefydd y Wladwriaeth.

Yn Athen, sut bynnag, y cawn gyntaf yr addysgiaeth uwch, yn ystyr gelfyddol y gair, yn cael ei rhoddi gan gorff neillduol o ddysgawdwyr,

y rhai a adwaenem wrth yr enw anffafriol, Sophistiaid. Galwyd gwaith neu alwedigaeth y Sophistiaid i fod gan lawer o ddylanwadau yr amser, rhai o ba rai oedd yn ffafriol, a rhai yn anffafriol i ddiwylliad. Ar y naill law, yr oedd tyfiant ffurfiau mwy amrywiol llenyddiaeth Roegaidd, yn enwedig llenyddiaeth delynegol a dramäyddol, yn peri i lawer deimlo yr angen am well hyfforddiant meddyliol nag a ystyrrid yn angenrheidiol gan y rhai yr oedd eu holl ymborth meddyliol yn dyfod oddiwrth Homer a beirdd yr ysgol Homeraidd. Ar y llaw arall, yr oedd safle ymerodrol Athen, wedi y rhyfel â Phersia, fel pen diamheuol nerthoedd arfordirol Groeg, yn agor gyrfa fawr o uchelgais i unrhyw wr ieuanc o Athen a allai gael yr hyfforddiant angenrheidiol, ac yn neillduol y gallu i siarad yn effeithiol yn y llysoedd a chynhulliad y bobl. Ac ymddanghosai fod y Sophistiaid yn cyflawni yr hyn oedd eisieu. Nid oes a fynnom yma â'u safle athronyddol fel cynrychiolwyr Amheuaeth oleuedig; yr oll y mae eisieu i ni gymeryd i'r cyfrif ydyw, fod prif faich yr addysgiaeth a roddent yn rheithegol. Mewn geiriau ereill, eu hamcan yn bennaf oedd cyflenwi eu disgyblion ag arfau angenrheidiol dadl a darbwylliad, y rhai oedd yn eisieu i'w cymhwyso at holl dasgiau y siaradwr cyhoeddus, ac felly eu parotoi at ymdrechion gwleidyddol cynhulliad y bobl, cydgyfarfyddiad cyffredinol y dinasyddion, gyda'r rhai yr oedd y gallu goruchaf mewn achosion cyhoeddus. Mewn gair, yr oedd yr addysgiaeth a roddent yn un yn yr hon nid oedd gwybodaeth na diwylliad, caffaeliad gwirionedd na dadblygiad y meddwl, yn cael ei ystyried fel diben ynddo ei hun; ond ceisid y naill a'r llall, cyn belled ag y'u ceisid o gwbl, er mwyn diwyllio y gallu hwnnw i lefaru, yr hwn i ddinesydd o Athen oedd sail pob gallu arall.

Yn awr, yn wrthgyferbyniol i'r dull yma o addysgu, yr oedd Socrates yn apostol addysgiaith oedd yn wirioneddol uchel yn yr ystyr o beidio bod yn ddarostyngedig i unrhyw ddiben allanol, neu er mwyn ennill, ond a amcanai yn gyntaf at ddadblygiad uchaf galluoedd y meddwl. Gellid symio i fyny ei syniad am addysgaeth i ddau bwynt: (1) fod gwybodaeth i'w hystyried, nid yn wir fel diben ynddi ei hun—oblegid nid oedd Socrates yn gwahanu gwybodaeth oddiwrth fywyd—ond fel moddion, nid o lwyddiant allanol, ond o ddadblygiad dealltwriaethol a moesol y disgybl; ac (2), o'r safle yna, nad all gwybodaeth fod yn ddefnyddiol os yn cael ei derbyn yn oddefol fel traddodiad marw, ond yn unig pan yn cael ei gwneyd yn rhan o ddyn, ac yn cael ei hadgynhyrchu gan bob un drosto ei hun. Mewn geiriau ereill, nid all cyfraniad gwybodaeth wneyd addysgiaeth yn ystyr oreu y gair, os nad yw ond yn rhoddi gwirioneddau i'w hystyried yn y cof; ond yn unig os ydyw yn cynhyrfu y meddwl i gyraedd, neu yn hytrach i gynhyrchu gwirionedd drosto ei hun. Mae y gyntaf o'r egwyddorion hyn yn cau allan y syniad "ymarferol," fel y'i gelwir, o addysgiaeth, yr hwn a'i hystyria yn bennaf neu yn unig fel arf â pha un y mae un i gario ymlaen yr ymdrech am fodolaeth a llwyddiant allanol, a'r hwn, gan hyny, yn Athen y pryd hynny, a edrychai ar allu i areithio fel y meddiant dealltwriaethol gwerthfawrocaf. Mae yr ail yn taro yn erbyn yr hyn a alwyd twyllresymeg "gwybodaeth fuddiol," y dwyllresymeg mai diben addysgiaeth ydyw ystorio y meddwl â'r swm mwyaf o wybodaeth ar bob peth. Yn erbyn y dwyllresymeg hon ymdrechai Socrates ddangos mai gwerth gwybodaeth yn unig ydyw cyflenwi maeth, yr hwn y gallo y meddwl ei wneyd yn rhan o hono ei hun, a thrwy yr hwn y gallo dyfu.

Nid oedd y gwersi hyn, yn wir, yn cael eu dysgu gan Socrates yn eu llawnder a chyffredinolrwydd eu cynhwysiad; ond fel y Sophistiaid, â pha rai y cyferbynnir ef, fe'i cyfyngodd ei hun bron yn gwbl at drafodaeth ac ymofyniad o berthynas i foesau. Yr oedd y cyfyngiad ar y testyn iddo ef, fel iddynt hwythau, yn cael ei wneyd yn angenrheidiol gan amgylchiadau ac anghenion neillduol yr amser. Fel mai amcan eu haddysg reithegol hwy oedd cymhwyso eu disgyblion i ddal eu tir yn nadleuon y cynhulliad, ac yn yr achosion a ddygid o flaen y brawdlysoedd, yr oedd ganddynt i ymwneyd â'r math o faterion ag oedd yn debyg o gael eu trafod yn y mannau hynny, ac yn neillduol i fyntum wrth eu hewyllus mai cam neu gymwys ydoedd math neillduol o weithrediad. Myntumiai Socrates i'r gwrthwyneb, ac ymdrechai ddangos yn ymarferol, mai prif ddiben a gwasanaeth addysgiaeth raid fod, nid i wneud disgybl yn alluog i berswadio ereill fod gweithredoedd neillduol yn gam neu yn gymwys, ond i'w alluogi i ddarganfod egwyddorion sydd yn eu penderfynu fel yn gam neu yn gymwys. Ac ymhellach, ymdrechai ddangos nad all y math yma o wybodaeth gael ei ddysgu yn uniongyrchol oddiwrth ereill, ond y rhaid iddo mewn ystyr, gael ei ddarganfod gan bob un drosto ei hun; ac nad all dysgawdwr moesau fod yn ddefnyddiol ond fel y cynhyrfa ac y cynorthwya ddadblygiad yn y disgybl o ymwybyddiaeth o ddiben moesol a deddf foesol bywyd, fel deddf a diben sydd wedi eu sefydlu i ni, nid gan oleu estronol, ond gan ein natur ni ein hunain.

Ond y mae yr egwyddorion a gymhwysid fel yma at foesau, mewn gwirionedd yn gymwysiadau at bob materion; ac at foesau, fel at faterion ereill, nid ydynt i'w cymhwyso ond gyda chyfweddiadau neillduol na ddarfu i Socrates sylwi arnynt, neu ar ba rai na osododd bwysigrwydd digonol. Mae pob un o'r ddwy dwyllresymeg a wrthwynebai Socrates wedi ei rhwymo i fyny gydag elfen o wirionedd, ac yn ddyledus am ei llwyddiant yn bennaf i'w bod yn cael ei chymysgu neu ei hunoli â'r elfen honno. Ac hyd nes y rhyddheir yr elfen honno, y mae yn amhosibl chwalu ymaith y dwyllresymeg. Fel yma, a chymeryd y cyntaf o'r pwyntiau hyn, y mae yn hollol wir y dylai addysgiaeth fod yn ymarferol, ac na allwn wahanu y cwestiwn, beth neu pa fodd y dysgwn, oddiwrth y cwestiwn am fywyd dyfodol y disgybl, *h.y.*, am yr alwedigaeth neu y gwaith y mae i gymeryd i fyny wedi iddo adael yr ysgol neu yr athrofa. Rhaid i'w addysgiaeth fod y fath ag a'i cymhwysa at ei waith mewn bywyd. Ond nid ydyw hyn yn anghyson ag athrawiaeth Socrates. Y mae yn hollol gyson dweyd y dylai addysgiaeth dyn fod yn ddiben ynddo ei hun, ac eto y dylai fod yn wasanaethgar i'w waith neu ei alwedigaeth ddyfodol, os ystyriwn yr alwedigaeth neu y gwaith fel ynddynt eu hunain yn barhad o'r addysgiaeth honno. Oblegid os dylai addysgiaeth, fel y cyfryw, fod yn baratoad i fywyd, rhaid i ni gofio, ar y llaw arall, fod gwaith bywyd, mewn ystyr ehangach, ei hunan yn addysgiaeth. Nid ydyw hyfforddiad yr ysgol i'w gymeryd ond fel rhan flaenorol yn yr hyn sydd yn brif waith bywyd pawb o honom, a'r alwedigaeth neu y gorchwyl fel rhan bellach yn y gwaith o ddadblygu ac ymarfer y galluoedd, a ddechreuir yn yr ysgol. Ac fe fydd felly, bron i'r graddau ag y dilynir hi, nid yn unig fel moddion i wneyd bywoliaeth a sicrhau mesur neillduol o gysur, ond fel y cylch ymha un y gall dyn gyflawni ei ddyledswydd oreu i'r cymundeb o ba un y mae yn aelod. Gall ein haddysgiaeth, gan hynny, fod mor

ymarferol ag y mynnwn, yn gyson ag athrawiaeth Socrates, os ydyw ei hymarferolrwydd o'r iawn fath; *h.y.*, os golygwn y bywyd i ba un y mae hyfforddiad yr ysgol yn baratoawl, fel bywyd o wasanaeth i'r cymundeb ymha un y mae addysgiaeth foesol a dealltwriaethol dyn i gael ei chwblhau. Yr un olwg isel ar fywyd dynol sydd yn arwain dyn i edrych ar ei alwedigaeth neu ei waith fel moddion i wneyd arian ac ennill llwyddiant allanol, ag sydd hefyd yn peri iddo edrych ar addysgiaeth fel paratoad at wneyd arian, ac nid fel dechreuad hyfforddiad moesol a dealltwriaethol sydd i'w barhau ar hyd yr einioes. Ar y llaw arall, os ystyriwn fel diben ynddo ei hun fywyd o ddyledswydd a gwasanaeth, yr hwn y mae yn fyw yn yr ymarferiad o'i waith neu ei alwedigaeth, ni allwn gael anhawster i olygu addysgiaeth flaenorol bachgen, nid yn unig fel moddion i'w wneyd yn offeryn gwell at bwrpas neillduol, ond fel rhan o'r dadblygiad hwnnw ar alluoedd natur ysbrydol sydd yn brif orchwyl dyn ar y ddaear.

Am yr ail o egwyddorion Socrates, y gorwedda gwerth addysgiaeth nid yn gymaint yn yr hyn a esyd o fewn dyn, ag yn yr hyn a ddwg allan o honno, ac am hynny mai amcan pob addysgu a ddylai fod rhoddi cynhyrfiad a chynhorthwy i dyfiant y meddwl ei hunan, y mae yn egwyddor sydd i'w chymhwyso, nid yn unig at foesau, ond at bob gwir addysgiaeth mewn unrhyw fater. Rhaid i bob gwir wybodaeth, pa un bynnag a yw yn gynwysedig mewn gwybodaeth am ffeithiau, neu—yr hyn sydd yn fwy manwl yn wybodaeth wyddonol—mewn esboniad ar ddeddfau ac egwyddorion, gael ei hystyried gan y gwir ddysgawdwr fel moddion i ddiben, y diben o alw allan alluoedd neillduol yn y dyn, a'u maethu â'r ymborth sydd yn gyfaddas iddynt. Y mae gwyddoniaeth a hanes, llenyddiaeth a chelfyddyd, i'w hystyried ganddo ef fel cynifer o allweddau i'r dealltwriaeth, gwir werth pa rai a orwedd, nid yn gymaint ynddynt eu hunain, ag yn y cynheddfau a'r galluoedd ysbrydol y maent yn ddatguddio ac yn ryddhau. Gallai yr athrawiaeth hon, yn wir, gael yn hawdd ei deall mewn camystyr. Yr ydym wedi ein gwneyd yn y fath fodd fel nad allwn byth wybod beth sydd o'n mewn ond trwy rywbeth sydd oddiallan. Y mae athroniaeth weithiau wedi bod yn cael ei beio fel pe buasai yn erchi i ddynion ymborthi ar eu rhannau bywydol eu hunain, neu nyddu gwëoedd pryf copyn o arbwylleg allan o'u meddwl eu hun; ond os oes unrhyw athroniaeth wedi gwneyd felly, nid allai fod yn wir athroniaeth, ac nid allai gyfrannu ond ychydig at addysgiaeth dyn: oblegid nid oes dim o'n mewn nad yw yn cyfateb i rywbeth y tuallan, ac, yn nhrefn dadblygiad y meddwl, rhaid i ni ei gael oddiallan cyn y gallwn ei gael oddifewn. Ni allwn ddadblygu meddyliau dynion ond trwy gyfrwng gwybodaeth o natur a'r natur ddynol. Ond tra y mae hyn yn wir, y mae yn fwy angenrheidiol rhoddi pwyslais ar y gwirionedd gwrthgyferbyniol, nad all un wybodaeth o'r hyn sydd oddiallan fod o ddim budd nes, nid yn unig y cymerwn hi i mewn i'n meddyliau, ond, a siarad felly, y bwytawn hi fel ymborth meddyliol, fel ag i'w gwneyd yn elfen yn ein bywyd mewnol, a bron yn rhan o'n hymwybyddiaeth o honom ein hunain. Prin y mae un math o wybodaeth o natur, a'r natur ddynol, nad ellir ei derbyn yn y fath fodd fel nad erys yn ddim ond fel pwysau ar y meddwl, gan dueddu yn hytrach i'w lethu, nag i beri iddo dyfu. Gellir dysgu gwyddoniaeth a hanes yn y fath fodd fel ag i gynhyrchu crachysgolheigion yn unig; gallai hanes gael ei hastudio fel

ag i ddadblygu Llwchsychion yn unig, sydd yn ymborthi ar gibau gwybodaeth, a byth yn dyfod i olwg y cnewyllyn. Fe'n rhybuddir yn fynych gan awdurdodau enwog am bwysigrwydd efrydiaeth ofalus a gwerthfawrogiad o ffeithiau, ac am beryglon damcaniaethu gwag; ac, o'i deall yn iawn, ni all fod gwers well. Ond yr amser presennol, yr ydym feallai mewn mwy o berygl o anghofio yr egwyddor Socrataidd fod gwybodaeth o ffeithiau yn werthfawr, yn ol fel y maent wedi peidio a bod yn gelfi marw yn y cof, ac y maent wedi eu bywhau gan weithrediad y dealltwriaeth. Am ffeithiau, y mae uwchlaw popeth yn wir na fywheir hwynt, ac na chynhyrchant fywhad yn y meddwl a'u derbynia, *oni bydd iddynt farw*, *i.e.*, nes yr ymborthir arnynt, y treulir hwynt, ac y'u troir i sylwedd byw y meddwl. Dywedodd un gwr ysmala unwaith: "Pryd bynag y cyfarfyddaf â ffaith na allaf ei chyfeirio at egwyddor gyffredinol, yr wyf yn ei phoeri allan o'm genau." Byddai hon, wrthi ei hun, yn rheol led beryglus i'w dilyn, canys ni allwn gyrraedd egwyddorion cyffredinol ond trwy sylweddoliad a thrawsffurfiad ffeithiau. Ond, a'i chymeryd fel yn dangos diffyg amynedd gyda'r agweddiad o dderbyn goddefol, yr agweddiad meddwl sydd yn gorffwys mewn ffeithiau, heb unrhyw ddymuniad i'w newid i feddyliau trwy ganfod eu perthynasau bywiol â ffeithiau ereill, y mae yn cynnwys gwirionedd na ddylai yr addysgydd byth ei anghofio.

Tra yn siarad wrth gynhulliad sydd yn cynnwys llawer o athrawon, yr wyf yn meddwl y gallaf gyfrif ar gydsyniad cyffredinol â gosodiad, gwirionedd pa un a argreffir ar fy meddwl i trwy fynych brofiad. Mae y dyn naturiol yn dueddol i fod yn segur; eto y mae yn gyffredin yn ewyllysgar i gymeryd bron unrhyw drafferth yn y ffordd o ddefod ac arfer, *routine*, yn hytrach na meddwl. Mewn cael ein hefrydwyr i feddwl am ystyr yr hyn a ddysgwyd iddynt, yr ydym yn cael yr ymdrech galetaf o lawer yn erbyn syrthni natur. Y mae dysgu arferion o ddiwydrwydd, cael efrydwyr i'w gwneyd eu hunain yn gynhefin â ffeithiau a syniadau neillduol fel ag i allu eu hadgynhyrchu gyda pharodrwydd pan fo eisieu, yn gymharol hawdd. Yr wyf wedi sylwi yn fynych yn fy nosbarth fy hun fod llawer,—ac yr wyf yn ofni fod y nifer yn cynhyddu dan y dulliau defod ac arfer o addysgiaeth sydd yn codi i'n trefn ysgol bresennol,—y rhai allant dderbyn, ïe derbyn yn ddeallus, ac adgynhyrchu pan y mynnant, unrhyw wers a roddwch iddynt; y rhai a gymerant i mewn eiriau eu hathraw—fel y mae Mephistopheles yn Faust yn cynghori y disgybl i wneyd,—bron fel pe byddent yn ddwyfol ysbrydoledig, ac a allant eu rhoddi allan drachefn gyda ffyddlondeb perffaith, ond a ymddanghosant yn amddifaid o'r gallu o ail-fwrw y meddwl a dderbyniant mewn unrhyw fold o'r eiddynt eu hunain, ac na feddyliant bron byth am dynnu casgliad na thynnir gan yr athraw. Yn awr, yn erbyn y derbyn diymadferth yma o wirionedd, y mae gan athrawon i ymladd fel peth sydd yn andwyol i bob gwir addysgiaeth. Y mae, yn anffodus, yn bosibl i efrydydd—yn neillduol os yw ei athraw yn foddlawn i ymostwng i gydweithredu âg ef—i basio yr holl wyddorau, llenyddiaethau, ac athroniaethau trwy ei feddwl gyda bron cyn lleied o effaith â phe bai y gwinoedd goreu yn pasio trwy bibell haiarn. Mae yn bosibl iddo ddyfod i gyffyrddiad â meddyliau Plato a Spinoza, Dante a Shakespeare, ac heb gario ond ychydig ymaith oddieithr fod golygiadau a drychfeddyliau neillduol yn cael eu datgan gan ysgrifenwyr neillduol,—ffaith, o'i derbyn felly, nad

yw o fawr fwy o arwyddocâd na'r ffaith fod cawod o wlaw wedi disgyn ddoe. Y mae weithiau yn peri math o anobaith i weled fel y gall y drychfeddyliau mwyaf arddunol, fel yma, fyned heibio i arwyneb meddwl un heb fod yn annealluus, a'i adael heb ddim dylanwad. A'r unig ffordd y gall yr arfer yma o oddefolrwydd gael ei gorchfygu neu ei lleihau gan yr athraw ydyw, trwy ymdrech barhaus i ryfela yn erbyn defod ac arfer ynddo ei hun yn gystal ag mewn ereill. Gallai fod dulliau yn angenrheidiol, ond dylem fod yn amheus o ddiogelwch dealltwriaethol unrhyw ddull fo'n rhy sefydledig. Hyd y bo yn bosibl, dylem ymdrechu yn barhaus i ail draethu i ni ein hunain o hyd mewn ffyrdd newyddion unrhyw wirionedd y ceisiwn ei gyflwyno i ereill, ac felly, cyn belled ag y bo yn bosibl, adweithio y duedd honno i ddysgu yn ol defod ac arfer, sydd yn farwol i bob dylanwad byw o eiddo un meddwl ar feddwl arall.

Un o'r pethau sydd yn maethu y duedd ddrwg am ba un y bum yn siarad, ydyw ein harfer ddiweddar o ddarllen diofal ac amrywiol. Yr ydym yn hawdd yn ffurfio yr arfer o gymeryd i mewn ystyr gyffredinol yr hyn a ddarllennwn, a chael mwynhad meddyliol ar y funud oddiwrtho, heb unrhyw ddirnadaeth wirioneddol neu fanol o'r hyn a dderbyniwn felly. Mae yn hynod fod Plato, mewn oes cyn bod llyfrau yn gyffredin, wedi cael y fath ymwybyddiaeth glir o'r perygl hwn. Mewn adran hynod yn y "Phaedrus," dyry y chwedl a ganlyn:—

Yn y ddinas Aifftaidd Naucratis yr oedd hen dduw enwog, enw yr hwn oedd Theuth; mae yr aderyn a elwir Isis yn gysegredig iddo, ac yr ydoedd yn ddyfeisydd llawer o gelfyddydau, megis rhifyddiaeth a chyfrifiad a geometri a seryddiaeth a gwyddbwyll a disiau; ond ei ddarganfyddiad mawr oedd defnyddiad llythrennau. Yn awr yn y dyddiau hynny Thamus oedd frenin ar yr oll o Aifft Uchaf, y rhanbarth sydd yn amgylchu y ddinas fawr honno a elwir gan y Groegiaid Thebes Aifftaidd, a galwant y duw ei hun Ammon. Ato ef daeth Theuth a danghosodd ei ddyfeisiau, gan ddymuno ar i'r Aifftiaid ereill gael caniatad i'w defnyddio; aeth drwyddynt, a Thamus a holai ynghylch eu gwahanol amcanion, ac a ganmolai rai o honynt ac a feiai y lleill, fel yr ydoedd yn eu cymeradwyo neu eu hanghymeradwyo. Ni fyddai o un diben adrodd yr oll a ddywedai Thamus wrth Theuth, wrth ganmol a beio y gwahanol gelfyddydau. Ond pan ddaethant at lythrennau, "Hyn," meddai Theuth, "a wna yr Aifftiaid yn fwy doeth ac a rydd iddynt well côf; oblegid dyma feddyginiaeth anghof a ffolineb." Thamus a atebodd, "O Theuth dra chywrain, nid yr hwn sydd yn meddu y ddawn i ddyfeisio bob amser yw y barnwr goreu o fuddioldeb neu anfuddioldeb ei ddyfeisiau i'r hwn sydd yn eu defnyddio. Ac yn yr achos yma y mae cariad tadol at dy blentyn dy hun wedi dy arwain i ddweyd yr hyn nad ydyw yn ffaith: oblegid fe greä y ddyfais yma o'r eiddot anghof yn eneidiau y rhai fydd yn dysgu, oblegid ni ddefnyddiant eu côf; ymddiriedant i'r llythrennau ysgrifenedig allanol, yn lle cofio o honynt eu hunain. Yr wyt wedi cael meddyginiaeth nid i gôf, ond i adgof, ac yr wyt yn rhoddi i'th ddisgyblion y rhith yn unig o ddoethineb; byddant yn wrandawyr llawer o bethau, ac ni fyddant wedi dysgu ond ychydig: ymddanghosant fel yn hollwybodol, ac yn gyffredin ni wyddant ddim; byddant yn flinderus, yn meddu y cymeriad o wybodaeth heb y sylwedd."

Yna â Socrates ymlaen i draethu ar y chwedl hon fel y canlyn:

Ni allaf lai na theimlo, Phaedrus, fod ysgrifennu yn anffodus fel arlunio: oblegid y mae creadigaethau yr arlunydd yn meddu agweddiad bywyd, ac eto, os gofynnwch iddynt gwestiwn, y maent yn cadw distawrwydd difrifol. A'r un peth ellid ddweyd am areithiau ysgrifenedig. Ti ddychmygit fod ganddynt ddealltwriaeth; ond os oes arnat eisieu gwybod unrhyw beth neu ofyn cwestiwn i un o honynt, mae y llefarwr bob amser yn rhoddi un ateb digyfnewid. A phan y maent unwaith wedi eu hysgrifennu i lawr, y maent yn cael eu lluchio o amgylch i unrhyw le ymysg y rhai sydd, ac ymysg y rhai nad ydynt yn eu deall. Ac nid oes ganddynt dawedogrwydd na gweddeidd-derau at wahanol fathau o

bersonau; ac os byddant yn anghyfiawn yn cael ymosod arnynt a'u cam drin, mae eisieu eu rhiant i amddiffyn eu hiliogaeth, oblegid ni allant gadw ac amddiffyn eu hunain." A Socrates ymlaen i ychwanegu "fod math arall o ysgrifennu sydd yn llawer gwell, sef yr un sydd wedi ei gerfio yn enaid yr hwn sydd wedi dysgu, ac a all ei amddiffyn ei hun, ac a ŵyr pryd i siarad a phryd i fod yn ddistaw;" a dyna'r math o ysgrifennu ar ba un y mae y gwir athraw yn rhoddi ei holl ymdrech. "Yng ngardd llythrennau fe blanna had gwybodaeth yn unig er difyrrwch, neu fe'u hysgrifenna i lawr fel cofnodion erbyn anghof henaint, i'w trysori iddo ei hun a'i gyfoedion, pan y maent hwy, fel yntau, ag un troed yn y bedd." Ond ei waith difrifol a fydd "impio a hau mewn eneidiau cydnaws eiriau a fydd abl i'w helpu eu hunain a'r hwn a'u plannodd, geiriau nad ydynt anffrwythlon, ond a feddant ynddynt hadau allant ddwyn ffrwyth yn natur ereill, wedi ei facthu mewn ffyrdd ereill,—gan wneyd yr had yn dragwyddol, a'i berchenogion yn ddedwydd hyd derfyn eithaf dedwyddwch dynol."

Yma, fel y sylwch, y mae Plato yn dangos anymddiried mewn llyfrau o'u cymharu ag addysgiaeth y gair byw, a hynny am ddau reswm: yn gyntaf, fod llyfr yn analluog i gyfarfod anhawsterau ei ddarllennydd; ac yn ail, ei fod yn dueddol i gefnogi ynddo oddefolrwydd o dderbyniad, na chaniateid gan unrhyw ddysgawdwr da. O ganlyniad y mae Plato yn gosod dirfawr bwys ar gymundeb meddwl a meddwl yn y gweithiad a'r adweithiad hwnnw o gwestiwn ac ateb, i ba un y dyry yr enw *dialectic,* arbwylleg; ac ymddengys ei fod wedi rhagsynio, ar ol ei amser ef, y cedwid ymlaen fywyd athroniaeth o oes i oes, nid trwy lyfrau, ond trwy draddodiad byw yr Ysgol, ymha un y mae dealltwriaeth y disgybl yn barhaus yn cael ei fywhau trwy ddylanwad uniongyrchol yr athraw, ac y mae meddwl yr athraw yn cael ei gynhyrfu i ymdrechion newyddion o feddwl gan adweithiad y disgybl.

Yn awr, wrth reswm, y mae mesur o unochredd yn y golygiad yma, a gallem ameu fod Plato yn y "Phaedrus" yn ceisio rhoddi nerth i'w syniad trwy ychydig o ormodiaith ysmala. Sut bynnag, mae y gorwneyd ar y peth yn ddefnyddiol, fel yr adgofia ni am ddau beth: yn gyntaf, ein bod yn talu pris neillduol am fawr ledaeniad llenyddiaeth, cyn belled ag y cefnoga gymeryd i mewn syniadau a ffeithiau heb unrhyw adweithiad byw o feddwl arnynt. Fel hyn yr ydym yn gorfod talu am ledaeniad mwy o'r dylanwadau sydd yn peri diwylliad, trwy wanhâd eu dwyster. Ac yn yr ail le, y mae yn ddefnyddiol fel y mae yn ein dwyn yn ol at y gwirionedd elfennol fod gwir werth addysgol gwybodaeth, wedi'r cwbl, yn gorwedd yn ei dyfodiad atom fel datganiad byw meddwl gweithgar yr athraw, yr hyn sydd yn cynhyrfu gweithgarwch cyffelyb yn y disgybl. Ni allwn yn rhy fynych gofio, boed ein peirianwaith yr hyn a fo, y rhaid i ni yn y diwedd ddyfod yn ol at ddylanwad cynhyrfiol meddwl ar feddwl, fel sail gyntaf pob gwir addysgiaeth. A pho fwyaf y cynhydda ein cyfaddasiadau anuniongyrchol, po mwyaf y cynorthwyir ni gan lyfrau a chynorthwyon addysgol ereill, mwyaf yr ydym mewn perygl o osod peirianwaith yn lle y nerth ysgogol, a darostwng gwybodaeth i draddodiad marw yn lle gallu byw.

Yr wyf wedi aros cŷd ar yr elfennau sydd yn gyffredin i Socrates a Phlato, fel nad ydwyf wedi gadael i mi fy hun, mewn cymhariaeth, ond ychydig le i egluro ymhellach y rhai sydd yn perthyn yn arbennig i Plato. Y prif wahaniaeth, fodd bynag, ydyw yr un y cyfeiriais ato eisoes. Mae Socrates yn edrych yn bennaf ar addysgiaeth yn yr ystyr gelfyddol, *h.y.*, ar ymwneyd uniongyrchol athraw proffesedig â disgybl sydd yn derbyn ei hyfforddiadau,—hyfforddiadau a gyfeirir, yn bennaf os nad

yn gwbl, at ddealltwriaeth ymwybodol y disgybl,—tra nad ydyw Plato yn ystyried addysgiaeth yr ysgol ond yn unig fel rhan o addysgiaeth ehangach bywyd. Am y gwahaniaeth yma nid ydyw yn anhawdd rhoddi cyfrif: oblegid Socrates oedd un o'r rhai cyntaf i ddal yr angenrheidrwydd am addysgiaeth wahanol i hyfforddiant anymwybodol y teulu a'r wladwriaeth; ac, fel y digwydda yn fynych gyda phroffwydi gwirioneddau newyddion, fe'i harweiniwyd mewn ffordd oedd braidd yn unochrog, i ddal mai y cyfryw addysgiaeth yn unig sydd werthfawr, ac hebddi, nad ydyw pob addysgiaeth arall yn werth dim. Ei ddywediad tra adnabyddus, "Rhinwedd sydd wybodaeth," a olygai nad oes rinwedd gwerth yr enw, dim rhagoriaeth moesol neu ddealltwriaethol, nad ydyw yn seiliedig ar ymwybyddiaeth clir o'r *Summum Bonum*, "diben pennaf" dyn. Ac fel na ellid deffro y fath ymwybyddiaeth ond trwy addysgiad uniongyrchol, neu o leiaf trwy addysgiaeth a alwai allan ymarferiad galluoedd myfyrgar dyn, yr oedd yn naturiol i Socrates esgeuluso, neu roddi rhy ychydig o werth ar bwysigrwydd y math hwnw o addysgiaeth sy'n ddyledus i ddylanwadau distaw, anymwybodol, y cylcheddau cymdeithasol. Mae Plato yn ymgymeryd â chywiro yr unochredd hwn; ac am ei fod yn ceisio ei gywiro, y mae yn gosod ei ddamcaniaeth o addysgiaeth o'n blaen, nid yn ffurf disgrifiad athraw perffaith, neu ysgol neu athrofa berffaith, ond yn y ffurf o Wladwriaeth berffaith. Mae yr ysgol, dybia efe, yn burion yn ei lle; ond ni all wneyd ond ychydig, os dim, i addysgu dynion, oddieithr fod holl drefn gymdeithasol bywyd wedi ei gosod yn y fath fodd fel ag i ategu ei gwaith. Dyma yn ei olwg ef ydyw gwir orchwyl gwladweiniaeth. O ganlyniad condemnia wleidyddiaeth ei oes fel yn awchus am elw, ac nid oedd gwleidyddwyr mwyaf Athen iddo ef ond hocedwyr, am eu bod yn ei wneyd yn brif orchwyl iddynt i orwychu Athen, ac nid i'w haddysgu. Cymeryd y fath ddynion fel gwladweinwyr, oedd fel cymeryd cogydd sydd yn gwenieithio i'n harchwaeth, yn lle y meddyg sydd yn erchi yr ymborth a'r driniaeth a sicrhâ ein hiechyd. Dadblygiad cyson y golygiad yma ar wleidyddiaeth yw yr hyn sydd yn bennaf yn gwneyd cymeriad dyrchafedig y Wladwriaeth Blatonaidd, ac sydd yn arwain i lawer o'r cynhygion a wneir ynddi, y rhai sydd yn ymddangos i ni yn afreolaidd. Felly am y dieithr-air mawr â pha un y synnodd Plato ei amser—Na bydd gwleidyddiaeth byth wedi ei gosod ar sail iawn nes y bydd athronwyr yn frenhinoedd neu frenhinoedd yn athronwyr,—nid ydyw ond datganiad cryf o'r egwyddor mai gwaith mawr bywyd, ac am hyny gwaith mawr gwleidyddiaeth, ydyw addysgiaeth. Eto hyn sydd hefyd yn rhoddi i'r Wladwriaeth ei harwedd sydd yn arbennig ddiweddar, ac yn ei chodi o fod yn drafodaeth ar gwestiynau perthynol i ffurf o fywyd gwleidyddol sydd wedi hen ddiflannu, i fod yn ymofyniad o ddyddordeb parhaus i natur ac amcanion cymdeithas ddynol. Mae yr hyn sydd yn ymddangos fwyaf gwagdybiol yn namcaniaethau gwleidyddol Plato, yn ddyledus i'r ffaith ei fod yn ceisio gosod o'n blaen, dan derfynau Gwladwriaeth Roegaidd, gynllun perffaith, at yr hwn nad ydyw holl ysgogiad hanesiaeth ddynol yn dangos ond yn unig ddynesiad araf a graddol,—y drychfeddwl o gymdeithas wedi ei threfnu yn berffaith er addysgiaeth foesol a dealltwriaeth i'r holl ddinasyddion. Ond os tynnwn ymaith y neillduolion sydd yn codi o'r fold gyfyngol i ba un y bwriai Plato ei feddyliau, ni allwn lai na chanfod fod drychfeddwl sylfaenol y Wladwriaeth yn un sydd yn

gynwysedig mewn unrhyw olwg uchel ar ddibenion cymdeithas wleidyddol, a'r rhai a sylweddolir yn y fath gymdeithas yn ol graddau ei rhagoriaeth.

Ni chaniatâ amser i ni ddangos fel y mae Plato yn gweithio allan ei ddrychfeddwl mewn manylion. Ond i egluro yr hyn a ddywedais, mi garwn gyfeirio yn fyr at un pwynt sydd yn arbenigrwydd ar gyfansoddiad y Wladwriaeth fel traethawd addysgol. Yn y Wladwriaeth, y mae Plato yn rhannu y cwrs o addysgiaeth y mae ei ddinasyddion i fyned trwyddo, i ddwy adran fawr, yn y gyntaf o ba rai y mae addysg yn cael ei rhoddi trwy gyfrwng barddoniaeth a chelfyddyd, tra yn yr olaf y mae yn cael ei rhoddi trwy wyddoniaeth ac athroniaeth. Mi allwn, feallai, wneyd y drychfeddwl yma o eiddo Plato yn fwy dealladwy trwy gyfeirio at ddadl y dyddiau hyn gyda golwg ar werth cymharol hyfforddiad clasurol a llenyddol ar y naill law, a dysgu gwyddoniaeth ar y llaw arall. Golygiad Plato ydyw y rhaid i addysgiaeth *gyntaf* dyn fod trwy y dychymyg, ac am hynny trwy gelfyddyd a llenyddiaeth; tra y dylai yr addysgiad gwyddonol ddyfod yn ddiweddarach, fel paratoad at athroniaeth, yr hon a ddylid ddysgu olaf oll. Y mae yn dal, gan hynny, fod addysgiaeth lenyddol neu farddonol, *ac* un wyddonol neu athronyddol, yn angenrheidiol, o leiaf i'r oll o'r rhai sydd yn alluog o'r diwylliad uchaf; ond y rhaid i addysgiaeth farddonol ddyfod yn gyntaf, oblegid ar y dechreu nid ydyw dynion yn alluog i dderbyn gwirionedd ond trwy y dychymyg, ac nid trwy y rheswm. Neu fel y gesyd ef y peth ar un achlysur, rhaid i ddynion ddysgu anwirionedd cyn dysgu gwirionedd: rhaid iddynt agor eu meddyliau trwy ffugiant ardderchog, ffugiant o dan orchudd pa un y mae gwirionedd yn cael ei hanner ddatguddio a'i hanner gelu, tra eto nad yw eu hysbrydoedd yn barod i edrych ar wyneb di-orchudd gwirionedd, fel y mae yn cael ei ddangos mewn gwyddoniaeth ac athroniaeth. Mae y ffugiant, neu yr anwirionedd ardderchog yma, wedi rhoi tramgwydd i rai darllenwyr; ond yr hyn y ceisia Plato ddangos trwyddo ydyw yn syml, y rhaid i'r cychwyniad cyntaf i wirionedd sydd uwch nag ymddanghosiad uniongyrchol, gymeryd lle trwy oruchwyliaeth celfyddyd a barddoniaeth, y rhai sydd yn newid ac yn trawsffurfio yr ymddangosiadau hynny yn y fath fodd fel ag i beri iddynt awgrymu ystyr uwch. Mae y prydferth, yn y lle cyntaf, yn ganfyddadwy i'r synhwyrau; ond trwyddo ef y dyrchefir ni gyntaf uwchlaw yr hyn sydd synwyryddol, ac y cawn fod sylweddolrwydd ysbrydol yn cael ei awgrymu i ni. Yr ydym yn trosglwyddo gwirionedd moesol i blentyn trwy ystori neu ddarlun, oblegid nad ydyw meddwl y plentyn eto wedi ei gymhwyso i ymaflyd yn neddfau ac egwyddorion cyffredinol pethau. Felly celfyddyd, barddoniaeth, llenyddiaeth ydynt i Plato yr offer angenrheidiol, wedi eu benthyca o fyd y synhwyrau ei hunan, trwy ba rai y mae dynion i gael eu rhyddhau odditan iau y synhwyrau. O ganlyniad, ei gynhygiad cyntaf er addysgiaeth ei ddinasyddion ydyw diwygio a phuro eu barddoniaeth a'u chwedloniaeth, fel ag i beri iddynt drosglwyddo gwell syniadau am natur y duwiau ac am fywyd dyn. Wedi cychwyn i'r pwynt yma, â Plato ymlaen i alw ar fod popeth yng nghylcheddau cymdeithasol ei ddinasyddion, yn gydgordiol a phrydferth. O ganlyniad, y mae, nid yn unig yn gosod i lawr ddeddfau i farddoniaeth a chelfyddyd yn yr ystyr fwy cyfyng, ond haera yn gyffredinol fod "absenoldeb dillynder a chydgord a

chynghanedd, mewn cyfathrach agos ag arddull ddrwg a chymeriad drwg; tra y mae eu presenoldeb mewn cyfathrach â, ac yn ddatganiad o'r cymeriad gwrthwynebol, yr hwn sydd wrol a phwyllog." Ac ymresyma, gan mai felly y mae, na ddylem yn unig osod i lawr ddeddfau i feirdd, a'u "gorfodi i arosod ar eu cynhyrchion gyffelybrwydd cymeriad da, dan boen peidio cyfansoddi yn ein plith, ond y dylem estyn ein harolygiaeth at broffeswyr pob galwedigaeth arall hefyd, a gwahardd iddynt arosod arwyddion natur ddrwg, afradlonedd, baweidd-dra, ac anwedduster, nac ar gyffelybrwydd creaduriaid byw nac ar adeiladau, nac ar ddim o waith eu dwylaw." "Canys ni fynnem i'n dinasyddion dyfu i fyny ymysg delwau o anferthwch moesol, fel mewn porfa niweidiol, ac yno frigbori ac ymborthi ar lawer blodeuyn gwenwynig ddydd ar ol dydd, ychydig ar ol ychydig, nes y distaw gasglant bentwr andwyol o lygredigaeth yn eu henaid eu hun. Ni a ddylem, i'r gwrthwyneb, geisio allan gelfyddwyr o fath arall, a feddant ddawn i ganfod gwir natur prydferthwch a dillynder; fel y gallo ein gwyr ieuainc, gan gyfaneddu mewn rhanbarth iachus, yfed i mewn ddaioni o bob cyfeiriad lle y gallo unrhyw ddylanwadau oddiwrth weithiau ardderchog daro ar eu clust neu eu llygaid, fel awel yn chwifio iechyd o wledydd iachusol, a'u hennill yn ddiarwybod o'u plentyndod cyntaf i gynghanedd â phrydferthwch rheswm." "Gadewch i mi wneyd caniadau cenedl, a gwnaed y neb a fynno ei chyfreithiau." Yn ysbryd y dywediad hwn, dywed Plato nad ellir gwneyd cyfnewidiadau ym marddoniaeth neu gelfyddyd cymdeithas, na effeithiant yn hanfodol ar y sefydliad cymdeithasol a gwleidyddol mwyaf pwysig, oblegid "yma," meddai, "y mae penrhyddid yn ymlusgo i mewn, yn rhith difyrrwch, a chan broffesu peidio gwneyd dim niwed. 'Peth bychan ydyw,' meddai dynion, 'pa ddrwg a all wneyd?' Ond yn raddol y mae dylanwad drwg yn cael lle ym meddyliau dynion, ac yn cyfnewid eu hymddygiadau a'u cymeriadau: oddiwrth y rhai hyn drachefn, â allan gyda gallu mwy, a gweithia ei ffordd i'w hymwneyd â'u gilydd: yna â ymlaen i ymosod ar eu cyfreithiau a'u cyfansoddiadau, nes y diwedda trwy ddymchwelyd holl drefn y wladwriaeth. Ar y llaw arall, pan y mae ein plant, gan ddechreu gyda difyrrwch iawn, wedi derbyn teyrngarwch i'w meddyliau, trwy offerynoliaeth cerddoriaeth, mae y canlyniad yn gwbl groes i'r un blaenorol: oblegid â teyrngarwch gyda hwynt i bopeth, a hyrwydda eu cynnydd, fel ag i godi i fyny drachefn unrhyw sefydliad gwleidyddol angenrheidiol a allo fod wedi syrthio i lawr."

Gallai y dyfyniad hwn ddangos mor drwyadl y mae Plato yn cario allan yr olwg addysgiaethol ar fywyd, gan fyned yn ol at chwareuon plentynaidd, ac ymlaen at addysgiad uchaf yr athronydd. Nid oes yn awr amser i draethu arni ymhellach nag eto i nodi fel y mae yn cyflenwi ac yn perffeithio yr hen syniad Groegaidd a ddatganwyd gan Pythagoras, pan, mewn atebiad i rïant, a ofynnai pa fodd i roddi yr addysgiaeth oreu i'w fab, yr atebodd: "Trwy ei wneyd yn ddinesydd Gwladwriaeth dda." Yr hyn a fynnai Plato ddangos ydyw, os ydyw addysgiaeth dda yn yr ystyr gelfyddol—yr addysgiaeth sydd yn waith yr ysgol a'r athrofa—yn llawer, eto nad all gynhyrchu unrhyw effaith arhosol, oddieithr mor bell ag y mae yn seiliedig ar ac yn gysylltiedig ag iawn foldiad holl drefn bywyd,—teuluaidd, cymdeithasol, a gwleidyddol. O safle ddealltwriaethol, ac yn fwy fyth o safle foesol, nid ydyw addysgiaeth yn yr ystyr yma i'w hystyried ond fel parhad a helaethiad dylanwad sefyllfa

dda ar gymdeithas, yr hon a gadarnha ac a ddadblyga ymhellach fyth. Fel y rhaid i ni beidio edrych ar athraw fel swynwr a all roddi llygaid i'r deillion, ond yn unig fel un sydd yn addysgu gallu o weilediad sydd eisoes yn bod, felly rhaid i ni ystyried ei fod yn amhosibl iddo gynhyrchu unrhyw wellhad bywiol, nac mewn ymddygiadau na moesau, na hyd yn oed ddealltwriaeth, os ydyw bywyd y tu allan i'r ysgol yn wael a chul. Fe fydd i'r athraw goreu addysgu yn ofer, os ydyw y byd yn barhaus yn dadwneyd ei addysgiad. Yn ofer yr ymdrecha gyfrannu "goleuni a phereidd-dra," os ydyw calonnau dynion wedi eu chwerwi gan ddylanwadau cymdeithasol drwg, ac os yr egwyddor uchaf a gydnabyddir mewn cymdeithas ydyw yr efengyl Sophistaidd o lwyddiant ar unrhyw draul. Fel hyn y mae Plato yn dysgu i ni wers—ar ba un y mae holl brofiad y byd er ei amser ef wedi bod yn esboniad,—fod y cwestiwn o addysgiaeth yn rhan o gwestiwn cymdeithasol ehangach, ac na fydd y croesgadiad yn erbyn anwybodaeth—o ba un y mae yr holl Ddeddfau Addysgol a Deddfau Prifysgol a Mesurau Brifysgol yn rhanau—byth yn effeithiol, oddieithr i ni fel cenedl ymroddi, gyda difrifwch na ddangosasom erioed eto, i helaethu moddion gwellhad i bob dosbarth; i sicrhau aneddau iachus a glan, difyrion pur a dyrchafedig, a chyfleusterau diwylliad dealltwriaethol a moesol; oddieithr, mewn gair, i ni grynhoi ein hegnïon at y dasg fawr o wneyd y rhai a fu hyd yma yn gymynwyr coed ac yn wehynwyr dwfr,—slafiaid ein gwareiddiad,—yn gyfranogion, neu yn alluog o fod yn gyfranogion yn etifeddiaeth fawr dyn, oddiwrth ba un y maent ers cyhyd o amser wedi eu cau allan. Plato ydyw un o ddysgawdwyr cyntaf y wers hon, mor bell ag y danghosodd fod addysgiaeth a bywyd yn hanfodol wedi eu rhwymo ynghyd, ac mai ofer ceisio dyrchafu y gyntaf oddieithr i ni hefyd edrych at yr olaf. Ond wedi ei lyffetheirio gan ragfarn Roegaidd, daliai Plato nad oedd y bywyd uwch yma yn bosibl ond i ddosbarth bychan o ddinasyddion Groegaidd diwylliedig. Y mae Cristionogaeth ar unwaith wedi lledu y cwestiwn a'i wneyd yn fwy penodol, trwy ddysgu nad all fod gwir ddyrchafiad i unrhyw ddosbarth oddieithr bod holl lefel bywyd iawn yn cael ei dyrchafu.

Mae y wers ar ba un yr ydwyf wedi bod yn pwyso yn un a awgrymir yn naturiol gan y lle yn yr hwn yr ydwyf yn fy nghael fy hun heddyw. Y mae bodolaeth colegau taleithiol fel hwn, fel canolbwyntiau goleuni mewn rhannau neillduol o'r wlad hon, yn un o'r pethau sydd yn dangos nad ydyw y genedl mwyach yn foddlawn i gael math o faes cadw i ddysgeidiaeth mewn un neu ddwy o Brifysgolion mawrion; ond ei bod yn ceisio cario gwybodaeth a diwylliad at ddrws pob dyn, a gwneyd yn sicr y gall, ar draul gymhedrol, ddyfod yn feddiant pob un a ddymuno hynny. Y mae yn un o'r argoelion goreu am ddyfodol y wlad i weled bywyd fel yma yn ymdywallt o'r galon trwy ei holl aelodau. Y mae yn un sydd o'r addewid uchaf, ïe i fywyd gwybodaeth ei hunan. Nid ydyw gwir wybodaeth, fel pob un o'r perchenogaethau uchaf, yn feddiant sicr ond i'r rhai sydd yn barod ac yn awyddus i'w chyfrannu i ereill; ac ym mhethau yr ysbryd, yr ydym yn cynhyddu yn unig wrth roddi ymaith ein trysorau.

# NATUR A PHERSON.

MAE yn amlwg fod gwahaniaeth rhwng Natur a Pherson. Ond un peth yw deall fod gwahaniaeth rhwng y naill wrthrych a'r llall, peth arall, pur wahanol, ydyw medru ei egluro a'i ddangos. Ac y mae y gwahaniaeth rhwng rhai pethau mor hynod o ddibwys fel mai coll amser fyddai ceisio ei egluro. Eithr nid felly gyda'r mater hwn. Nid "hollti blewyn" ydyw amcanu dangos y berthynas a'r gwahaniaeth sydd rhwng yr hyn a olygir wrth y ddau air a gysylltir a'u gilydd yn nechreu hyn o ysgrif. Nid cwestiwn i foddhau cywreinrwydd ydyw, ond un ag y mae iddo le o bwysigrwydd mawr, a hynny yn y wyddor uchaf mewn bod, sef Duwinyddiaeth. Deil berthynas agos ag athrawiaeth y Drindod, ar un llaw, ac â'r athrawiaeth am Berson y Cyfryngwr, ar y llaw arall; ac y mae y Trosglwyddwyr *(traducianists)* a'r Sylweddolwyr *(realists)* yn gwneyd cryn ddefnydd o hono wrth egluro yr athrawiaeth am Ddyn yn ei gyflwr creadigol, a'i wrthgiliad oddi wrth Dduw. Gwelir gan hynny, mai nid tegan duwinyddol ydyw, ond cwestiwn sydd yn dra theilwng o'n hystyriaethau manylaf a difrifolaf. Er hynny, nid rhyw lawer o sylw a dalwyd iddo yn flaenorol i'r ddadl Nestoraidd ar Berson Crist yn y bumed ganrif. Mae yn wir fod Tragwyddol Fabolaeth Mab Duw a'i Natur Ddwyfol, wedi cael cryn sylw mewn cysylltiad a'r ymdriniaeth ar athrawiaeth y Drindod cyn hynny; ond ni ddaeth ymddanghosiad hanesyddol y Gair Ymgnawdoledig—y berthynas rhwng y ddwy Natur yn ei Berson, ynghyd a'r gwahaniaeth sydd rhwng Natur a Pherson,—ni ddaeth y pethau hyn yn destynau ymofyniad neillduol hyd nes y cynhyrfwyd yr Eglwys gan syniad cyfeiliornus Nestorius, Esgob Caer Cystenyn. Honnai y gŵr hwn fod Iesu o Nazareth a Mab Duw yn ddau berson gwahanol, fel yr oedd yr Ysbryd Glân a'r proffwyd a ysbrydolid ganddo yn ddau. Ond cawn fantais i alw sylw y darllenydd at hyn ymhellach ymlaen.

Mae o fewn cylch eang bodolaeth lawer o naturiaethau amrywiol; eithr nid oes, hyd y gwyddom ni, ond tair ag y mae *personoliaeth* yn perthyn iddynt. Y rhai hynny ydynt, y natur Ddwyfol, y natur angylaidd, a'r natur ddynol. Mae y flaenaf yn anfeidrol a digrëedig, y ddwy ereill yn feidrol a chrëedig; y flaenaf yn ddiddechreu yn gystal ag yn ddiddiwedd, y ddwy ereill yn ddiddiwedd, er nad yn ddiddechreu. Mae y gyntaf yn meddu bodolaeth angenrheidiol ac annibynnol; ond nid yw y lleill felly. Dibynna pob peth ar yr Anfeidrol, ond nid yw Efe yn dibynnu ar neb. Gwâd rhai fodolaeth y Duw Hwn; gwâd ereill ei bersonoliaeth; ond y mae Natur a Datguddiad yn profi pob un o'r ddau. Danghosir fod yr Un Mawr a Digrëedig yma wedi rhoddi bod i ddwy o naturiaethau sydd yn tebygu iddo Ef ei Hun o ran ysbrydolrwydd a phersonoliaeth. Mae dynion ac angylion yn fodau personol.

Ond beth yw y berthynas a'r gwahaniaeth sydd rhwng Natur a Pherson? Beth yw Natur? Beth sydd yn gwneyd i fyny Bersonoliaeth? Pa berthynas sydd rhwng natur ddynol a pherson dynol? Pa wahaniaeth sydd rhwng natur Ddwyfol a pherson Dwyfol? Ceisio ateb y gofynion hyn fydd ein hamcan yn y sylwadau dilynol.

Mewn ystyr gyffredinol, natur gwrthrych yw yr hyn sydd yn ei wneyd y peth yw. Natur Duw ydyw ei Hanfod, neu yr hyn sydd yn

peri ei fod, yn dragwyddol ac o angenrheidrwydd, yr hyn ydyw. Natur y corph, natur yr enaid, natur anifeiliaid, a natur llysiau a phlanhigion, yw y peth hwnnw sydd yn eu gwneyd yr hyn ydynt. Nis gall y pren fod yn anifail, na'r anifail yn ddyn, na'r dyn yn angel, heb newid ei natur yn hollol. Mae y gwrthrychau hyn y peth ydynt o herwydd eu natur; ac y mae eu natur yr hyn ydyw oherwydd Ewyllys grëadigol Duw. Nid oeddynt yn bod erioed; bu dechreuad iddynt. Nid damwain sydd yn rhoddi cyfrif am danynt, ac nid dadblygiad; ond ewyllys y Crëwr Dwyfol, "o'r Hwn, a thrwy yr Hwn, ac i'r Hwn y mae pob peth." Natur gwrthrych yw y sylwedd sydd fel yn gorwedd dan y priodoleddau a'r ansoddau a berthyn iddo, ac yn eu gwneuthur yn bosibl. Dywedai rhai o'r Ysgolwyr mai sylwedd yw yr hyn sydd yn bod yn annibynnol ac o hono ei hun; eithrnid yw hyn yn gywir ond yn unig yn ei berthynas a'r Hanfod Dwyfol. Duw yn unig sydd yn annibynnol ac yn bod o hono ei Hun. Y mae i bob sylwedd fodolaeth wirioneddol; a dyma ydyw gwaelod neu sylfaen priodoleddau ac ansoddau. Ni cheir ansoddau a phriodoleddau ar wahan oddiwrth sylweddau sydd yn bod yn wirioneddol. Nis gallwn feddwl am galedwch ar wahan oddiwrth ryw sylwedd sydd yn galed. Yr un modd am bethau ereill. Dau fath o sylweddau sydd yn bod, rhai ysbrydol a rhai materol. Gwyddom fod rhai sylweddau yn gelyd, ereill yn feddal; rhai yn meddu ffurf, ereill yn hollol ddiffurf; rhai y gall y synhwyrau corfforol weithredu gyda golwg arnynt, ac ereill drachefn tu allan i gylch eu gweithrediadau. Gall y pum synwyr weithredu gyda golwg ar sylweddau materol a gweledig; ond nis gallant wneyd hynny ynglyn â sylweddau ysbrydol ac anweledig. Mae enaid y dyn yn sylwedd mor wirioneddol a'i gorff, a mwy felly; eithr nis gellir ei weled, ei deimlo, na'i arogli. Yn awr, y ddau sylwedd hyn—corff ac ysbryd, mater a meddwl—mewn undeb â'u gilydd, sydd yn cyfansoddi natur dyn. Ond beth a feddylir wrth natur ddynol, fel y mae i'w gwahaniaethu oddiwrth berson dynol? Dywed rhai mai sylwedd ydyw yn meddu priodoleddau anianyddol rhesymol, moesol, ac ysbrydol; ond sylwedd amhersonol yn flaenorol i genhedliad. Mae Dr. Schaff yn ateb y cwestiwn fel hyn:—"Mae natur, sylwedd, neu hanfod, yn golygu yr *oll* o'r galluoedd a'r ansoddau sydd yn cyfansoddi bod; tra mae *person* yn golygu yr Ego, y Myfi, neu y gwrthrych ymwybyddol a gweithredol. Yn ol hyn, mae natur ddynol, ar wahan oddiwrth bersonoliaeth dynol, yn sylwedd, yn *entity*, a grëwyd gan Dduw yn a chyda y ddau aelod cyntaf o deulu mawr dyn. Mae y sylwedd hwn yn cynnwys hedyn holl briodoleddau y natur. Nid peth a chwanegir at neu a unir a dyn yw natur ddynol; o herwydd nid yw dyn, hynny yw, *person* dynol, yn ddim ond ffurf ar y natur ddynol. Eglurir hyn gan Shedd trwy y gymhariaeth ganlynol:—"Meddylier am lwmp o glai wedi ei dorri o delpyn arall mwy, a'i foldio i ffurf cwpan. Mae i'r cwpan ffurf benodol a neillduol iddo ei hun. Neu yn hytrach, y mae i'r clai sydd yn ei gyfansoddi ffurf felly, y fath na feddai cyn ei dorri o'r dernyn mwy, a'i ffurfio ar lun cwpan. Ond er fod ei ffurf yn wahanol, y mae y cwpan yn meddu holl briodoleddau clai o hyd, megis estyniad, lliw, elfennau mwnaidd, &c Eto, nid y clai a adawyd ar ol yn y telpyn yw y clai sydd yn cyfansoddi y cwpan; ac nid y clai sydd mewn cwpanau ereill a dorrwyd o'r un telpyn ydyw. Ac nid clai *di*-briodoledd ydyw chwaith, at yr hwn y chwanegir nifer o briodoleddau perthynol i'r telpyn o'r hwn

y cymerwyd defnydd y cwpan. Rhan o'r un telpyn ydyw, yn meddu holl briodoleddau clai, ond gyda ffurf benodol a neillduol iddo ei hun!"* Pan greodd Duw Adda ac Efa, fel y sylwa yr awdwr uchod, fe greodd y natur ddynol, neu y rhywogaeth, ynddynt a chyda hwy. Yn ol cymhariaeth y clai a'r cwpan, dygwyd i fod y pryd hwnnw delpyn mawr a chyffredinol y natur, o'r hwn y mae holl feibion a merched y byd wedi tarddu. Felly, un gwahaniaeth rhwng natur a pherson yw yr un sydd rhwng sylwedd a ffurf. Mae sylweddau materol yn bodoli cyn rhoddi ffurf neillduol iddynt. Nid yw y gadair ar yr hon yr ydym yn eistedd, ond ffurf neillduol ar y goeden oedd yn bod o'r blaen; ac nid oedd y goeden ond ffurf benodol ar fywyd llysieuol, yr hon oedd yn bod cyn i'r goeden ddechreu tyfu. Yr un modd am y plwm sydd yn ein pwyntel, y dillad sydd am danom, yr esgidiau sydd am ein traed, yr ymborth sydd ar ein byrddau, a'r arian a'r aur sydd yn digwydd bod weithiau yn ein llogellau. Nid yw y pethau hyn oll yn ddim ond ffurfiau penodol a roddir gan natur a chelfyddyd ar sylweddau oedd yn bod yn flaenorol. Yn gyffelyb am y natur ddynol, y mae hithau yn bod cyn rhoddi ffurf unigol a phersonol arni trwy genhedliad. Sylwedd amhersonol ydoedd fel y crewyd hi gan Dduw ar y dechreu yn a chydag Adda ac Efa. "Nid yw personoliaeth yn rhan hanfodol ac angenrheidiol o'r natur," meddai Turrettin, "ond y pwynt at yr hwn y mae yn gogwyddo." Ond wrth ddweyd mai sylwedd amhersonol ydyw, o'i hystyried yn syml fel y crewyd hi ar y cyntaf, mewn ystyr gymhariaethol yn unig y deallir hyn. Oherwydd nid yw yn hollol felly, fel y mae natur yr anifail, neu fel y mae mater anorganaidd. Mae y natur anifeilaidd yn gwbl amddifad o ddefnydd personoliaeth; yr un modd am fater anorganaidd yn ei holl amrywiol ffurfiau. Beth bynnag ddywedo rhai dadblygwyr, nis gellir profi byth fod y cydrywiol (*homogeneous*) yn newid i'r gwrthrywiol (*heterogeneous*). Mae yr hen ddeddf gyffredinol yn dal i weithio o hyd,—cyffelyb yn cynhyrchu cyffelyb,—llysiau yn cynhyrchu llysiau, ac anifeiliaid yn cynhyrchu anifeiliaid. Mae yr hedyn llysieuol a roddir yn y ddaear yn dadblygu i wreiddyn a phaladr; ond y mae y ddau, y gwreiddyn a'r paladr, yn llysieuol o ran eu natur, ac nid yn anifeilaidd. Nid oes gennym hanes am lysieuyn yn troi yn anifail, nac anifail yn ddyn. Ymysg holl rywogaethau amrywiol lysiau ac anifeiliaid, nid oes dim ag y gellir ei alw yn ddefnydd personoliaeth. Ond tra mae y natur ddynol, o ran y cyfanswm o honi, yn llai personol na pherson dynol, eto y mae yn meddu priodoleddau personolrwydd; ac oblegid hynny y mae ynddi ei hun fel natur syml, yn gyfaddas i gymeryd ffurf unigol a phersonol. Nid yw yn dyfod yn weithredol bersonol ond trwy genhedliad; ac nid yw cenhedliad yn newid dim ar briodoleddau ac ansoddau hanfodol y natur. Nid yw yn chwanegu dim atynt, nac yn tynnu dim oddiwrthynt. Yr oll a wneir yw rhoddi ffurf bersonol ar yr hyn oedd o'r blaen yn amhersonol, ond yn unig mewn modd galluadwy, fel yr awgrymwyd yn barod. Mae y miliynau o feibion a merched a ddaethant o'r ddeuddyn cyntaf yn meddu yr ansoddau a'r priodoleddau corfforol a meddyliol a berthynent i Adda ac Efa. Fel hyn, yr ydym yn cael, i ddechreu, mai un gwahaniaeth rhwng Natur a Pherson yw yr un sydd rhwng sylwedd a ffurf.

* Shedd's Dog. Theol., vol. ii., pp. 72, 73.

Peth arall a grybwyllir yn y cysylltiad hwn, yw y gellir gwahaniaethu y naill berson oddiwrth y llall, tra nas gellir gwahaniaethu un natur oddiwrth natur arall. Y rheswm am hyn yw, fod y naill yn weledig a'r llall yn anweledig. Mae natur pren, natur yr anifail, a natur dyn, fel y cyfryw, yn anweledig. Yr ydym yn gweled Thomas a John, ac yn gallu gwahaniaethu rhyngddynt, er mai dau frawd ydynt; ond y mae natur anianyddol ac ysbrydol y ddau yn gwbl anweledig. Yr ydym yn canfod y dderwen a'r onnen, ac yn medru gwahaniaethu rhwng y ddwy; ond y mae natur y naill a'r llall, fel y cyfryw, yn anweledig. Wrth fynd i lawr at elfennau symlaf naturiaethau, yr ydym yn cael nad yw y pethau hynny ond ffurfiau gweledig cyntaf rhyw sylwedd o'r golwg, yr hwn sydd yn gorwedd dan y cyfan, ac yn eu gwneyd yn bosibl. Y sylwedd hwnnw yw yr egwyddor o fywyd. "Nid o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir." Tardda y gweledig o'r anweledig, ac y mae yr anweledig hwnnw yn gynnyrch gallu creadigol Duw. Ond tra y dywedwn mai un gwahaniaeth rhwng person dynol a natur ddynol yw fod y naill yn weledig a'r llall yn anweledig, nid ydym wrth hyn yn awgrymu mai y gweledig sydd yn cyfansoddi personoliaeth. Y rhan ysbrydol o ddyn yn ddiau yw prif eisteddle y person; ond heb gau allan y corff, neu y rhan anianyddol o hono, yr hwn a bersonolir trwy ei undeb â'r enaid. Ac y mae y ddau, yn ol *traducianism*, yn cael eu personoli trwy genhedliad. Gwelir, gan hynny, fod natur ddynol, fel y mae yn cynnwys personoliaeth dynol, yn gynwysedig o gorff ac ysbryd, a hynny mewn ffurf weledig a gwahaniaethol. Ond o'i hystyried fel natur syml, ar wahan oddiwrth bersonolrwydd, sylwedd anweledig ydyw, yn meddu priodoleddau anianyddol, deallol, a moesol. Y mae yn ei gwedd fwyaf syml yn cynnwys rhesymolrwydd, ysbrydolrwydd, ac anfarwoldeb. Dyma ddigon i gyfansoddi bod personol a chyfrifol. Cynhwysa personoliaeth dair elfen,—deall, ewyllys, ac ymwybyddiaeth, neu y wybodaeth uniongyrchol honno a feddwn ni o'n bodolaeth ein hunain, ac o ansawdd a gweithrediad ein meddwl.

Fel yr awgrymwyd yn y dechreu, mae y gwahaniaeth rhwng Natur a Pherson yn dal perthynas agos â'r hyn a ddysgir am yr Un Cyfryngwr sydd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu. Cyfeiriasom at y ddadl Nestoraidd yn y bumed ganrif, pryd y talwyd sylw neillduol i hyn; a byth wedi hynny, mae awdwyr y gwahanol gredoau wedi bod yn dra gofalus i ddweyd mai *natur* ddynol a gymerodd yr Ail Berson i undeb ag Ef ei Hun, ac nid *person* dynol. Fel y canlyn y dywed *Cyffes Ffydd Westminster*:—"Darfu i Fab Duw, yr Ail Berson yn y Drindod, gymeryd *natur* dyn i undeb ag Ef ei Hun, gyda'i holl briodoleddau hanfodol; felly y mae dwy natur wahanol a chyflawn, sef Duwdod a Dyndod, wedi eu huno yn anysgaradwy mewn un Person." Yn gyffelyb *Hooker*:—"Ni chymerodd Mab Duw *berson* dynol i undeb â'i Berson ei Hun, ond *natur* ddynol; cymerodd *semen*, *had* Abraham—elfennau cyntaf a dechreuol ein natur, cyn ei bod yn meddu hanfodiad personol." Hyn yw iaith gyffredinol yr holl dduwinyddion a ystyrrir yn uniongred. Yr oedd Nestorius yn onest, annibynnol, hyawdl, a duwiolfrydig; a chredai yn Nuwdod a Dyndod y Cyfryngwr; ond yr oedd yn ei wneyd yn *ddau berson*—Dwyfol a dynol. Y Gair Tragwyddol, wrth gwrs, oedd y Person Dwyfol, a Iesu o Nazareth oedd y Person Dynol; eithr nid oedd i'r ddau ond un ymddanghosiad allanol. Esgymunwyd Nestorius gan Gyngor Ephesus, yr hwn a eisteddai yn y flwyddyn O.C. 431.

Cydnabyddir yn gyffredin fod hanes y Cyngor hwnnw yn cyfansoddi un o'r penodau mwyaf poenus yn holl gyfnodau yr Eglwys. Ymhen ugain mlynedd union ar ol hyn (O.C. 451), ymgyfarfu Cyngor arall yn Chaledon, dinas yn Bithynia, yn lled agos i Gaer Cystenyn, pryd y penderfynwyd, "Fod y ddwy natur yn ddigymysg, yn ddigyfnewid, ac anwahanadwy, yn yr un a'r unrhyw Berson, fel nad yw yr undeb yn difodi y gwahaniaeth natur, ond fod neillduolrwydd y ddwy yn parhau yn undeb y Person." Ymddengys fod y ddysgeidiaeth hon yn gorffwys ar greigiau tragwyddol gedyrn tystiolaethau y Datguddiad Dwyfol am Berson Dwyfol y Cyfryngwr Mawr. "Canys ni chymerodd Efe naturiaeth angylion, eithr had Abraham a gymerodd Efe." "Wedi ei wneuthur o wraig." "Yr hwn a wnaed o had Dafydd o ran y cnawd." "Had y wraig." "Yr Ysbryd Glan a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di; am hynny hefyd y *peth* sanctaidd a aner o honot ti, a elwir yn Fab Duw." Dyma y Duw-ddyn, y Gair wedi ei wneuthur yn gnawd. Llefara am dano ei Hunan bob amser fel *un* Person; ac y mae ei apostolion yn ei gyfarch ac yn ysgrifennu am dano fel *Un*. Nid natur yn cymeryd natur sydd yma, ac nid Person yn cymeryd person arall i undeb ag Ef ei Hun; ond Person Dwyfol yn cymeryd natur ddynol i berthynas annatodadwy ag Ef ei Hun, a hynny mewn trefn i ddwyn oddiamgylch iachawdwriaeth y byd. Yr oedd y natur ddynol, pan gymerwyd hi ganddo, yn sylwedd amhersonol; ni fu iddi erioed hanfodiad personol wrthi ei hun, ar wahan oddiwrth y Person Anfeidrol a'i cymerodd. Dadleua rhai yn erbyn hyn trwy ddweyd, os golygir fod y Myfi Dwyfol yn cymeryd lle y Myfi dynol, yna y mae diffyg yn nynoliaeth y Cyfryngwr, nid yw yn gyflawn. Ond os yw yr Ysgrythyr yn dysgu fod ganddo wir gorff ac enaid rhesymol, yna y mae yn dysgu fod ei ddynoliaeth yn gyflawn. Ac ni olygir fod y Myfi Dwyfol wedi cymeryd lle y Myfi dynol, o herwydd nid oedd Myfi dynol. Canys pe yr addefid fod yno Fyfi dynol, byddai hynny yr un peth a dweyd mai uniad dau berson yw yr Ymgnawdoliad, ac nid undeb dwy natur. Yr oedd dynoliaeth y Ceidwad yn meddu holl briodoleddau hanfodol y natur. Ni chwanegodd y cenhedliad goruwchnaturiol ddim ati, ac ni chymerodd ddim oddiwrthi; yr oll a wnaeth oedd rhoddi ffurf bersonol i'r hyn oedd o'r blaen yn amhersonol. Pe cymerasai y Tragwyddol Fab *berson* dynol i undeb a'i Berson Dwyfol ei Hun, yna dynoliaeth y person hwnnw fuasai y ddynoliaeth, ac nid eiddo yr Ail Berson yn y Duwdod. Ac heblaw hynny, buasai hyn yn effeithio ar drefn yr Hanfod Ddwyfol; o herwydd buasai ynglyn a hi felly *bedwar* o bersonau yn lle *Tri*. Yr oedd anghyfnewidiolrwydd yr Hanfod yn gwneyd peth o'r fath yn amhosibl. Canlyniad yr Ymgnawdoliad yw, nid chwanegu at nifer y Personau yn y Duwdod, ac nid cymysgu naturiaethau gwahanol trwy ddwyfoli y naill a dynoli y llall; ond fod dwy natur hollol wahanol—un yn feidrol, a'r llall yn anfeidrol, yn gwneyd i fyny *Un* Person, a Hwnnw yn Iachawdwr y byd. Y peth tebycaf i'r dirgelwch mawr hwn yw undeb mater ac ysbryd mewn personoliaeth ddynol. Er hynny, mae Ceidwad pechadur yn sefyll ar ei ben ei Hun yn hollol yn y nef ac ar y ddaear. Mae yn wahanol i'r personau Dwyfol ereill am fod dwy natur yn cydgyfarfod ynddo; ac y mae yn wahanol i'r angylion, nid yn unig am ei fod yn Berson Dwyfol, ond hefyd o herwydd ei fod yn *Ddyn;* ac y mae yn wahanol i ddynion er ei fod yn feddiannol ar eu natur. Oblegid, yn un peth, y

mae yn Berson Anfeidrol; a thrachefn, er ei fod yn wir ddyn, eto, nid yw yn *berson* dynol.

Yn awr, gan fod Cyfryngwr y Testament Newydd yn wir Dduw ac yn wir Ddyn, y mae yn canlyn fod ganddo ddwy ewyllys, dau ddealltwriaeth, a bod dwy wedd neu ddwy ochr i'w ymwybyddiaeth. Gellir dyweyd ei fod yn meddwl fel dyn, yn rhesymu fel Dyn, yn teimlo fel Dyn, ac yn ewyllysio fel Dyn; ac y mae yr un mor wir ei fod yn meddwl fel Duw, yn teimlo fel Duw, ac yn ewyllysio fel Duw. Yr un modd, y mae yn ymwybodol fel dyn, ac yn ymwybodol hefyd fel Duw. Eithr nid yw y ddwy wedd yma ar ei ymwybyddiaeth yn ei wneyd yn ddau berson, mwy nag y mae y ddwy wedd sydd ar ymwybyddiaeth dyn yn ei wneyd yn ddau berson. Mae gwedd anifeilaidd a rhesymol ar ymwybyddiaeth dyn, ond yr un Myfi sydd yn cynnwys y ddau. Yn gyffelyb am y Cyfryngwr: yr oedd yn ymwybodol o flinder a syched wrth ffynnon Jacob; ac yr oedd yn ymwybodol yr un pryd ei fod yn Dragwyddol Fab Duw, yr Ail Berson yn yr Hanfod Ddwyfol. Y ffaith fod ganddo natur ddynol sydd yn rhoddi cyfrif am y cyntaf, a'r ffaith ei fod yn wir Dduw sydd yn rhoddi cyfrif am yr ail. Dywedai ar y groes, "Y mae syched arnaf;" dyna un o weddau dynol ei ymwybyddiaeth. Dywedai cyn hynny, "Myfi a'r Tad, un ydym;" dyna wedd ddwyfol ar ei ymwybyddiaeth. Ond yr un Myfi oedd yn cynnwys y naill a'r llall. "Mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddanghosodd yn y cnawd!"

Ond os caniateir fod y Cyfryngwr yn meddu dealltwriaeth feidrol, ewyllys feidrol, ac ymwybyddiaeth feidrol, pa fodd y gellir osgoi y casgliad o bersonolrwydd meidrol hefyd? Neu, mewn geiriau ereill, pa fodd y gall fod yn *wir* ddyn heb fod hefyd yn *berson* dynol? Yr ateb i hyn yw, fod dau beth yn hanfodol i bersonoliaeth,—sylwedd rhesymol, a hwnnw yn meddu bodolaeth neu hanfodiad unigol a gwahaniaethol. Mae y cyntaf yn wir am y natur a gymerodd Mab Duw i undeb a'i Berson ei Hun; ond nid yw yr olaf felly. Y prawf o hyn ydyw mai *Un* Person yw, *er* uniad y ddwy natur. Digon i brofi ei fod yn wir ddyn, yw y ffaith ei fod yn feddiannol ar gorff ac enaid; a digon i brofi nad yw yn *berson* dynol, yw y ffaith na fu ei ddynoliaeth erioed yn hanfodi wrthi ei hun ar wahan oddiwrth y Person Dwyfol.*

Yn olaf, gwneir gwahaniaeth rhwng Natur a Pherson wrth ymdrin ag athrawiaeth y Drindod. Yr ydym yn symud o'r naill ddirgelwch i'r llall. Mae undeb meddwl a mater mewn person dynol yn ddirgelwch. Gwyddom mai yr ewyllys sydd yn peri i'n llaw symud wrth ysgrifennu y llinellau hyn, neu gyflawni rhyw orchwyl arall; ond sut y mae yn gwneyd hynny, nis gwyddom. Mae undeb dwy natur wahanol ym Mherson y Cyfryngwr yn "ddirgelwch mawr i'w gredu ac nid i'w amgyffred." Nid oes un meddwl meidrol fedr blymio iddyfnderoedd y gwirionedd hwn. Yr ydym yn ei gredu am fod Gair Duw yn ei ddysgu. Ac y mae bodolaeth Un Hanfod Dragwyddol yn Dri o Bersonau gwahaniaethol, yn ddirgelwch dwfn. Dwy natur yn Un Person, fel y sylwyd, yw y Cyfryngwr; ond un Natur yn Dri Pherson yw Duw. Wrth y Natur neu yr Hanfod Ddwyfol, y golygir sylwedd ysbrydol, anfeidrol, anweledig, anghyfnewidiol, ac anranadwy, ac yn bod o angenrheidrwydd. Dyma'r sylwedd mwyaf *real* o bob sylwedd. Mae yn gymaint felly, fel nad yw pob bodolaeth arall ond "megis diddym ger

* Dr. Hodge: System. Theol., Vol. ii. p. 391.

ei fron Ef." Gallwn feddwl am fodau crëedig fel yn peidio bod; ond nis gallwn feddwl felly am yr Hwn sydd yn bod o angenrheidrwydd. Mae Duw yn anfeidrol bellach oddiwrth ddi-hanfodaeth na'r angel uchaf yn y nef. Fel y mae ysbryd dyn yn fwy o sylwedd na'i gorff yn yr hwn y preswylia ar hyn o bryd, am ei fod yn analluog i fodoli yn annibynnol arno, felly y mae yr Hwn sydd yn Ysbryd pur a digrëedig, yn fwy o sylwedd na'r bodau a grëodd ar ei ddelw ei Hun. Ar yr un pryd, y mae tebygolrwydd rhwng natur ysbrydol dyn a'r Natur Ddwyfol o ran *math*, er fod yr olaf yn rhagori yn anfeidrol mewn ardderchogrwydd. Ynglyn a hyn, cawn fod dau beth ag y mae ysgrifenwyr uniawngred yn dra gofalus i'w gochel. Y cyntaf yw, peidio cario y gwahaniaeth sydd rhwng Duw a dyn mor bell fel ag i wneyd crefydd yn beth amhosibl. Diddymer y tebygolrwydd sydd rhwng yr Hanfod Anfeidrol ag ysbryd dyn, a dyna ni ar unwaith yn gwneyd y teimladau crefyddol a amlygir mewn ffydd, edifeirwch, cariad, a mawrhad, yn bethau amhosibl. Nis gall unrhyw gymdeithas fodoli rhyngom ag Ef. Mae dysgeidiaeth rhai yn gwneyd y Duw Mawr, o ran ei Hanfod a'i berffeithiau, mor hollol wahanol i ddyn, fel nad yw yn wrthrych i feddwl am dano. Dinystria hyn y syniad o grefydd yn gyfan gwbl. Ond y mae perygl hefyd o'r ochr arall, trwy gario y tebygolrwydd sydd rhwng dyn a Duw mor bell fel ag i ddiddymu y gwahaniaeth sydd rhyngddynt. Arweinia hyn i syniadau Pantheistaidd a materolaidd am y Bod Goruchel, fel y sylwa Shedd.*

Wrth ddweyd fod y Natur Ddwyfol yn sylwedd ysbrydol, anfeidrol, tragwyddol, a digyfnewid, yr ydym yn ei gwahaniaethu oddiwrth y byd a phob peth sydd ynddo. Pan ddywedir fod Natur y Duwdod yn *sylwedd*, golygir mai nid drychfeddwl neu rym (*force*) ydyw; ond Bod sylweddol a digyfnewid yn ei ddoethineb, ei allu, ei sancteiddrwydd, ei gyfiawnder, ei ddaioni, a'i wirionedd. Mae y priodoleddau hyn yn anysgaradwy oddi wrth yr Hanfod. Megis nas gellir cael syniad am sylwedd heb ansoddau a phriodoleddau, felly hefyd nis gellir cael syniad am ansoddau a phriodoleddau ar wahân oddi wrth sylweddau. Nis gallwn feddwl am feddalwch ar wahân oddi wrth rywbeth sydd yn feddal. Nis gallwn feddwl am dryloewedd ar wahân oddi wrth ryw sylwedd sydd dryloew. Dau fath o sylweddau sydd,—rhai materol, a rhai ysbrydol. Sylwedd materol a gweledig yw y corff; sylwedd ysbrydol ac anweledig yw yr enaid. Y ddau sylwedd hyn, mewn undeb a'u gilydd, sydd yn gwneyd dyn. Ond sylwedd ysbrydol yn *unig* yw Duw. Nid am ei fod yn anweledig y mae yn ysbrydol; o herwydd y mae sylweddau materol anweledig yn gystal a gweledig. Mae nerthoedd mawrion anian felly,—trydaniaeth, dysgyrchiant, magnetiaeth, &c. Mae y sylweddau hyn mor anweledig ag ydyw enaid dyn. Er hynny, sylweddau materol ydynt. Maent yn effeithio ar bethau ereill, ac yn gwneyd i fyny ran o'r greadigaeth faterol eu hunain. Ond "*Ysbryd* yw Duw,"—sylwedd ysbrydol yn meddu bodolaeth wirioneddol a gwrthrychol, ac yn feddiannol ar allu a phriodoleddau ereill. Yn wyneb y rhai a fynnant siarad ac ysgrifennu am dano fel yr "*absolute idea*"—neu, fel dylanwad sydd yn ymdreiddio trwy yr holl fydysawd, dyweder o hyd ei fod yn sylwedd ysbrydol a thragwyddol o ran ei Hanfod. Cyn gadael y rhan yma o'r pwnc, dylid sylwi mai y gwahaniaeth pwysicaf rhwng sylweddau materol a rhai ysbrydol yw fod

* Dog. Theol., vol. i., pp. 155, 156, 157.

y naill yn hunan-symudol, tra nad yw y lleill felly. Mae meddwl, yr hwn sydd yn sylwedd ysbrydol, yn ymsymud yn wirfoddol o hono ei hun; ond *cael* ei symud gan allu o'r tu allan iddo y mae mater. Rhodder darn o bren neu ddarn o garreg i orffwys ar y ddaear, ac yno yr erys byth oddieithr iddo gael ei symud gan ryw allu y tu allan iddo ei hunan.

Yn awr, y mae yn y Natur neu yr Hanfod Ddwyfol, yr hon sydd yn sylwedd ysbrydol pur, tragwyddol, a digyfnewid, Dri o Bersonau gwahaniaethol,—Tad, Mab, ac Ysbryd Glân, "a'r Tri hyn Un ydynt"; un o ran natur, ewyllys, a phriodoleddau. Mae y Tri yn gyfartal o ran gallu a gogoniant, a phob un o honynt yn Wrthrych addoliad. Nid oedd y naill yn bod o flaen y llall. Mae y Tad yn anfon y Mab, a'r Tad a'r Mab yn anfon yr Ysbryd Glân. Gweithreda y Tad trwy y Mab, ac y mae y ddau yn gweithredu trwy yr Ysbryd. Mae y Tad yn creu, y Mab yn prynu, a'r Ysbryd yn sancteiddio. Edrychir ar y Tad fel Ffynhonnell awdurdod fel Deddfroddwr; y Mab fel Barnwr; a'r Ysbryd fel Gallu Gweinyddol y Llywodraeth fawr.*

Wrth *Berson* Dwyfol y golygir yr Hanfod yn ei pherthynas a phriodoledd bersonol a neillduol. Y priodoleddau neillduol hyn ydynt Tadolaeth, Mabolaeth, a Deilliad. Dyma y neillduolion sydd yn gwahaniaethu y Personau Dwyfol oddi wrth eu gilydd. Neillduolrwydd y Person Cyntaf yw Tadolaeth; neillduolrwydd yr Ail yw Mabolaeth; a neillduolrwydd y Trydydd yw ei fod yn Tragwyddol Ddeilliaw oddi wrth y ddau ereill. Nid pethau sydd yn perthyn i'r Hanfod, fel y cyfryw, yw y rhai hyn; ond yr hyn sydd yn gwahaniaethu y Personau yn yr Hanfod. Nid Tadolaeth y Drindod yw Tadolaeth y Person Cyntaf; nid Mabolaeth y Drindod yw Mabolaeth yr Ail Berson; ac nid Deilliad y Drindod yw Deilliad yr Ysbryd Glân. O herwydd y Tad yn *unig* sydd yn cenhedlu; y Mab yn *unig* sydd yn cael ei genhedlu; a'r Ysbryd yn *unig* sydd yn deilliaw. Mae pob un o'r Personau hyn yn meddu dealltwriaeth Dwyfol, ewyllys Ddwyfol, ac ymwybyddiaeth Dwyfol; ac y mae y Natur Ddwyfol yn gyflawn ymhob un o honynt, oblegid sylwedd ydyw nas gellir ei rannu. Gan hynny, mae y Tad yn wir Dduw; y Mab yn wir Dduw; a'r Ysbryd yn wir Dduw. Nid Tri o fodau gwahanol a feddylir, ond Tri Pherson yn UN DUW!

Mae Dr Shedd yn gwahaniaethu rhwng personolrwydd yr Hanfod neu y Duwdod, a phersonolrwydd Person yn yr Hanfod. Dywed fod bodolaeth Tri o Bersonau Dwyfol yn yr Hanfod Ddwyfol yn rhoddi bod i hunan-ymwybyddiaeth yr Hanfod, a bod yr hunan-ymwybyddiaeth cyffredinol hwn o eiddo y Drindod, i'w wahaniaethu oddi wrth ymwybyddiaeth unigol a neillduol y Tad fel Tad, y Mab fel Mab, a'r Ysbryd fel Ysbryd. Nid yr un peth, gan hynny, yw Personolrwydd y Duwdod a Phersonolrwydd un o'r Personau yn y Duwdod. Mae Personoliaeth y Tri Pherson, fel yr awgrymwyd, yn gynwysedig mewn Tadolaeth, Mabolaeth, a Deilliad; ond Personolrwydd y Drindod yw canlyniad y tri pheth hyn. Mwy priodol son am Bersonolrwydd yr Hanfod nag am Berson yr Hanfod; oblegid nid un Person yw yr Hanfod, ond Tri o Bersonau. Terfynwn hyn o ysgrif trwy gyflwyno i sylw y darllenydd ddwy neu dair o frawddegau o'r eiddo Shedd: "Personolrwydd yr Hanfod Ddwyfol, neu yr eiddo Duw fel y cyfryw, ydyw ei hunan-ymwybyddiaeth, yr hyn, fel y gwelsom, sydd yn codi o

* Pratt: The Gospel of the Holy Ghost, p. 40, 41.

fodolaeth Tri Pherson yn yr Hanfod, a'r tri ymwybyddiaeth cyfatebol. O'r safle yma y mae yn llai agored i gamgymeriad i ddweyd fod Duw yn bersonol nag fod Duw yn Berson. Mae y geiriad olaf, oddieithr ei esbonio, yn gwrthdaro y syniad fod Duw yn dri Pherson; ond ni wna y cyntaf felly."

*San Francisco, California.* ROBERT VAUGHAN GRIFFITH.

---

## UNIGEDD.

CYN cylchu Tragwyddoldeb
 Fel gwawl o amgylch DUW,
Cyn deffro'i ddwfn ddistawrwydd
 Gan edyn chwaon byw
Yr angel cyntaf hedodd
 Yn ffurf o'i feddwl EF,
Gan wasgar mwyth awelon
 Yn falm ar led y Nef,
UNIGEDD a fodolai;
 Roedd ef a Duw yn un,
A thrwyddo'n unig gallodd
 Fodoli ynddo'i Hun.
Ond mud gydymaith ydoedd,
 Ni hoffodd IOR mo'i wen,
A llanwodd holl ddiddyfndr a
 Ei diriogaethau hen,
A Sêr i ddawnsio heibio
 Ei orsedd glaer mewn bri,
Er mai unigedd bennodd
 Ei seiliau cedyrn hi.
A chreodd fyrdd o Engyl
 I'w ymlid gyda chân
O ffiniau'r tlysion ddolydd
 A bryniau'r Wynfa lân;
Fel nad yw mwy yn trigo'n
 Gartrefol mewn un man,
Ond yn y Fynwent dawel,
 Neu'r galon ddynol wan
Pan fyddo Duw yn diffodd
 Ei hedd oddiwrthi hi,
A'i gadael i'w unigrwydd
 Ymborthi ar ei chri;
Neu'n gwyliaw ar gopaon
 Mynyddoedd ucha'r byd
Am fore'r Farn i losgi
 Yr haul a'r ser ynghyd,
Pan y derbynia'u goddaith
 A'u lludw yn ei gol,
I'w gwasgar hyd y llwybr gwag
 Arweinia'i daith yn ol.

Ond mae Unigedd hyfryd mwyn
I bawb a'i cais a'i lond o swyn;
Unigedd sydd wrth fodd pob oed
Yn byw'n nistawrwydd dwfn y coed;
Yr hwn rhwng taw a siffrwd dail
Sy'n effro a chysgu bob yn ail,
Ac weithiau'n chwerthin pan fo'r dydd
Y n gollwng rhwng canghennau'r gwŷdd
Gawod o berlau melyn haul,
I lathru eu cysgod ar ei ael.
Sut bynnag fo, fe ddyry'r un
Croesawiad cynnes i bob dyn
Ddymuna ffoi o dwrf y byd,
I siarad wrtho'u cwyn i gyd.
Unigedd tyner-dawel! Mae
Yn hoff o drallod ac o wae;
Mae'n feddyg da a wella'u clwy'
Os calon wag a'u henfyu hwy,—
Yn wag gan lawnder o unigedd
Arall, sydd yn gwneyd ei annedd
Ar feddrod serch pan fo *hen* ffrynd,
Neu wrthrych anwyl wedi myn'd.
Cyfrinach i fyfyrdod ddyd
I ennill clod a pharch y byd
Drwy ddawn athrylith gyda choeth
Gelfyddyd, neu wyddoniaeth ddoeth:
Fe dry 'i ddistawrwydd drwy ei glaer
Alluoedd, yn eiliadau aur
I wneyd diffygion y gorffennol
Yn rhagoriaethau y dyfodol.
I wr goludog o feddyliau,
Er bod yn dlawd o fydol bethau,
Cyflawnder o wynfydedd cudd
Yng nghell athroniaeth ganddo sydd.

Ca'i enaid deimlo swynion gwell
Na'r hwn ar gopa'r Andes bell
Sy'n gweld y mellt fel seirff uwch ben,
  Yn poeni taran cwm islaw;
  Ond ef ei hun, heb friw na braw,
Fwynha ehangder entrych nen!

Hoff gan awen yw y nos
  Ac edrych, pan dywyna'r lloer,
Lle mae braw unigedd uchel
  Byth yn gwynnu'r Alpau oer;
Syllu o'r dyfnderoedd isel
  Ar eu ban glogwyni fry,
Lle mae'r eira'n ofni syrthio
  Tros ddibynnau erchyll du;
Lle mae'r eryr hyf yn disgyn
  Ar eu crib mewn hanner ofn,—

Lle mae'r niwl a'r goleu'n gwelw
  Wibio heibio ogof ddofn.
O Unigedd unig pell!
  Fe argyhoedda deimlad dyn,
Er ei fod yn alltud oesol,
  Y mae'n berthynas Duw ei Hun.
Medda allu uwch na Natur
  I ddistewi'r storom gref;
Pyla saeth y fellten hoewaf
  Feiddia'i gestyll cadarn ef;
Metha'r daran follt ei hunan
  Rwygo ei dawelwch mawr—
Yn ei hol tros faen a chlogwyn
  Gyda thwrf y treigla i lawr
Ac y cyll ei hadsain egwan—
  Ei amddifad bach!—ei hun,
Yn y diffaeth anial unig,
  Lle mae bedd y lleill bob un.
Gwelir llwyd ddrychiolaeth cwmwl
  Weithiau'n dringo'n ofnus hyf,
I'w breswylfa gysegredig
  Drwy ganghennau'r pinwydd cryf;
Yno derfydd yntau'i yrfa,—
  Llaw unigedd drosto ddyd
Amdo ei wywedig gysgod,
  A diddyma'r ddau ynghyd!

Hoff gyrchfan Unigedd yw'r dawel nos,
I garu y ddiwair Leuad fwyn dlos;
Hi wrendy a'i phen yn gwyro i lawr
Ar ei straeon mud o awr i awr.
I'w ddilyn hi daena ei gwawl ar y Môr
Yn llwybr ei rawd, tra'r ser yn ystor
A ddeuant i'w gweled; a'r tonnau'n eu cryd
Yn cysgu dan suad distawrwydd y byd!
O uniad hapus! Ond cwmwl a ddaw
Yn fynych i daflu ei gysgod o fraw
Yn arwydd i ffoi rhag y dymestl a gwyd
I lidio cynddaredd y tonnau llwyd!
A phan fo'n absennol ei gwyneb têr,
Fe sieryd ei hiraeth wrth y ser,—
Hiraeth 'r un fath a hiraeth dyn
Am wyneb anwyl ei brydferth fun!

Diffaethwch Affrica breswylia mewn hedd
A'i choedwig ofnadwy yn balas a fedd;
Ei ddelw oesol yw'r sphynx unig sy'
Yn eistedd ym mynwent dinasoedd a fu
Yn llenwi ei dalaeth ag ysbryd a chân—
Miri a dawns, ond a chwalwyd yn lân.
Ar begwn y Gogledd mae ganddo sedd wen—
Gorsedd o iâ yn paladru i'r nen

Oleuni ysblennydd, fel fflachiad llu
O edyn claer sereiff yn ysgwyd eu plu.
Ond methodd pob dyfais a dewrder dyn
Byth wneyd i'w Unigrwydd ymadael a'i hun!

Neillduaeth! O mae swyn nefolaidd byw
Fel balm awelon haf yn dod o'r môr
Ar ddiwrnod poeth, neu chwäon gwanwyn ir
Yn dod dros ardd o flodeu pêr eu sawr
Yn tarddu odd ei enw nes yw'n llwyr
Adfywio f'ysbryd pan fo'n dwys lesghau;
A phan bwyf weithiau'n edrych ar y byd
Fel cartref gofid yn cenhedlu gwae
A siom a drygedd a blinderau fyrdd;
Fel mangre ddiffaeth, neu lwm garchar oer
Yr enaid, mae fy nghof am dano'n troi
Fy nheimlad yn wefriadau gwynfyd pur.
Tawelwch ei Unigedd ydyw'r man
I feddwl weld y Meddwl drwyddo'i hun,
A phrofi ei werth yng nghlorian cynnydd, 'roes
Y Duwdod yn nynoliaeth IESU GRIST:
Nid pawb a deimlant yno yr un fath—
Nid eiddo pawb y symledd prydferth sydd
Agosaf i feddiannu'r "ddelw Duw"
A gollodd dyn drwy wybod gormod gynt.
Fel llygaid craff y Barnwr yn y Farn,
Medd allu a ddidola'r dynion gwael
Oddiwrth y dynion goreu, profir hwynt
Yn ol eu cariad at ei ddirgel hedd:—
Yr hwn a gâr yn bennaf fod ei hun,
Feddylia fwy am ereill, nes y mae
Ei hunan oll yn myned iddynt hwy,
Hyd gyfrin foddau cydymdeimlad pur,
Yn selio ei fod yn frawd i Fab y Dyn,
A mab i Dduw pan ar ei liniau drydd
I dderbyn yno ei lawenawl nwyf;
Mor hyfryd iddo ar derfyngylch oes
Yw bod fel haul, wrth fachlud dros y mor
Yng nghyfnos haf, yn lliwio'r cymyl gwyn
Yn amdorch aur i dlysu gwedd yr hwyr!
Ond mae yr hwn sy'n symud, byw, a bod
Ynghanol twrf cymdeithas, er y bydd
I ereill yn ymddangosiadol fwyn,
Yn llawn o ragrith, ac o wagter calon
Yn llond ei hunan ac yn unig iawn!
Wrth ddadansoddi ei feddyliau'r dydd,
A chwilio ei freuddwydion yn y nos,
Ei hunan welir, ac efe ei hun
Yw Alpha ac Omega 'i hanes oll.
Nid oes na budd na sylwedd ynddo; mae
Fel hen ddrychfeddwl wedi colli'i werth
Yn nheyrnas eang y Gwirionedd mawr;

O mae neillduaeth iddo'n drymaidd le,
A'i wag feddyliau megis bleiddiaid sydd
Yn bwyta'u gilydd gan eu newyn llym!

Pan fo gwyll fy olaf awr
Dros unigedd dwfn y Glyn
Yn ymdaenu, Arglwydd mawr,
Dangos ben Golgotha fryn:
Anfon seren gobaith Nef
I dywynu arno ef.

GLASWYRON.

---

# Y DIWEDDAR BARCH. H. H. WILLIAMS, M.A.

Y MAE bellach dros dair blynedd wedi pasio er pan ymadawodd y cyfaill anwyl, galluog a dysgedig uchod â'r fuchedd hon, ac yr ydys yn teimlo yn ofidus na buasai gair er coffadwriaeth am dano wedi ymddangos ymhell cyn hyn. Yr ydym wedi derbyn llythyrau oddiwrth amryw o'i gyfeillion yn rhoddi adroddiad mwy neu lai manwl am dano yn ystod ei arhosiad yn y Bala, yn Aberystwyth, ac yn Rhydychen, yn gystal a nodiadau cyffredinol gan ereill arno, fel ysgolor gwych, pregethwr gobeithiol, ac fel un nodedig ar gyfrif ei feddylgarwch. Yr anhawster ydyw dethol o'r llythyrau hyn fel ag i grynhoi mewn un ysgrif sylwadau fo yn goffa addas am wrthrych mor deilwng. Buasai yn hawdd ysgrifennu llawer am Mr. H. H. Williams, y mae digon o ddefnyddiau wrth law; ond diau mai mwy i'r pwrpas fyddai ceisio gwneyd detholiad a chrynhoi y cwbl i gwmpas heb fod yn fawr.

Mab ydoedd i Mr. Hugh Hugh Williams, masnachydd esgidiau, Ogwen Terrace, Bethesda. Ganwyd ef yn ardal Carneddi, Awst 28, 1856. Ymddengys iddo gael ei fedyddio gan yr anfarwol Barch. John Jones, Talysarn; a dywedai ei fab, y diweddar Mr. T. Lloyd Jones, ei fod yn un o'r rhai olaf a fedyddiwyd gan y gwr enwog hwnnw. Derbyniodd ei addysg foreuol yn ysgol y Carneddi, y pryd hwnnw dan ofal y bardd a'r llenor, Garmonydd. Caed amlygiad yn fuan ei fod yn meddu ar allu mwy na'r cyffredin i ddysgu. Pan yn ieuanc iawn, yr oedd yn yfed addysg, a rhoddai addewid yn fuan fod dyfodol disglaer yn ei aros. Hawdd oedd proffwydo oddiwrth edrychiad ac osgo ac agwedd fyfyrgar H. H. Williams, yn yr oedran cynharol hwnnw, fod rhywbeth mwy ynddo nag yn ei gyfoedion oedd o'i gwmpas. Gellir dweyd am dano na cherddai fel bachgen, na chwareuai fel bachgen; hyd yn oed pan yn fachgen nid "fel bachgen y llefarai, ac nid fel bachgen y meddyliai." Yr oedd rhywbeth ynddo ar wahân, yn dangos yn eglur fod ei fyd ef yn wahanol i fyd plant yn gyffredin. Yr oedd yn neillduol o gyflym i ddysgu, ac yn enwedig i feistroli iaith. Caed profion sicr, yn gynnar ar ei fywyd, fod yn gorwedd ynddo ddefnyddiau ysgolhaig. Bendithiwyd ef â chof anghyffredin o gryf, ac ni phallodd wneyd y defnydd goreu o'i gôf; yr oedd ar ei lawn waith ganddo o hyd. Achubai bob cyfleustra i ystorio ei feddwl â gwybodaeth, fel ymhell cyn iddo gyrraedd ei bymtheng mlwydd oed, yr oedd yn syndod meddwl y fath gyfoeth o wybodaeth oedd ym meddiant un mor ieuanc. Y mae yn bosibl hefyd

ei fod wedi gwneyd peth cam âg ef ei hun trwy gyfyngu ei hun yn ormodol i'w lyfrau. Hwyrach pe buasai o ysbryd mwy chwareus pan yn blentyn, ac yn medru ymdaflu yn fwy i ymarferiadau plant, y buasai yn lles iddo ar ol hynny. Fodd bynnag, ym myd llyfrau yr oedd ef yn penderfynu byw. Gallai anghofio ei hunan a phob peth o'i gwmpas yn y mwynhad o lyfr a fyddai wrth ei fodd. Gosodai ei fryd ar ddarllen, a darllen yn ddidor; a diau fod y darllen hwnnw wedi peri graddau o flinder i'w gnawd ar hyd ei oes. Feallai fod y gwaith caled y rhwymodd ei hunan wrtho pan yn ieuanc, wedi dwyn gydag ef raddau o amhariaeth iechyd a fu yn anfantais iddo yn ei flynyddau diweddaf, fel mai dan anhawsterau mawrion yr enillodd y safle anrhydeddus a gyrhaeddodd. Y fath oedd ei awch am gyfoethogi ei feddwl ym meusydd llenyddiaeth glasurol ac athroniaeth, fel o bosibl y cafodd ei babell bridd gam. Nid oedd nerth ei gorff yn ateb i ynni a bywiogrwydd ei feddwl a'i ysbryd. Wrth ddweyd ei fod yn darllen llawer iawn, mewn gair, yn darllen pob llyfr da y caffai afael arno, nid ydys i gasglu mai rhyw lithro yn ysgafn dros y llyfrau hynny y byddai; na, yr oedd ef yn gallu myned i mewn i enaid y llyfr, ac yn gallu meistroli ei gynhwysiad. Dywed un oedd yn meddu mantais dda i'w adnabod er pan oedd yn ddeuddeg oed, neu lai na hynny—i lythyr yr hwn yr ydys yn ddyledus am lawer o'i hanes—y gellid gweled yn fuan ei fod yn un o nodweddion amlycaf H. H. Williams ei fod yn efrydu yn drwyadl. Dyma rai o eiriau yr ysgrifennydd y cyfeiriwn ato:—"Llawer gwaith y dywedai ei dad wrtho am gymeryd rhyw un llyfr ar unwaith, a'i ddarllen *drwyddo;* ond diau fod y dyn-fachgen H. H. Williams yn darllen aml i lyfr *drwyddo* hyd yn oed yr adeg foreu hon (sef o 12 i 15 oed) heb ei ddarllen i gyd. Byddai pennod neu ddwy o'i ddechreu yn ddigon. Nid oedd raid iddo ddarllen yr oll o'r llyfr mewn trefn i allu ei weled trwyddo." Y mae yn sicr ei fod ef yn meddu gradd o addfedrwydd barn mewn oedran cynharol iawn; ei fod yn medru profi y pethau a gwahaniaeth rhyngddynt, ac yn deall gwir ragoriaeth llyfr. Nid llyfr arwynebol a wnai y tro iddo ef dreulio ei amser gydag ef. Ei nodwedd oedd cloddio i'r dwfn. Yr oedd y llyfrau yr arhosai gyda hwynt yn llyfrau oedd yn gofyn meddwl a myfyrdod i'w gwerthfawrogi. Yr ydoedd, nid yn unig yn ddarllennwr mawr, ac yn meddu ar gof cryf, a chyflymder i dderbyn i mewn, ond hefyd yr oedd yn meddu ar feddwl gafaelgar. Fel y dywed yr ysgrifennydd a nodwyd o'r blaen:—"Fe ddaeth y darllennwr mawr hwn hefyd yn feddyliwr gloew, ac yn feddyliwr trefnus." Er hwyrach y gellir dweyd fod ehangder ei wybodaeth yn peri nad oedd mor gryf yn y manylrwydd sydd yn nodweddu rhai ysgolheigion. Deuai ei syched am wybodaeth i'r golwg hefyd yn ei awydd i gwestiyno. Yr oedd hyn yn dangos fod ei feddwl yn effro iawn. Feallai fod dau amcan i'w gwestiyno,—o leiaf gellir dweyd hyn am dano ymhellach ar ei fywyd: byddai yn cwestiyno weithiau er mwyn cael ychwanegiad gwybodaeth, neu er mwyn eglurhad ar ryw bwynt fyddai ganddo. Ond dro arall cwestiynai er mwyn cael ymddiddan neu ddadl ar y pwnc mewn llaw, fel y byddai, nid yn unig yn derbyn eglurhad ei hunan, ond hefyd yn cael rhoddi eglurhad i ereill. Yr oedd yn "gwestiynwr diarbed." Mynych y pwysai yn galed ar ei dad am atebion, ac nid oedd dim a roddai fwy o fwynhâd iddo yntau na cheisio cyfarfod ei ymofyniadau. Ond buan iawn yr aeth i diriogaeth yr oedd raid cael rhywun mwy dysgedig na'r cyffredin i ateb ei gwestiynau. Fel yr awgrymwyd

o'r blaen, anhawdd iawn fyddai ei gael i fyned allan am ychydig o dro. Bu am flynyddau lawer nad oedd ganddo yr awydd lleiaf i adael ei lyfrau hyd yn oed am ychydig funudau. Pan ddywedid wrtho y dylai gymeryd seibiant, i'w feddwl ef y seibiant goreu oedd treiddio i mewn i gynnwys rhyw lyfr neu gilydd. Methai yn aml a chael ennyd gymaint ag i fwyta. A phan yn myned allan, dyma fel y darlunir ef:—"Byddai ei gerddediad yn arafaidd a thrwm, fel dyn yn cerdded dan lwyth o feddyliau, ac felly yr oedd. A byddai wedi llenwi ei logellau â llyfrau, ac fel wedi ymgolli yn eu materion, ac yn anymwybodol o bawb ddeuai i'w gyfarfod."

Wedi gorffen ei addysg yn Ysgol Frytanaidd y Carneddi, a threulio peth amser yno fel *pupil teacher*, bu am tua blwyddyn yn Ysgol Ramadegol y Friars, Bangor. Yma yr oedd ei alluoedd fel ysgolhaig yn dadblygu yn gyflym, a gwnaeth gynnydd mawr yn y cyfeiriad neillduol a'i nodweddai ef, sef mewn gwybodaeth glasurol. Pan tua 17 mlwydd oed, aeth i Athrofa y Bala; a gwelid yn fuan gan ei athrawon a'i gydefrydwyr ei fod yn meddu talent i ddysgu ymhell uwchlaw y cyffredin, a'i fod yn un nad oedd dim safai o'i flaen, yn enwedig yn y cyfeiriad yr oedd ef yn myned. Mynnai feistroli yn drwyadl yr ieithoedd Lladin a Groeg, fel ag i allu gwerthfawrogi meddyliau yr hen awdwyr a ddarllennai. Yr oedd yn gartrefol hollol yng ngramadeg yr ieithoedd a astudiai, a gwnai gynnwys y gweithoedd a ddarllennai yn eiddo parhaol iddo ei hun. Er ei fod yn ddysgwr mor gyflym, yn medru gwneyd cymaint o waith mewn amser mor fyr, eto nid *cram* oedd ei waith ef; bu y wybodaeth a enillodd yn y Bala yn fantais iddo am ei oes, am na foddlonai un amser ar lai na llwyr feistrolaeth ar ei holl wersi. Yn y Bala hefyd cafodd ei feddwl fantais i ymagor mewn cyfeiriad y daeth yn gryf iawn ynddo wedyn, sef mewn athroniaeth. Gosodwyd ef yn fuan yn nosbarth yr ail flwyddyn, ac ymhen ychydig amser yr oedd wedi gadael gwersi y dosbarth hwnnw ymhell y tu ol, a chaniatawyd iddo gael dilyn y dosbarth uchaf mewn athroniaeth a duwinyddiaeth. Ac er mor ieuanc oedd, nid yn unig fe allodd sefyll yn gyfochr â'i gyd-efrydwyr bron ymhob cangen o wybodaeth, ond yn yr arholiad ar derfyn y tymor daeth allan yn anrhydeddus ar ben y rhestr. Felly, mewn blwyddyn o amser, os nad wyf yn camgymeryd, gwnaeth H. H. Williams waith pedair blynedd yn y Bala. Edrychid i fyny ato gan ei gyd-efrydwyr ar gyfrif ei wybodaeth eang; fel cyfaill pur, caredig, a diymhongar; ac fel gweithiwr caled a chydwybodol. Y mae un o honynt yn dweyd mai yr argraff a wnaed ar ei feddwl ef gyda golwg arno oedd, ei fod yn weithiwr dihafal. Y mae cyfaill iddo oedd yn cyd-letya âg ef, wedi anfon ychydig o'i adgofion am dano yn ystod ei arhosiad yn y Bala, ac y mae y sylwadau hynny yn dangos ei fod yn ennill sylw, nid yn unig fel ysgolhaig gwych, ond hefyd fel un oedd yn llawn o ysbryd crefydd. Dyma fel yr ysgrifennai y Parch. Wm. T. Jones, Llanbedrog, am dano:

Meddai y cyfaill H. H. Williams ar benderfyniad didroi yn ol, mynnai orchfygu pob anhawsterau gyda'i wersi. Gwelais ef lawer gwaith ar ol myned trwy rannau helaeth o'i dasgau yn methu codi bron, ac eto mor ddi-ildio y gafaelai yn y naill wers ar ol y llall nes y meistrolai yr oll. Cymerai afael yn y Greek Lexicon, dysgodd lawer o hwnnw allan, a medrai olrhain natur a tharddiad nifer anghyffredin o eiriau y pryd hwnnw. Yr oedd yn weithiwr heb ei fath; gweithiodd yn rhy galed. Yr oedd ei enaid yn meddu cymaint o ynni fel yr oedd ei gorff yn gorfod teimlo adfeiliad hyd yn oed yr adeg honno. Yr oedd hanesiaeth

ac ieithyddiaeth wedi cael y fath le yn ei feddwl fel na byddai un amser gymaint wrth ei fodd â phan yn son am y digwyddiad yma neu arall yn yr hen oesoedd, neu darddiad dyrus rhyw air yn yr hen ieithoedd. Ystyrrid ef y pryd hwnnw fel awdurdod gan ei gyd-efrydwyr ar faterion o'r fath: yr oedd fel llyfrgell symudol a geiriadur byw. Llawer gwaith y buwyd yn gofyn barn H. H. (fel y gelwid ef gan ei gyfeillion) ar ryw fater neu gilydd. Eto mor dawel a diymhongar ydoedd, ac mor ddi-wastraff ar air ac ar amser! Ni welwyd ef erioed yn ceisio lladd amser trwy dreulio ei oriau yn ddi-fudd. Yr ydoedd hefyd mor bur ei fuchedd fel nas gwelwyd ef mewn un math o gyfeillach amheus, nac yn gogwyddo at hynny. Mor barod oedd i wneyd a allai i'w gyd-efrydwyr: byddai yn well ganddo ddioddef cam na bod yn un achos o ofid i neb. Ac yr oedd wedi ymdaflu mor llwyr i waith fel na byddai aml i dro yn gallu cofio pa un a oedd wedi bwyta ai peidio. Hefyd cymerai ran yn ddirodres yn y ddyledswydd grefyddol yn y tŷ; yr oedd o ysbryd duwiolfrydig gonest. Nis anghofiaf byth ei gymdeithas yn y cyfnod y bu gyda ni yn y Bala.

Ymhen ysbaid ar ol gadael y Bala, aeth i Brifysgol Aberystwyth. Ac er fod y cwrs yno yn dra gwahanol i'r eiddo y Bala, mynnodd ragori yno hefyd. Mewn cysylltiad a'i gyd-efrydydd, Mr. T. F. Roberts, yn awr Prifathraw Aberystwyth, cyrhaeddodd y lle blaenaf yn yr arholiad. Tra yn Aberystwyth eto, enillodd le dwfn ym meddyliau a serchiadau ei gyd-ysgolheigion ar gyfrif symledd, unplygrwydd, a phurdeb ei gymeriad, yn gystal ag ar gyfrif ei gyrhaeddiadau fel ysgolhaig o'r radd flaenaf. Y mae cyfaill iddo oedd, mi dybiaf, yn gyd-efrydydd âg ef, yn dweyd fel hyn am dano:—"Yr oedd H. H. Williams wedi meistroli ystyr y geiriau fel y gallai ymwthio gyda llawer o rwyddineb i ysbryd yr hen awdwyr clasurol. Llawer awr a dreuliodd ar wastad ei gefn yn ei wely yn Aberystwyth yn darllen *Iliad* Homer, neu *Faust* Goethe, neu gân anfarwol Dante, ac yn llwyr ymgolli yn y mwynhad per-lewygol." Cyffelyba ef i Shelley; dywed fod llawer o debygolrwydd yn eu teithi meddyliol, fod ynddynt gyfuniad o duedd athronyddol gref, a gallu i edmygu yn amlwg iawn. "Nid yn fynych," medd ei gyfaill galluog, yr hwn sydd fardd ac athronydd ei hunan, "y gellid cyfarfod â neb yn meddu ar gymaint o allu i edmygu. Pan gyfarfyddai â syniad tlws wrth ddarllen rhai o'r beirdd Groegaidd, Cyfandirol, neu Seisnig, neu Gymreig, daliai y llyfr yn ei law a gwaeddai ar ei gymdeithion i gyfranogi o'r wledd. Llawer gwaith y gwelwyd ef mewn rhyw berlewyg o fwynhad wedi ymgolli yn llwyr yn ei edmygedd o brydferthion yr awdwr a ddarllennai." Y mae yn ddiau fod cylch darlleniad ein cyfaill yn eang iawn. Er cymaint ei ymroddiad i'r ieithoedd clasurol ac athroniaeth, fel yr awgrymir yn y dyfyniad uchod, nid oedd hyn yn ei rwystro i rodio gyda hyfrydwch ym meusydd llenyddiaeth a barddoniaeth ei wlad ei hun, yn gystal â'r eiddo y Saeson. Y mae ar gof rai o'i sylwadau ar rannau o waith yr awdures enwog, George Eliot, sydd yn dangos mor gyflym oedd i weled a theimlo y prydferth a'r grymus ymhob man, a'r fath argraff a adawai hynny arno. Y mae yn dangos hefyd nad oedd cylch eang ei astudiaeth yn cyfyngu o gwbl ar gylch ei ddarlleniad mewn cyfeiriadau ereill; yn hytrach ymhyfrydai yn y llenyddiaeth oreu. Yr oedd bob amser yn ymgyrraedd am y da a'r cryf. Pan yn cymeryd nofel i fyny, gellid bod yn sicr mai nid y *sensational* a'r gwag oedd yn tynnu ei sylw ef, ond y rhai hynny a roddent fynegiad i wirioneddau mawrion a phwysig mewn cysylltiad â'r natur ddynol, neu rywbeth cyffelyb. I'r cyfeiriad yna y mae ei sylwadau ar rannau o *Adam Bede*. "Y mae rhywbeth rhyfedd iawn i mi yn ei hysgrifeniadau; y mae yma ddarnau yn y llyfr hwn y rhaid wrth oes

lled faith i allu gweled eu gwir nerth a'u prydferthwch. Y fath wybodaeth ddofn a ddengys o'r natur ddynol. Gellir dweyd am y llyfr hwn, fel y dywedodd Dr. Saunders am Shakspere, fod dyn wrth ei ddarllen yn darllen ei hunan. Ac onid dyma y prawf goreu o wir fawredd y nofelydd, fel y bardd, bod rhywbeth *inexpressible but yet immanent in us*, yn cael *expression;* y mae un dyn mewn gwirionedd yn ddanhoseg gywir beth yw pob dyn, fel y mae dynion trwy astudio llawer arnynt eu hunain—gwylio dadblygiad pob meddwl a theimlad o'u mewn, ac hefyd trwy astudio y rhai y deuant i gyffyrddiad â hwy—yn dod yn ddynion mawr, yn *interpreters of humanity.*"

Hwyrach mai amhosibl yw dweyd pa bryd y dechreuodd Mr. H. H. Williams feddwl am bregethu. Fel y ceir gweled eto mewn llythyr gan un oedd yn ei adwaen yn dda, ni wyddys pa un a oedd yn meddwl am hynny cyn mynd i'r Bala ai peidio. Fodd bynnag, nid amlygodd ei feddwl i neb o'i berthynasau a'i gyfeillion. Feallai fod y meddwl ynddo pan yn blentyn, ond ei fod yn dewis ei gadw yn ddirgel. Bron nad allem gasglu, oddiwrth ei fynediad i'r Bala, fod ei feddwl yn gogwyddo i'r cyfeiriad yna; ond ni ynganodd air wrth neb am hynny. Ac os oedd y meddwl ynddo, y mae yn bosibl iawn fod myned i awyrgylch y Bala wedi cryfhau y meddwl hwnnw, ac wedi rhoddi cyfeiriad i'w ysbryd i ymgysegru i waith mawr gweinidogaeth yr Efengyl. Ond bu am beth amser ar ol gadael y Bala heb amlygu ei fwriad i bregethu. Gwnaeth hynny, os wyf yn cofio yn iawn, yng ngwanwyn y flwyddyn 1876. Ar yr un adeg, mynegodd ef ac un arall eu bwriad i bregethu wrth Mr. Hugh Hughes, un o flaenoriaid Jerusalem, sydd yn awr yn flaenor ym Mhenygroes, Tregarth. Y mae yn sicr fod yr eglwys uchod a'i llygad arno cyn hynny, ac yn meddwl yn fawr o hono; a diau mai llawenydd i'r eglwys oedd cael ar ddeall ei fwriad i bregethu. Cafodd bob mantais a chymhelliad i fyned ymlaen, ac ymlaen yr oedd yn myned yng ngwir ystyr y gair. Pan yn myned trwy y dosbarth, byddai ei bregethau yn tynnu sylw mawr. Yr oedd yn amlwg i bawb, oedd yn meddu ar rywfaint o allu i sylwi, fod defnydd pregethwr allan o'r cyffredin yn y gwr ieuanc oedd ar brawf yn eu plith. Nid dawn ymadrodd rhwydd ac esmwyth oedd yn ei nodweddu y pryd hwnnw, ond yn hytrach ei allu i drin ei fater, a theimlid fod newydd-deb neillduol yn ei bregethau. Byddai yn cydio gafael mewn rhyw un drychfeddwl yn ei destyn, ac yn troi y drychfeddwl hwnnw yn ei feddwl ei hun, a'i bwynt mawr oedd ei weithio allan. At hynny rhoddai bob egni ar waith. Ni fyddai yn ysgrifennu ei bregethau, ond meistrolai y mater yn ei feddwl, ac ymddiriedai ar y pryd i raddau helaeth am iaith i osod allan ei feddyliau; a hwyrach fod hyn yn rheswm nad oedd pawb bob amser yn gallu ei ddilyn. Ond am y cwestiwn, Beth fydd y dyn ieuanc hwn,—deuid i'r casgliad fod ei dalentau disglaer a'i ddysgeidiaeth helaeth yn sicr o hawlio iddo le uchel yn y Cyfundeb yr oedd yn dechreu ar fod yn bregethwr ynglyn ag ef. Cafodd ef a dau bregethwr ieuanc arall eu holi yng Nghyfarfod Misol Rhyd-ddu (holi yn gyhoeddus yn unig yn y Cyfarfod Misol oedd y dull y pryd hwnnw) ym mis Hydref, 1876. Holwyd hwynt ym Mhregeth Crist ar y mynydd gan y Parch. John Williams, Bangor; ac ar faterion dwy bennod o "Cysondeb y Ffydd" (Dr. Edwards), y penodau ar "Angenrheidrwydd a Natur yr Iawn," a "Helaethrwydd yr Iawn," gan y Parch. William Ellis, Beddgelert: ac yr oedd ei ddeall cryf a'i atebion goleu ef ar unwaith yn ei

nodi allan fel un yn meddu ar feddylgarwch llawer y tu hwnt i'r cyffredin. Erbyn yr adeg yma ar ei fywyd, yr oedd yn wahanol i'r hyn ydoedd pan yn ieuengach; fel y cyfeiriwyd o'r blaen, tuedd bod wrtho ei hun oedd ynddo pan yn blentyn; feallai y gellir dweyd mai dyna ei nodwedd arbennig hyd amser ei fynediad i'r Bala. Yn y blynyddau yna, ei unig gymdeithion oedd ei lyfrau; nid ymddiddanai nemawr ond â hwynt, a hwyrach am y rheswm da, mai nid gwaith hawdd oedd taro ar gymdeithion o'r un chwaeth âg ef, o'r un craffder meddwl, a'r un awydd angherddol am wybodaeth. Ar ryw olwg, fe allesid meddwl bron mai fel meudwy y buasai yn treulio ei fywyd, gan mor ddi-ddyddordeb iddo oedd pob peth ond byd y llyfrau. Ond pan ddaeth i gyffyrddiad â chymdeithas oedd yn fwy at ei chwaeth, fe ymagorodd i gyfeiriad arall. Cafwyd prawf fod yr ysbryd meudwyaidd ymhell iawn oddi wrtho, oblegid yr oedd ei awydd yn gryf am gyfrannu gwybodaeth i ereill. Fe drodd y bachgen tawel, myfyrgar a dwys, yn ddyn ieuanc rhydd a a pharod i ymddiddan; nid oedd dim a barai fwy o hyfrydwch iddo na chael treulio awr neu ddwy neu ragor mewn ymddiddan rhydd a chalonnog â'r rhai oedd i ryw raddau yn gallu gwerthfawrogi yr hyn a ddywedai. Ffurfiodd gylch o gyfeillion a ddaethant yn hoff dros ben o hono; ac y mae pawb gafodd y fraint o fod yn y cylch hwnnw yn gwybod cyfaill mor siriol a charedig, a diymhongar ydoedd. Y mae pawb oedd yn ei adwaen oreu, yn gallu dwyn tystiolaeth oddiar brofiad i wirionedd yr hyn a ddywed ei gyfaill talentog, y Parch. David Adams, B.A., am dano yn ei linellau coffadwriaethol prydferth a chryf yn y TRAETHODYDD, pan y dywed ei fod yn llunio

> Cân i gyfaill haeddai'r enw
>   Llawn o serch, fel haul o wres;
> Wybren bywyd fedrai lanw
>   A sirioldeb haf gan des.

Yn ei gyfeillach ef byddid yn sicr o dderbyn budd a mwynhad; caem yn ei ymddiddanion gyfuniad o'r buddiol a'r dyddorol, y da a'r difyrrus. Byddai yn hoff o ddigrifwch; cof gennym ei chwerthiniad calonnog pan yn adrodd neu yn gwrando rhywbeth digrifol. Ond nid y difyrrwch gwag, nac un math o goeg-ddigrifwch, oedd yn ei gynhyrfu ef; byddai raid i'w chwaeth uchel a'i feddwl diwylliedig gael rhywbeth o natur uwch. Ni fyddai byth chwaith yn ymollwng i siarad dibwrpas, ond byddai ei siarad bob amser yn codi i lefel uwch. Ychydig iawn o helyntion y fro a gaent ei sylw; yr oedd pynciau cyffredin ymddiddanion yr ardal yn cael eu troi heibio ganddo yn bur ddiseremoni. Testynau gwastadol ei ymddiddanion yn y ty ac ar y ffordd oedd rhywbeth ym myd duwinyddiaeth, ym myd llenyddiaeth, neu ym myd athroniaeth; dyma y pethau fyddai yn llanw ei enaid â brwdfrydedd. Yr oedd yn nodweddiadol iawn o hono ei fod yn orlawn o frwdfrydedd gyda phob peth yr ymaflai ynddo. Pan yr arhosai gartref am dymor ar ol dechreu pregethu, llawer gwaith y cafodd ei gyfaill mynwesol, Mr. John J. Roberts, Ty Capel, Jerusalem,—yntau wedi ei gyfrif ymhlith y meirw agos i ddwy flynedd o'i flaen,—a minnau y fraint o'i gwmni ym min yr hwyr, allan o ddwndwr y dref, yn nhawelwch y bryniau sydd yn amgylchu Bethesda; ac y mae adgofion am yr adeiladaeth a'r mwynhad deimlid y troion hynny yn codi hiraeth am y ddau gyfaill pur a charedig. Byddai wrth ei fodd yn egluro i ni ryw bwynt dyrys mewn athroniaeth, neu yn trin duwinyddiaeth yn y wedd athronyddol arni yn bennaf; dro arall yn

rhedeg yn esmwyth dros ryw gwr o faes llenyddiaeth glasurol; neu yn cyffwrdd â chwestiynau gwyddonol y dydd. Yr oedd yn dra hyddysg yng ngweithiau Darwin, a chaem ninnau y budd o'i wybodaeth glir a helaeth. Rhoddai i ni ffrwyth ei feddwl toreithiog a'i ddarlleniad helaeth mewn gwahanol gyfeiriadau; a byddai y gwresogrwydd teimlad â pha un y datganai ei syniadau yn eu gwneyd yn wir ddyddorol, ac yn peri i'r argraff fod yn un barhaus. Bryd arall rhoddai i ni fraslun o bregeth a fwriadai ei thraddodi, a synnem at y deheurwydd a'r gafaeliad a pha un y cymerai i fyny ryw un mater yn ei destyn. Da gennyf fuasai gallu rhoddi esiamplau, ond nis gallaf gofio ei eiriau yn ddigon da i anturio gwneyd hynny; ond y mae yr argraff o ynni a brwdfrydedd ei ysbryd a newydd-deb ei feddyliau yn aros; gwyn fyd na buasai adysgrifiad o rai o'i bregethau wedi eu cadw. Ond hwyrach, pan ar ganol trin rhai o'r pwyntiau y cyfeiriwyd atynt, byddai ei lygaid yn sylwi ar y ser, yr hyn a roddai achlysur i'w feddwl aros gyda rhyfeddodau y nefoedd wybrennol. Safai yn sydyn, fel pe yn anghofio ei hunan, i syllu arnynt mewn edmygedd addolgar, a deuai rhyw ddarnau o'r beirdd Seisnig i'w feddwl, ac adroddai hwynt i ni gyda hwyl. Byddai yn hoff iawn o ddyfynnu Milton, ac yn arbennig Tennyson; yr oedd yn hoff neillduol o Tennyson, a bron na feddyliem ei fod yn meddu dirnadaeth dda am gynnwys ei holl weithiau. Fel hyn yn ei gymdeithas ef byddem yn cael ein harwain i gwmni y meddyliau cryfaf a mwyaf aruchel; byddai yn gartrefol yn y pethau hyn, a meddai y gallu i'w dwyn yn agos atom ninnau. Mor briodol y teimlwn y gair yng nghân Mr. Adams am dano,—

Byd ysbrydion meddylddrychau
Oedd ei fyd tra yma'n byw.

Y pryd yma, a dyma'r pryd y gallaf roddi rhyw ychydig o adgofion personol am dano, ymhlith pethau ereill, yr oedd *pregethu* yn naturiol yn dyfod yn fynych iawn yn destyn ei ymddiddanion. Rhoddai ei syniad ei hun i ni am bregethu; a phwy oedd y pregethwyr goreu yn ei dyb ef. Wrth gwrs gallem yn naturiol gasglu ei fod yn disgwyl *meddwl* yn y bregeth; a goreu oll os byddai tipyn o ol astudiaeth athronyddol arni. Credaf mai prin y meddyliai fod gan neb hawl i esgyn i'r pulpud a bod yn arweinydd gyda chrefydd, heb fod ei feddwl wedi ymagor rhywfaint yn y cyfeiriad pwysig hwn. Credai nad oedd modd bod yn dduwinydd da heb fod yn athronydd da; ond er dweyd cymaint â hyn, nid ydys i feddwl ei fod yn cymeradwyo pregethu athroniaeth, na phregethu duwinyddiaeth fel y cyfryw, hynny yw, yn y wedd o faterion duwinyddol noeth. Nis gallai hoffi y dull traethodol o drin materion yn y pulpud; ei farn ef oedd y dylai pob mater gael ei gydio â rhyw ddyledswydd neu gilydd, fel y byddai y bregeth ar unwaith yn goleuo y meddwl ac yn deffro y gydwybod; dyna ei *ideal* ef o bregeth, ac at hynyna yr oedd yn ceisio ymgyrraedd. Camgymeriad mawr fyddai tybio ei fod yn diystyru teimlad mewn pregeth; ond y mae gwahaniaeth rhwng teimlad â theimlad; nid y teimlad a gynhyrchir gan yr hanesyn toddedig neu y digwyddiad cyffrous a adroddir yn y bregeth; cyfiawnder âg ef yw dweyd ei fod yn diystyru hynyna. Nid geiriau rhy gryfion am y dull yna ganddo fyddai *froth* a *nonsense*. Ond y mae lle i deimlad yn y weinidogaeth, ac os nad yw y bregeth yn dwyn y gwrandawyr i deimlo, y mae wedi colli ei hamcan; ond teimlad yw hwnnw yn cael ei ddwyn i fod trwy nerth y gwirionedd ei hunan; ffarwel i deimlad os nad yw yn cael

ei gynhyrchu gan y gwirionedd yn unig; dyna y pryd y mae yn dyfod yn deimlad yng ngwir ystyr y gair. Gwirionedd sydd yn argyhoeddi; dyma sydd yn goleuo y meddwl, yn deffro y gydwybod, ac yn plygu yr ewyllys; a dyma sydd yn gafael yn y serchiadau; ffrwyth gwirionedd yn unig yw gwir deimlad a phrofiad. Yr oedd ganddo syniad uchel am y bregeth, a nôd mawr ei fywyd ydoedd ceisio cyrraedd hynny fel pregethwr. Nid oedd dim yn amlycach ynddo na'i fod yn llawn o ysbryd y weinidogaeth; yr oedd y gwaith yn ei gynhyrfu i frwdfrydedd; meddai ar y peth hwnnw y dywedir nad yw yn werth myned yn bregethwr hebddo, y "*passion for preaching;*" ac yr oedd y syniad am wir amcan pregethu yn glir o'i flaen. Y mae'n wir ei fod wedi ei gamfarnu gan rai yma ac acw, os nad ei gyhuddo o bregethu rhai pethau na ystyrrid yn ddiogel iawn; ond credaf, oddiar adnabyddiaeth lled dda o hono, mai ei gamfarnu a gafodd. Wrth fod ganddo gymaint o waith i fyned trwyddo tra yn y Colegau, y mae yn bosibl nad oedd am amryw resymau yn pregethu yn glir iawn; ond yn sicr ni chaed prawf erioed ei fod yn gyfeiliornus ei farn am wirioneddau mawr crefydd Crist. Mae yn wir ei fod yn pregethu allan o'r ffordd gyffredin, a hwyrach fod hynny wedi arwain rhai i feddwl nad oedd iach yn y ffydd; nid dyma y tro cyntaf i athrylith gael ei chamfarnu a'i chamesbonio. Y mae yn deg dweyd hefyd ei fod ef ei hunan yn teimlo mai nid fel y bu yn pregethu rai gweithiau yr oedd pregethu; ond nid oedd hynny yn cynnwys addefiad o gyfeiliornad mewn barn, ond nad oedd y pynciau a bregethai, rai gweithiau, yn addfed yn ei feddwl ef ei hun. Ond wrth gyfeirio at hyn flynyddau yn ddiweddarach gyda chyfaill, dywedai mai ei brofiad ef oedd nad oedd dim yn talu fel yr Efengyl yn ei symledd, fod blas ar bregethu yr hen Efengyl. Yn amlder meusydd ei astudiaeth, naturiol yw meddwl nad oedd ei ysbryd bob amser mewn cystal hwyl i bregethu, ac nad oedd ei feddwl yn cael chwareu teg i aros gyda'r gwirioneddau yr hoffai wedi hynny eu hastudio a'u pregethu. Nis gellir yn well yma na rhoddi i mewn eiriau un gafodd fantais i w adnabod, sydd yn rhoddi disgrifiad byw o hono, ac yn egluro yn foddhaol, yr hyn y cyfeiriwyd ato. Dyma fel yr ysgrifenai:—"Yr oedd ei arddull ar y dechreu yn hynod ddiffygiol, ei symudiadau yn lled amrosgo ac annaturiol, yr ydoedd yn *actor* pur fawr. Cerddai ol a blaen yn yr areithfa, ac yr oedd ei bregethau yn aml yn dywyll ac aneglur i lawer. Ond y rheswm am hynny oedd, nad ydoedd hyd yn oed y pryd hwnnw yn ysgrifennu yr un o'i bregethau, ac felly y parhaodd ar hyd ei oes; ac yr oedd ei feddwl ar hyd yr wythnos, wrth astudio yn y coleg, yn ymwneyd â chwestiynau nad oeddynt yn blino pregethwyr ieuainc yn gyffredin. Ceid ganddo ddigon o fater bob amser, ond nid bob amser y byddai hwnnw yn addfed iawn yr adeg yma. Parai hynny i rai ei gamgymeryd, a meddwl ei fod yn cyfeiliorni; ond pan eid i siarad âg ef wedi i'r bregeth fynd heibio, ceid yn wastad ei fod yn gwbl iach yn y ffydd." Y mae yn debyg ei fod weithiau yn cymeryd gafael mewn rhyw syniad athronyddol, ac yn amcanu ei egluro i'r gynulleidfa, ond fod meddwl llawer yn methu cydio ynddo, a hwyrach i ryw raddau yn brawychu gan mor newydd yr oedd yn eu taro, ac yn rhy barod i'w osod i lawr fel cyfeiliornad pryd nad ydoedd ddim o'r fath. Ond fe ddaeth yn fuan yn fwy sefydlog ei feddwl, ac i allu gwneyd gwell chware teg â'r pynciau a drinid ganddo. Daeth cyfnewidiad mawr drosto yn hyn o beth, fel y pregethai weithiau gyda nerth a dylanwad. Y mae yr ysgrifennydd y cyfeiriasom ato yn

ychwanegu am dano:—"Mewn llythyr dderbyniais oddiwrtho tua'r adeg y cyfeirir ati, y mae yn dweyd,—'Nis gallaf bregethu yn ymarferol yn *awr*, ac y mae yn rhaid i mi roddi i fyny bregethu ar hyn o bryd, neu fyned ymlaen fel yr ydwyf, er fy mod yn gwybod nad oes nemawr berygl y byddaf yn rhyw gymeradwy iawn.' Wedi gorffen ei efrydiaeth yn y Brifysgol, tra y parhaodd i astudio *beth* i'w ddweyd, ymroddodd hefyd i astudio *sut* i'w ddweyd. Aberthodd lawer o arian ac amser i fyned i wrando ar brif ddynion yr areithfa yn y trefi mawr, yn wleidyddwyr ac yn bregethwyr, er bod yn help iddo i ymestyn at *style* dda; ac yn hynny, fel ymhob peth y rhoddodd ei fryd arno, llwyddodd yn nodedig. Daeth ei safiad yn y pulpud yn urddasol, a'i symudiadau yn weddus, ac yr oedd yn gyflym yn dyfod yn bregethwr poblogaidd yn gystal ag yn bregethwr mawr; a gelwid arno i bregethu yng Nghyfarfodydd Misol ei sir." Diau fod yr uchod yn ddarluniad cywir iawn o'n hanwyl frawd. Nid oes dim yn profi yn fwy fod pregethu wedi cymeryd gafael o ddifrif ynddo na'r ffaith ei fod mor awyddus ac ymdrechgar i gyrraedd rhwyddineb, a grym, ac effeithiolrwydd yn nhraddodiad cenadwri yr Efengyl; ac yn hyn fe lwyddodd y tu hwnt i'r disgwyliadau uchaf. Yr oedd yn gwella yn ei ysbryd hyd y diwedd; yr oedd ei barch i'r Beibl yn dyfnhau, ei grediniaeth mewn gweddi a'r angen am ddylanwad yr Ysbryd yn cryfhau, a'i awydd am gyrraedd gwir amcan pregethu yn dyfod i afael fwy-fwy ynddo.

Y mae gair eto i'w ddweyd am dano yn Rhydychen. Aeth trwy gwrs o addysg yno gyda llwyddiant anarferol, a hynny dan anfanteision mawrion, o herwydd fod ei iechyd mor hynod o fregus. Ond er dirfawr anhawsterau, dringo yn uchel fu ei hanes yno hefyd; enillodd safle anrhydeddus, a diau y buasai wedi sefyll yn uwch o lawer pe buasai ei iechyd yn caniatau. Enillodd *honours* yn yr ail ddosbarth yn arholiad y *moderations*, ac yn yr arholiad terfynol. Derbyniodd y radd o B.A. a'r radd o M.A. wedi hynny. Ond er amled a chaleted ei wersi tra yn Rhydychen, ac er mor wannaidd ei iechyd, mynnai ymroddi â'i holl egni i'w hoff bwnc, sef athroniaeth, â'r hwn yr oedd wedi syrthio mewn cariad angherddol. Fel y dywed un am dano,—"Yr oedd yn athronydd wrth natur, meddai gyfaddaster neillduol i ymaflyd mewn cwestiynau athronyddol." Cawn engraifft nodedig o'i awydd yn y cyfeiriad yma, a chipolwg ar y llafur dirfawr a gostiai iddo yn sefyllfa wanllyd ei iechyd, pan gawn ei fod, tra yn aros yno, yn dilyn yn ddyfal ddarlithiau ar Athroniaeth mewn pedwar o wahanol golegau, a hynny yn yr un tymor,—darlithiau y Proffeswr Green yn Baliol, y Proffeswr Capes yn Corpus, y Proffeswr Wilson yn Oriel, a'r Proffeswr Ritchie yn Jesus. Mor gywir eto ddarluniad y Parch. D. Adams o hono:—

Suddai beunydd i ddyfnderau
Llêu, a dysg colegau'i wlad;
Torri drosto wnai eu tonnau,
Nid ar fâsle cai fwynhad:
Llyncai ddyfroedd bywiol ffrydiau
Gwybodaethau oes'r ol oes;
Ond ei syched fyth gynhyddai,
Wedi'r yfed, gwaeddai Moes.

A thystiai pawb a ddeuai i gyffyrddiad âg ef fod ei syched am wybodaeth yn anniwalladwy. Ei hyfrydwch pennaf oedd torri i feusydd newyddion o hyd. Y mae cyfaill iddo oedd yn gydefrydydd âg ef yn Aberystwyth ac yn Rhydychen, wedi ysgrifennu llythyr yn cyfeirio ato

yn fwyaf neillduol yn Rhydychen, yn gystal a sylwadau cyffredinol am ei nodweddion fel ysgolor ac fel cymeriad. Y cyfaill hwnnw yw y Principal Roberts, Aberystwyth; dyma fel yr ysgrifenna efe:—

Gyda llawer o bleser, yn gymysg a gofid, yr wyf yn cydsynio â'ch cais ar i mi ysgrifennu yr hyn a allaf gofio am fy niweddar anwyl gyfaill a'm cyd-efrydydd, H. H. Williams. Yr oeddwn i yn athrofa Aberystwyth flwyddyn neu ddwy o'i flaen, ac y mae gennyf gof byw am dano yn dyfod yno gyntaf o'r Bala, a gair mawr iddo fel ysgolhaig clasurol. Dywedid ei fod wedi dysgu allan Eiriadur bychan Liddell a Scott. Dywedai ef nad gwir hynny, ond addefai iddo wneyd cais i'w ddysgu, ac iddo ddysgu (os iawn yr wyf yn cofio) mor bell â'r llythyren Delta. Flwyddyn ar ol dyfod i Aberystwyth ennillodd brif ysgoloriaeth o £40. Yr oedd ei gof yn rhyfeddol fywiog a gafaelgar y pryd hynny, a'i awydd am ddarllen a gwybod yn ddidor. Yn neillduol hoffai lyfrau athronyddol, neu rai yn perthyn i'r terfyn rhwng athroniaeth a duwinyddiaeth. Ysgrifennodd erthygl ar Pascal i'r *College Magazine*, a meddyliai ei gydfyfyrwyr yn fawr o honi. Pregethai yn fynych, a diameu iddo yn ei awydd am addysg drethu ei nerth yn ormodol. Aethum i i Rydychen ychydig fisoedd o'i flaen. Enillodd yntau is-ysgoloriaeth yng Ngholeg yr Iesu ym Mehefin, 1879, a dechreuodd ei fyd yn y Brifysgol yr Hydref dilynol. Enillodd anrhydedd yn yr ail ddosbarth yn yr Arholiad Canol, fel ei gelwir, yn 1881, a'r unrhyw anrhydedd yn yr Arholiad Terfynol (*Literae Humaniores*) yn 1883. Yr oedd gan ei athrawon olwg uchel iawn arno, yn neillduol yr athrawon a arolygent y rhannau athronyddol o'r gwaith. Yn sicr ni chawsent neb erioed dan eu gofal yn cymeryd mwy o ddyddordeb mewn diwylliant a phethau'r meddwl; ar y pethau hyn y rhoddai ei serch a'i fryd. Fel ysgolhaig clasurol, rhagorai yn hytrach mewn ehangder gwybodaeth am lenyddiaeth a hynafiaethau Groeg a Rhufain, nag mewn ysgolheigdod manwl. Nid dim bai ynddo ef oedd hynny, oblegid ni chawsai yr addysg fanol a pharhaus sydd yn ofynol i wneyd y math hyn o ysgolhaig. Ond os collai mewn manylrwydd enillai yn fawr mewn ehangder, ac yn y gallu i gysylltu ei wybodaeth â'i oes ei hun. Gŵyr pawb o'i gyfeillion am y gwendid corff a'i dilynodd trwy ei yrfa yn y Brifysgol. Aeth trwy lafur caled a chyson; a gwannach ac nid cryfach yr elai tua'r diwedd. Llawer yn rhy wan ydoedd i wneyd cyfiawnder ag ef ei hun yn yr arholiad terfynol y cyfeiriwyd ato. Er iddo wneyd yn rhagorol, eto—o herwydd y pwys a roddir yn yr arholiad enwog hwn ar allu athronyddol, ar gynnwys yn hytrach nag ar iaith ac arddull y prif weithiau clasurol,—gallesid disgwyl iddo dra rhagori, pe na buasai ei waeledd yn ei luddias. Yr oeddwn yn lletya yn agos ato, ac yn ei weled yn barhaus yn y cyfnod hwn. Gorfyddai iddo fyned i orffwys ran o'r dydd, ac yna darllen spel, a gorffwys wedi hynny. Ond er hyn oll, yr oedd ei ysbryd mor fywiog ag erioed, ac yr oedd mor barod ag erioed i godi sgwrs ar rai o'i hoff bynciau. Arferem mewn direidi weithiau ei holi ynghylch yr ail *H.* yn ei enw. Mynnem am mai "Hamilton" y safai, bryd arall mai am "Hegel." Yr oedd athroniaeth Hegel yn uchel iawn ei bri yn Rhydychen y pryd hynny; a swynwyd yntau ganddi, megis llawer ereill. Dywedai unwaith, "I don't understand Hegel, I understand the jargon of it, you know." Ac ychwanegai yn chwareus, gan ddangos yn eglur mai dweyd yr oedd yr hyn nas dymunai, "It is all jargon." Bob nos Sadwrn gwelid ef yng nghymdeithas Aberystwyth (yr "A.C.C." fel y gelwid hi), a mwynhai a'i holl galon bob difyrrwch fyddai ar droed yno. A phan fyddai gennym ryw bwnc o dan sylw o ddifrif, cymerai ran bwysig yn yr ymddiddan. Fel siaradwr, medrai osod mater yn darawiadol ger bron âg un ergyd megis. Ei fai oedd ei fod mor gyflym ei feddwl, ac yn gweled cynifer o ystyriaethau wrth fynd ymlaen, ac yn eu dwyn i mewn fel y gwelai hwynt, nes tynnu y min oddi wrth brif faich ei sylwadau. Ni ddigwyddodd i mi erioed ei glywed yn pregethu, hyd y gallaf gofio. Clywais y byddai weithiau yn pregethu gyda nerth a dylanwad. Pan ddywedid wrtho un tro bod rhai yn barod i ameu ei athrawiaeth, atebodd ar unwaith, "Whoever is more orthodox of you all, I am more orthodox." Yr oedd pawb o honom yn ei garu. Nis gallai neb a'i hadwaenai yn iawn beidio. Yr oeddym oll yn ei barchu am ei allu, ei sel dros bethau y meddwl, ei onestrwydd trylwyr, ei burdeb a'i ddiniweidrwydd. Ni welais mo hono ond rhyw unwaith wedi gadael Rhydychen, ond clywais air byr oddiwrtho droion. Gwelais erthygl o'i waith ar "Descartes" yn y TRAETHODYDD. Y mae y Parch. D. Adams yn ei bennillion tlysion a theimladol yn y cyhoeddiad hwnnw wedi darlunio ei brif nodwedd—sef ei frwdfrydedd dros feddwl a meddylwyr—

yn llawer gwell nag y gallaf fi. Y mae yn dda gennyf fod tystiolaeth mor gymwys iddo o waith cyfaill mor fawr, ar gof a chadw. Gofid mawr i mi ac i bawb o'i hen gydnabod oedd clywed am ei farwolaeth yn y wlad bellennig i'r hon yr aethai i chwilio am iechyd. Ond nis gallaf lai na meddwl, gan mor fywiog ydoedd yma, nad ydyw heddyw yr un mor aiddgar yn trin yr un pynciau mawrion heb arno bellach na gofid na phall.

Rhaid i ni redeg yn frysiog dros y gweddill o hanes ein hanwyl frawd. Wedi gadael y colegau, cawn fod yr un ysbrydiaeth i weithio yn parhau ynddo, a hynny er gwaethaf gwendid corfforol mawr. Yr oedd ar brydiau yn nodedig o wannaidd. Ond nid oedd dim yn ei luddias i ddarllen ac astudio yn galed, ïe ac i ddysgu iaith newydd; nid wyf yn sicr pa un ai y Germanaeg ai yr Italaeg,—yr wyf yn meddwl mai yr olaf. Ac yr oedd ei awydd i gyfrannu gwybodaeth yn gryf iawn; anfonwyd ato gan Gymdeithas Gwŷr Ieuainc tref gyfagos i roddi anerchiad iddynt ar ryw bwnc a fynnai. Y testyn a ddewisodd oedd y *Data of Ethics*. A diau iddo daflu goleuni da yn yr anerchiad hwnnw ar Athroniaeth Foesol Herbert Spencer, ac egluro yn helaeth ymha beth yr oedd ei diffygion yn gorwedd. Mewn llythyr at berthynas iddo, yn cynnwys braslun o'r anerchiad, y mae yn cyfeirio at syniad Spencer mai dadblygiad (*evolution*) yw Moesoldeb, ac yn yr ystyr yna y gellir siarad am Foesoldeb Llysiau,—y mae yn gwneyd y sylw: "Gwelwch bellach fel y mae cymhellion (*motives*) yn cael eu hanwybyddu ganddo, y rhai ydynt ffynhonnell wirioneddol Moesoldeb. Nid yw Athroniaeth Foesol Spencer yn gwneyd cyfrif o gymhellion, ac eto â'r rhai hyn yn arbennig y mae a fynno Moesoldeb."

Gresyn na buasai mwy o ffrwyth ei ysgrifell ar gael. Heblaw ei ysgrif ar Pascal yn y *College Magazine*, a'i ysgrif ar Descartes yn y TRAETHODYDD, nis gwn a oes dim arall o'i waith ar gael. Y mae yn ymddangos oddiwrth lythyr a ysgrifennodd, ei fod wedi bwriadu ysgrifennu,—pan yn y coleg yr oedd hynny, dan faich trwm o waith,—gyfres o ysgrifau ar Tasso, y bardd Italaidd; nis gwn a roes y bwriad hwnnw mewn gweithrediad. Y mae yn yn yr un llythyr yn dangos y cyfeiriad yr oedd am gymeryd. Meddai: "Danghosaf yn yr ysgrif gyntaf y lle a rydd efe i genedlaetholdeb dyn yn ei gyfansoddiadau, hynny yw, i ba raddau y mae y bardd yn ddyledus am ei feddylddrychau i'r ffaith ei fod wedi ei ddwyn i fyny mewn un genedl yn hytrach na'r llall. Ac yn yr ail, danghosaf y cysylltiad agos sydd rhwng y Lladin a'r Italaeg, ac felly mai ychydig o lafur sydd yn angenrheidiol i'r rhai hynny sydd wedi meistroli Lladin i ddod yn feistriaid ar y beirdd Italaidd, megis Petrarch, Tasso, &c." Y mae hyn yn dangos fel yr oedd yn gallu troi i astudio i wahanol gyfeiriadau, a bod ei astudiaeth yn y cyfan mor drwyadl fel ag i allu egluro y prif bwyntiau yn yr amrywiol lyfrau a gymerai i fyny.

Bu am dymor yn Liverpool, yn gweithredu fel *Private Tutor*, yn paratoi rhai ar gyfer y Prifysgolion, &c., ac nis gellid cael ei gymhwysach i'r gwaith hwnnw. Wedi hynny bu yn Egremont; ond byr fu ei arhosiad yno, gan fod ei afiechyd yn trymhau arno; a'r diwedd fu iddo orfod ymadael i Awstralia, gyda'r gobaith y buasai hinsawdd y wlad honno yn dwyn adnewyddiad i'w iechyd. Enillodd le uchel a pharchus ym meddyliau ei gyd-weinidogion a'r cynulleidfaoedd crefyddol yn Liverpool, fel y dengys y rhodd werthfawr a dderbyniodd a'r anerchiad a gafodd pan yn ymadael. Y mae yr anerchiad wedi ei harwyddo gan brif weinidogion Liverpool, ac amryw ereill o wŷr cyfrifol a blaenllaw.

Dyma ei rhediad:—"Ein bod ni sydd a'n henwau isod, ar ran eich ewyllyswyr da, yn dymuno cadw mewn cofnod parhaus ein gwerthfawrogiad calonnog o'ch cymeriad pur a'ch cyraeddiadau uchel, a mynegi ein gobaith a'n hyder y bydd i chwi yn eich gyrfa yn Awstralia, arddangos yr un gallu, a sêl, a ffyddlondeb yng nghyflawniad y dyledswyddau a ddisgynant i'ch rhan yn eich cylch newydd."

Derbyniodd raddau o adnewyddiad iechyd yn Awstralia; effeithiodd hinsawdd y lle hwnnw yn dda arno; a phrofodd ar unwaith ei fod yn meddu yr un ynni a pharodrwydd i weithio mewn gwahanol gylchoedd yno. Bu o ddefnydd mawr yno fel pregethwr ac fel athraw, ac yr oedd yn prysur ddringo i safle anrhydeddus. Yr oedd ei weinidogaeth yn dra chymeradwy ym Melbourne, Williamstown, Sebastopol, a Ballarat. Yn nechreu 1888, galwyd ef i wasanaethu yr achos Presbyteraidd yn Picton, nid ymhell o Sydney; cafodd yma y brofedigaeth chwerw o golli ei lais, yr hyn wrth gwrs a lesteiriodd ei waith fel pregethwr a bugail, er siomedigaeth iddo ei hun a'r rhai oedd dan ei ofal. Wedi ymbriodi â Miss Dora Jones, gynt o Ogwen terrace, Bethesda, ymsefydlodd am dymor yn Albury, New South Wales, lle y bu yn gweithio ar *staff* newyddiadur. Yna aeth i Melbourne i weithredu fel *Private Tutor* mewn teulu parchus iawn; a chyn hir cafodd ei apwyntio yn arholwr yn y *Public Service* ac ym Mhrifysgol Melbourne. Profai hyn ei fod yn cael ei weled a'i werthfawrogi yn fawr yn y wlad honno, a bod dyfodol disglaer yn ei aros. Ond "nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi." Chwalwyd y gobeithion i gyd a siomwyd y disgwyliadau gan ddynesiad angeu; byr iawn fu ei dymor yno. Bu raid diosg yr arfau, gan fod ei Arglwydd yn ei alw adref. Wedi iddo ef a Mrs. Williams ymsefydlu mewn cartref cysurus yn Albert Park, South Melbourne, ni chafodd fyw yno ond ychydig fisoedd. Cafodd ymosodiad trwm o'r Tan Iddwf, *Erysipelas*, a bu farw Hydref 15, 1889, er galar a siomedigaeth drom i'w berthynasau anwyl a llu mawr o'i edmygwyr. Mawr gydymdeimlid â'i briod drallodus yn ei cholled am ŵr hawddgar a charedig, ac â'i dad galarus a'i chwiorydd yn y wlad hon. Y mae yn anhawdd meddwl am ergyd drymach i'w dad nag oedd hon,—colli mab mor hynod o alluog, o gwmpas dyfodol yr hwn y crynhoai y fath obeithion uchel; a'r hyn yn ddiau a bruddhai y syniad oedd fod yn rhaid ei gladdu yn naear gwlad estronol. Diau fod "marw yn elw" iddo ef: er hynny chwith yw meddwl fod cymeriad mor bur, ac un o dalentau mor ddisglaer wedi ei dorri i lawr pan ond prin yn dechreu ar waith mawr ei fywyd; y gwaith yr oedd wedi llafurio mor ddyfal ac mor galed i baratoi ar ei gyfer. Rhoddwyd ei weddillion marwol i orwedd ym mynwent St. Kilda, a dilynwyd ef i lan y bedd gan dyrfa barchus. Gwasanaethwyd wrth y tŷ ac wrth y bedd gan ddau o'i gyfeillion, y Parch. John J. Owen, gynt o'r Gerlan, Bethesda, yr hwn a ddanghosodd lawer o gydymdeimlad âg ef yn ei gystudd trwm, ac â Mrs. Williams yn ei phrofedigaeth chwerw; a'r Parch Owen Edwards, B.A., Melbourne. Ysgrifenna Mr. Edwards am dano: "Nid anghofir yn fuan frwdfrydedd ein diweddar gyfaill mewn cysylltiad â'i waith, pa un bynag ei astudio, neu addysgu, neu bregethu. Bu ei frwdfrydedd yn nerth mawr iddo ynghanol gwaeledd. Tystia pawb fod yr Efengyl wedi gwneyd bonheddwr Cristionogol o hono, ac fel y cyfryw nodweddid ei gymeriad gan linellau tyner iawn. Uwchlaw y cwbl, yr ydym yn argyhoeddedig ei fod yn ddyn duwiol."

Cyn terfynu, dymunwn eto roddi i mewn y llythyr canlynol a dderbyniwyd oddiwrth y Parch. Thomas Roberts, Jerusalem, sydd yn rhoddi amlinelliad cywir o'i hanes am ran fawr o'i fywyd, ac yn rhoddi trem ar amryw o nodweddion amlycaf ein hanwyl gyfaill:—

Yr oedd yn llawen iawn gennyf ddeall eich bod yn ysgrifennu ychydig er coffadwriaeth am y diweddar Barch. Hugh Henry Williams; buasai yn chwith meddwl i hynny gael ei adael heb ei wneuthur. Argyhoeddiad dwfn pawb o'i gydnabod oedd, fod Mr. Williams yn wr ieuanc o ddoniau a chynheddfau cryfion a disglaer iawn; nid mewn un cyfeiriad, chwaith, yr ydoedd felly, ond mewn llawer, ac o'i febyd. Yr oedd yn blentyn darllengar, ac nid darllengar yn unig, ond myfyrgar hefyd. Gellid adwaen hynny, agos, ar ei wedd; ac yr oedd i'w ganfod yn ei gerddediad yma ac acw hyd y gymdogaeth. Yr wyf yn cofio un o'r troion cyntaf, os nad y tro cyntaf o gwbl, i mi erioed ei weled; yr wyf yn sicr ei fod y cyntaf i mi sylwi arno. Bachgen pur ieuanç ydoedd y pryd hwnnw, ac un o ddisgyblion Mr. Jones, Garmonydd, yn Ysgol Frytanaidd y Carneddi. Ar un o heolydd Bethesda y gwelais ef, rhwng un a dau yn y prydnawn oedd yr amser. Myned yr ydoedd o dŷ ei dad i'r ysgol at y prydnawn. Yr oedd ambell i gwr o'r ystrydoedd ar y pryd yn o lawn o blant yn myned tua'r un man ag yntau; a'r rheiny, yn ol arfer plant ysgol ar yr awr honno, yn llawn nwyfiant a chrechwen a chellwair, ac yn peri gwybod eu bod i bawb o hirbell. Nid ymysg y tyrrau plant yr oedd ef; nid wyf yn dweyd na buasai yn llawn cystal, neu well, ar ryw olwg, ei fod yno. Ond nid yno yr ydoedd; eithr ei hunan yn unig, yn cerdded yn araf iawn yn ei flaen. Go welw oedd ei wedd; o dan ei gesail yr oedd un neu ddau o daclau yr ysgol—llechen, neu lyfr, neu y ddau; ac yn ei law yr oedd llyfr agored, yr hwn a ddarllennai â llygaid astud, fel y cerddai yn ei ffordd. Mi welsai estron hollol yn y fan ei fod o anian gryn dipyn yn wahanol i'r bechgyn ereill oedd o gwmpas, ac eisoes wedi dechreu byw mewn byd nas gwyddent hwy, ac, yn wir, nad oedd arnynt eisieu gwybod, dim am dano. Buasai dim ond ei ddau lygad ef yn dwedyd hynny. Ac y mae yr hyn ydys newydd grybwyll yn fesur o agoriad i'w fryd a'i ogwydd trwy ystod tymor ei febyd, ac o ran hynny, i ysbryd ei feddwl trwy ei holl fywyd. Y mae yn go gennyf ei dderbyniad i fod yn gyflawn aelod; ond nid oes gennyf un cof am neb yn ateb fel yr atebai efe y pryd hwnnw. Wrth reswm, disgwylid oddi wrtho bethau gwell nag arfer, oblegid yr oedd ei gyraeddiadau ef, yn yr oedran ieuengaf, o ran gwybodaeth, yn lled bell tu hwnt i fechgyn yn gyffredin. Am ryw reswm, ar ei ben ei hun y derbynnid ef, ac nid fel un ymysg lliaws. Yr oedd y seiat y nos honno yn fwy distaw na chyffredin, o herwydd gwrandewid yn astud ar ei holl atebion. Ac atebion gwych iawn oeddynt—parod, eglur, addfed. Rhoddwyd cwestiynau caletach nag a wneir y rhan amlaf iddo ar y dechreu; ond yr oedd ei ddeall ef a'i atebion yn peri eu bod yn myned yn galetach drachefn. Chyfyngwyd mo honynt i'r *Hyfforddwr* a'i fater, na chwaith i'r hanes Efengylaidd; ac yr wyf yn meddwl y gellid dweyd y teimlai pawb cyn y diwedd fod ei wybodaeth am y Sacrament Sanctaidd yn gyflawn a manwl iawn, pa un bynnag ai o ran hanes ai o ran athrawiaeth. Clywais, ar ol hynny, i berthynas o fro arall, ychydig cyn adeg ei gyflawn dderbyniad, gyflwyno yn rhodd iddo lyfr go helaeth a chynhwysfawr ar y Swper Sanctaidd; ond er gwneyd hynny, ychydig iawn yn ei oedran ef a allasai lwyr feistroli llyfr felly i'r graddau y profwyd yn y cyfarfod eglwysig ddarfod gwneuthur ganddo ef. Y marc nesaf yn ei hanes i'r man lle y gadewais ef, yw noson neu ddwy cyn ei fynediad i Athrofa y Bala. Ymddiddenid âg ef yn y cyfarfod eglwysig o flaen ei ymadawiad; rhaid fod hyny, ond odid, tua diwedd 1873 neu ddechreu 1874, oblegid yn hen gapel Siloam y bu y peth tra yr adgyweirid capel Jerusalem; ac y mae llygad fy meddwl yn awr yn gweled y sêt yn yr hen adeilad honno lle yr eisteddai. Hwyrach fod y cof yn fwy clir am fod ymofyn y meddwl ar y pryd yn fwy byw beth a ddeuai o wr ieuanc o alluoedd mor ddisglaer, pa ddefnydd bynnag a wnelai efe o honynt. Nid oedd eto wedi dechreu pregethu; ni chyfaddefai mai ei fwriad oedd gwneyd. Dichon nad oedd y bwriad yn bod; os oedd yn bod, nid oedd am ei fynegi, a braidd nad amcanai ei gelu. Y mae yn ddigon posibl fod y cwestiwn hwn y pryd hynny yn lled guddiedig oddiwrtho ef ei hun. Modd bynnag, fe ddywedodd rhywun o'r brodyr wrtho yn y cyfarfod hwnnw—Os nad oedd ewyllys ynddo i fyned yn bregethwr, mai lle peryglus iddo ef fyned yno oedd Coleg y Bala, bod y fan yn llawn o ysbrydiaeth y gwaith hwnnw, ac mai gafael

ynddo yntau, ond odid, a wnai yr ysbrydiaeth hwnnw, os unwaith yr elai i'r Bala. Chwi wyddoch mai felly y bu. Dechreuodd bregethu. Unwaith yn unig y clywais ef yn gwneuthur hynny. Mewn Cyfarfod Misol yn Rhostryfan yr ydoedd. Oddi wrth yr odfa honno yn unig y gallaf fi farnu am dano fel pregethwr. Y noswaith gyntaf ydoedd, a'r diweddar Brifathraw D. Charles Davies a bregethai olaf. Yr wyf yn cofio yn dda mor siomedig y teimlwn y noson honno o berthynas i Mr. Williams, ac hefyd mor llawen y teimlwn; yr oedd fy siomiant yr ochr oreu. Oblegid, o ran mater, ffordd o drin mater, a dull o draethu ei feddwl, fe bregethodd y gwr ieuanc ymhell tu hwnt i'm disgwyliad i, oddi wrth yr hyn a glywswn rywrai yn adrodd; ac y mae yn rhydd i mi addef ddarfod fy argyhoeddi y noswaith honno, os caffai arbediad bywyd, bod ynddo ddefnyddiau pregethwr o radd uchel iawn. Ar yr un pryd, yr wyf yn addef mai nid i fod yn bregethwr yr oedd ef wedi ei ddarpar yn bennaf; ac nid i hynny yr oedd ei anian gymhwysaf. Yn hytrach, yr oedd wedi ei lunio i fod yn ysgolor ac athraw; nid athraw i'r rhai bach, ond i ddisgyblion wedi tyfu i fesur o aeddfedrwydd, y rhai y gallai eu cymeryd trwy diriogaethau cyflawnach a mwy eang gwybodaeth. Yr oedd ganddo fedr nodedig at hyn; a thra parhaodd ei iechyd, bu yn llwyddiannus iawn yn y ffordd yma, yn enwedig yn Liverpool a'r cyffiniau; a thrachefn yn Awstralia, ar ol iddo drigo ychydig yn y wlad honno, a dechreu cael ei adnabod, yr oedd cyflawnder o waith yn y ffordd hon yn prysur agor o'i flaen, a'i gymeradwyaeth gan, a'i barchedigaeth oddi wrth y rhai cymhwysaf i farnu cynheddfau ysgolhaig ac athraw cyfarwydd, yn cynhyddu yn gyflym. I w gyfeillion yn y wlad hon, athrist iawn, a chwanegiad at eu galar oblegid ei farwolaeth gynnar, oedd clywed ei fod, pan ymaflwyd ynddo gan yr afiechyd a'i cymerodd ymaith, newydd gael ei ddewis i fod yn Arholwr un o Brifysgolion y wlad yr oedd wedi myned iddi i fyw. Yr oedd yn chwith a phruddaidd iawn genym oll glywed ei farw. Yr oeddid wedi disgwyl llawer oddiwrtho, mewn llawer o ffyrdd, heblaw y rhai sydd wedi cael cyfeirio atynt yn y llythyr brysiog yma. Yn arbennig, mi feddyliwn, coleddid gobeithion uchel am dano yn llwybrau llenyddiaeth. Yr oedd defnydd llenor ynddo—yn enwedig, ysgatfydd, llenor Seisnig. Pan nad oedd ond llanc, synnai ei gydnabod at y wybodaeth oedd ganddo o gynnwys cynifer o lyfrau, a'r rhai hynny yn llyfrau pur amrywiol, a phell o ran eu pynciau, a'u materion, y naill oddiwrth y llall. Ac nid gwybodaeth cof yn unig ydoedd; ond mi fum i yn barnu yn ei gymdeithas lawer tro ei bod yn wybodaeth feirniadol a manol. Ond eu siomi a gafodd gobeithion pawb am dano, a thrist iawn y'n gwnaed oll o glywed am ei ymadawiad. Nis gellid peidio cydymdeimlo yn ddwfn iawn â'i dad, a wnaethai bob aberth posibl er mwyn ei fachgen; yn gystal ag â Mrs. Williams, yr hon ar ol bywyd priodasol byr iawn, ond pur ddedwydd, a gladdodd ei gwr mewn gwlad bell. Welodd ei lygad ef erioed mo'r eneth fach, yr hon, a barnu oddiwrth gyflymder ei meddwl a bywiogrwydd ei hysbryd, sydd wedi etifeddu rhyw fesur o dalent ei thâd.

I'n golwg ni, rhy gynnar o lawer oedd iddo gael ei gymeryd ymaith yn yr oedran cynharol o dair ar ddeg ar hugain; ond gwnaeth waith mawr yn y tymor byr a gafodd. A barnu ei oes, nid wrth y nifer o flynyddau a gafodd, ond wrth y mesur helaeth o waith a gyflawnodd yn y blynyddau hynny, bu fyw yn hir. Ychydig a drwg—ar gyfrif stâd ei iechyd—oedd nifer blynyddau ei einioes; ond er pob anfantais, llanwodd yr ychydig hynny hyd yr ymyl â defnyddioldeb. Yr oedd yn "weithiwr difefl" gyda phob peth yr ymgymerai âg ef; ni bu diogi ac ymollyngdod yn agos ato. Cysegrodd ei dalentau disglaer er lles ei gyd-ddynion a gogoniant ei Brynwr. Derbyniodd, debygem, bum talent; a thrwy ffyddlondeb yn yr iawn ddefnydd o honynt, enillodd bum talent ereill atynt. Ac y mae yn sicr fod y gair wedi ei ddywedyd wrtho, "Da, was da, a ffyddlawn."

R. Pryse Ellis.

# Y DRINDOD.

Yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan.—*Matt. xxviii. 19.*

FEALLAI mai nid peth hollol ofer ydyw galw sylw dynion at bethau sydd braidd yn ddisylw yn y dyddiau presennol. Fel y mae yn hysbys i'r neb sydd yn sylwi, y mae gan bob pwnc ei gyfnod, pan y mae yn cael ei ddwyn yn amlwg o flaen meddwl yr oes. Ond gan fod cymaint o byncian, y mae ambell i oes yn myned heibio cyn y bydd ambell i bwnc wedi cael ei ddwyn o'i blaen o gwbl.

Nid yw hynny yn dibynnu yn hollol ar bwysigrwydd y pwnc; ond i raddau helaeth, ar amgylchiadau ac achosion sydd yn tynnu neu yn gyrru yr oes i gyfeiriad neillduol. Ac fel y mae yr oes yn myned i gyfeiriad felly, y mae pynciau neillduol yn dyfod i'r golwg, tra y mae ereill yn cael eu hesgeuluso,—ac weithiau, gwelir yn dyfod i'r golwg duedd i'w gwadu. Y mae anhawster i gredu llawer peth yn dibynnu, nid yn gymaint ar y peth ei hunan, ag ar y man lle y mae y meddwl yn cymeryd ei safle pan yn edrych arno. Ac feallai nad ydym yn cofio bob amser ein bod yn gyfrifol am y safle honno. Yr ydym yn barod i ymesgusodi weithiau, pan yn methu credu rhai pethau, trwy ddweyd eu bod yn ymddangos yn afresymol; eto arnom ni y mae y bai eu bod yn ymddangos felly i ni. Yr ydym yn gyfrifol i raddau helaeth am agwedd ein meddwl, ac am gryfder a chyflymder cyraeddiadau ein meddyliau.

Y mae un peth i'w ganfod yn eglur yn yr oes hon, sef diffyg chwaeth at byncian sydd yn dal cysylltiad â meddwl fel meddwl,—meddwl pur, nid ar wahân i deimlad a gwybodaeth ymarferol yn hollol; ond ar wahân i'w heffeithiau; ac mor bell ag y mae yn bosibl, ar wahân iddynt hwythau hefyd. Tuedd yr oes ydyw myned yn ymarferol. Y mae hyn i'w weled yn hanes Athroniaeth a Duwinyddiaeth. Y mae i'w weled yn hanes Athroniaeth yn Germani; y mae i'w weled hefyd yn hanes Crefydd yng Nghymru.

Brawddeg sydd i'w chlywed yn fynych ydyw y frawddeg honno,—"Symud ymlaen gyda'r oes." Y mae yn cynnwys cyngor y dylem ei gofio; eto fe fyddai yn dda i ambell un aros ychydig ar ol, i gael gweled i ba le y mae yr oes yn myned, ac i'w rhybuddio, os bydd yn tueddu i fyned i gyfeiriad na ddylai.

Un o'r cwestiynau sydd yn cael eu anghofio, os nad eu diystyru, ydyw y gwirionedd sydd yn gynwysedig yn y geiriau uchod am y Drindod,—bod mwy nag un Person yn yr Hanfod Ddwyfol, sef Tad, Mab, ac Ysbryd Glan. Mae y mwyafrif o ddynion a ystyrrir yn uniongred, yn barod i edrych ar y pwnc hwn fel un na ddylid meddwl llawer am dano, fel un i'w adael yn hollol. O'r ochr arall, y mae gelynion crefydd, a dynion sydd yn barod i gredu fod eu deall hwy yn ddigon i gwmpasu pob peth sydd yn bod, yn barod i'w osod o'r neilldu fel peth sydd yn perthyn i'r oesoedd barddonol, sydd wedi hen fyned heibio. Eto, y mae llawer o ddysgedigion yn barod i'w osod gyda'r pethau sydd yn y cyflwr rhyfedd hwnnw na wyddom ni ddim am danynt: feallai eu bod yn wir, ac feallai nad ydynt; yn fyr, nid ydym yn gwybod.

Rhaid i ni gyfaddef fod yn amhosibl i ni gynnwys y pynciau yma o fewn terfynau ein deall. Pe byddai hynny yn bosibl, byddent yn peidio a bod yr hyn ydynt. Feallai ei fod yn bosibl i ni gael mwy o

wybodaeth am danynt nag yr ydym bob amser yn barod i feddwl. Yr ydwyf yn cydnabod eu bod uwchlaw dirnadaeth dyn, ac hefyd y mae yn amhosibl iddo ddyfod byth i'w gwybod; eto os gallaf ddangos eu bod yn angenrheidiol, fe fydd fy amcan wedi ei gyrhaeddyd.

Mewn un ystyr, y mae y pethau yma uwchlaw rheswm; eto, os yw eu bodolaeth yn angenrheidiol i reswm, y mae hynny yn ddigon i gyfarfod â'r neb sydd yn eu gwadu. Ond y pwnc ydyw, sut y mae yn bosibl profi beth sydd yn angenrheidiol i reswm trwy reswm. Wel, fe ellir profi cymaint a hyn yn ddibetrus,—fod yn rhaid fod rhywbeth wrth wraidd, ac yn achos i reswm, ac hefyd fod y peth hwnnw yn cyfateb i reswm.

Y mae rheswm dyn yn myned ymhellach na dweyd "wn i ddim." Y mae yn myned ymhellach na dweyd fod "achosion cyntaf" yn anchwiliadwy. Y mae yn gallu dweyd fod un ochr i'r rhai hyn yn dywyll; ond er hynny fod yna ochr arall iddynt ag y mae yn bosibl ei hesbonio. Beth ydynt i Dduw, ac ynddynt eu hunain, nid wyf yn gwybod; ond y mae gennyf sicrwydd am danynt fel y maent wedi eu datguddio. Y mae yn amhosibl dangos trwy resymeg sut y mae Un yn Dri, a Thri yn Un. Ond eto os gellir dangos fod hyn yn angenrheidiol yn ol y datguddiad sydd gennym yn y Beibl, ac hefyd yn ol cyfansoddiad meddwl dyn, fe fydd hynny yn ddigon. Y mae ambell un yn barod i wawdio pob ymgais o eiddo dyn i egluro dim yn y diriogaeth yma yn nerth rheswm. Ond os gallaf ddangos fod llun yr un peth i'w weled yn ffurfiad meddwl dyn, ac hefyd fod y syniad yn angenrheidiol iddo fel creadur moesol, fe fydd hynny yn ddigon; oblegid anaml y ceir dyn yn barod i wadu bodolaeth ei feddwl ei hun. Y mae un wrthddadl yn codi eto, sef ein bod yn cymeryd gormod yn ganiatäol wrth ddweyd fod meddwl dyn ar lun Duw; oblegid y mae yn amhosibl fod llun yr Anfeidrol ar y meidrol. Fy ateb yn awr ydyw y rhaid fod cyfatebiaeth rhwng yr Anfeidrol i ddyn a'i feddwl ei hunan; oblegid meddwl dyn ydyw y safon wrth ba un, yn gystal a'r offeryn drwy ba un, y mae yn barnu pob peth.

Yr hyn yr wyf yn myned i geisio ei ddangos yn awr ydyw, fod meddwl dyn yn gofyn mwy nag un Person yn yr Hanfod Ddwyfol, cyn y gall synied am Dduw.

Yr ydwyf yn gadael y datguddiad sydd yng ngeiriau y Beibl yn llonydd; oblegid y mae y rhai hynny yn ddigon pendant. Yr oedd creu ar y dechreu yn golygu mwy nag un Person; oblegid wrth wraidd hynny, yr oedd syniad, yr oedd meddwl; ac y mae meddwl yn golygu cyfuniad; a chyn y gellir cyfuno, y mae yn rhaid cael mwy nag un. Ni ellir cyfuno un. Mewn Tri yn Un yr oedd sail, yr oedd achos, y syniad am greu.

Eto: "Gwnawn ddyn ar ein llun ein hunain." Gwnawn ddyn yn debyg i ni, a meddwl ganddo yn debyg i ni.

Yn awr, beth yw meddwl? Y mae yn amlwg mai nid peth syml, nid peth nad ellir ei elfennu ydyw. Beth sydd yn myned ymlaen pan y mae dyn yn meddwl? Wel, y mae yno gyfuniad. Pan y mae dyn yn meddwl y mae yn cyfuno. Y mae yna gyfuniad o ffurf (yr hwn sydd yn anfarwol), a chynnwys (yr hwn sydd yn gyfnewidiol a diflanedig). Dyma sydd yn cymeryd lle pan y mae dyn yn meddwl. Nid mater yn cael ei uno â mater. Nid drychfeddwl yn cael ei uno â drychfeddwl. Nid meddwl a mater yn cael eu huno. Ond ffurf y meddwl yn cael ei

roddi ar ddylanwad mater, neu rywbeth arall, ar y meddwl. Dyna y peth sydd yn cymeryd lle bob dydd, bob awr, bob munud; cyfuniad, unoliad, sydd yn myned ymlaen yn gyson. Y mae y meddwl yn bod mewn unoli. Y mae yr un peth i'w ganfod yn y Duw a roddodd fod iddo: tri Pherson mewn un Hanfod,—Tad, Mab, ac Ysbryd Glan.

Yn y fan hon y mae ffynhonnell meddwl. Fan yma y mae y cyfuniad cyntaf; ac o'r cyfuniad yma y mae pob cyfuniad arall wedi tarddu. A chyfuniad sydd wrth wraidd pob ysgogiad a symudiad yn awr. Cyfuniad oedd creu; cyfuniad yw dadblygiad; a chyfuniad fydd dinystrio y byd yn y ffurf bresennol sydd arno. Ac y mae sail y cyfuniad yn y Duwdod ei hunan,—perthynas y Personau Dwyfol a'u gilydd.

Y gallu yma i unoli sydd yn rhoddi syniad i ni am y byd naturiol. Y mae mwy o unoliaeth yn dyfod i'r golwg fel y mae gwybodaeth yn cynhyddu; ac y mae mwy o amrywiaeth hefyd, oblegid y mae hynny yn angenrheidiol tuag at unoli. Y mae yr amrywiaeth a welir yn y byd naturiol yn angenrheidiol i'n galluogi i gael syniad am dano. A dyna ydyw yr hyn yr ydym yn eu galw yn ddeddfau yn y byd naturiol,—ffurf, dull y meddwl o unoli. Nid unoli y gwrthrychau ynddynt eu hunain; y mae hynny yn amhosibl; ond unoli eu dylanwad ar y meddwl. Yr un ffordd y mae yn bosibl i ni gael syniad am Dduw; ac y mae y Drindod yn angenrheidiol i'n galluogi i wneyd hyn. Nid wyf, fel y crybwyllwyd o'r blaen, yn dyfod ag adnodau ymlaen i brofi y pwnc. Y mae yr adnod hon yn ddigon: "Yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan." Y mae swn perthynas yn eglur yn y geiriau; oblegid ni fuasai ystyr o gwbl i'r gair Tad, oni bai am y Mab; nac i'r gair Mab oni bai am y Tad. Ond eto, un enw; nid enwau, ond enw.

Feallai fod rhai yn meddwl fod sylwadau o'r fath yma yn rhy feiddgar, ond y mae yn rhaid iddynt gofio fod Duw wedi bwriadu i ni ddeall y datguddiad y mae Efe wedi rhoddi i ni yn y Beibl. Ac yr wyf yn barod i feddwl fod llawer o bethau yn y Beibl heb eu hegluro, hynny ydyw, pethau y mae yn bosibl eu hegluro, ïe, pethau a eglurir mewn amser. Ond eto y mae yn y gair bethau fydd heb eu egluro byth i ddyn. Y mae ynddo ddyfnder, a'r unig beth fydd gan ddyn i'w wneyd fydd gwrando ar ei swn. Fel dyn yn sefyll ar y traeth yn sylwi ar y tonnau; y mae yn edrych ar y tonnau yn taro ar y lan, ac feallai, yn dechreu rhifo y tonnau; ond yn fuan y mae yn anghofio y tonnau; y mae yn clywed rhyw swn dieithr, swn pell, ond eto'n agos. Felly y mae weithiau gyda golwg ar bwnc fel hwn; y mae dyn fel pe byddai yn sylwi ar y tonnau sydd yn taro megis ar draethell y meddwl; y mae yn eu rhifo, ac yn gweled y cysylltiad sydd rhyngddynt â'r môr. Ond weithiau y mae yn anghofio rhifo'r tonnau. Y mae rhyw swn dieithr yn taro ar ei glustiau—swn pell ond eto'n agos; swn mawr,—nage, ond eto swn mawredd, swn digonedd, swn Dwyfol, swn y dyfnder, swn y môr. Yr hyn oedd Ann Griffiths yn ei glywed pan yn canu

> Mynediad helaeth mwy i bara
> O fewn trigfannau Tri yn Un.

Dyma y pwynt pellaf y mae y meddwl yn allu gyrraedd ydyw unoli. Y mae yn cyrraedd amcan ei fodolaeth pan yn gwneuthur hyn. Ac y mae sail pob cyfuniad yn y Drindod; a'r ffaith fod cyfuniad yn bosibl sydd yn galluogi dyn i gael syniad am bob peth.

Yn awr ni gymerwn gyfeiriad arall i fyned at yr un pwnc. Y mae dyn, fel y mae pawb yn barod i gydnabod, yn greadur cymdeithasol. Y mae wrth natur felly; y mae natur yn ei orfodi, os gellir defnyddio y fath ymadrodd am natur. Nid peth sydd yn cael ei ddysgu yn hollol yw hyn. Y mae yn bosibl iddo ddysgu llawer mewn cysylltiad a hyn; ond y mae y duedd yma ynddo yn naturiol. Dyma hanes dyn o'r dechreu, ac y mae y Beibl yn edrych ar ddyn fel creadur cymdeithasol. Wel pa le yr ydym yn cael y syniad cyntaf am gymdeithas? Pa le y mae y gwreiddyn cyntaf, y dechreuad gwirioneddol? Yn y Drindod. Mewn Tri yn Un, ac un yn Dri. Nid wyf yn dweyd fod cymdeithas dynion yn debyg i'r gymdeithas hon; yr un yw y syniad i ddyn: y syniad o gymdeithas sydd yn y naill a'r llall.

Yn awr y mae pethau ereill yn dyfod yn naturiol i mewn sydd yn ein harwain at y pwnc o gyfeiriadau ereill. Ni gymerwn ddau o'r pethau hynny, sef cyfiawnder a chariad. Yn awr, y mae cyfiawnder yn bodoli mewn dyn fel creadur moesol. Y mae yn gwybod mai cyfiawnder ddylai wneyd. Nid yw yn gwybod beth yw cyfiawnder bob amser; ond ar ol iddo gael allan beth sydd yn gyfiawnder, y mae yn teimlo fod yn rhaid iddo ei wneyd. Y mae cyfiawnder yn ffurf ar ei gyfansoddiad moesol. Ni ellir ei alw yn oleuni natur, oblegid y meddwl sydd yn rhoddi goleuni i natur, ac nid natur i'r meddwl. Wel, a ydyw cyfiawnder yn rhywbeth sydd yn perthyn yn naturiol i ddyn? Ydyw, ond nid wyf wrth hynny yn dweyd fod ei wreiddyn, ei ddechreuad, yn y dyn. Y mae dyn yn yr ystyr yma ar ddelw Duw; ac y mae mwy mewn delw nag sydd mewn llun.

Y mae cyfiawnder yn golygu perthynas; y mae yn golygu fod mwy nag un yn bodoli. Y mae cyfiawnder yn gofyn perthynas, ac y mae perthynas yn gofyn mwy nag un; felly y mae cyfiawnder yn gofyn mwy nag un. Pe buasai yn bosibl tynnu dyn allan o'i holl gysylltiadau, fe fuasai y syniad o gyfiawnder yn amhosibl; ond pe cai hynny ei wneyd, fe beidiai dyn a bod yn ddyn. A'r un modd y mae yn bosibl i ddyn gael syniad am gyfiawnder yn y Duwdod. Y mae hen ddadl wedi bod gan athronwyr, Ai yr un peth yw cyfiawnder yn Nuw ag mewn dyn? Beth yw cyfiawnder i Dduw nid wyf yn gwybod; ond i ddyn yr un peth yw cyfiawnder ymhob man. Ac yn y fan yma, yn y Drindod, y mae ffynhonnell cyfiawnder, yma y mae y dechreuad; perthynas y Personau Dwyfol â'u gilydd. Yma yr oedd cyfiawnder yn cartrefu cyn bod y ddaear, cyn bod dyn, ond fel yr oedd yn bodoli yn y Duwdod.

Nid oes gennyf lawer i'w ddweyd am y cyfiawnder hwnnw, ond yr oedd yn bodoli yno. Yr oedd yr hyn oedd ddyledus i'r Tad yn cael ei roddi, a'r hyn oedd ddyledus i'r Mab ac i'r Ysbryd Glan yn cael eu rhoddi. Cyfiawnder perffaith, cyfiawnder anfeidrol. Nid yw cyfiawnder dyn ond portread o hono, adlewyrchiad o hono. Mewn Trindod o Bersonau yr ydym yn cael lle i'r syniad o gyfiawnder yn Nuw ei Hunan cyn bod y berthynas rhwng Duw a dyn wedi dechreu. Yr ydym yn gallu synied am dano fel Duw cyfiawn ynddo ei Hun, ar wahan i'r berthynas sydd rhyngddo â chreaduriaid; ac felly y mae y datguddiad o Drindod o Bersonau yn angenrheidiol tuag at i ni gael syniad am Dduw fel Duw cyfiawn ynddo ei Hun.

Eto, yr ydym yn dyfod at bwnc arall sef Cariad. Pwnc anhawdd ei esbonio ydyw hwn; ac yr wyf yn barod i feddwl fod y beirdd wedi gwneyd niwed i'r pwnc yma; y maent wedi ei dywyllu yn lle ei egluro.

Fy esboniad ar hwn eto ydyw mai math o ffurf ar y meddwl ydyw; ar feddwl dyn mewn ystyr foesol, cofier. A phan y byddo rhywbeth yn cyfateb i'r ffurf honno, y mae yn dyfod yn wrthrych cariad. Ac i'r graddau y byddo yn cyfateb, i'r graddau hynny y mae y cariad yn cael ei gynhyrchu. A chyn y gall cariad fodoli mewn dyn, y mae yn rhaid cael cyfuniad o ffurf a rhywbeth i gyfateb i'r ffurf hono. Y mae yn wir nad all dyn roddi rheswm dros garu un peth yn fwy na'r llall bob amser; ond eto y mae rheswm i'w gael. Unoliaeth yw hanfod cariad; ac unoliaeth hefyd yw effaith cariad; y mae yn unoli cymdeithas. Ond eto nid ydym wedi dyfod o hyd i ddechreuad cariad, neu ffynhonnell cariad; oblegid nid yn y dyn y mae y dechreuad. Nid yn y dyn y mae i'w weled gyntaf, ond yn Nuw; a'r ffordd i ni gael syniad am dano ydyw fel y mae rhwng y Personau Dwyfol; yn y Drindod Sanctaidd,—Tad, Mab, ac Ysbryd Glan.

Draw yn y Tragwyddoldeb boreu, pan nad oedd y ddaear yn bod, yr oedd cariad anfeidrol yn bodoli rhwng y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan. Ac yno hefyd y meddyliwyd am bechadur. Pan oedd y Personau Dwyfol yn caru eu gilydd, fe ddaeth cariad at y pechadur i mewn i'r cariad hwnnw.

Pan oedd y Tad yn caru'r Mab fe ddaeth cariad at ddyn i mewn; ac y mae yr Iesu am roddi ar ddeall i ni fod cariad at bechadur wedi chwyddo, wedi cynhyddu cariad y Duwdod. "Am hyny mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod yn dodi fy einioes fel y cymerwyf hi drachefn."

Nid oes gennyf lawer i'w ddweyd am y cariad hwn, ond fe ddaeth i'r golwg ar y ddaear, yn ymgysegriad yr Iesu i waith y Prynedigaeth. Yn awr fe welir fod Trindod o Bersonau yn angenrheidiol i ni tuagat gael syniad am gariad yn Nuw. Ac os ydyw yn angenrheidiol er mwyn i ni gael syniad am Dduw, cofied pawb y bydd ei syniad am Dduw hebddo yn gyfeiliornus, a'u buchedd yn annheilwng o ddynion, heb "ras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glan."

*Trecynon.* W. MARGAM JONES.

---

# EGLWYS LOEGR YN BORTH I EGLWYS RHUFAIN.

Y MAE yn agos i hanner can mlynedd bellach er pan ymddanghosodd yn y TRAETHODYDD yr ysgrifau galluog hynny ar Dduwinyddiaeth Rhydychen. Dyna'r pryd y cychwynodd yn Eglwys Loegr y symudiad a adnabyddir wrth yr enw yr *Oxford Movement*. Symudiad ydoedd a barodd ddeffröad mawr, ac a gynhyrchodd ynni ac ymroddiad rhyfedd yn yr Eglwys Sefydledig. Bu y deffroad hwn yn waredigaeth i'r Eglwys; achubodd hi rhag colli ei gafael yn llwyr ar y bobl. Yn Rhydychen y dechreuodd ymysg nifer o ddynion ieuainc,—gwyr o ddysg a doniau uchel, megis Newman, Keble, Froude, Rose, Percival, a Pusey. Yr oedd y dynion hyn yn gogwyddo yn gryf at Babyddiaeth, ac mewn cydymdeimlad dwfn ag athrawiaethau Eglwys Rhufain. Dechreuasant y symudiad trwy ysgrifennu traethodau ymha rai y dadleuid ac yr amddiffynnid y syniadau a goleddid ganddynt. Ac am eu bod yn athrawon yn Rhydychen ac yn gymrodorion o'r colegau, yr oeddynt yn cael

mantais fawr i lefeinio meddyliau y dynion ieuainc y deuent i gyffyrddiad â hwy, yn enwedig clerigwyr y Sefydliad. Gwnaethant gynnwrf mawr ar y pryd trwy yr holl deyrnas. Nid fflachiad oedd y dechreuad hwnnw, yn diffodd yn fuan, ac heb adael dim o'i ol. Hauwyd syniadau a pharhäwyd i'w dysgu, y rhai ydynt wedi bod fel surdoes yn gweithio yn ddistaw ond effeithiol trwy gorff yr Eglwys Sefydledig o hynny hyd yn awr. Erbyn heddyw Puseyaeth ydyw y gallu mwyaf a'r dylanwad cryfaf o fewn i'r Eglwys. Y mae yn syndod fel y dadblygodd y syniadau hyn, a hynny mewn Sefydliad oedd yn honni bod yn Brotestanaidd. Dyma y ddysgeidiaeth a goleddir gan fwyafrif mawr y clerigwyr, ac y maent yn cyflym ennill eu haelodau i roddi derbyniad iddi. Cyhoeddir y ddysgeidiaeth hon yn barhaus o'r pulpud a thrwy y wasg; gwneir pob ymdrech i'w lledaenu ymysg Ymneillduwyr yn gystal ag Eglwyswyr.

Yn ddiweddar daeth i'm llaw lyfryn bychan, wedi ei ddwyn allan mewn dull rhadlawn, ond hynod brydferth a deniadol. Y mae yn amlwg fod y llyfr wedi ei fwriadu i'w ledaenu ymysg y werin. Dysgu crefydd i'r bobl yn ol dysgeidiaeth yr Uchel-eglwyswyr ydyw amcan y llyfr; neu yn ol ei honiad ef ei hun, gosod allan mewn iaith glir a diamwys yr hyn a gredir gan bob gwir Eglwyswr. Teitl y llyfr ydyw "The Catholic Religion, a Manual of instruction for members of the Church of England." Awdwr y llyfr ydyw y Parch. Vernon Staley, caplan sefydliad perthynol i Eglwys Loegr yn Clewer, a elwir yn Dy Trugaredd. Ysgrifennwyd y Rhagymadrodd gan y Parch. T. T. Carter, un o ganoniaid Eglwys Crist, Rhydychen. Ystyrrir yr *Oxford Movement* fel ymweliad Duw â'i bobl, ac yn ol y llyfr, y ddau beth mawr a ddygwyd i sylw trwy y symudiad pwysig hwn ydynt, (1) Yr Eglwys fel corff dirgeledig Crist; (2) Gras bywiocäol y Sacramentau. Y mae y rhan fwyaf o'r llyfr yn ymdrin â'r ddau beth hyn, ac yn datgan yn ddifloesgni syniadau hollol Babyddol. Er mwyn gweled rhediad y ddysgeidiaeth sydd yn lefeinio Eglwys Loegr yn y dyddiau hyn, edrychwn am ennyd ar y syniadau a gyfleir yn y llyfr hwn ar y Weinidogaeth, yr Eglwys a'r Sacramentau.

Dysgir ni yma fod y Weinidogaeth yn cynnwys tair swydd, sef esgob, offeiriad, a diacon. Ffynhonnell y weinidogaeth ydyw yr Urdd Esgobol, oblegid fod yr esgobion yn wir olynwyr Apostolion Crist. Rhan o'r weinidogaeth a weinyddir gan offeiriad, a rhan lai na hynny a weinyddir gan ddiacon, ond gallai holl waith y weinidogaeth gael ei gyflawni gan esgob, pe byddai angen, am fod yr urdd esgobol yn cynnwys yr urddau ereill oll. Dywedir fod yr offeiriad a'r diacon yn gweithredu dros Grist, yn gymaint a'u bod yn gweithredu dros yr esgob, oblegid fod yr esgob yn cynrychioli Crist. Yr esgob hefyd, ac efe yn unig, sydd i neillduo dynion i'r weinidogaeth, oblegid ganddo ef, fel gwir olynydd yr Apostolion, y mae yr hawl i awdurdodi dynion i weinyddu fel gweinidogion; ac y mae pob urddiad arall heblaw yr eiddo esgob yn hollol ddirym. Yn rhinwedd ei urddiad gan yr esgob, y mae gan bob offeiriad awdurdod i faddeu pechodau; ond mewn trefn iddo allu gweinyddu y maddeuant, rhaid cyffesu. Byddai cyffes gyhoeddus o bechod ger bron cynulleidfa yn rhy waradwyddus, o ganlyniad gwell ydyw gwneyd hynny yn ddirgelaidd i'r offeiriad. Offeiriadaeth ydyw y weinidogaeth, yn cyfateb i ac yn cynnwys ynddi y pethau pwysicaf ag oedd yn perthyn i offeiriadaeth Aaron. Ond hanfod y weinidogaeth yn ol y

ddysgeidiaeth hon, ydyw yr hyn a elwir yn *Olyniaeth Apostolaidd*. Trwy y weinidogaeth y gwneir dynion yn gyfranogion o fendithion uchel ac amhrisiadwy yr Ymgnawdoliad. Bwriadai yr Iesu i'r swydd a roddes i'r Apostolion aros yn yr eglwys byth. Er iddynt hwy farw, yr oedd y swydd i barhau. Yr oedd y swydd fel y derbyniwyd hi gan yr Apostolion, yn cynnwys dau beth, sef y comisiwn, "Ewch i'r holl fyd," &c., a'r addewid fawr, "Wele yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Yr oedd y swydd i barhau trwy i'r deuddeg ordeinio iddynt eu hunain olynwyr, megis ag yr ordeiniodd yr Iesu hwythau. Trwy yr ordeiniad yr oeddynt yn cyflwyno y comisiwn a dderbyniasent, ynghyd a'r addewid, i'r rhai a ordeinid ganddynt. Fel hyn yr oedd y swydd i gael ei throsglwyddo o oes i oes hyd ddiwedd y byd. Yr unig ffordd i wneyd y trosglwyddiad hwn ydyw trwy arddodiad dwylaw; heb hynny y mae y peth yn amhosibl. Ac mewn trefn i'r trosglwyddiad fod yn hollol ddiogel, gofelir na byddo llai na thri esgob yn dodi eu dwylaw ar ben yr esgob ordeiniedig. Haerir fod yr esgobion a ordeiniwyd fel hyn yn ffurfio cadwyn ddifwlch i lawr drwy yr oesoedd, oddiyma hyd at yr Apostolion. A'r fath ydyw y rhinwedd sydd yn rhedeg trwy y gadwyn hon, fel ag y mae pob person a ddelo i gyffyrddiad urddiadol â hi, ar unwaith yn derbyn y cymhwyster hanfodol i swydd gysegredig y weinidogaeth.

Dyma yn fyr ddysgeidiaeth y llyfr hwn am swydd y weinidogaeth. A hon ydyw yr athrawiaeth a gredir gan y blaid lïosocaf o lawer yn Eglwys Loegr. Nid oes ond un peth yn eisieu na byddai y ddysgeidiaeth hon yn cydgordio yn hollol â dysgeidiaeth Eglwys Rhufain; yr un peth hwnnw ydyw cydnabod uchafiaeth ac anffaeledigrwydd y Pab.

Y mae yn amlwg fod yr athrawiaeth hon yn hollol anysgrythyrol. Oblegid, (1) Gwna swydd y weinidogaeth yr un peth a'r apostoliaeth. Deuddeg Apostol a fu ac a fydd yn yr eglwys, ond y mae ei gweinidogion a'i phregethwyr yn filoedd. Yr oedd yn perthyn i'r Apostolion amryw bethau na roddwyd i neb ond iddynt hwy; megis gallu i wneyd gwyrthiau, amryw ddoniau, a'r awdurdod i roddi yr Ysbryd Glan. Ni bu neb ar eu hol hwy yn meddu y pethau hyn. (2) Y mae y ddysg hon hefyd yn gwahaniaethu rhwng esgob a henuriad. Os trown at rai o brif awdurdodau yr Eglwys Sefydledig, dywedant wrthym fod hynny yn groes i ddysgeidiaeth y Testament Newydd. Yn ei draethawd galluog ar y Weinidogaeth, dywed Dr. Lightfoot nad oes un sail yn y Testament Newydd i wneuthur gwahaniaeth rhwng yr esgob a'r henuriad; mai dau enw ar yr un swyddog ydynt, arferid yr enw esgob yn bennaf yn eglwysi y cenhedloedd, a henuriad yn fwy yn eglwysi yr Iuddewon. Y mae y gair "esgob" yn dynodi y swydd yn fwy yn natur ei gwaith fel golygiaeth ar y praidd, a henuriad yn ei dynodi yn fwy yn ei hurddas a'i pharchedigaeth. Dyma hefyd farn y Deon Alford a'r Archesgob Whately. Henuriaeth oedd y swydd a sefydlodd yr Apostolion yn yr eglwys. Felly yr ydym yn darllen am danynt yn gosod henuriaid ymhob eglwys. Naturiol oedd i'r henuriaid hyn ddewis yr hynaf neu y mwyaf galluog a phrofiadol yn eu plith i fod yn arweinydd ac yn llywydd arnynt. Nid oedd ganddo oblegid hynny un uchafiaeth awdurdod neu hawlfraint, nad ydoedd yn perthyn i'r lleill. Yr oedd yr holl henuriaid fel swyddogion eglwysig yn hollol gydradd. Yn fuan daeth y gair esgob i gael ei ddefnyddio yn unig am yr henuriad a ddewisid yn arweinydd neu lywydd yr henuriaeth.

(3) Yn ol y gyfundrefn hon, yr esgob yn unig sydd i osod rhai mewn swyddau sanctaidd yn yr eglwys. Yn llyfr yr Actau, dysgir ni nad oedd hyd yn oed yr Apostolion eu hunain yn dewis ac yn gosod dynion mewn swyddau ond trwy yr eglwys. Felly y dewiswyd un i gymeryd lle Judas, ac felly y dewiswyd y saith diacon. (4) Y mae athrawiaeth yr olyniaeth yn beth nad oes rhith o sail iddi yng ngair Duw. Nis gellir cael olyniaeth heb fyned ar ei hôl trwy Eglwys Rhufain. Golyga hynny ei hymlid drwy lawer iawn o lygredigaeth a chreulondeb a gwaed. Ac er myned ar ei hol trwy Rufain, y mae olyniaeth ddifwlch yn beth sydd yn aros hyd yma heb ei brofi. Nis gellir ei brofi, oblegid nid oedd y swydd esgobol yn bod yn nyddiau yr Apostolion. Creadigaeth eglwysig ydyw swydd esgob, ac nid trefniant apostolaidd. Y mae gwir weinidog yn gymwys i'w swydd, nid am ei fod wedi ei urddo gan esgob, ond am ei fod wedi ei alw gan Dduw trwy ei Ysbryd. A'r neb a alwyd felly gan Dduw, a adwaenir yn fuan gan eglwys Dduw, ac a neillduir ganddi i weinyddu y swydd. Eglwys Rhufain sydd a'r hawl gryfaf i'r olyniaeth, ac nid yw hi yn cydnabod grym unrhyw urddiad a gymerodd le tuallan i'w muriau. Y mae esgobion Eglwys Loegr yn ei golwg hi, yn ddynion sydd yn ymyryd â swydd na feddant hawl na cymhwyster iddi. Nid yw athrawiaeth yr olyniaeth yn ddim amgen na thwyll-offeiriadaeth.

Edrychwn eto ar ddysgeidiaeth y llyfr hwn am Eglwys Crist.—Sylfaen yr eglwys ydyw Crist mewn undeb â'r weinidogaeth Apostolaidd, cynrychiolydd yr hon yw Pedr. Dysgir ni fod y neb sydd yn ymuno â'r eglwys weledig, yn dyfod yn un a Christ trwy hynny. Ond yr hyn y gosodir arbenigrwydd mawr arno ydyw *undod yr eglwys*. Un wir eglwys sydd yn bod. Yr hyn sydd yn cyfansoddi undod yr eglwys weledig ydyw y credoau (sef credo yr Apostolion, credo Athanasius, a chredo Nicea); yr olyniaeth; a'r sacramentau. Yr urdd esgobol a'r sacramentau a weinyddir ganddynt ydyw rhwymyn undeb yr eglwys. Y mae yr eglwys weledig yn cael ei gwneyd i fyny yn awr o eglwysi Groeg, Rhufain, a Lloegr. Gofidir yn ddirfawr oblegid y rhwygiadau a barodd i'r eglwys gael ei thorri yn dair o adrannau fel hyn. Cyffaddefir fod y rhwygiadau hyn yn sism, ond yn wahanol iawn i Brotestaniaeth ac Ymneilduaeth. Sism *yn* y corff ydyw yr ymraniad a roddes fod i'r tair eglwys hyn; sism *oddiwrth* y corff ydyw pob ymraniad arall. Ni fethem wrth ddweyd mai y pethau hyn ydyw sylwedd y pregethau a draddodir o'r rhan fwyaf o bulpudau yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru y blynyddau hyn. Ym mis Mehefin diweddaf yr oedd tri esgob yn cysegru eglwys fechan ynghanol Lleyn. Pregethai un yn y boreu, y llall y prydnawn, a'r trydydd yn yr hwyr. Baich y tair pregeth ydoedd mai Eglwys Loegr ydyw y wir eglwys, mai sism ydyw Ymneillduaeth, ac am hynny ei bod yn bechod ysgeler.

Y mae sawyr Rhufain yn drwm ar y ddysgeidiaeth hon. Undeb ysbrydol ac anweledig ydyw undeb yr eglwys. Pan y sonir am undeb ffydd, nid meddwl hynny ydyw fod dynion yn dyfod yn un am eu bod wedi cytuno i dderbyn yr un ffurf o athrawiaeth fel erthyglau eu ffydd. Yn hytrach undeb ffydd ydyw yr undeb sydd yn ganlyniad fod dynion yn ymddiried yn yr un Person ac yn ei garu Ef. Nid dyfod yn aelod o'r eglwys, a thrwy hynny dyfod yn aelod o Grist, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Nid yw yr eglwys i fyned rhwng y pechadur a Christ. Y funud y daw yr enaid i undeb a Christ trwy ffydd, y mae o hynny allan

yn rhan o'r eglwys fawr sydd yn ffurfio ei gorff dirgeledig Ef. Enwir pedwar peth fel nodau y wir eglwys: ei bod yn un, yn sanctaidd, yn gatholig, ac yn apostolaidd. Nid oes un cyfundeb crefyddol ar y ddaear heddyw y gellir sicrhau ei fod yn meddu y nodau hyn. Elai Eglwys Loegr yn ddrylliau gan rym ymweithiad y pleidiau eiddigeddus sydd ynddi, oni buasai fod ei chysylltiad â'r Wladwriaeth fel cylch am dani yn ei chadw yn un. Ni fwriadodd yr Arglwydd Iesu i'r eglwys fod yn un yn ei ffurflywodraeth a'i ffurfwasanaeth. O ran yr allanolion hyn, gall ymffurfio i gyfarfod â nodweddion gwahaniaethol pob cenedl; gall ymgyfaddasu at anghenion neillduol pob gwlad ac oes. Y mae unoliaeth gweledig yn beth nad yw yn bod, hyd yn oed ymysg y tair adran sydd, yn ol y llyfr hwn, yn cyfansoddi y wir Eglwys. Y maent yn gwadu eu gilydd ac yn coledd teimladau cenfigenllyd y naill tuag at y llall. Anogir yr Eglwyswyr i ddymuno ac i weddio am aduniad yr Eglwys, a rhoddir iddynt ffurf o weddi i'w harfer i'r amcan hwnnw. Ond y mae Cardinal Vaughan yn ei araeth fawr yn Preston, Medi 10ed, yn cyhoeddi mai ar un amod yn unig y gellir cael aduniad; yr amod hwnnw ydyw fod i bawb ddychwelyd i fynwes Eglwys Rhufain. Os sonir am *compromise*, sef i'r gwahanol bleidiau roddi i fyny ryw bethau a chyfarfod ar dir canol, ateba y Cardinal, "Fod cyfnewid, eymedroli neu roddi i fyny unrhyw beth yn y fath fodd ag a fyddo yn effeithio ar ei chyfansoddiad dwyfol, yn beth nas gall Eglwys Rhufain ei dderbyn, hyd yn oed pe byddai uno yr holl hil ddynol yn cael ei gyrraedd trwy hynny. Y mae breintlen ei chyfansoddiad wedi ei thynnu allan gan ei Sylfaenydd Dwyfol. Nid oes ganddi, gan hynny, allu neu awdurdod i gyfnewid dim arno. Fel yr adeiladwyd hi ganddo Ef ar y graig, felly yr erys byth o ran ei cyfansoddiad. Y graig anweledig ydyw Crist; a'r graig weledig ydyw Pedr, wedi ei weithio i undod trwyadl â Christ. Y mae y rhai hyn yn wirioneddau dianwadal, ac nis gall neb eu cyfnewid. Dwy sylfaen sydd ar ba rai y mae aduniad yn bosibl, sef naill ai trwy i'r holl bleidiau roddi i fyny ryw bethau a chyfarfod eu gilydd,—ffurfio cyngrair a chydnabod y naill y llall; neu ynte trwy ymostyngiad, hynny ydyw i bawb, yn bersonau a cyfundebau, gael eu llyncu i fyny gan Eglwys Rhufain. Y diweddaf yn unig sydd yn bosibl, oblegid fod y cyntaf yn hollol groes i gyfansoddiad yr Eglwys." Nid yw y Cardinal Vaughan yn cydnabod y posibilrwydd o undeb ag Eglwys Loegr ond trwy i'r Eglwys honno beidio a bod, ac i'w holl ddeiliaid ddychwelyd i Eglwys Rhufain a chydnabod awdurdod y Pab.

Yn awr yr ydym yn dyfod at y Sacramentau.—Rhoddir lle mawr i'r rhai hyn yn nysgeidiaeth yr Uchel-eglwyswyr. Amcan mawr yr Efengyl ydyw achub dynion, symud pechadur o dywyllwch i oleuni, o gaethiwed pechod i ryddid gras, ei greu o newydd yng Nghrist Iesu. Pa fodd yr effeithir y cyfnewidiad mawr hwn? Sut y mae y pechadur i gael ei aileni, a'i wneyd yn sant? Trwy y sacramentau meddai y llawlyfr hwn. Y mae y sacramentau yn arwyddion o ras, ac yn cynhyrchu y gras y maent yn ei arwyddocau yn yr enaid sydd yn eu derbyn. Cyfodir ni trwy y sacramentau o'n sefyllfa wrth natur, a gosodir a chedwir ni mewn sefyllfa oruwchnaturiol,—sefyllfa o ras. Am hynny y gelwir y sacramentau yn foddion gras. Trwy y sacramentau gosodir ni mewn undeb bywiol â Christ, o ddynoliaeth sanctaidd yr Hwn y mae pob gras yn tarddu. Dysgir ni yma fod Saith Sacrament yn bod; ond rhoddir arbenigrwydd mawr ar ddwy, sef Bedydd a Swper yr Arglwydd. Trwy

y bedydd gwneir ni yn un a chorff dirgeledig Crist; plennir hedyn bywyd newydd yng Nghrist yn yr enaid. Ar y cyfrif hwn y mae yn rhesymol bedyddio babanod, canys nis gallant gael eu trosglwyddo yn rhy gynnar o gyflwr natur i gyflwr o ras. Y mae effeithiau bedydd yn driphlyg: (1) Symud ymaith bob pechod gwreiddiol a gweithredol; (2) Cynysgaeddu yr enaid â gras sancteiddiol ac â'r rhinweddau nefol o ffydd, gobaith, cariad; (3) Gwneyd y derbynydd yn aelod o Grist, yn blentyn Duw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd. Cyffelyb drachefn ydyw y ddysgeidiaeth a geir yma am Swper yr Arglwydd. Edrychir ar y cymun fel Aberth. Corff a gwaed Crist yn cael eu hoffrymu i'r tragwyddol Dad yn gyntaf, ac wedi hynny yn cael gwledda arnynt gan y cymunwyr. Cymeradwyir y gair *mass* fel enw ar y cymun. Dywedir hefyd fod eneidiau ymadawedig yn derbyn budd oddiwrth offrymiad y cymun gan yr eglwys ar y ddaear. Y mae y cymun hefyd yn wledd. Mewn trefn i'w bobl allu ymborthi ar Grist, Efe a roddes i'w Eglwys awdurdod i gysegru, trwy rym yr Ysbryd Glan, y bara a'r gwin, fel ag y maent mewn canlyniad i'r cysegriad hwnnw, yn dyfod i fod yn gorff a gwaed iddo Ef. Pan yn derbyn y bara a'r gwin a gysegrwyd fel hyn, yr ydym mewn gwirionedd yn derbyn ei gnawd a'i waed sanctaidd Ef. Dyma yr hyn a olygir wrth y *gwir bresenoldeb*. Y mae gwir bresenoldeb yn golygu presenoldeb gwirionedd; y gwirionedd hwnnw ydyw corff a gwaed Crist yn bresennol yn y sacrament yn y ffurf o fara a gwin. Hefyd y mae y cymun i fod gydag ympryd; dylid cyfranogi o hono yn y boreu cyn ymhalogi â bywdydd, ac am mai yn y boreu yr adgyfododd yr Arglwydd Iesu.

Onid yw y ddysgeidiaeth hon yn hollol Babyddol? I ddechreu, rhoddir y sacramentau yn lle pregethiad yr Efengyl. Trwy y sacramentau yr achubir dynion, yn ol y ddysgeidiaeth hon. Fel arall y dywed Paul. "Canys ni anfonodd Crist fi i fedyddio, ond i efengylu." "Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu." Yn ei epistolau at Timotheus nid yw yn dyweyd dim parthed y sacramentau; y gorchymyn mawr a roddir mewn gwahanol ffurfiau iddo ef ydyw, "Pregetha y gair; bydd daer mewn amser, allan o amser; argyhoedda, cerydda, annog, gyda phob hirymaros ac athrawiaeth." Y bregeth ac nid y sacrament sydd i gadw dynion. Moddion gras i'r eglwys, ac nid i'r byd ydyw y sacramentau. Mawr y cyffro a barodd un gwr yn ddiweddar trwy ddatgan ei farn mai trochi ydoedd y ffurf ar fedydd yn nechreuad Cristionogaeth. Yr oedd ei farn ef yn groes i draddodiadau yr enwad. Hyd ag y gwelwn ni, nid yw o ddirfawr bwys pa un ai trochi ai taenellu oedd y ffurf, pa un ai llawer ai ychydig o ddwfr a arferid. Gwneir cynnwrf mawr gyda hyn, tra y mae dynion o'n cwmpas yn dysgu yn gyson eu bod *hwy*, am eu bod yn olynwyr yr Apostolion, yn gallu wrth fedyddio gyfnewid calon pechadur. Y mae hynny yn gabledd. Dyn yn honni ei fod yn cyflawni gwaith na pherthyn i neb ond Ysbryd Duw.

Gwneir y cymun yn aberth: aberth dyhuddol, ac y mae ei rinwedd yn cyrraedd y meirw yn gystal a'r byw. Ystyrrir pob gweinidog o urddiad esgobol yn offeiriad, a phan yn cysegru yr elfennau yn y cymun, cyflawna weithred aberthawl. Wrth gyfranogi o'r elfennau a gysegrwyd ganddo ef, y mae y cymunwyr yn cyfranogi o wir gorff a gwir waed y Gwaredwr. Beth yn ychwaneg na hyn a ddysgir yn Eglwys Rhufain? Canlyniad hyn ydyw fod cannoedd yn Eglwys

Loegr yn rhedeg i'r cymun bob Saboth, ac yn amlach, gan feddwl eu bod trwy hynny yn gwneyd iawn am eu pechodau, ac yn prynu iddynt eu hunain faddeuant. Dysgir iddynt mai yr offeiriadaeth hon ydyw unig gyfrwng cymundeb Crist â'i bobl. Trwy weinyddiadau yr offeiriaid y mae i'r ffyddloniaid ddyfodfa at Dduw. Nid oes yn Eglwys Loegr aelodaeth o gwbl, oblegid mai yr Eglwys ydyw yr Offeiriaid. Dyma fel y dywed un o'i chlerigwyr: "Yr Eglwys ydyw corff ein hesgobion a'n hoffeiriaid yn Lloegr, y rhai a weinyddant râs y sacramentau i drigolion ein gwlad." Pabyddiaeth ddiledryw ydyw y ddysgeidiaeth hon: eto dywedir fod y tô ieuangaf o glerigwyr Cymru, ynghyd a'r holl guradiaid wedi eu trwytho ynddi. Nid rhyfedd fod Cardinal Vaughan yn gorfoleddu yn y cynhulliad mawr yn Preston wrth feddwl am ragolygon y Babaeth ym Mhrydain. Yr achos o'i lawenydd ydoedd y cyflymder gyda pha un y mae Eglwys Loegr yn symud yng nghyfeiriad Eglwys Rhufain. Dyma ei eiriau:—"Edrychwch ar eglwysi y Sefydliad drigain, a deg a thrigain o flynyddau yn ol. Yr oeddynt yn gauedig o'r naill ben i'r wythnos i'r llall; dim gwasanaeth dyddiol, dim gwyliau a seint-ddyddiau yn cael eu cadw, y cymun yn cael ei weinyddu dair gwaith neu bedair yn y flwyddyn; pob peth yn sych, oerllyd, a ffurfiol. Cyferbynnwch yr eglwysi hynny â'r eglwysi presennol, y rhai nas gellir yn fynych ond gydag anhawster mawr eu gwahaniaethu oddiwrth yr eglwysi a berthyn i'r Babaeth. Y mae athrawiaethau Eglwys Rhufain, pa rai a wrthodwyd ac a gondemniwyd fel cabledd, ofergoeledd, a dyfeisiau, wedi cael eu hadchwilio a'u derbyn yn ol o un i un, hyd onid ydyw y Deugain Erthygl ond Un, fel rheol ffydd, wedi eu halltudio a'u claddu. Y gwir bresenoldeb, aberth yr offeren yn cael ei offrymu dros y byw a'r meirw, weithiau hyd yn oed yn Lladin; cadw yr elfennau yn ol oddiwrth y cymunwyr; clustgyffes reolaidd; yr eneiniad diweddaf; y purdan; gweddiau tros y meirw; addoliad Mair; paderau; gweddio ar y seintiau; y rhai hyn ydynt athrawiaethau a ddysgir ac a dderbynnir gydag awydd a blas cynhyddol iddynt yn Eglwys Loegr." Yna y mae yn dilyn restr o'r dodrefn, y defodau, yr ymarferiadau a'r gwisgoedd Pabaidd sydd wedi eu dwyn i mewn i Eglwys Loegr yn ddiweddar. "Y mae hyn oll," ebe Cardinal Vaughan, "yn dangos cyfnewidiad a symudiad yng nghyfeiriad yr Eglwys Babaidd a fuasai yn ymddangos yn hollol anghredadwy ar ddechreuad y ganrif hon. A'r hyn sydd yn fwy hynod fyth ydyw fod y symudiad hwn wedi bod yn gryfach na'r Brotestaniaeth fwyaf rhonc, yn gryfach na'r esgobion, yn gryfach na'r cyfreithwyr, ac yn gryfach na'r ddeddfwriaeth. A welwyd erioed gyfnewidiad mwy rhyfeddol, a hynny yn ystod hanner can mlynedd!" Dyma eiriau Cardinal Vaughan, yr awdurdod uchaf a fedd y Babaeth yn y deyrnas hon. Y mae efe yn gobeithio yn gryf y gwelir y deyrnas hon yn gyfan, a hynny yn fuan, wedi ei hennill at Babyddiaeth. Seilia ei obaith am hynny ar y cynnydd cyflym a wna y gyfundrefn Babaidd o fewn magwyrydd Eglwys Loegr; ac hefyd ar drugaredd a chariad Duw, gweddiau y Fendigaid Forwyn, Sant Pedr, ynghyd a seintiau a merthyron Lloegr. Diameu y cydnebydd pawb nad oes un blaid o grefyddwyr wedi gwneyd cymaint o gynnydd yn y deyrnas hon yn ystod yr hanner can mlynedd diweddaf â'r Pabyddion; ac Eglwys Loegr sydd yn gyfrifol am hynny. Dyma un o'r rhesymau cryfaf tros Ddadgysylltiad. Talu degwm i Eglwys Loegr ydyw talu treth y ffordd fawr i Rufain. O Eglwys

Loegr y cafodd Eglwys Rhufain y ddau gardinal a'i cododd i'r fath fri a dylanwad ym Mhrydain yr ugain mlynedd diweddaf. Nid yw Eglwys Rhufain wedi newid dim ar ei chyfansoddiad na'i hysbryd. Yr hyn oedd hi gynt yw hi heddyw. Gwae fydd i ni os daw hi i fod y gallu cryfaf yn ein gwlad! Amddifedir ni yn llwyr o'r breintiau y daethom i feddiant o honynt trwy flynyddoedd o ymdrech caled, a darostyngir y genedl yn ol i'r tywyllwch, y tlodi, a'r caethiwed cyntefig. Amseroedd enbyd yw y rhai hyn, a dylai pob Cymro sydd yn caru ei wlad a'i chrefydd fod yn effro ac yn llawn gwaith.

WILLIAM THOMAS.

---

# DYCHYMYG.

O BOSIBL nad yw penawd ein herthygl yn ddigon i beri i rai fyned heibio heb gymeryd unrhyw sylw pellach o honi, yn gymaint a bod y gair "dychymyg" yn cyflwyno i'r meddwl rywbeth gwag a disylwedd; ond carem roi ar ddeall yn y cychwyn mai nid myned i son am un o wibdeithiau direol a diamcan y meddwl yr ydym, ond ceisio dangos mai nid mor ddiwerth ag y tybia llawer ydyw gwasanaeth y dychymyg. Feallai mai y peth cyntaf ddylid wneyd ydyw egluro yr hyn a olygir wrth ddychymyg, a rhoddi darnodiad yn cynnwys mewn cylch crynno y golygiad hwnnw; ond fel rheol, creadur diymddiried yw darnodiad, ac ond odid nad ei noddwr fydd gwrthrych cyntaf ei ymosodiad. Yn ddiweddar gwelsom lew yn cael ei arwain gan y ceidwad o un cerbyd i un arall, a gwnaed hynny yn dawel a hamddenol; ond yr oedd y miloedd edrychwyr yn dal eu hanadl tra y cymerai le, am y gwyddent mai diymddiried oedd y llew, ac y gallasai droi ar ei geidwad a'i larpio. Am yr un rheswm ymogelwn ninnau rhag cyflwyno ger bron ein darllenwyr y creadur peryglus o ddarnodiad, "rhag iddo larpio fy enaid." Yr un pryd, yn gymaint a bod y gair yn cael ei arfer mewn gwahanol ystyron, anghenraid yw hysbysu hynny, a hysbysu hefyd y wedd neillduol arno yr ydym ni yn ei chymeryd.

Arferir y gair i ddynodi y gallu neu y gynneddf mewn dyn trwy ba un, yn ol Dr. Pughe, y mae yn "rhoddi rhith a chynllun ar bethau na fyddont yn dwyn arnynt eu hunain, o ddîr ac angen, y cyfryw rith a chynllun." Ystyr arall a roddir i'r gair yw cynnyrch y gallu hwnnw, yn hytrach na'r gallu ei hun. Ac ystyriwn fod y darnodiad hwn o eiddo Dr. Pughe yn golygu y cynnyrch, yn hytrach na'r gallu sydd yn cynhyrchu. Ond y mae yr eglurhad a rydd ar ystyr y gair "crebwyll" yn wahanol. "Crebwyll," meddai, "a elwid felly am waith awen yn creu pethau a fydd iddynt hanfod a digwydd, herwydd ansawdd, anian, a phwyll, cyd na bo iddynt hanfod o ddir a gorfod." Y mae yr ystyr hwn i'r gair yn adnabyddus iawn i'r Cymry; treulid yn ein gwlad lawer hirnos gauaf i ofyn ac ateb dychmygion. Math o ddamhegion o ryw wirionedd, amgylchiad, neu sylwedd, oedd y dychmygion. Gwrthrychau cyffredin o bosibl a olygid, ond wedi eu gwisgo mewn gwisgoedd dieithr ac anadnabyddus. Ystyr arall i'r gair ydyw dychymyg yn y wedd o ddyfais. Arferir y gair yn fynych yn yr ystyr hwn,—dynion yn dychmygu neu yn dyfeisio. Y mae hwn yn golygu mwy na darganfod, sef fod rhywbeth yn cael ei ddwyn i fod o newydd. Dyma yw yr

holl ddyfeisiau diweddar,—y trên, y telegraff, &c.; nid oeddynt yn bod o'r blaen yn y ffurf sydd arnynt yn awr. Gwir fod y defnyddiau yn bod, ond y mae y modd y dodwyd y defnyddiau a'r galluoedd wrth eu gilydd, a'r defnydd a wneir o honynt, mewn dull cyffredin o siarad, wedi dwyn pethau newydd i fod. Ond wrth ddarganfod, y meddwl yw fod yr hyn oedd yn bod yn flaenorol yn cael ei ddwyn i oleuni. Yr oedd America yn bod cyn ei darganfod; ond nid oedd yn bod i wybodaeth y gweddill o'r byd hyd nes y darganfyddwyd hi gan Columbus. Nid dychmygu yn yr ystyr o ddyfeisio America a wnaeth Columbus, ond ei darganfod.

Ar ol fel yma alw sylw at yr hyn a gynhwysa yr enw, dymunol fuasai myned ychydig ymhellach ac olrhain ei gysylltiadau teuluaidd,—yn fwy cywir ei achau, a gweled i ba gangen o'r teulu meddyliol y perthyna; ond yn gymaint a bod achyddiaeth bob amser yn fater o gryn ddyryswch, nid ydym yn teimlo yn rhy barod i ymgymeryd â'r gorchwyl. A phe yn barod, yr ydym ar unwaith yn cyfarfod yr anhawster sydd yn codi o'r gwahanol syniadau sy'n ffynnu ar y mater. Heblaw hynny, fe haerir fod yn amhosibl olrhain ei gysylltiadau perthynasol, am mai un o'r afradloniaid hynny ydyw dychymyg, wedi gadael cartref, heb fod ganddo ddim i ddangos o ba le y daeth nag i ba le y mae yn myned; crwydryn hanner gwallgof, heb ofalu am neb na dim, ond crwydro yn ddigartref a diamcan. Prin yr un pryd yr ydym yn barod i gredu hyn am dano. Ymddengys i ni mai brawd hynaf y deall neu y rheswm ydyw; efe sydd yn anturio gyntaf i goedwigoedd ac anialwch gwirioneddau creadigaeth Duw; ac yna y mae y deall yn dilyn, gan gymeryd mesurau o'r wlad, a'i lleoliad yn ei pherthynas â gwirioneddau ereill, a gosod i lawr ffyrdd caledion o'r egwyddorion geir yn y gwirionedd, fel ag i allu tramwy i wledydd sydd yn gorwedd y tu hwnt iddi. Ac nid yn unig y mae yng ngallu dychymyg i ragflaenu deall, ond ceir hefyd ei fod yn dilyn gweithrediadau y cof. Pwy sydd heb wybod, pan mae y cof yn erchi i hen gydnabyddion yr amser gynt ymddangos ger ei fron, fod y dychymyg yn bresennol, yn ffurfio cynulleidfa newydd a gwahanol i'r hyn ydynt i'r cof. Esgyrn sychion ydynt i'r cof, ond cynulleidfa fyw, yn ymsymud ac yn ymgymysgu, ydynt i'r dychymyg.

Un peth sydd yn amlwg ydyw bodolaeth dychymyg. Beth bynnag ellir ddweyd am dano, ac am ei berthynas â'r gweddill o alluoedd yr enaid, a pheth yw ei swydd a chylch ei weithrediadau, nis gellir gwadu ei fodolaeth. Pwy o honom sydd heb ei gael ei hunan ar adegau yn ehedeg ynghanol yr eangderau ar gefn dychymyg,—weithiau yn ffurfio byd i ni ein hunain sydd yn gyflawn o bob daioni a mwynhâd. Ond pa ddaioni sydd yn deillio oddiwrtho sydd fater arall. Digon i ni ydyw y ffaith o'i fodolaeth i brofi fod iddo ryw amcan daionus. Ond nid felly pawb, gan y tybia llawer mai rhyw dyfiant afiachus ydyw, ac y dylid cymhwyso rhywbeth ato er ei ddarostwng a'i symud ymaith o'r cyfansoddiad. Yn gyffredin, cymerir ef i olygu rhywbeth gwag, disylwedd; math o freuddwydion dyn effro. Ar y tir hwn gwrthwynebir dychymyg fel peth i'w feithrin a'i gefnogi. Arwydd o feddwl gwag a di-lywodraeth ydyw; meddwl ar dramp, ac yn osgoi gweithio yn y ffurf o ddeall. Efe i weithio wrth reol a mesur? Y mae yn ddi-anrhydedd ar ei fonedd i ofyn y fath beth ganddo! Ystyria ei hun o darddiad rhy uchel i ymostwng i'r fath beth. Mwy unol â'i fonedd ac â'i chwaeth ydyw cymeryd taith i bellteroedd y greadigaeth; ac am lety a bwyd,

gall ffordddio gwneyd hebddynt; a phe rhaid wrthynt, y mae yn eiddo iddo y gallu i'w cynhyrchu. Drachefn, dywedir mai adeiladu cestyll yn yr awyr y mae, y rhai sydd waeth na diles, am eu bod yn lladrata amser ellid roddi at bethau mwy sylweddol. Nis gellir gwadu fod llawer o wir yn yr hyn y cyhuddir dychymyg o hono, a'i fod yn adeiladu cestyll yn yr awyr; ond yr ydym yn barnu yn onest mai y camddefnydd wneir o ddychymyg ydyw sail y cyhuddiad hwn. Ac os dygir ymlaen yr afradlonedd neu y camddefnydd wneir o bethau fel rheswm tros eu gwrthod, odid y ceir dim nad yw yn agored i wrthwynebiad. Ni raid i ni ond meddwl am y sylweddau mwyaf cyffredin, megis bwyd a dwr, na cheir hwynt yn agored i'r gwrthwynebiad hwn. O ddiffyg gwell enw, buasem yn galw y crwydriadau hyn o eiddo y dychymyg yn ffansïau. Y dychymyg yn y ffurf o ffansi a welir yn syniadau dieithriol y dyn sydd wedi colli ei synhwyrau, ac yn tybied ei fod yn rhywun arall,—un o wŷr mawr y deyrnas ond odid, a edmygid ganddo pan yn y meddiant o'i synwyr. A diau mai y gweithrediadau hyn o eiddo dychymyg pan wedi dirywio i fod yn dybiau coeg a gwag, a gondemnir, tra heb wybod o bosibl fod i ddychymyg ei waith a'i werth. Y mae ffansi yn ymwneyd â gwrthrychau tybiedig, nid yn unig *nad ydynt* yn bod, ond *nas gallant* fod; ond am ddychymyg, y mae yn ymwneyd â'r hyn sydd bosibl. Creu—pe priodol y gair—pethau na buont, na fyddant, ac nas gallant fod, y mae ffansi; ond tybied yr hyn all fod, ac sydd yn aml yn troi allan yn wirionedd y mae dychymyg. Pe'r elem ymhellach, dywedem fod ffydd drachefn, nid fel coegdyb yn ymwneyd â'r amhosibl, nac fel dychymyg yn tybied yr hyn sydd bosibl, a'r hyn a brofir yn wir gan ffeithiau dilynol; ond y mae ffydd yn cynnwys sicrwydd o wirionedd ei gwrthrych, heb orfod aros i gael ei roddi i'r prawf, i weled ai gwirionedd, ai ynte tybiaeth ddisail ydyw.

Nid ydym heb ofni clywed y darllennydd yn hawlio rhywbeth mwy pendant nag a ddywedwyd hyd yn hyn; drwg gennym os felly y mae, ac nid oes gennym ond erfyn ei gydymdeimlad, gan ddymuno arno gofio pa fath greadur yr ymdrechir ei ddofi. Fodd bynnag, meiddiwn osod i lawr fel gwirionedd sicr fod y dychymyg yn agwedd ar y meddwl sydd gyfreithlawn a dwyfol. Yr un pryd nid hawdd yw gosod allan natur a therfynau ei weithrediadau, er nad ydyw hynny mewn un modd yn peri i ni ameu ei fodolaeth, nac ychwaith fod iddo ei waith. Yr ydym ymhellach yn gosod i lawr fel un amcan iddo *ei fod yn gyfrwng i weled ac i gyflwyno gwirionedd.* Cynnwys hyn ydyw fod dyn yn analluog i ganfod nac i gyflwyno gwirionedd yn ei holl brydferthwch a'i berthynasau heb ddychymyg. Ond rhag gwneyd y gosodiad yn rhy gryf, gwell hwyrach ydyw ei gyfyngu trwy ddweyd, fod hyn yn bod beth bynnag gyda golwg ar ryw fath o wirioneddau. Amcan arall i'r dychymyg ydyw, *chwilio am wirionedd.* Y mae i fesur yn dylanwadu ar y meddwl, yr un modd ag y mae newyn ar y corff, trwy ei anesmwytho a'i godi allan i chwilio am ymborth. Oni bai am y teimlad o newyn, byddai perygl i ddynion farw yn ddiarwybod. Felly hefyd arhosai y meddwl yn ddi-ymdrech am wybodaeth, oni bai fod y dychymyg yn anesmwytho arno. Ond nid yn unig y mae y dychymyg yn canfod ac yn darganfod gwirionedd, ond yr ydym yn meiddio dweyd *ei fod yn creu gwirionedd.* Arhoswch, medd rhywun, dyna gabledd. Gyda'ch caniatad, yr ydych wedi torri ar ein traws ddarllennydd mwyn; a phe na bai gennym ddim ychwaneg na'r frawddeg fer, foel uchod, i'w ddweyd, nid rhyfedd fuasai gennym i chwi

gyffroi; ond bwriadu yr oeddym feddalu ychydig ar y dinc danbaid sydd yn peri y fath deimlad anhyfryd yn eich cyfansoddiad, trwy gymedroli yr ystyr a gyflwynwyd i chwi gan yr olwg gyntaf arni. Ac felly, os gwelwch yn dda, cymerwch y frawddeg fel y mae ar hyn o bryd, a hyderwn y gallwn, os nid rhoddi esboniad llawn a llwyr arni, roddi digon i brofi nad ydyw mor gableddus ag y meddyliech ar y cyntaf. Gyda chymaint a hyna o hunan-amddiffyniad am y presennol, teimlwn yn hyderus y gadewch i ni symud ymlaen.

Nid ydym mewn un modd yn awgrymu ein bod wedi cau yr holl dir o fewn y terfynau uchod, ond cymaint a hyn yw y mesur dros ba un yr ydym wedi cymeryd prydles y waith hon. Bwriadwn symud ymlaen, nid yn ol yr amlinelliad a roddwyd uchod, ond yn y gwrthwyneb, sef dangos yn gyntaf fel y mae Dychymyg yn *creu;* yna fel y mae yn *darganfod;* a thrachefn fel y mae yn *gweled.* Gallwn ychwanegu, mai prif feusydd gweithrediadau y dychymyg yn y rhai yr ydym yn hawlio ar ei ran y rhagorfraint arbennig o fod yn Greawdwr, Darganfyddwr, a Gweledydd, ydynt Celf, Gwyddoniaeth, a Hanesiaeth. Am y gyntaf, bwriadwn gyfyngu ein hunain i ran o honi, sef Barddoniaeth. Dymunem roddi pwyslais ar yr ansoddair *prif;* o gymaint ag mai nid y rhai hyn yw *unig* feusydd ei gweithrediadau, ond cyfrifwn hwy y rhai pwysicaf.

Y Dychymyg fel y mae yn Creu.—Mantais bod amser yw bob ar delerau da â'r testyn, ac felly ein gorchwyl cyntaf yw gwneyd ein hunain yn glir o'r ystyr a roddir i'r gair "creu." Pe gofynnid i ni gwestiwn y Llyfr Bach, "Beth yw creu?" yr ateb a roddem yw yr hyn a geir yno, "Gwneyd peth o ddim." Dyma yn ddiau ei ystyr fwyaf cyffredin; ond pe yn sicr na byddai y gair yn foddlawn dwyn yn ei gôl ond y newydd-anedig o'r dim—gwneyd peth o ddim—yna byddai raid i ni ei newid am air a'n gwasanaethai yn well. Ond nid oes angen trafferthu i'w newid, yn gymaint â'i fod wedi arfer ymostwng i gyflawni gwaith—is-raddol o bosibl—o'r fath ag a ofynnwn ni oddiar ei law; ac felly nid oes ynom unrhyw duedd i wneyd i ffwrdd â hen weinidog cynhefin â'r gwaith sydd gennym i'w gwblhau. Mewn gair y mae *creu* yn golygu nid yn unig wneyd peth o ddim, ond dwyn i fod bethau mewn ffurf newydd, neu mewn dull hynod. Defnyddir y gair mewn cysylltiad â'r ddaear yn agor i lyncu Corah, Dathan, ac Abiram, pan y dywedir i'r Arglwydd "wneyd [creu] newydd-beth." "Yr Arglwydd," meddir mewn lle arall, "a grëodd beth newydd ar y ddaear: Benyw a amgylcha wr." Cyfaddefir hefyd gan y rhai mwyaf eiddigus dros briodoli i'r gair yr ystyr uchel ac arbennig o wneyd peth o ddim, y defnyddir ef mewn ystyron ereill, sef rhoddi ffurf newydd ar yr hyn oedd yn bod o'r blaen. Wrth roddi i'r gair yr ystyr hwn, nid ydym mewn un modd yn dymuno ei ysbeilio o'r ystyr gyntefig ac urddasol a berthyn iddo, sef gwneyd peth o ddim, yr hon sydd ragorfraint berthynol i'r Anfeidrol; ond gan y goddef y gair yr ystyr o roddi ffurf newydd i'r hyn oedd yn bod o'r blaen, yr ydym yn hawlio y gair yn yr ystyr hwn arno i'r Dychymyg; ac ar y cyfrif hwn nid gormod yw dweyd fod dyn yn herwydd ei ddychymyg, yn debyg i Dduw, yn greawdwr. Os nad ydym yn camgymeryd, dyma yr ystyr roddir i'r gair *crebwyll* gan Dr. Pughe, yn y dyfyniad a wnaethom, sef "creu pethau a fydd iddynt hanfod a digwydd, herwydd ansawdd, anian, a phwyll, er na bo iddynt hanfod o ddir a gorfod." Mae y defnyddiau yn bod, ond nid ydynt eto wedi cymeryd unrhyw ffurf weledig ac arhosol. Fodd bynnag, y mae ystyr y gair

Saesneg *image* yn fwy diamwys, sef delw; dyn yn gwneyd iddo ei hun, allan o'r marmor neu ar y llian, ddelw o wrthrych penodol. Felly hefyd y gwna y bardd iddo ei hun o deimladau ac elfennau mewn ffaith ddychmygol. Y mae y gair *poet*—allan o'r Groeg *poiein*—yn syml yn golygu *gwneuthur*. Hyderwn ein bod erbyn hyn wedi gwneyd yn eglur yr ystyr a roddwn i'r gair creu, sef rhoddi ffurf neu gorff i wirionedd ydoedd yn bod o'r blaen, ond fel y ddaear gynt, "yn afluniaidd a gwag, a thywyllwch ar wyneb y dyfnder." Ond y mae dychymyg fel yr oedd Ysbryd Duw, yn "ymsymud ar wyneb y dyfnder," ac yn rhoddi ffurf i'r hyn nad oedd o'r blaen ond teimlad gwasgarog ac anesboniadwy. "Prif amcan pob gwir farddoniaeth ydyw addysgu trwy engreifftiau dychmygol," meddai Henry Reed yn ei ddarlithiau ar y Beirdd Prydeinig, "a thrwy gorfforiad gwirioneddau dansoddol," *the embodiment of abstract truths*. Dywed ymhellach: "Yr elfen yn yr hon y mae barddoniaeth yn trigo ydyw *gwirionedd;* a phan y mae dychymyg yn ysgaru ei hun o'r berthynas hon, y mae yn gwyro i gymdogaeth chwedlau gwag a breuddwydion gorffwyllog." Y mae rhan gyntaf y dyfyniad, ni dybiwn, yn cadarnhau mai rhoddi ffurf i'r hyn fodolai yn flaenorol a wna y dychymyg barddonol. Cymerwn fantais hefyd ar y rhan olaf i alw sylw at beth arall sydd bwysig yn y berthynas hon.

Yr hyn y cyfeiriwn ato yw y berthynas agos sydd rhwng barddoniaeth a gwirionedd; a meiddiwn ddweyd nad oes gwir farddoniaeth ar wahân i wirionedd. Dyna hanfod barddoniaeth uchelryw, ac o thynnir allan y gwirionedd sydd ym marddoniaeth yr oesoedd, ni fydd yn aros ond cyrff meirw a diwerth. Dyma y palasdy gwych yn yr hwn y preswylia barddoniaeth wir, ac nid yw pob peth arall sydd yn honni yr enw ond crwydriad digartref ac annheilwng. Prin, o bosibl, y buasai Macaulay yn barod i gadarnhau yr hyn ddywedir gennym am y berthynas agos sydd rhwng barddoniaeth a gwirionedd; ac eto yn ol ei eiriau ef ei hun, y mae gwirionedd yn hanfodol i farddoniaeth. Ond y mae y wedd yn yr hon y cyflwynir i sylw ganddo y pwnc o farddoniaeth yn ei draethawd ar Milton, yn peri i ddyn ameu a oedd ei syniad am dani yn rhyw uchel iawn. "Nis gall unrhyw un o bosibl," meddai, "fod yn fardd, nac hyd yn oed fwynhau barddoniaeth, heb ryw gymaint o amhariaeth meddwl, os dylid galw unrhyw beth sydd yn rhoddi cymaint o fwynhad, yn amhariaeth." Ni fuasem yn hoffi y cyfrifoldeb o gyhoeddi y fath haeriad oddiar lwyfan Eisteddfod Genedlaethol! Dywed hefyd: "Wrth farddoniaeth y meddyliwn, nid pob ysgrif mewn mydr, nac yn wir bob ysgrif dda mewn mydr. Y mae ein darnodiad yn cau allan lawer cyfansoddiad cynganheddol, y rhai am rhesymau ereill, ydynt yn haeddu y ganmoliaeth uchaf. Wrth farddoniaeth y golygwn y gelfyddyd o ddefnyddio geiriau yn y fath fodd ag i gynhyrchu lledrith ger bron y dychymyg; y gelfyddyd o wneyd trwy eiriau yr hyn wneir gan yr arlunydd trwy gyfrwng lliwiau. Dyma y modd y disgrifir barddoniaeth gan y mwyaf o feirdd, mewn llinellau a edmygir yn gyffredinol am rym a cheinder iaith, ac a werthfawrogir yn fwy fyth ar gyfrif y syniad teg a drosglwyddir ganddynt o'r gelfyddyd ymha un y rhagorai efe yn gymaint:—

As the imagination bodies forth
The forms of things unknown, the poet's pen
Turns them to shapes, and gives to airy nothing
A local habitation and a name.

Dyma ffrwythau y 'gorffwylledd dillyn' a briodolir ganddo i'r bardd, —gorffwylledd dillyn yn ddiameu, ond gorffwylledd er hynny. Y mae gwirionedd, mae'n wir, yn angenrheidiol i farddoniaeth, ond gwirionedd gwallgofrwydd ydyw. Y mae yr ymresymiad yn onest, ond y cynseiliau yn dwyllodrus. Ar ol i'r dyfaliadau cyntaf gael eu gwneyd, dylai popeth fod mewn cysondeb; ond hawlia y dyfaliadau hynny raddau o hygoeledd sydd gyfartal ymron i ddyryswch rhannol ac amserol ar y deall. Ac felly o bawb plant yw y mwyaf dychmygol."

Pa nifer o feirdd ein gwlad sydd yn foddlawn cael eu hystyried yn bobl wedi hanner dyrysu? I ni y mae geiriau o fath hyn yn anesboniadwy oddiwrth ŵr o safle Macaulay. Y mae yn ymddangos fel wedi digio wrth farddoniaeth, ac eto y mae yn anhawdd credu hyn am dano. Nid ydym yn abl gweled cysondeb yn yr hyn ddywedir am wirionedd mewn barddoniaeth fel gwirionedd gwallgofrwydd. Pa raid ei fod felly? Yr unig esboniad a allwn roddi ar y fath ddedfryd galed ar feirdd a barddoniaeth ydyw, ei fod yn gadael allan yr hyn ydys yn ceisio son am dano, sef *dychymyg yn creu;* o herwydd os na addefir hyn, nid ydym yn gweled y gellir dod i'r un casgliad gwahanol i'r eiddo yntau. Os nad yw dychymyg yn allu arbennig sydd yn creu, trwy roddi ffurf i deimladau dyfnaf yr enaid mewn ffaith dybiedig, neu trwy gasglu darnau o wirionedd,—ac nid darnau ychwaith, ond gwirionedd gwasgaredig yn un cyfanwaith; yna nid oes yr un esboniad i'w roddi ar farddoniaeth fel y mae yn lleoli teimladau yr enaid mewn hanes, neu wneyd un cyfanwaith o'r rhannau, ac mewn amryw ffyrdd ereill sydd ganddi i ddwyn ei gwaith ymlaen, ond trwy ddweyd mai amhariaeth y deall bâr hynny. Os ffeithiau a gwirioneddau hunan-brofedig ydyw gwrthrychau priodol deall, yna cyn y bydd iddo gymeryd gwirioneddau dansoddol, a theimladau nad ydynt ond "*airy nothing*," yn gynseiliau i adeiladu arnynt, rhaid, meddwn, i ddeall gael ei hanner ddyrysu, a gweled un yn ddau, er gwneyd hyn. Yn hytrach na cheisio cyfrif am farddoniaeth trwy ddweyd mai "gwallgofrwydd" a "hygoeledd" ydyw, caniatäer i ni ddweyd mai dychymyg sydd yn rheoli, "and monarch of all he surveys," ym myd niwlog y meddyliau gwyllt a'r teimladau dieithriol sydd yn hedfan trwy yr enaid fel gwenoliaid gwanwyn; yna gellir cyfrif am dani heb gymylu ar urddas y meddwl trwy ddweyd ei fod yn llawn o "hygoeledd," neu yn "wallgof."

Ond y mae gwirionedd yn angenrheidiol i farddoniaeth, ac nid oes gwir farddoniaeth hebddo. Fel y dywed Macaulay, nid mydr a chynghanedd sydd yn cyfansoddi barddoniaeth; a da o bosibl fyddai i lawer o ymgeiswyr am gael eu rhestru ymhlith beirdd gofio hyn. Gwisg barddoniaeth yw y rhai hyn; ond ceir hi weithiau yn troi allan mewn gwisg syml o ryddiaith. Nid dychymyg noeth yw barddoniaeth ychwaith. Yr ydym eisoes wedi son am y dychymyg yn y ffurf o ffansi. Dychymyg wedi rhedeg yn wyllt ydyw ffansi; llong wedi rhedeg yr angor ydyw. Feallai mai y darn rhyfeddaf o ddychymyg noeth, wedi ei weithio yn lan oddiwrth bob gwirionedd, ond wedi ei wisgo yn y modd harddaf yn ol dullwedd barddoniaeth o wisgo, ydyw "The Raven," gan Edgar Allan Poe. Yr oedd yr effaith ar ei gyhoeddiad cyntaf, medd ei fywgraffydd, yn drydanol. Erioed o'r blaen, medd ef, ni ddarfu i unrhyw ganig gynhyrchu y fath frwdfrydedd. Cyfieithiwyd hi i amryw ieithoedd, a chrynhôdd o'i hamgylch lenyddiaeth o'i heiddo ei hun. Ond beth ydyw, ar ol yr holl gyffro i

gyd, ond darn o ddychymyg noeth, wedi ei weithio yn y modd mwyaf celfyddydol. Y mae yr awdwr ei hun, yn ei "Philosophy of Composition," yn adrodd pa fodd y bu gyda chyfansoddiad y darn, yn yr hwn y dywed nad oes yr un rhan o'r cyfansoddiad yn effaith digwyddiad neu gynhyrfiad y foment, ond oll yn gynnyrch y cynllun mwyaf oer a phwyllog. Yr ystyriaeth gyntaf oedd maint y gân. Ar ol pwyso a mesur y cwestiwn hwn, a phenderfynu mai ber ydoedd i fod, y mater nesaf i'w benderfynu oedd y modd goreu i wneyd argraff ar feddwl y darllennydd. Yr oedd ganddo ei reol ar hyn eisoes, sef mai prydferthwch ydoedd unig gylch canig o'r fath ag a fwriadai ef ei chyfansoddi,—trafod y prydferth, cyflwyno y prydferth. Dan yr adran hon dywed, tra y gellir cyflwyno neu wneyd gwirionedd yn destyn canig, eto ei fod o herwydd y manylder sydd yn ofynol gydag ef, yn hollol groes i brydferthwch. Os dygir gwirionedd i mewn i'r gân, dylai fod yn israddol i'r syniad o brydferthwch. Gofaler am y prydferth, yr hwn yw hanfod barddoniaeth o'r fath, ïe yr awyr ymha un y preswylia. Tra yn edmygu y prydferth, y llednais, a'r dymunol, eto credwn nad oes gan neb na dim hawl i roddi safle israddol i wirionedd; ymgrymed pawb, ac ymgrymed popeth i wirionedd. Y peth nesaf oedd cael byrdwn a'i gael mewn gair, a meddyliodd mai y llafariad mwyaf soniarus oedd *o*, a'r gydsain fwyaf hyglyw oedd *r*, a phenderfynodd ar y gair "*nevermore*." Ofer fyddai i ni ei ddilyn gam a cham, ond gallwn ddweyd ei fod yn dechreu yn y diwedd,—cyfansoddodd y pennill oedd i fod yn esgyneb (*climax*) yn gyntaf, fel y gallai trwy gadw golwg arno esgyn ato yn araf, ac felly gynhyrchu effaith. Cynnwys y gân ydyw fod cigfran wedi dod ar noswaith ystormus at ffenestr myfyrgell y bardd, ac wedi iddo ei gollwng i mewn, i ymddiddan gymeryd lle rhyngddynt, ac i bob ymofyniad o eiddo y bardd, atebai y gigfran, *Nevermore*. Un o'r darnau mwyaf celfyddydol ar y naill law, ac eto un o'r darnau mwyaf *fanciful* ar y llaw arall. Ei fod yn wir farddoniaeth, nis gallwn gredu; ac eto y mae yn ddernyn tra hynod.

Meusydd y dychymyg, fel yr ydys wedi awgrymu, ydynt ffeithiau hanesyddol a theimlad mewnol; neu mwy cywir o bosibl fyddai dweyd fod yr oll o'r tu allan i ddyn,—megis ffeithiau hanesyddol, natur, a datguddiad yn faes iddo; a hefyd teimladau y galon, a syniadau y meddwl. Y mae y gwirioneddau sydd yn gorwedd yn y meusydd hyn fel *type fountains* y cysodydd, allan o ba rai y cymer y ffaith, y syniad, y teimlad, y ffigyr, a phopeth, ac y gwna â hwynt ddarlun prydferth a byw. Dywedwn fwy, y mae y dychymyg yn croesi drosodd i fyd yr ysbrydoedd, ac yn cyflwyno ger ein bron fywyd yn ei wahanol agweddau yn y rhandir bell a dieithr honno.

Meddylier am un o deimladau cynhyrfus y fynwes fel y mae yn cael ei gynnwys mewn ffaith, ac mewn darluniad o eiddo y dychymyg. Pwy nad yw wedi darllen hanes prawf un a gyhuddid o fod yn llofrudd, gan ddilyn cadwen y tystiolaethau nes clywed y gair "euog" oddiwrth y rheithwyr, a'r ddedfryd o farwolaeth yn cael ei chyhoeddi gan y barnwr, nes ein meddiannu gan ddychryn wrth feddwl am gyflwr y condemniedig. Ond a yw y gwirionedd mawr o euogrwydd yn cael ei gyflwyno hanner mor gryf yn yr adroddiad o'r ffaith ag y mae gan ddarluniad byw Shakespeare ym Macbeth. Edrychwch, y mae Lady Macbeth yn codi yn ei chwsg, ac yn ymddangos yn prysur olchi ei

dwylaw, wedi ei dyrysu gan euogrwydd cydwybod, o herwydd y llofruddiaeth a gyflawnwyd; ac meddai, "Yet here's a spot. Out, damned spot! out, I say. . . What, will these hands ne'er be clean? Here's the smell of the blood still: all the perfumes of Arabia will not sweeten this little hand. Oh, oh, oh!"

Y Dychymyg yn Chwilio am Wirionedd.—Credwn ein bod yn fwy dyledus i ddychymyg yn hyn nag yr ydym erioed wedi tybio. Meddylier am iaith, pa fodd y ffurfiwyd hi; ai cyfarfod a'u gilydd, fel pwyllgor hunan-etholedig er ei ffurfio a wnaeth nifer o ddynion blaenaf y wlad neu y byd? Na, nis gallai hynny fod, am fod yn rhaid wrth iaith cyn y gallasent ddeall, a newid meddyliau â'u gilydd. A ydym i feddwl ynte ar y llaw arall mai genedigaeth-fraint dyn ydyw, ar ei ddyfodiad i'r byd? Y mae tarddiad iaith yn un o'r dyrys-bynciau hynny sydd wedi gorchfygu y meddyliau cryfaf; ac felly ein doethineb ddiamheuol ni yw ymgadw oddiwrth y Gaerdroia ddyryslyd hon. Ond tra yn gwneyd hyn, gallwn yn ddiberygl ddweyd fod gan y dychymyg le mawr yn ei ffurfiad, yn enwedig pan y tybia weled mewn natur ddarlun o fyd ei feddwl. Meddai Carlyle, "A ydwyt ti yn tybied nad oedd beirdd yn bod cyn amser Dan Chaucer? Ac na bu calon erioed yn llosgi gan feddwl, yr hwn nas gellid ei atal, ac eto heb air i hynny, ac yn sefyll mewn angen am ffurfio gair i'r perwyl. . . Am bob gair sydd gennym yr oedd yn bod y cyfryw ddyn â bardd. Bu y gair oeraf unwaith, yn gyffelybiaeth newydd eiriasboeth, ac yn wreiddioldeb hyf ond petrusgar. *Attention*, onid golygu *attentio* y mae, a *stretching-to*, ymestyn at. Meddylier am y weithred hon o eiddo yr enaid, o'r hon yr oedd pawb yn ymwybodol, ond nad oedd neb hyd hynny wedi rhoddi arni enw, pan y teimlodd y bardd cyntaf hwn anghenraid i wneyd hynny. Canfyddwyd fod ei wreiddioldeb petrusgar a'i gyffelybiaeth newydd eitiasboeth yn gyfryw ag y gellid eu mabwysiadu, ei bod yn ddealladwy, ac erys yr enw arno hyd y dydd heddyw." Goddefer i ni wneyd dyfyniad o eiriau awdwr arall i ddangos yr un gwirionedd. "Y mae yr holl eiriau a berthyn i fyd mewnol y meddwl yn gynnyrch y dychymyg, yn wreiddiol yn eiriau barddonol. I'r graddau, fodd bynnag, ag y mae gair yn gymwys i anghenion dynoliaeth, cyntaf oll y mae yn colli ei wedd farddonol gan yr arferiad cyffredin a wneir o honno. Yn y wedd hon ceir miloedd o eiriau y rhai oeddynt ar y cyntaf yn eiriau barddonol, oherwydd eu cynhyrchu gan ddychymyg, yn colli eu hynni, ac yn ymgaledu i fod yn *mummies* rhyddiaith. Y mae barddoniaeth yn dod yn gyntaf, yna rhyddiaith; ac nid yn unig mewn llenyddiaeth, ond barddoniaeth yw ffynhonnell yr holl iaith à berthyn i'r byd mewnol, pa un bynnag ai nwyd, ai uchanianaeth, ai eneideg, ai uchelgais. Nid oes dim barddoniaeth yn dod trwy ddyrchafu rhyddiaith, ond y mae hanner rhyddiaith yn dod trwy ddarostwng miloedd o eiriau, adeiniog o blith pa rai, fel cregyn prydferth yr oesoedd blaenorol, y datgleddir ambell un gan edmygydd iaith, i'w dal i fyny i'r goleu er gweled y symudliw prydferth yn chwareu megis ar gèn." Amcan y dyfyniadau uchod ydyw dangos y lle mawr roddir i ddychymyg yn ffurfiad iaith; fel yr oedd dynion yn teimlo nad oedd natur ond adlun o fyd y meddwl, o leiaf dyna fel yr edrychai dychymyg ar y ddau fyd, fel yr oedd ysgogiadau a ffurfiau y naill yn gynhorthwy i synio am y llall, a hefyd i enwi y naill oddiwrth y llall. Y mae Angus yn ei

*Handbook of the English Tongue* yn dweyd yr awgrymir y gallai fod syniadau neillduol yn gysylltiedig â llythrennau penodol, a dygir ymlaen ganddo yr engreifftiau canlynol: "Expressions of surprise or disgust, like 'ugh!' are appropriated to whatever is *huge*, *ugly*, unduly *aug*mented; that combinations like 'fl' naturally bring up the idea of fluidity and change, as do 'st' and 'str' of steadfastness." Ymhellach ymlaen y mae yn son am y llythrennau 'g o' yn ffurfiad geiriau, ac er nad yw yr awdwr yn cysylltu y syniad o *yrru* â'r llythrennau, am mai y llythrennau yn ffurfiad geiriau sydd ganddo; eto oni welir y syniad uchod ynddynt? Dyma fel y dywed: "'Go' found as it is in Sanscrit. gâ, and in Gothic, gâ and gang, making in the past tense gangde, Thence are derived in various tongues, 'ganges,' the course of a river, then a river itself; a 'gang,' i.e., a going or a company; 'gate,' 'algatis' [every way] Wiclif: 'gang the gate,' Scotch; 'gait,' then with prefixes, 'ago,' 'outgoing,' 'foregone;' or suffixes 'gangway,' 'go-between.'" Ai tybed, os gwir y dybiaeth uchod, mai o'r gwreiddair hwn y mae y Gymraeg "gyrru," "gof," "gog," "gor;" "gof" yn gyrru yr haiarn, y "gôg" yn myned ac yn dod, "gor," blaenddod wedi myned tros y terfyn. Nid ein amcan ni yw ceisio profi cywirdeb neu anghywirdeb Dr. Angus; yn wir, nid gwaeth gennym pa un ai cywir ai anghywir ydyw; ein hamcan yw galw sylw at yr hyn y ceisiwn ei brofi, sef fel y mae dychymyg yn chwilio am wirionedd, ac yn gweled syniadau neillduol mewn cysylltiad â llythrennau neillduol. Gorchwyl rheswm bellach yw profi gwirionedd y dybiaeth hon o eiddo dychymyg.

Ond feallai mai ynglyn â darganfyddiadau Gwyddoniaeth y gwelir y wedd hon ar ddychymyg yn fwyaf eglur. Diau fod prïodi dychymyg nwyfus a gwyddoniaeth sech yn ieuad hollol anghymharus yng nghyfrif llawer. Fodd bynnag, dyna fel y mae, a llïosog yw yr epil sydd wedi tarddu o'r uniad. Ffeithiau yw popeth gan rai; a dyma, meddant, gylch priodol gwyddoniaeth. Ond nid yw ffeithiau ond y wyddor,—yr alffabet trwy yr hon yr ydys yn esgyn hyd at yr egwyddorion sydd yn gorwedd y tu hwnt, yn uno, ac yn esbonio ffeithiau. Ac yn y cysylltiad hwn, y mae dychymyg yn chwareu rhan bwysig trwy arwain ac awgrymu i'r meddwl y *posibilrwydd* i'r egwyddorion fodoli cyn i reswm eto fod wedi profi hynny. Byddai ffeithiau noeth heb ddychymyg yn debyg i ffigyrau yn sefyll wrthynt eu hunain, heb gael eu rhoddi at eu gilydd i wneyd cyfrif, neu *sum*. Ni byddent yn amgen nag esgyrn sychion, heb gael eu gwisgo â gïau ac â chroen gan ddychymyg. Fel yr awgrymwyd, rhagflaenydd rheswm ydyw dychymyg. Gwnïo clytiau awgrymiadau y mae, a gwneyd o honynt ddilledyn; ac yna daw deall i edrych pa fodd y bydd y dilledyn yn ffitio ffeithiau. Dywedir yn llyfr Job fod y march o bell "yn arogli rhyfel, twrf tywysogion, a bloeddio;" felly hefyd y mae dychymyg yn arogli deddf o bell; ac nid yw pob *experiment* ond prawf o hynny. Ni wneir arbrawfiadau ond mewn ufudd-dod i awgrymiad dychymyg fod yna ddeddf yn distaw lechu mewn cyfeiriad penodol. Gyda chaniatâd, cymerwn fenthyg yr engraifft ganlynol o lyfr sydd wrth ein llaw am ddarlithydd mewn prifysgol:—"He had guessed that a certain algebraic process could be shortened exceedingly if the method which his imagination suggested should prove to be a true one—that is an algebraic law. He put it to the test of experiment—committed the verification

into the hands of his intellect, and found the method true. It has since been accepted by the Royal Society." Yr ydym yn cofio clywed cyfaill yn adrodd i ni unwaith hanes ei ymweliad â meddyg o fri parthed afiechyd neillduol a'i blinai; a'r hyn a'i synnai yn fawr, yn ychwanegol at y drafferth a'r amser a gymerodd y meddyg i wneyd yn sicr pa afiechyd oedd arno, oedd y cwestiynau bychain, dibwrpas yn ol ei feddwl ef, a ofynnid iddo. Y mae yn debyg nad oedd gan y meddyg ar y cyntaf unrhyw sicrwydd beth oedd yr afiechyd, ond y mae dychymyg yn tybio dau neu dri, o bosibl, ac yna trwy gyfres o ofyn-iadau cymhwysir y dybiaeth hon a'r un arall at y ffaith, i weled pa un wnelai ffitio. Y mae hanes Watt, darganfyddwr nerth yr ager yn profi, dybiem ni, fel y mae y dychymyg yn awgrymu deddf; ac yna y deall trwy arbrawfiadau yn cadarnhau y dybiaeth. Yr ydoedd er pan yn fachgenyn wedi cael syniad am werth ager wrth edrych ar y tegell pan yn berwi ar y tân, ond dyna yr oll. Flynyddoedd lawer ar ol hynny, mewn ymddiddan â chyfaill o'r enw Robinson, tynnwyd ei sylw at yr ager fel gallu ysgogol. A dyma ddywedir:—"Yr oedd Robinson yn tybied y gallai pwysau ager droi olwynion cerbydau; ond nid ydyw yn ymddangos ei fod ef na Watt wedi gwneyd ymgais i gario allan y syniad hwn. Pa fodd bynnag gwnaeth Watt gyfres o arbrawfiadau." Tybiaeth, fel y gwelir, oedd yma i ddechreu; yna profi y dybiaeth. Dyfais ryfedd arall o'i eiddo oedd gosod pibell dan yr afon Clyde. Ymddengys fod cwmni dwfr Glasgow, ar ol sefydlu eu gweithiau ar un ochr i'r Clyde, wedi deall y gallesid cael dwfr o ansawdd llawer rhag-orach, oedd yn puro ei hun yn naturiol, ar yr ochr arall iddi, os gallent orchfygu yr anhawster o osod i lawr bibell fawr i'w sugnedyddion ar draws gwely yr afon. Dyfeisiodd Watt ar gyfer hyn bibell haiarn a blygai; darnau pa un a gysylltid ynghyd gyda math o belennau yn myned i forteisiau. Cafodd y meddylddrych hwn o gynffon y pysgodyn ceimwch *(lobster)*. Gwnaed y bibell yn ol ei gynllun ef y flwyddyn ddilynol, a gweithiodd yn y modd mwyaf llwyddiannus." Dychymyg oedd yma yn gweithio, ac egwyddor yn cael ei hawgrymu gan ffurfiad cynffon y ceimwch. Y mae pawb yn gydnabyddus â'r traddodiad am yr afal a Syr Isaac Newton; ddarfod i'r gwr mawr hwnnw weled afal un diwrnod yn syrthio oddiar bren yn ei ardd, ac iddo gael ei arwain i feddwl ac ymresymu oddiwrth hynny, a derfynodd yn narganfyddiad deddf fawr atyniad. Digon yw hyn, ni gredwn, i roddi i ddychymyg ei le fel gallu gwerthfawr yn narganfyddiad gwirionedd.

Sylwn yn y lle nesaf ar y dychymyg fel cyfrwng i Gyfleu a Derbyn Gwirionedd.—Cylch mwyaf arbennig gweithrediadau y dychymyg fel y mae yn derbyn ac yn cyfleu gwirionedd yw hanesiaeth. Y mae Bacon yn rhannu gwybodaeth yn dair rhan, yn cyfateb i dri gallu mawr yr enaid: sef hanesiaeth, yr hon a berthyn i'r cof; barddoniaeth, yr hon a berthyn i'r dychymyg; ac athroniaeth, yr hon a berthyn i'r deall. Gall o bosibl fod y dosraniad hwn yn gywir fel amlinelliad ar y wyneb, ond nis gellir ei ddilyn i fawr o fanylion, am nad yw yn dal y prawf oddiwrth yr hyn a wyddom trwy brofiad; a hefyd nis gellir nodi terfynau y galluoedd uchod, am mai galluoedd yr un enaid ydynt; neu yn hytrach yr un a'r unrhyw enaid yn gweithredu mewn gwahanol gyfeiriadau. Yr ydym yn barod iawn i addef fod gan y cof ei orchwyl mewn galw digwyddiad ar ol digwyddiad o wlad bell

ebargofiant, a'u dodi i ddilyn eu gilydd yn ol y drefn y maent wedi cymeryd lle. Ond un ran o hanesiaeth yw hynny; nid ydym yn barod i ddweyd nad yw yn rhan bwysig, a phwysig iawn. Dyma y sylfaen. Ond cyn y gellir goruwchadeiladu, rhaid wrth ddychymyg. O bosibl hefyd nad ydys yn dweyd gormod wrth ddweyd mai y sylfaen yw y digwyddiadau a gyflenwir i'r hanesydd gan ei gof; onid defnyddiau yr adeilad ydynt, yn wasgaredig a di-drefn, fel y mae yn rhaid wrth reswm i'w dethol, a dychymyg i'w gosod wrth eu gilydd yn brydferth, os ydys am adeilad hardd. Credwn mai syniad cul ac annigonol iawn i osod allan yr hyn y ceisir syniad am dano ydyw meddwl mai unig orchwyl hanesiaeth ydyw cofnodi ffeithiau neu ddigwyddiadau. Y mae yn perthyn i'r hanesydd weled yr egwyddorion sydd yn distaw ymweithio o dan yr arwyneb cynhyrfus a chyfnewidiol; y syniadau, a'r amcanion oedd gan y trigolion; ïe i gydnabod ac olrhain llywodraeth Duw "ym mrenhiniaeth dynion."

Er cyfansoddi hanes, rhaid i'r hanesydd, trwy gyfrwng dychymyg, weled yr holl amgylchiadau, a gosod ei hunan yn y canol, sylweddoli yr oes a'r anghenion. Nid cof i alw y digwyddiadau i ymddangos ger ei fron wna hyn; ac nid ffydd i'w credu yn eu didwylledd a'u dilysrwydd; ond dychymyg a wêl yr oll fel y maent yn cymeryd lle, a thrwy hynny y mae dyn fel yn llygad-dyst o'r holl olygfa. Digon yn ddiau ar hyn ydyw ein profiad personol. Pwy wrth wrando hanes, nad ydyw, trwy gyfrwng dychymyg, yn lleoli yr amgylchiadau, ac yn ffurfio syniad am y personau sydd yn cymeryd rhan ynddo. Neu yn fwy uniongyrchol a syml, pwy wrth glywed sôn am ryw berson neillduol, nad ydyw yn ffurfio syniad am dano—megis ei daldra, ei drwch, lliw ei wallt, a gwedd ei wyneb. Ni ofynnir hyn gan neb, ond y mae dychymyg heb na gorchymyn na chymhelliad yn ei wneyd. Os cywir felly fod dychymyg yn gyfrwng i gyfleu a derbyn gwirionedd, neu yn angenrheidiol i ddeall, a rhoddi ar ddeall i ereill hanesiaeth gwlad neu bersonau unigol, onid mantais neillduol i ddosbarth o blant mewn Ysgol Sabothol fyddai i'r athraw arfer mwy ar ei ddychymyg mewn portreadu yr amgylchiadau a'r lleoedd all fod ym maes eu llafur?

Yr ydym yn awr wedi dod i'r terfyn, ond nid o lawer i derfyn y pwnc. Gellid edrych ar y mater o lawer cyfeiriad eto, megis Dychymyg ac Arluniaeth; Dychymyg a Chrefydd; A oedd gan yr Arglwydd Iesu Ddychymyg. Mewn gwirionedd, prin y gellid edrych ar ddyn mewn unrhyw berthynas, heb ganfod gweithrediadau y dychymyg. Am fodolaeth dychymyg nid oes ddadl; ac nid oes ddadl, ni a hyderwn, ym meddwl neb sydd wedi talu sylw i'r mater, ei fod yn bod i amcanion daionus. Ond cystal gwir â hynny ydyw, y gall gael ei gamddefnyddio i wasanaethu yr hyn sydd ddrwg. Felly, yn gymaint â'n bod yn credu yn y dychymyg fel gallu a berthyn i ddyn fel dyn, ac mai nid cynnyrch ymenydd nac enaid wedi dyrysu ydyw, ein dyledswydd yn ddiau ydyw ei feithrin. Y mae y Cymry yn cael y gair o fod yn feddiannol ar gyfran helaeth o ddychymyg; ac nid y Cymry yn unig, o ran hynny, ond y Celtiaid yn gyffredinol. Gwelsom erthygl yn ddiweddar oedd i fesur mawr yn profi hyn. Yr hyn a ddywedid ynddi oedd, fod gwyddonwyr yn codi o genedl ddigymysg, ond fod beirdd, a phawb sydd yn arddangos dychymyg cryf, naill ai mewn barddoniaeth neu ynte mewn celfyddyd, yn disgyn o genhedloedd neu o waed cymysg. Yna ceir prawf a wnaed yn achyddiaeth deuddeg o'r prif feirdd Seisnig,

Ffrengig, a Germanaidd; a dyma y casgliad y deuid iddo gan yr awdwr, Mr. Havelock Ellis: "That very few of the English poets of the day are of pure English stock. . . . The German districts which produced that nation's crop of poets showed marks of Celtic blood, and the English districts most productive of poets were along the Irish, Welsh, and Scotch borders." Os cywir hyn, y mae yn profi yr hyn a briodolid i'r Cymry yn gyffredin, sef eu bod yn "very imaginative."

Gadawer felly i ni feithrin dychymyg, a phenderfynu ei wneyd yn wasanaethgar. Dyma un o'r galluoedd mwyaf ei ddylanwad er puro moesau neu eu llygru. Ni raid i'r masnachwr ond gadael i'w ddychymyg byth a hefyd bortrëadu dyfodol llwyddiannus, nes anghofio y llwybr i gyrraedd y llwyddiant—sef gonestrwydd, nad ydyw mewn perygl o gael ei lithio oddiar ffordd cyfiawnder. Os bydd y dychymyg drachefn yn diorffwys bortrëadu yr aflan a'r anllad, y mae yn cael y fath ddylanwad ar y dyn nes mai hynny a wêl ymhob man. Yr un modd yr ochr arall; gadawer i'r dychymyg bortrëadu yr hyn sydd onest, prydferth, a phur, bydd i chwaeth y dyn hwnnw gael ei graddol ddyrchafu. Gwirionedd nad oes angen ei brofi yn ddiau ydyw, mai ychydig iawn y mae dyn yn ei fyw yn y presennol; naill ai y mae yn byw yn y dyfodol neu yn y gorffennol. Beth sydd yn gwneyd y dyfodol teg yn beth presennol, onid y dychymyg? Yr un modd eto am y gorffennol. Os y cof sydd yn cyflenwi y defnyddiau, y dychymyg sydd yn eu trin a'u trafod, ac yn adeiladu arnynt. O ganlyniad y mae o bwys mawr fod y dychymyg ynglyn ag egwyddogion da, ac yn wastad o dan eu rheolaeth.

*Gwrecsam.* GRIFFITH OWEN.

---

# TRYSORAU CUDDIEDIG.

## II.

YR ydym hyd yma wedi bod yn ymwneyd ag ysgrifau cyfreithiol Aifftaidd perthynol i amgylchiadau ynglyn â'r *byw*. Wrth droi yn awr at ysgrifau cyfreithiol perthynol i amgylchiadau ynglyn a'r *marw*, rhaid i ni grybwyll fod y rhai olaf hyn yn perthyn i'r un cyfnod, ac yn dyfod gan mwyaf o'r un ffynhonnell, ac yn ffurfio rhan o gofnodion teuluaidd yr un teuluoedd o offeiriaid Choachyte, ag oedd y cytundebau o fenthyciad, o arwystlo, a phrïodas, a fu eisoes dan ein sylw. Modd bynnag, mewn trefn i ddeall cyfeiriad y gweithredoedd yr ydym yn awr ar eu harchwilio, mae yn angenrheidiol egluro beth oedd dyledswyddau a rhagorfreintiau Choachytes y cyfnod yma.

Mae yn eithaf hysbys y fath bwysigrwydd a roddid gan yr hen Aifftiaid ymhob cyfnod ar ddefodau perarogli a chladdu. Paratoi ei feddrod, pa un bynnag ai pyramid ai beddgell fyddai, oedd un o brif orchwylion y cyfoethog; ond yr oedd ardderchogrwydd ei feddrod yn llai pwysig na chadwraeth ei gorff perarogledig, a pharhad y gwasanaeth coffadwriaethol ar ba un yr oedd yn rhaid i uniad ei gorff a'i enaid yn y diwedd ddibynnu. Oblegid egwyddor sylfaenol y credo oedd, fod yr enaid, ar ol crwydro a bod ar brawf, i ddychwelyd i drigo drachefn yn ei hen gartref corfforol, ac wedi bod amryw weithiau ar brawf yn y ddau fyd i gael ei uno am byth ag Osiris. Dyma'r angenrheidrwydd am gadw y corff, ac am ei guddio yng nghrombil y ddaear, neu o dan fynyddau o adeiladau cerrig. Ac nid oedd ei gadw rhag cael ei niweidio

na'i ddinystrio yn ddigon. Yr oedd yn angenrheidiol cynnal gwasanaeth arbennig ar adegau neillduol yn y capel cysylltiedig â'r beddrod; ac ar yr achlysuron hynny, byddai allor ag arni fwyd a diod, a thywelltid arni ddiod-offrwm, a llosgid arogldarth o flaen cofgolofn, neu Ra, yr ymadawedig. Yn amser y Pharöaid, pen y teulu oedd ei archoffeiriad, ac felly ni a gawn y defodau coffadwriaethol yn cael eu cyflawni gan y mab hynaf, a chydag ef ambell dro ddiacon cynorthwyol.

Mewn darnddelwad *(bas-relief)* ardderchog yn amgueddfa Boulak, gwelir teulu cyfan wedi dyfod at fedd un o'u hynafiaid ymadawedig. Yn y cerflun sydd yn arddangos yr ymadawedig, gosodir ef allan fel yr arferai ymwisgo pan yn fyw, ac yn eistedd yn y lle anrhydeddusaf. Mae ei ddisgynyddion—yn wŷr, gwragedd a phlant—yn dwyn offrymau o amryw fathau; ac offeiriad yn derbyn y galarwyr, a chyda phin ac ysgriflech yn cymeryd cyfrif o'u rhoddion. Dygir oen byw gan un plentyn; llusgir gwydd gan ddau arall; tra, fel yn hanner ofni y Ra, mae y bachgen bach sydd yn dyfod yn olaf yn troi ei ben draw, a'i ymddanghosiad yn llawn naturioldeb plentynnaidd. Cynhwysai yr offrymau angladdol fara, ffrwythau, llysiau, cig, adar, olew, arogldarth, gwin, llaeth, cwrw, a dwfr. Yn yr holl ddefodau hyn yr oedd tywallt diod-offrwm yn ffurfio rhan bwysig; mae gwin a dwfr bron bob amser yn cael eu nodi yn y rhestrau coffadwriaethol, tra nad yw llaeth a chwrw yn cael eu nodi mor fynych. O safle grefyddol, y diod-offrwm pwysicaf oedd dwfr. Yr oedd Osiris ei hun yn cael ei ddadebru trwy dywalltiad dwfr; a'r un modd yr oedd adfywiocâd y corff perarogledig yn dibynnu ar adferiad lleithder. Dwfr, mewn gwirionedd, a ystyrrid yn hanfod bywyd. Gair cyfystyr â marwolaeth oedd sychder; a'r ddyledswydd bwysicaf a ddisgynnai ar y mab oedd tywallt diod-offrwm i goffadwriaeth ei dad. Mor anhepgorol oedd y ddefod hon fel y mae dihareb hynafol ymysg yr Aifftiaid yn cynghori dyn i briodi gwraig ieuanc, fel y gallai gael nifer lïosog o blant, fel na phallai disgynyddion gwrywaidd i ofalu am ei ddiod-offrwm.

Modd bynnag, gyda threigliad amser, a'r teimlad mabaidd yn gwanhau, daeth y dyledswyddau hyn i gael eu trosglwyddo yn hollol i ofal y Colchytes neu y Choachytes a grybwyllwyd eisoes, a golyga yr enw rai yn tywallt diod-offrwm. Galwai Choachytes Thebes eu hunain wrth y teitl mwy offeiriadol o Pastophori Amen-Api, ac yr oeddynt yn dra awyddus i beidio cael eu cymeryd yn lle y Parachists, neu Taricheuts, y rhai fel hwythau, oedd yn trigo mewn lle a elwid y Memnomium, gerllaw y Gladdfa ar y lan orllewinol gyferbyn a Thebes. Masnachwr oedd y Parachist neu y Taricheut; offeiriad oedd y Choachyte; a'r ddau yn cael eu bywoliaeth oddiwrth y meirw. Yn ol rhai awdurdodau, swydd y Parachist oedd agor a glanhau y corff; tra yr oedd y Taricheut yn ei berarogli. Ond dengys M. Revillout os oedd y crefftau hyn ar wahan ym Memphis, fod y peraroglwyr yn Thebes yn uno y ddau waith, ac yn galw eu hunain yn Parachists a Tharicheuts yn ddiwahaniaeth. O'r tu arall, nid oedd a fynnai y Choachyte a'r corff ond yn unig fel yr oedd wedi ei fwriadu i ddyfod unwaith eto yn drigfod i'r enaid. Mewn gwirionedd, cynrychiolydd cyflogedig oedd efe i'r mab hynaf, a chyflawnid y ddwy ddyledswydd o weddïo a thywallt diod-offrwm ganddo fel dirprwywr drosto.

Ar garreg a arferid i ddal diod-offrwm ceir y weddi ganlynol, a gyfieithiwyd yn ddiweddar gan M. Pierret; —"O Dad dwyfol, Proffwyd

Cyntaf Amen, Osoroer y cyfiawn, mab yr Arglwyddes Nehem-s-Ratani, Offeiriades Amen, &c., yr wyt yn derbyn y diod-offrwm hwn o ddwylaw dy fab ar ben pob deng niwrnod, pan ddelo y Choachyte sanctaidd i gyflawni defodau puredigaeth yn rhan orllewinol Thebes. Mae yn erfyn am goffadwriaeth o dy berson, ac yn gwaredu dy gorff a'th enaid yn oes oesoedd," &c. Dengys y weddi hon nid yn unig fod y mab yn cael ei ystyried yn bresennol ym mherson y Choachyte, ond ei fod yn ddyledswydd ar y Choachyte ymweled â'r beddrod unwaith bob deng niwrnod. Er fod swyddau y Taricheut a'r Choachyte ar wahân, yr oedd gan y ddau ddosbarth hyn—pob un yn ffurfio corfforaeth neu frawdoliaeth fawr—o angenrheidrwydd lawer o drafodaeth rhyngddynt a'u gilydd; a dal perthynas â'r trafodaethau hynny, ynghyd a'r hyn oedd rhyngddynt a'u cwsmeriaid, y mae nifer fawr o'r ysgrifeniadau oedd yn y llestr o gofnodion teuluaidd a gafwyd yn Thebes yn 1820.

Mae yr ysgrifeniadau hyn yn hynod o gywrain a dyddorol. Cyrhaeddant o deyrnasiad Darius Codomanus hyd yr 20fed flwyddyn i Euergetes, a dygir hwy ymlaen ymhellach, ac mewn rhyw ystyr, eglurir hwy gan papyrus gwerinaidd a ddarganfyddwyd gan M. Revillout yn yr Amgueddfa Aifftaidd yn Berlin. Cafwyd allan wrth ei archwilio mai y papyrus hwn oedd y Llyfr Rheolau wrth ba rai yr oedd Corfforaeth Choachytes Thebes yn cael ei llywodraethu. Dengys tystiolaeth fewnol ei fod yn perthyn i deyrnasiad Ptolemi Auletes. Cymerai ormod o le a byddai gormod o drafferth i'w egluro pe rhoddid ef yma yn llawn, ond gwasanaetha ychydig ddyfyniadau i ddangos y syniadau hynod oedd gan y sant-ysgrifwyr teilwng hyn eu hunain am ddyledswyddau eu galwedigaeth, a'r ffordd hynotach fyth yr oeddynt yn eu cyflawni.

Dechreua yr ysgrifen gyda rhagymadrodd maith ac yn gyfeiriedig "at y Choachytes sydd a'u henwau ar Gofrestr y Ddinas Danddaearol," a rhoddir ef allan gan dri o "dadau dwyfol" a elwid Hor, Rhous, ac Osoroer, y rhai, fe ymddengys, oedd henuriaid y frawdoliaeth. Mae ystyr yr hyn sydd yn canlyn braidd yn dywyll; ond ymddengys fod aelodau y frawdoliaeth yn rhwym o roddi eu maelion mewn trysorfa gyffredinol, ac y byddai i aelod a ddefnyddiai y cyfryw enillion at ei wasanaeth ei hunan gael ei ddirwyo yn ol ei radd. Er engraifft, os byddai i Choachyte cyffredin dwyllo y frawdoliaeth, byddai raid iddo dalu 19 argenteus; ond dirwyid "tad dwyfol" am yr un trosedd i 25 argenteus.

Dyma rai o'r rheolau :—

1. Nad oes neb i werthu y nwyddau am ei wasanaeth crefyddol.

2. Nad oes neb i gymeryd ei ddogn o win o'r tu cefn i'r cantorion. Efe a gymer ei ddogn ac a'i rhanna a hwy.

3. Nad oes neb i gymeryd ymaith win y gwasanaeth ar y dydd y byddo dau fesur o win wedi eu penodi i gael eu hyfed.

4. Fod yr hwn a gymero win y gwasanaeth, os bydd yn henadur o'r frawdoliaeth, i dalu un argenteus, ac i ad-dalu y gwin o'r dogn fydd yn ddyledus iddo ar ol hynny.

5. Pan fyddo unrhyw un sydd a'i enw ar y rhestr yma (h.y., aelod o'r frawdoliaeth) farw, rhoddir 21 hin o win i'r Choachytes i gael ei yfed drosto. Rhoddir diod iddynt am ddau ddiwrnod," &c.

"Yn fyr," medd M. Revillout wrth grynhoi ei sylwadau ar yr ysgrifen hon, "syniad llywodraethol ein teilwng offeiriaid oedd, gwin. Ystyr eu henw yn ol yr ysgrifen werinaidd ydyw 'tywalltwyr dwfr.' Ond os oeddynt yn tywallt y dwfr ar y byrddau oedd wedi eu darparu i'r amcan hwnnw, gallwn fod yn sicr eu bod yn cymeryd digon o ofal i wneyd yn

wahanol a'r gwin. I gyflwr mor isel yr oedd y seremonïau cyntefig wedi myned. Cyflawnid dyledswyddau y mab yn awr gan ddirprwywyr, ac wedi i'r dirprwywr yfed ei ddau fesur o win, yr oedd wedi cyflawni y cwbl a ofynnai y ddefod, neu a ddisgwyliai y rhai a'i cyflogent ganddo."

Ni allasai i y fath lacrwydd ar ran yr offeiriadaeth fod yn codi ond o ddirywiad cyffredinol yn syniadau crefyddol y bobl. Yr oedd yr Aifftiad—yr hwn oedd yn naturiol grefyddol—yn awr yn wr arall. Mae'n rhaid fod ei hen grediniaeth ddofn flaenorol yn anfarwoldeb yr enaid, a'i ofal pryderus am ddedwyddwch tragwyddol ei hynafiaid, wedi diflannu, cyn y gallasai ymfoddloni ar y fath "ddefodau llesg" a hyn. Mae amryw ysgrifau yn dwyn tystiolaeth i'w difaterwch. Dyna, er engraifft, un Pa-oon, masnachydd cyfanwerth mewn nwyddau angladdol, yn anfon y llythyr masnachol canlynol at dad galarus o'r enw Thoti, yr hwn, yn lle rhedeg i ddyled fawr gyda'r Taricheut, sydd yn cytuno a Pa-oon am ddefnyddiau i berarogli ei fab:—

Y flwyddyn XVI., mis Athyr, i'r Brenin Ptolemi, mab Ptolemi: Pa-oon, mab Panefer, a ddywed wrth Thoti, mab Pahor:—Eiddo ti fydd swm priodol o nitr, o enaint, o nwyddau a phob peth angenrheidiol ar gyfer bedd dy fab; gwnaf hefyd dorthau ei offrwm. Yr wyf yn ymrwymo i roddi hyn oll yn nwylaw dy Choachyte, heb dwyll nac un math o ddiffyg arnynt, at wasanaeth ei Taricheut dros 32 o ddyddiau. Os methaf gyflawni y cytundeb hwn, neu i wneuthur yn ol yr holl eiriau hyn, mi a dalaf i ti ddau argenteus -h.y., 10 sekel —heb oediad na gwrthwynebiad. Ysgrifennwyd hwn gan Amenothes, mab Peten-ni dros Pa-oon, mab Penefer, yn yr XVIeg flwyddyn, ar yr 2fed dydd o Athyr. Llawnodwyd gan Pa-oon, mab Penefer.

Mae rhai pethau hynod i sylwi arnynt yn y cytundeb bychan hwn. Mae wedi ei wneuthur gan *notary*, ac wedi ei lawnodi gan Pa-oon yn unig. Dengys fod y Taricheut yn cael ei gyflogi gan y Choachyte, ac nad oedd y cwsmer yn ymwneyd ond â'r olaf. Yn ddiweddaf, gyda golwg ar yr amser o 32 o ddyddiau, gwyddom trwy amryw ffynnonhellau Aifftaidd a Groegaidd fod glanhau a "halltu" corff yn cymeryd o 30 i 35 o ddyddiau, a bod gorffen ei berarogli a'i rwymo, yn cymeryd o 35 i 40 o ddyddiau; ac felly yn dwyn yr holl waith i'r cyfnod o 70 o ddyddiau, yr hyn oedd yr amser gosodedig i berarogliad o'r dosbarth blaenaf, pa un bynnag ai tarw cysegredig, ai brenin, ynte rhywun cyffredin. Yr oedd perarogliad o'r dosbarth blaenaf, yn ol Diodorus, yn werth talent o arian (yn agos i £250); a dyna y rheswm am gynhildeb digynnwrf Thoti, yn cytuno am beraroglau ar gyfer y driniaeth ddiweddaf pan nad oedd modd fod ei fab wedi marw ers mwy na thridiau y fan bellaf. Llawn mor grynno ydyw yr *invoice* canlynol, a anfonwyd gan un brawd i frawd arall, mewn perthynas i gorff perarogledig eu mam, yr hwn oedd wedi ei anfon ar hyd yr afon, fel rhyw nwydd arall:

Senpamouth at Pamouth, ei frawd, annerch —Yr wyf yn anfon i ti gyda'r afon gorff Senuris ein mam (a thocyn wrth ei gwddf), yng ngofal Tales, tad Hierax; mae y cludiad wedi ei dalu oll gennyf. Gellwch adnabod yr arch trwy yr arwyddion canlynol; mae y *case* agosaf allan a lliw rhosyn arno, a'r enw Senuris, wedi ei ysgrifennu uwchlaw y bol. Yr wyf yn gobeithio fy mrawd eich bod mewn iechyd da. Y IIIedd flwyddyn, yr XIeg dydd o'r mis Thot.

Perthyna y papyrus hwn i gasgliad y Louvre, ac y mae wedi ei ysgrifennu yn y Groeg, ac nid yn yr ysgrifen werinaidd. Fel y canlyn y mae *invoice* arall, neu yn hytrach *label*, a'r cyfeiriad arni:—

Y flwyddyn XXIV., y mis Epiphi.—I feddrod Pthahmout, merch Papseuis, a'i merch ei hun, wedi eu hamgau yma. Yr wyf wedi talu y cludiad a phob traul arall. Rhodder hwy ymysg y meirwon yn y Memnomia.

Yr oedd bob amser lawer o fasnach angladdol o'r fath yn cael ei dwyn ymlaen ar y Nilus, gan y byddai Aifftiaid cyfoethog o bob rhan o'r wlad yn dymuno cael eu claddu mewn rhyw leoedd sanctaidd arbennig, megis Memphis, Abydos, a Thebes; a byddai eu cyrff perarogledig yn cael eu dwyn yno ar hyd yr afon. Yn yr holl weithrediadau hyn yr oedd y Choachyte yn chwareu rhan bwysig. Efe a dderbyniai y corff pan y trosglwyddid ef; neu pan fyddai y cwsmeriaid yn gyfoethog, byddai ef yn cymeryd ei ofal o'r cychwyn, ac yn teithio ar hyd yr afon gydag ef. I'r amcan hwn yr oedd ffurf o weddïau a seremonïau wedi eu darpar. Yr oedd hefyd yn perchenogi tir yn y gladdfa. Yr oedd yn adeiladu beddrodau, ac yn eu gwerthu, a'u gosod ar brydles. Cytunai i ddwyn ymlaen wasanaeth angladdol a gwasanaeth coffadwriaethol. Gan ei fod yn gymaint o fasnachwr ag o offeiriad, yr oedd, feallai, bron yn amhosibl iddo mewn amser beidio dyfod i edrych ar yr holl bethau hyn fel trafodaethau masnachol yn unig. Yr oedd ei alwedigaeth yn nodedig o enillfawr, a dygai ei feibion i fyny ynddi fel mater o angenrheidrwydd. Hefyd, yr oedd yn ofalus wrth wneyd ei gytundebau fel ag i sicrhau parhad y gwsmeriaeth i'w etifeddion a'i olynwyr. "Fy mhlant a gyflawnant y gwasanaeth dros dy blant, a'm hwyrion dros dy wyrion, o hyn allan byth," sydd adran ddieithriad bron mewn gweithredoedd yn gwaddoli gwasanaeth coffadwriaethol.

Yn yr Amgueddfa Brydeinig y mae amryw papyri gwerinaidd yn dal perthynas â phethau o'r fath yma. Mae un o honynt ar ffurf cydnabyddiaeth am daliad arian, wedi ei ddyddio y XXIVain flwyddyn i Ptolemi Philadelphus, yn dangos fel yr oedd un Nespmete, Choachyte, wedi gwerthu i Roegwr o'r enw Dionysius Petosor ddarn o dir yn rhan uchaf y gladdfa yn Thebes. Yr oedd yn y tir feddrod yn perthyn i ddinesydd o'r enw Petnofrehotep, corff perarogledig yr hwn oedd yn gorwedd yno. Felly yr oedd raid i Dionysius brynu y bedd gyda'r tir, a chorff Petnofrehotep fel dodrefnyn arhosol ynddo. Ysgrifenna Nespmete, y gwerthwr:

> Os byth yr adeiladaf ar fedd Petnofrehotep, fe roddir i ti ad-daliad am hynny. Talaf arian dy ad-daliad i ti pan fyddaf yn adeiladu. . . . Eiddo ti fydd bwyd-offrwm Petnofrehotep y dinesydd sydd yn gorwedd yno."

Wrth y "bwyd-offrwm" y golyga y torthau, &c., oedd yn ddyledus bob deng niwrnod yn ol y gwaddoliad angladdol. Ond os oedd yn trosglwyddo y bwyd-offrwm, mae ein Choachyte yn rhy ddoeth i drosglwyddo ei ddiod-offrwm. Ychwanega:

> Ni fydd yn dy allu i benodi Choachyte arall i wasanaethu (h.y., cyflawni y gwasanaeth coffadwriaethol) Petnofrehotep, ond fi yn unig. A bydd i'm mab gyflawni y gwasanaeth dros dy feibion, a fy wyrion dros dy wyrion o'r dydd hwn allan byth."

Mae hyn yn hynod fasnachaidd. Dengys hefyd, nad oedd anturiaethau o'r fath yn hollol gyfyngedig i ddosbarth breintiedig. Gallai hyd yn oed y prynwr cyffredin, dros ei oes, gael elw blynyddol oddiwrth y bedd yr oedd ef ei hun ar ol hynny i fod ynddo.

O'r holl ysgrifau mewn perthynas i'r meirw, y rhai mwyaf lliosog, a'r rhai hynotaf o lawer, ydyw y rhai ynghylch rhannu etifeddiaethau a phrynu a gwerthu eiddo rhwng Choachyte a Choachyte. Dengys y gweithredoedd hyn fodolaeth masnach helaeth nid yn unig mewn beddrodau, ond yn y rhai a orweddent ynddynt, y rhai a brynid ac a werthid mor ddiseremoni ag y gwerthid anifeiliaid, neu nwyddau, neu rywbeth

marchnadol arall. Er engraifft, mae un o'r enw Horus, wrth rannu cyfran o'i eiddo rhwng ei bedwar mab, yn dweyd wrth bob un o honynt yn ei dro:

Yr wyf yn rhoddi i ti y bedwaredd ran o'r hyn sydd yn dyfod i mi oddiwrth gladd-ogof Aboonofre, a'r bedwaredd ran o'r meirw sydd yn perthyn i mi yn yr ogof ddywededig—sef y meirw a enwir yma. Eu henwau ydynt Hormani, mab Nechtmont; Arsiesis, mab Nechtmont, &c., o gwbl 15 o feirwon, o ba rai yr wyf yn rhoddi i ti y bedwaredd ran; hefyd y bedwaredd ran o'u meibion a'u gwragedd; hefyd y bedwaredd ran o fy hanner-cyfran yr hyn a wna yr wythfed ran, &c.

Wrth ei fab hynaf yr hwn a ddymunai ei gyfoethogi uwchlaw ei frodyr, efe a ddywed:

Yr wyf yn rhoddi i ti, i ti yn unig, wasanaeth coffadwriaethol y rhai a enwir ar ol hyn. Dyma y rhestr:—Psenasychis, mab Osoroer, a'i feibion a'u gwragedd. Pchelknons, mab Osoroer, a'i feibion sydd ymysg y meirw, yn gystal a'u gwragedd a'u plant, ac hefyd eiddo eu plant y rhai sydd eto ymysg pobl yr Aifft; a hefyd eu gwragedd, a'r lleoedd y gorweddant; hefyd cladd-ogof Psekhous, mab Panas, a'r rhai a orweddant ynddi.

Hynny yw, mae yn rhoddi ymaith ei hawliau etifeddol yn y rhai sydd eto yn fyw. Ychwanega ymhellach:

Ti a gymeri hefyd yr "asen-fagu" Tsetoua, a'r plant a all hi eu dwyn ar ol hyn Hefyd Psenasychis, mab Osoroer, a Pchelkhous, mab Osoroer, a'u plant a'u gwragedd, a chladd-ogof Psckhous fel y dywedwyd yn flaenorol. Y pethau hyn a gymeri uwchlaw yr hyn a dderbynia dy frodyr.

Felly y mae plant Pchelkons sydd eto yn fyw, a'r plant a allent gael eu geni eto i'r plant hynny o eiddo Pchelkhons, yn cael eu trosglwyddo yn yr un dull a'r plant sydd heb eu geni i'r foneddiges a elwir mewn modd llednais gan Horus yn "asen-fagu" y teulu. Yn fyr, yr oedd corff perarogledig, yn golygu swm penodol yn y flwyddyn i'w Choachyte, a pherthynai disgynyddion y corff hwnnw trwy hawl etifeddol i ddisgynyddion y Choachyte hwnnw.

Y mae eto ar gael ddarnau o ysgrifau mewn perthynas i achosion cyfreithiol rhwng Choachyte a Choachyte, yn dangos fel yr oedd y gwŷr da yn syrthio allan a'u gilydd pan droseddid yr hawliau hyn. Byddai dinesydd o Thebes a fuasai yn ddigon anystyriol i farw ym Memphis, neu un o Memphis yn Thebes, o angenrheidrwydd yn achos llawer o ymgyfreithio. Yr oedd yr Aifftiad cyfoethog oedd a'i hynafiaid yn gorffwys mewn beddrod teuluaidd wedi ei waddoli yn dda, ac yn cael ei "wasanaethu" yn rheolaidd, yn naturiol yn wrthrych gofal neillduol ar ran ei Choachyte ffyddlawn. Os elai ar daith neu i ryfel, os prïodai a dyfod yn dad hiliogaeth lïosog, pwy a deimlai mor bryderus, pwy a lawenychai mor ddiragrith â'r gwr sanctaidd oedd â'r rhagorfraint ganddo, nid yn unig i ofalu am ei gorff a'i enaid, ond i drosglwyddo y rhagorfraint honno, gydag adlog, i'w ddisgynyddion ei hun?

O rannu i werthu etifeddiaeth nid oes ond cam, ac mae y gweithredoedd am yr olaf mor lïosog ag am y blaenaf. Gellir cyfrif ysgrifau gwerinaidd am y naill a'r llall wrth y cannoedd. Mewn papyrus wedi ei ddyddio y 18fed dydd o fis Athyr, yn yr 36ain flwyddyn i Ptolemi Philometer, cawn un Osoroer, Choachyte, yr hwn a ddisgrifir fel dyn cadarn, wedi colli ei wallt, o bryd tywyll, ac yn 40 mlwydd oed, yn gwerthu rhai o'i gyfrannau yng ngwasanaeth rhyw feirw oedd wedi eu claddu yn rhan orllewinol Thebes. Mae y meirw hyn y rhai, mae'n amlwg, oeddynt bennau teuluoedd, yn cael eu nodi yn ofalus, pob un yn cael ei werthu gyda'i blant a'i deulu.

Yr wyt wedi rhoddi, ac mae fy nghalon yn cael ei boddloni, yr arian am hanner fy nhrydedd ran yng ngwasanaeth y meirw sydd yn gorffwys ym meddrod Nabounen, yng nghwr gorllewinol Thebes, a hanner fy nhrydedd ran o'u hoffrymau, yr hyn a wna un ran o chwech. Eu henwau sydd fel y canlyn:—Smouth, mab Spotus, a'i blant, a'i ddynion, Chapocrates, mab Nechtmont, a'i blant a'i ddynion; Horsiesi, mab Nechtmont, a'i blant a'i ddynion; Philometus, mab Nechtmont, a'i blant a'i ddynion, &c. Yr wyf wedi derbyn eu pris mewn arian yn gyflawn o dy law. Mae fy nghalon yn cael ei boddloni.

Mae y weithred hon wedi ei gwneyd gan *notary* mewn ffurf briodol, ac wedi ei harwyddo gan 16 o dystion. Un engraifft eto. Papyrus gwerinaidd wedi ei gael o Memphis yw y canlynol—ac mae i ryw raddau wedi ei dalfyrru, a'r *protocol* wedi ei adael allan—dyddiedig yr 21ain flwyddyn i Ptolemi Epiphanes. Nid yw yn ymddangos yn hollol fel gweithred o werthiant. Gallai fod yn weithred ryddhad dyledwr wedi talu *mortgage* allan; neu gallai fod yn weithred gwarcheidwad yn cyflwyno eiddo drosodd i un oedd dan oed. Dylid cofio fod "gweinidog dwyfol," yn offeiriad o radd uwch ym Memphis na Choachyte, ac yn cyflawni y swydd o arolygydd y gladdfa; eto ar yr un pryd unai yn ei berson ei hun swyddau Taricheut a Choachyte.

Y gweinidog dwyfol Hofankh, mab Timon, mam yr hwn yw Tet Mouth, a ddywed wrth y gweinidog dwyfol Teho, mab Pasi, mam yr hwn yw Chemati: Yr wyf yn rhoddi i fyny i ti yr holl eiddo oedd yn perthyn i Pasi, dy dad—tai, tiroedd heb eu trin ac wedi eu trin, adeiladau, lleoedd cauedig, ychain, moch, da byw o bob math, aur, arian, copr, dodrefn ty, *bonds*, yr holl wasanaeth, pob ardreth angladdol, yr holl ddiod-offrwm, capelau coffadwriaethol, cladd-ogofeydd, beddrodau, cytundebau, gwaddoliadau, a phob math o eiddo bydol, ac yn arbennig y gwasanaeth a'r capelau oedd Pasi dy dad wedi eu meddiannu.

Dyma eu cyfrif: Trigolion Pamemna, trigolion Smoun, trigolion Selep, y gweddïau (i gael eu hadrodd) dros Harpoer, claddedigaethau offeiriaid Thoth, claddedigaethau offeiriaid ac offeiriadesau Isis, claddedigaethau offeiriaid Smoun, teulu Ptoou, arglwydd Nehi; teulu Rem-n-paho; teuluoedd Kallunthes, Neleuehi, Nespouto, y pobydd Petimouth, y dyn Sep Ardaki, a chyda'r rhai hyn eu gwragedd, eu plant, eu brodyr, eu meibion-ynghyfraith, eu perthynasau, eu gweision, eu dibynwyr, eu cynrychiolwyr, a phawb yn perthyn iddynt; hefyd eu cyllid angladdol, a'r hyn oll a geir oddiwrthynt, a'r hyn oll a ellir hawlio o'u plegid, a'r hyn oll a all ddyfod yn ddyledus drostynt, a'r hyn oll a all gael ei roddi ymaith yn eu henwau, pa un bynnag ai yn ffafr hawliau y Taricheut neu hawliau y Choachyte. Eiddo ti fydd y gwasanaeth, y tai, a'r hyn oll a ysgrifenwyd o'r blaen. O hyn allan os daw rhywun atat, i wrthwynebu dy hawliau, pa un bynnag ai yn fy enw i ai yn enw Timoou, fy nhad, mi a'i hanfonaf ef ymaith cyn pen pum niwrnod. Dyna'r amser penodol. Os na symudaf ef rhag dy boeni di, mi a dalaf 2,000 o argenteus, mewn sekels 10,000—h.y., 2,000 o argenteus, i gael eu talu o fewn deuddydd ar ol y pum niwrnod dywededig. Os derbyniaf dâl am gladdedigaeth plentyn bychan, neu os derbynia rhywun yn fy enw i neu yn enw Timoou, fy nhad, mi a dalaf i ti 200 o argenteus o fewn y pum niwrnod dilynol, heb orfodaeth nac oediad. Mi a ymddygaf yn ol yr hyn oll a ysgrifenwyd uchod. Mae fy nghalon yn cael ei boddloni. Yr wyf yn rhoddi i fyny i ti yr hyn oll a enwyd yn flaenorol, yn neillduol y capelau coffadwriaethol a'r gwasanaeth. Eiddot ti ydynt oll.

Wrth edrych arnynt yn y goleuni a daflant y naill ar y llall, mae yr ysgrifau gwerinaidd hyn—pa un bynnag ai mewn cysylltiad ag amgylchiadau yn perthyn i'r byw ai ag amgylchiadau yn perthyn i'r marw—yn cyflwyno i ni ddarlun bywiog o fywyd cymdeithasol pobl yr Aifft yn amser y Ptolemïaid; ac yn sicr nid gormod yw dweyd ei fod yn ddarlun na cheir ei gyffelyb yn hanes un genedl arall yn meddu ar wareiddiad uchel, hen na diweddar. Ynddo canfyddwn fyd yn yr hwn y mae mantoliad y gallu teuluaidd wedi ei wrthdroi. Y wraig yn meddiannu pob peth, ac yn rheoli pob peth; y gwr yn ddim ond

dibynnydd diymadferth; a'r ddau yn eiddo i'r offeiriad. Mae yn anhawdd meddwl am wrthrych mwy gresynus a dirmygedig na'r penteulu Aifftaidd. Fel plentyn, yr oedd yn eiddo ei fam; fel gwr prïod, *pensioner* ei wraig ydoedd; fel corff perthynai i'w Choachyte, yr hwn a allai ei werthu, ei arwystlo, neu ei roddi ymaith yn ei ewyllys fel y gwelai yn dda. Wedi ei eni neu heb ei eni, yn brïod neu yn sengl, yn fyw neu yn farw, nid oedd byth yn eiddo iddo ei hun nac yn feistr arno ei hun. Ymadrodd ffigyrol fyddai son am dano fel dyn a dinesydd. Eiddo marchnadol ydoedd, fel ty, neu ddarn o dir, neu flwydd-dâl y llywodraeth

H. R. JONES.

# NODIADAU LLENYDDOL.

Anecdota Oxoniensa. Texts, Documents, and Extracts chiefly from Manuscripts in the Bodleian and other Oxford Libraries. Mediæval and Modern Series Part VI. *The Elucidarium and Other Tracts in Welsh from Llyvyr Agkyr Llanddewibrefi, A.D.* 1346 (*Jesus College MS.* 119). Edited by J. MORRIS JONES, M.A., and JOHN RHYS, M.A. With a Facsimile. Oxford: Clarendon Press. 21s.

DYDDOROL iawn gweled cyhoeddi yr hen ysgriflyfr hwn sydd yn cynnwys dau ar bymtheg o draethodau—cyfieithiadau o'r Lladin gan mwyaf—a ddarperid, fel y sylwa y Proffeswr Rhys, fel maeth duwinyddol i'r Cymry yn y bedwaredd ganrif ar ddeg. Dywedir yn y llith "At y Darlleawdyr" mai Gruffydd ap Llewelyn, o'r Cantref mawr, a barodd ysgrifennu y llyfr, o law cydymaith iddo, oedd yn *anchorite* neu feudwy yn Llanddewibrefi,—"o law kedymdeith idaw. nyt amgen. gwr ryoedd agkyr yr amser hwnnw yn llandewyureui." Ni wyr neb pwy allai yr Ancyr hwnnw fod, na pha un ai efe a gyfieithodd y traethodau, heblaw eu hysgrifennu. Am y llyfr yng Ngholeg yr Iesu—feallai yr unig gopi sydd ar gael—o ba un yr argraffwyd hwn, y cwbl a wyddys ydyw yr hyn a ysgrifennwyd ar ddalennau gwynion ynddo, a'r ysgrifen olaf sydd fel y canlyn:—"Llundain, Gorphenaf, 26, 1806. Y Llyvyr hwn ynghyda Llyvrau ereill à brynoedd Owain Jones a Gwilym Owain gan Gruffydd Roberts y Meddyg, o Ddolgellau yn Meirion, yn y flwyddyn 1800; a chan eu bod yn hysbys, wrth weled llaw-ysgriven T. Wilkins, y gwr à'i anrhegodd, mai Eiddo COLEG yr IESU yw; a chan hŷny ni ellynt lai nog ei adver i ei wir Berchenawg.—Caeadwyd yn Llundain, Gorphenav 1806. Owen Jones, William Owen." Mae y nodiad hwn gan Dr. W. Owen Pughe yn rhy werthfawr i Mr. Morris Jones fynd heibio heb gyfeirio at neillduolion a ddengys yn arddull y Doethawr, yr hwn y credai llawer ei fod yr awdurdod uchaf oedd yn bosibl mewn Cymraeg, er fod llawer hefyd yn credu, fel Mr. J. W. Prichard o Blasybrain, ei fod "yn andwyo" yr hen iaith, ac y mynnai Dewi Wyn mai

Llef hogi llif ei *Goll* o,
Cainc a nâd ei'n cynudo.

Nodir yma ei waith yn rhoddi yr acen ddianghenraid ar y rhagenw perthynasol *a;* y terfyniad *oedd* yn *prynoedd*, fel ymgais o'i eiddo i wneyd treigliadau y ferf yn rhannau o'r ferf *bod;* defnyddio *yn* yn lle *ym* o flaen *m* yn nechreu gair,—"yn Meirion;" ysgrifennu hynny yn hŷny; y rhodres canoloesol o roddi *nog* am *nag*, ac *awg* am *og;* defnyddio y ffurfiau *nog ei* a *i ei*, er gochel sillgoll; a'i anallu rhyfedd i ysgrifennu brawddeg y bo adran ddibynnol ynddi heb syrthio ar draws ei gysylltiadau: "a chan eu bod . . . ; a chan hŷny ni ellynt lai," &c. Gallasai hefyd roddi ei chwip ar y "caeadwyd," am rwymo y llyfr. Sut bynnag gwnaeth Pughe ac Owain Myfyr yn dda, wedi i'r llyfr gael ei ladrata, debygid, o Goleg yr Iesu, ei

"adver i ei wir Berchenawg," ac felly wneyd yn bosibl ei gyhoeddi yn y wedd yma. Dengys y Proffeswr Rhys—paham y gadawyd allan yma ei LL.D.?—nad oedd ei ran ef o'r olygiaeth ond cymharol ddibwys, ac mai ar ysgwyddau Mr. Morris Jones y disgynodd pwysau y baich. A rhaid fod y drafferth a gymerodd efe i'w ddwyn allan gyda'r fath fanylrwydd, air am air a llythyren am lythyren a nodyn am nodyn fel yn yr ysgriflyfr, wedi bod yn fawr iawn. Defnyddiwyd y llythrennau newyddion a fwriwyd dan olygiaeth Mr. Gwenogfryn Evans, am yr *r* a'r *w*, fel eu ceir yn yr ysgriflyfr, yr hyn gyda'r *u* weithiau yn *u* ac weithiau yn *f*, a wna ddarllen y llyfr ar y dechreu braidd yn drafferthus; ac wedi ychwanegu at hynny ddieithrwch cryn lawer o'r geiriau a ddefnyddir, ynghyd a'r dull cwbl ddiddeddf o atalnodi a defnyddio y prif lythrennau, fe'i ceir yn orchwyl anhawdd weithiau i wneyd allan y meddwl. Mae y testyn Lladin a gair o'r *Hystoria lucidas* ac o'r *Hystoria euegyl Ieuan ebostol*, wrth reswm yn llawer o help i orchfygu yr anhawstra: ond nid pawb fuasent yn hoffi mwynhau y llyfr sydd yn deall Lladin. Y mae *Introduction* a *Notes* Mr. Morris Jones hefyd yn ysgolheigaidd a thra gwerthfawr. Ond fe drŷ y darllennydd lawer o weithiau yn ofer i chwilio am oleuni yn y Nodiadau. A phaham y rhaid bod arweiniad a nodiadau mewn llyfr fel hwn, a'r *Mabinogion*, a'r *Llyfr Coch*, &c., bob amser yn Saesneg? Onid ydyw hynny yn Philistiaeth ag y mae bellach yn llawn bryd i ni ei ysgwyd ymaith? Byddai y nodiadau ar y clasuron Groegaidd a Rhufeinig, gynt, oll yn Lladin; ond ni feddyliai neb am gyhoeddi llyfrau felly yn y wlad hon yn awr heb ddefnyddio y Saesneg i'w hegluro. A beth a feddylid o unrhyw lyfr Saesneg yn cael ei gyhoeddi gyda nodiadau i'w egluro *i'r Saeson* yn y Ffrancaeg? Mae yn sicr gennym na cheid neb a feddyliai am ymgymeryd ag astudio llyfr fel hwn, na ddeallai ddigon o Gymraeg i ddeall pob eglurhad a ellid roddi arno, yn yr iaith Gymraeg; ac am y Cymry eu hunain y mae yn ddiameu y byddai yn llawer gwell ganddynt hwy hynny nag unrhyw ymdrechion, pa mor ysgolheigaidd bynnag, i'w egluro mewn ieithoedd ereill. Mae yn dra dyddorol cael y *facsimile* neu y cyflun o dudalen o'r hen lyfr a geir i wynebu tudal. 164. Ond gyda hynny, fel engraifft o'r hen ysgriflyfr, ai nid gwell fuasai argraffu yr holl waith mewn llythyren gyffredin? Buasai hynny yn lleihau yn ddirfawr draul yr argraffu, ac felly yn gwneyd y llyfr yn gyraeddadwy i gylch llawer ehangach o ddarllenwyr, heblaw y buasai yn ei wneyd yn llawer haws i'w ddarllen. A phe rhoisid y testyn am ychydig dudalennau mewn Cymraeg diweddar ar yr ochr gyferbyniol, fe ddygasid y darllennydd i'r fath gydnabyddiaeth â'r hen ddull o ysgrifennu fel, gydag eglurhad achlysurol mewn nodiadau ar eiriau neu gystraweniad dieithr, y gallasai heb ymdrech feichus feistroli y llyfr, ac felly ei fwynhau yn llawer mwy. Pell iawn oddiwrthym fyddo cymaint ag awgrymu beirniadaeth ar y dull galluog ac ysgolheigaidd y mae y llyfr hwn wedi ei droi allan; yn yr ystyr yna y mae yn bob clod i'n cydwladwr galluog a dysgedig, a diameu y bydd llawer o'r rhai fydd yn alluog i fwynhau yr arlwy a osododd o'u blaen yn gwerthfawrogi ei lafur ac yn diolch yn fawr iddo am ei wasanaeth. Ond y mae cylch ehangach o efrydwyr ag y buasai yn wych ganddynt fwynhau yr hen ysgrifeniadau, ac y buasai yn werth ymdrech ein hysgolheigion goreu i'w gosod o fewn eu cyrraedd. Da gennym weled fod y Llywodraeth yn awr yn estyn cymorth caredig i chwilio i'r hen ysgrifeniadau Cymreig. Dyma beth newydd! Hyderwn y parheir y cynhorthwy fel ag i ddwyn llawer o'n trysorau cuddiedig i oleuni, ac yr ystyria ein hysgolheigion yn fil gwell eu gosod o fewn cyrraedd llawer o'u cydwladwyr, na'u rhoddi yn nwylaw ychydig o ysgolheigion, a'r rheiny yn rhai lled ariannog.

Yr ydym ni wedi darllen y llyfr hwn gyda mawr ddyddordeb. Gan mai cyfieithiadau a gawn ynddo, mae'n debyg nad allwn ei ystyried y Cymraeg goreu a allesid ysgrifennu yn y bedwaredd ganrif ar ddeg. Ond fe ddaw o'n blaen ynddo lawer o bethau sydd yn taflu goleuni gwych ar ffurfiad a thyfiant

yr hen iaith, ynghyda'r amseroedd aethant dros ei phen; ac er na feddyliai neb am ddwyn yn ol i Gymraeg y dyddiau hyn lawer o neillduolion yr oesoedd hynny,—camgymeriad ag y mae y Dr. Pughe yn ddigon o rybudd i bawb ymgroesi rhagddo!—eto ni allwn wrth astudio y llyfr lai na dyfod i ddeall yr hen iaith yn well, ac mewn canlyniad, os na fyddwn yn o ddwl, i wneyd defnydd rhagorach o honi. Ymddengys fod yr hen Ancyr da o Landdewibrefi yn dra phell oddiwrth feddwl y dylasai gadw i fyny urddas y peth a ystyrrir yn iaith lenyddol, ac nid ysgrifennu fel y byddai y Cymry yn ei ddydd yn siarad yr iaith; ac y mae y cyfnewidiad y mae tafod y genedl wedi myned trwyddo yn addysgiadol i'w astudio. Ysgrifennai ef *diwethaf* heb betruster; felly *Idewon; reit*,—"reit yw idaw ymgadw rac gwneuthur neu gytssynyaw yn un or seith pechawt marwawl;" *cymar* a geir ganddo, a byth cymmar, neu cymhar; sonia am *claret*, fel pe yn gystal Cymraeg â llaeth; a phan y mae arno eisieu son am *lilis* a *rhos* a *uiolet*, ni feddylia am fynd i anialwch y "gwreiddiau" i chwilio am eiriau Cymraeg arnynt:—fe fydd y ddaear newydd, medd efe, "tec yn dragwydawl ovlodeu. arogleuvawr. Alilis Aros. Auiolet hep grinaw vyth." *A chrynnu danned* a gawn ganddo am rincian dannedd. *Budygolyon* a geir am fuddugoliaethwyr: "megys budygolyon y gorffwyssant yny heisteduaev." *Wynt a welant yr hwnn avrathassant*, ac nid a wanasant. *Yn y vrawt* a geir am yn y farn. *Dygymmyneidiau di* am dy orchymynion: "emelldigedic ynt yrei agilya ywrth dygymmyneidiau di." *Llyuyr yuuched* yw llyfr y bywyd. Mae ser a moroedd yn *syr* a *myr*. Defnyddir *person* a *haul* fel enwau benywaidd. Defnyddir *eissoes* yn yr ystyr o er hynny: "eissoes heb hi. aro di yma yny deluyfi om sambyr." Soniai cyfaill yn ystod y cynhauaf gwair diweddaf, am y gair "lladd gwair" fel ymadrodd barddonol gan y Cymry, ac y buasai "to kill hay" yn taro yn ddieithr iawn ar glust Sais. Ond erbyn edrych, torri ydyw *lladd* yma, ac am fod torri neu archolli yn peri marwolaeth, daeth y gair i gymeryd ei ystyr bresennol. *Allad y ben*, a thorri ei ben; *dyw gwener y lladwyt pen Ieuan uedydwr*. Ceir hefyd yn yr un tudal. â'r olaf, yr ystyr o farwolaethu, *dyw gwener y lladawt Kayn Abel yvrawt*. Cawn *dyrwestassant* am ymprydio. Dyblir yr l ar ol acen fer, megis yn *callon*, a *dellir*: "yn y gwlat ni ydellir ryw byscawt ac owaet yrei hynny y lliwir y porffor gwerthussaf." Yn y gair *lliwir* ceir yr *ll* briodol; ond yn *dellir* dybliad yr *l* a geir, fel dybliad yr *n* yn *honno*. Yr *ff* ac nid *ph* a geir yn *porffor*. Fe gyferfydd y darllennydd a lliaws o bethau dyddorol ereill wrth ddarllen y llyfr gyda golwg ar ei Gymraeg.

Am ei gynnwys, y mae o nodwedd dduwinyddol a chrefyddol, ond drwyddo yn Babaidd. Dyna allesid ddisgwyl y pryd hynny oddiwrth Ancyr Llanddewibrefi, ac nid oedd dim gwahanol yn cael ei osod o flaen ein tadau. Y prif draethawd ydyw yr *Hystoria Lucidar*, "sef yw hynny. goleulyuyr kanys yndaw ygoleuheir amryfalyon dywyllon betheu." Ymddiddan ydyw rhwng disgybl ac athraw, a cheir ynddo lawer o feddyliau da ac o ffansïon prydferth. Y mae hefyd, er gwyllted llawer o'i ddychmygion, o duedd i adael argraff ddofn ar feddwl y darllennydd am lawer o'r pethau mawrion. Nid ydyw o ddim gwahaniaeth sut y bydd i'r saint farw: "kanny byt marw o anghev deissvyuyt yneb a vedylhyo yn wastat amy varw. wrth hynny nac yr merthyrv aheyyrn. nac yr dryllyaw ovuystuileit. nac oe llosci oflammev tan. nac oe sodi odonnev. nac oe marw odryc dyghetuen arall. maurweirthawc vyd ger bron duw vyd anghev yseint ef. Oba anghevbynnac y bo marw gwiryon ny dygir ywirioned ygantaw." Nid yw yn golled iddynt beidio cael eu claddu yn y cysegr: "Yr holl vyt yssyd demyl yduw. Kannys kyssegrwyt o waet Krist. wrth hynny bethbynnac a wnneler nae cladv maes, nac ygkoed. nac ygwernn nac yn lle arall y byrryer wynt. nac hyssu ovuystuilet. nac obryuet. wynt aachlessir yn aiffet yr eglwys yn wastat yr hon yssyd dros wyneb yr holl vyt." Fel ateb i'r cwestiwn pa fath gyrff fydd i'r saint yn y nefoedd dywedir: "Gloywach vydant seithweith na'r haul. ac ymysgawnnach no medwl ovuander." "Noethyon fydant adisgleiryaw a wnnant o

bop tegwch. Ac nybyd mwy ykiwilyd wy o un aelawt udunt noc oe llygiut. namyn iechyt vyd eu gwiscoed wy. kannys yrarglwyd agud eu kyrff wy owisc iechyt. aeheinev [a'u heneidiau] auyd owisc llawenyd. Amegys yma ybyd amrauael gras yrblodeu. megys gwynnder y lilium. Achochder yrosys. velle ymae ac ycredir bot amraualder vlodeu neu liwoed ygkyrff yseint," &c. Ond fe geir ynglyn â hynny, a thrwy yr holl lyfr, lawer o ffolinebau. Mae llawer o'n cydwladwyr yng Nghymru, fel y mae y blaid gryfaf o lawer yn Lloegr o'r Eglwys Wladol, yn edrych ar y Diwygiad Protestanaidd fel anffawd dybryd, ac yn ystyried mai y gwasanaeth pennaf a allent wneyd i'r byd fyddai ei adfer i'r drefn oedd arno cyn dyddiau Luther. Ceir yma gyflawnder o oleuni ar y cyfnod hwnnw, a chaiff y darllennydd fantais i weled y sefyllfa ogoneddus y mynnai y boneddigion hynny wneyd â ni y caredigrwydd o'n dychwelyd iddi. Y mae cynifer â saith o ffyrdd i gael maddeuant pechodau :—

"Yn gyntaf drwy vedyd. Yr eil. drwy verthyrolyaeth. Trydyd. drwy bennyd achyffes. megys ydywedir. My a gyffessaf ytt vy aghyfyawnder a thi avadeuy ymi vy ennvired. Pedweryd yw, drwy dagreu megys y dywedir. gwynn eu byd yrei a gwynant. kannys wynt a didenir. Ypymet drwy alussen. megys ydywedir. val y dwfuyr y tan. velle ydiffyd yr alussen y pechawt. Chwechet. drwy vadden ohonam yr nep awnnaeth cam ynn. megys y dywedir. Omadeuwch chwi yrdynyon ev camev. ychtat ae maddev ychwithau. Seithvet yw drwy weithredoed caryat. megys y dywedir. karyat agud lluosogrwyd pechodau." Fe fernir y byd yn y dydd mawr, nid gan Grist, ond gan "yr ebestyl ar merthyri. amyneich. agwerydonn [gwyryfon]." Wrth ystyried y saith pechod marwol sydd yn dwyn dynion i golledigaeth, y mae yn gysur meddwl fod Duw, er meddyginiaeth enaid dyn o honynt, wedi rhoddi saith rhinwedd yn yr eglwys, a'r rheiny ydynt: "Bedyd escob. Abedyd offeiriat yn gyntaf oll ohonynt. Asegurffyc [swper yr Arglwydd, o *sacrificium*]. Penyt. Angheu [tlodi]. vrddev kyssegredic. A phriodas. Sef yw rinwed y bedyd. bot yn vadduedic diboen ydyn yrholl pechodev gwedy bedyd. Aheb vedyd nid oes fford. na gobeith ydyn caffel gwaret. na nef. Ac o achos hynny. duw oe vawr drugared a rodes medyant. A gallu ybop ryw dyn y vedydyaw rac perigl aghev. Eil rinwed yw. bedyd escob. Ahwnnw a rodir ydyn yn kadarnnhav yffyd. Ae gristnogaeth gantaw. Ac orin y bedyd hwnnw. haws vyd idaw wrthlad ykythreul ywrthaw. Ac ymgadw rac pechodev. Trydydd R. yw segurffyg. Sef yw hwunw corff crist yn hollawl o eneit. a chorff. a duywolyaeth megys y mae yn y nef. Ahynny oll dan liw y bara ar gwin. Ahwnnw arodir yr tagnouedv duw apechadur. Ac yr rydhav eneit dyn obechawt marwawl. Pedweryt R. yw penyt. Sef yw hwnnw. poeni odyn o arch yperiglawr trwy gwbyl ediueirwch. a chyffes lan. Ac yn teir rann y doosperthir penyt. nyt amgen yn wedi. ac yn un pryt. ac yn gardawt. Megys dyn agodho Duw otorri y orchymynev. Gwneuthur o honaw yntev ypynckev trwy ediuarwch. achyffes lan. Gwediet ar duw ygaffel ydrugared yn lle ydigrifwch a gymerth yntev yny pechawt. Poenet dyn ygorff trwy unpryt. aphererindodev seint. a gweithredoed gobrwyus. Ac o achos na wyr dyn bot yn gymeredic gannr duw ywedi nev y weithret. rodet gardodev oe da pressennawl yr enryded y duw yr gwediaw. ac yr penydyaw drostaw. Pymhet R. yw. aghennv. Sef yw hynny dodi oluv kyssegredic ar dyn ynygleuyt perigl' yd aghennyt dyn trwy leindit uuched. Madeuedic vyd idaw yn hollawl ypechodev marwawl. ar neillpeth a dywedir ydamweiniaw idaw. ae dynryssaw aghev, ygaffel yechyt ar vyr amser. Adyn adylyir yaghennv ygynifer gweith ydygwydo ymywn cleuyt periglus. Chwechet R. yw urddev kyssegredic. Sef yw hynny. teilygdawt amedyant y wasanaeth duw. arinwedev yr eglwys. Seithuet. R. yw. priodas. ahonno awnnaethpwyt yr dibechv kytknawt rwg gwr. agwreic. ac yr ennill plant y wassannaethv duw.

"Gwedi gwyppo dyn nerthoed a grymyant rinwedeu yr eglwys. ac aruer ohonunt trwy perffeithrwyd dyyled' yw idaw wybot Seith weithret ydrugared yr gobrwyaw idaw nef. Sef ynt y gweithredoed hynny. Rodi bwyt ynewynawc. Diawt ysychedig. lletty ybellennic. Dillat ynoeth. Gofwy claf. Rydhav carcharawr. Claddu ymarw. Ac arnyallo gwnneuthur yseith weithret hynny yn gorfforawl. kyghor yw idaw ygann y seint gwnneuth' ypvmb gweithret hynn yn ysprydawl. kyghori annoeth ac lessav. achospi enwir yr dyscu. Aphob trist galarus ydidanu. kyt doluryau agwann trwy ygarv. athros pob aghyfnerthus gwann gwediaw ar duw y drugarhav wrthav."

